*"Gan edrych ar Iesu, Pen-tywysog a pherffeithydd ein ffydd ni."*

# Y WAWR;

—SEF—

## CYLCHGRAWN MISOL

# Y Bedyddwyr Cymreig

YN AMERICA.

DAN OLYGIAETH

Y PARCH. OWEN GRIFFITH, (*GIRALDUS*),

UTICA, N. Y.

## CYFROL VII.

UTICA, N. Y.

T. J. GRIFFITHS, ARGRAFFYDD, EXCHANGE BUILDINGS.

1883.

Digitized by Google

Mothers death see Page 67

# MYNEGAI.

EBRILL.



MAI.



MEHEFIN.



GORPHENAF.



AWST.



MEDI.



Digitized by Google

HYDREF.



TACHWEDD.



RHAGFYR.



IONAWR.



CHWEFROR.



MAWRTH.



Digitized by Google

# Y WAWR.

CYF. VII.] EBRILL, 1882. [RHIF. 1.


## FFRAEO'N GYHOEDDUS.

Gan bwy? Yn mha le? Gan rai athrawon, diaconiaid, ac aelodau eglwysig, yn y papyrau Cymreig. Mae yr arferiad goganus hwn trwy y cyfryngau hyn wedi bod mor gyffredin yn y blynyddau diweddaf, fel nad oes angen cyfeirio at un engraifft neillduol. Ydyw, fel mae gwaethaf y modd, mae unigolion wedi bod yn llenwi y papyrau â geiriau croes, a difriaeth bersonol, ac â cham-dystiolaethau ac â chyhuddiadau o fod yn gelwyddog, o fod yn athrodus, o fod yn dwyllodrus. Myn rhai ymhyfhau fel ag i herio awdurdod Cymanfaol, gan sarnu pob rheol a threfn ger gwydd y byd Yn lle trafod anghydweliadau a beiau yn eu lleoedd priodol, mae yn rhaid cael dadlenu anmherffeithderau ger bron y cyhoedd digred. Yn lle gwneyd i'w *goleuni* lewyrchu ger bron dynion, gwneir i'w *tywyllwch* dywyllu ger eu bronau. Ymddengys pethau yn waeth eto os sylwir ar y symbylydd i hyn oll. Nid lles yr achos, nid iachawdwriaeth pechaduriaid, nid gogoniant y Meistr, nid er mwyn anrhydedd deddf cariad, "cuddio lluaws o bechodau." Nid gyda'r amcan o wneyd Seion yn deg fel y lleuad, ac yn ofnadwy fel llu banerog. O nage! ond er mwyn boddio *hunan*. Gellir casglu fod yn rhaid i *hunan* gael ei hawliau, pe byddai yr eglwys, crefydd, a phechaduriaid, yn myned oll i ddistryw. O! y fath warth! O!'r fath drueni! Y mae yr ymddygiad anghristionogol hwn yn ddigon i beri i bob Cristion ystyriol ddymuno fel Jeremiah, pan yn dweyd, "O na bae fy mhen yn ddyfroedd, a'm llygaid yn ffynonau o ddagrau, fel y wylwn ddydd a nos am bechodau merch fy mhobl."

Nid yw y drwg hwn yn gyfyngedig i un Enwad; y mae yn yr hen Enwad hyglodus, y Bedyddwyr. Gofid i'n calon ydyw gorfod cyfaddef hyn. Mae y ffraeo cyhoeddus hwn yn gwneyd drwg i'r papyr fyddo yn rhoddi lle iddo—mae yn ei iselu; mae yn peri sawr ddrwg; mae yn groes i foneddigeiddrwydd. Gwyddom fod golygwyr y papyrau yn teimlo o herwydd yr amryfusedd hwn; ac os gofynwch iddynt paham y maent yn caniatau i'r fath lysnafedd anurddo eu papyrau, rhoddant y bai ar y personau enllibus fyddont yn ysgrifenu. Modd bynag, gwybydder fod y fath ddifriaeth a chroesdynu, a ffraeo, yn darostwng cymeriad unrhyw bapyr fyddo yn rhoddi lle i'r fath fryntni. Nid anfynych y clywir personau yn dweyd nad ydynt hwy yn teimlo derbyn papyrau Cymreig er's

Digitized by Google

blynyddau, oblegid y ffraeo a'r difrio diddiwedd sydd ynddynt!

Mae y gwarth cyhoeddus dan sylw yn warth i ni fel cenedl! Y mae yn dwyn arno ddelw anwareiddiad. Mae yn Wyddelig yn ystyr fryntaf y gair. Mae y dull enllibgar, cyhoeddus hwn, yn brawf amlwg nid yn unig o ddiffyg chwaeth, ond hefyd o ddiffyg gras, ac mae yn hollol annheilwng o'r Cristion. Nid oes diwedd i niweidiau yr arferiad annymunol hwn. Mae yn ddianrhydedd i'r Enwad y byddo y personau yn perthyn iddo; dengys ddiffyg undeb; dengys bresenoldeb teimladau drwg; dengys wrthryfelgarwch ac elfenau dinystriol yn yr eglwysi. Mae yn drosedd uniongyrchol a beiddgar ar yr ymrwymiad cyfamodol o gadw cyfrinach yr eglwys, a chyfrinach ein gilydd fel aelodau; y mae yn groes i reol cymod rhwng brawd a brawd—mor groes ag y gall fod. Brychau a meflau o'r fath waethaf ydynt yr ebychiadau hyn. Pa hyd y blinir y cyhoedd eto gan y fath ffraeo? Ai nid yw yr hen elfen gas, isel hon, yn dechreu blino bellach? Ebe y digred, "Ai nid yw y cwn yn blino cyfarth? Ai nid yw y blaidd yn blino ysglyfaethu?" Cofier, "Os cnoi a thraflyncu eich gilydd yr ydych, gwyliwch na ddyfether chwi gan eich gilydd." Mae digon o guro ar yr eglwys a chrefydd, o'r tu allan, heb i breswylwyr y graig ddefnyddio dyrnau yn gyhoeddus at eu gilydd. Ffieiddiwn y fath ymddygiad! Gadawer ef bellach! Caued ein papyrau eu drysau rhag pawb a phobpeth o'r fath—na foed cil y drws yn cael ei agor i'r enllibwr—cadwed yr eglwysi a'r aelodau eu cyfrinach iddynt eu hunain; na fydded iddynt geisio colofnau y papyr newydd i ddysgyblu eu gilydd. "Gwyn eu byd y tangnefeddwyr, canys hwy a elwir yn blant i Dduw." "Os yw bosibl byddwch heddychlawn â phob dyn." "Digiwch ac na phechwch; na fachluded yr haul ar eich digofaint chwi." Peidiwn a meithrin teimladau atgas tuag at neb o dan haul y nef, ac ymdrechwn hyd y gallwn i ladd cenfigen, dial, a gogan, yn mha le bynag y byddont.

Frodyr anwyl, na ddigiwn wrth ein gilydd; unwn yn erbyn y gelyn cyffredinol. Efelychwn, yn ol ein gallu, ein brodyr yn Nghymru; y mae ganddynt hwy "UNDEB Bedyddwyr Cymru a Sir Fynwy," ac y mae pethau mawrion yn cael eu cyflawni trwyddo. O dan ei ddylanwad mae cenfigen a gogan yn marw—mae athrod yn cadw o'r gwersyll.

Pa bryd y gwelwyd yr eglwys yn fwyaf llwyddianus? Onid yr adegau pan oedd mwyaf o *undeb* yn bodoli. Gadewch i'r un elfen fendigaid fod yn brif elfen yn ein plith ninau fel Bedyddwyr Cymreig yn America. Carwn ein gilydd o gariad pur yn helaeth.

CARWR Y BRODYR.

---

## ADGOFION AM YR EIDAL.

GAN Y PARCH. JOHN W. WILLIAMS, D D.,
HYDE PARK, PA.

RHIF I.

Ar gais golygydd parchus y WAWR ataf i ysgrifenu ychydig linellau yn achlysurol i gyhoeddiad misol Bedyddwyr Cymreig yr Unol Dalaethau, yr wyf yn cymeryd fy mhin ysgrif mewn llaw am y waith gyntaf i ddybenion cyhoeddus, er pan ymadewais a Chymru fwyn yn mis Medi diweddaf. Ond ar ba bwnc i ysgrifenu sydd yn anhawdd penderfynu. Mae Cymru, ei phobl, ei nodweddion, a'i hymarfer-

Digitized by Google

iadau, mor adnabyddus i efrydwyr llenyddiaeth Gymreig yn America ag ydynt i ninau. Mae hanes mordeithiau yn groes i'r Werydd yn ymddangos mor aml yn y papyrau wythnosol a misol, fel nad oes ond ychydig neu ddim i'w ddweyd yn y cyfeiriad hwnw. Mae ychydig o ysbrydion dewrion sydd wedi glanio yn mhlith yr ymfudwyr neu yr ymwelwyr a'r wlad wedi rhoddi cyhoeddusrwydd i'w hargraffiadau cyntaf am America a'i thrigolion; ond gan ei fod yn aml yn dygwydd fod yr argraffiadau hyn mewn amser yn cael eu cywiro a'u diwygio, rai o honynt i raddau mor helaeth fel ag i golli eu hunaniaeth; dichon mai gwell fyddai i mi beidio anturio i'r cyfeiriad hwn yn bresenol. Buasai pwnc newydd i ysgrifenydd newydd, ar ddechreu blwyddyn newydd i'r WAWR, efallai yn fwy derbyniol i'r darllenydd.

Dwy flynedd yn ol i'r mis hwn cychwynodd yr ysgrifenydd gyda chwech o gyfeillion o Derby a Leicester, Lloegr, ar daith trwy Ffrainc a'r Eidal, lle y treuliodd y chwech wythnos llawnaf a mwyaf cyffrous o'i fywyd. Mae yr argraff a gynyrchir ar feddwl trwy syllu ar wrthddrychau neu leoedd, yn wahanol i'r hyn a gynyrchir trwy ddarllen am danynt. Er engraifft, y mae treulio un diwrnod o fewn adfeiliau Pompeii a Herculaneum, y ddwy ddinas a gladdwyd yn llosgwy Vesuvius yn y flwyddyn 79, yn rhoddi syniad cywirach, ac yn gwneyd argraff ddyfnach mewn perthynas i adeilyddiaeth, a chymeriad moesol, crefyddol, a masnachol y rhan hono o Ewrop yn y cyfnod hwnw, na fyddai misoedd o ddarllen am danynt yn effeithio. Mae syllu ar y gwrthddrychau a gafwyd yn yr adfeilion hyn, megys offerynau llawfeddygol, y gwelyau haiarn, a dodrefni eraill, y deigryn-gostrelau a arferwyd gan addolwyr y gwahanol eilun-dduwiau yn y cyfnod hwnw, y cerf-luniau oeddynt yn addurno tai y cyfoethogion, ac yn wrthddrychau addoliad y teulu, y plyglyfrau yn ysgrifenedig yn yr iaith Roeg, ac yn ddarllenadwy y dydd hwn, er wedi eu llosgi yn farwor, yn nghyda chanoedd o bethau eraill na chaniata amser i mi eu henwi, ag sydd yn bresenol yn weledig yn amgueddfa Naples, yn olygfa nas gellir yn fuan ei hanghofio. Dichon y byddai ychydig o hanes y lleoedd yr ymwelwyd a hwynt ar yr adeg hono, a'r hyn a welwyd ac a glywyd, o ryw fudd i ddarllenwyr ieuainc y WAWR. Gan ein bod wedi cyfeirio yn barod at y dinasoedd hyn, ni ddechreuwn gyda hwynt yn yr ysgrif hon.

Saif Vesuvius, y mynydd llosgadwy, rhuthriad allan yr hwn yn y flwyddyn A. D. 79, fu yn achos o'u dinystr, tuag wyth milldir o Naples, y ddinas fwyaf poblog, pwysig, a henafol yn neheudir yr Eidal, ac yn gorwedd ar lan môr y Canoldir. Mae godreu y mynydd yn ymledu allan yn mhell, ac yn mesur tuag ugain milldir o amgylch, a'r rhan ddeheu-orllewinol yn cyrhaedd i lawr hyd at ddyfroedd morgilfach prydferth Naples. Pan mae yr ymwelydd yn sefyll ar y clogwyn dair milldir i'r dwyrain o'r ddinas, tua haner milldir i'r deheu o ogof Virgil, a dwy filldir islaw Puzzuoli, porthladd a elwid yn y ganrif gyntaf Puteoli, lle y glaniodd yr apostol Paul pan ar ei daith i Rufain, i sefyll ei brawf o flaen Cæsar; ac yn edrych tua'r dwyrain mae y mynydd tanllyd yn sefyll o'i flaen, a'r olwg arno yn ofnadwy ac aruthrol. Mae ei odre yn ymsaethu allan i'r gwastadedd, ddeheu a gogledd, [ei lechweddi yn wyrdd gan y gwinllanoedd mwyaf

Digitized by Google

ffrwythlawn a fedd yr Eidal, y rhai sydd yma ac acw yn cael ei rhanu gan olion du y llif llosgadwy, sydd lawer gwaith yn ystod y ganrif hon wedi ei weled yn afonydd berwedig o dân yn rhedeg i lawr yn mhob cyfeiriad, er dychryn i ddyn ac anifail; a'i ben yn orchuddiedig gan fwg sydd yn esgyn i fyny yn golofn anferth tua'r nen. Bu yr ysgrifenydd yn sefyll yn ymyl, o fewn ychydig latheni i'r pydew tanllyd yma, allan o'r hwn yr ymddyrchafai y fflamiau tua phymtheg neu ugain llath o uchder, a'r *blast* yn chwythu y ceryg yn gawodydd i'r uchelderau. Wrth droed y mynydd hwn y gorweddai dinasoedd Pompeii a Herculaneum, y flaenaf yn sefyll ar yr ochr ddeheuol o'r mynydd, tuag wyth milldir islaw iddo, ac yn nodedig am ei masnach cartrefol a thramor, yn sefyll yn y rhes flaenaf o'r dinasoedd Italaidd am ei rhwysg a'i phleserau, ac yn cynwys 30,000 o drigolion; a'r olaf yn gorwedd ar yr ochr ddeheu-orllewinol, i lawr yn ymyl y môr, yn hynod am ei llyfrgelloedd a'i chwareudai, ac o faintioli ychydig yn llai na'r llall. Cofier fod yr Ymerodraeth Rufeinig, yn y cyfnod y cyfeiriwn ato, yn ei man goreu, a bod Pompeii yn dal perthynas agos a'r brif ddinas, gan fod uchel swyddwyr y deyrnas, ac yn eu plith yr Ymerawdwr, yn myned yno yn aml i ymbleseru. Hefyd mae yr adfeiliadau yn profi fod yno yn flaenorol i'r dinystr luaws o ddynion pendefigol a chyfoethog yn byw. Yr oedd llawer iawn o'r tai yn helaeth, y muriau yn gostfawr, y colofnau o farmor, a'r ystafelloedd eang wedi eu gorchuddio â mur baentiadau (*fresco paintings*), a llawer o honynt yn aros braidd yn berffaith hyd heddyw. Mae enwau llawer o'r preswylwyr yn weledig yn bresenol ar y darnau o'r tai hyn sydd yn sefyll; megys Tywysog Rwssia, Cornelius Rufus, Marcus Holconius, Pansa, Marcus Lucretius, Sallust, &c., &c.

Awgryma yr adfeiliadau hyn i ni sefyllfa gwareiddiad yn yr Eidal ddeunaw canrif yn ol. Gwelwn oddiwrth yr adeiladau cyhoeddus gyfeiriad meddwl yr oes yn y dinasoedd hyny. Yr oedd yn Pompeii ddau chwareudy eang, y *Theatre Tragique* a'r *Theatre Comique*, yr olaf yn cynwys eisteddleoedd i wyth mil o ymwelwyr. Gan fod y tai hyn wedi eu hadeiladu bron yn hollol o geryg, hyd yn nod y chwareufwrdd a'r eistedd-leoedd yn gyfansoddedig o feini mawrion, y mae y rhan fwyaf o honynt yn weledig yn bresenol yn eu harddull gwreiddiol. Tu fewn i'r prif borth gorllewinol, ychydig yn mlaen ar y llaw ddeheu, y safai y *Civil Forum*, adeilad mawr, un o'r rhai mwyaf yn y ddinas, yn yr hwn y byddai y barnwyr yn eistedd ac yn penderfynu gwahanol bynciau y gyfraith, ac yn dedfrydu drwgweithredwyr i garchar neu i farwolaeth. O dan y fainc yr oedd ystafell y carcharorion, lle y cafwyd dau gorph yn 1813, sef y flwyddyn y cliriwyd allan y *Forum*. Mae y cyrph hyn, ac amryw eraill, mewn *cases* gwydr yn Amgueddfa Pompeii, a'u ffurf yn ymddangos mor berffaith a phe buasai bywyd wedi eu gadael ond ychydig ddyddiau.

Yr oedd hefyd yn y ddinas, mewn manau cyfleus i'r trigolion, ac yn rhad i bawb, amryw ymolch-leoedd. Yr ydoedd yr adeiladau hyn yn fawrion, ac yn gynwysedig o amryw ystafelloedd. Er engraifft, yr oedd yr ymolchle yn y Via Fortuna a'i rhaniadau fel y canlyn: Yr oedd y drws allanol yn agoryd i'r *portico*, yr hwn oedd yn arwain i ystafell fawr lle yr oedd yr

Digitized by Google

ymolchwyr yn parotoi eu hunain i'r baddon, yr hon a elwid *apoditerium;* oddiyma yr oedd dau agoriad, un i'r brif ystafell, lle yr oedd y bobl gyffredin yn ymolchi; ac un arall i'r baddon twym, a enwid *tepidarium;* yn ymyl hon yr oedd y *sudatorium*, sef y baddon ager (*vapor bath*). I'r lleoedd hyn yr oedd canoedd yn myned yn ddyddiol, a llawer o hynynt yn ymolchi saith waith ye y dydd. Mae muriau yr adeilad hwn yn sefyll yn bresenol fel yr oeddynt yn amser y dinystr. Wrth edrych ar breswylwyr deheudir yr Eidal ddwy flynedd yn ol, yr ydoedd yr ysgrifenydd yn barnu fod dinystr yr ymolchleoedd hyn, a dirywiadau eraill cyffelyb iddynt, yn golled annhraethol i naw o bob deg o honynt. Mae syniad pobl y wlad am ymolchi, wedi cyfnewid llawer er dyddiau Pompeii, oblegid mewn ymarferiad y maent wedi myned o un eithafion i'r llall yn yr ystyr hwn.

Ymddengys oddiwrth nifer eu temlau, fod y preswylwyr wedi ymroddi i eilunod. Yr oedd crefydd yn ei ffurf baganaidd yn sefyll yn uchel yn y ddinas. Nid oedd braidd heol nad oedd ynddi deml i un o'r duwiau Rhufeinaidd, megys teml Mercury, Fortune, Venus, Jupiter, Isis, &c. Ond er lluosawgrwydd y duwiau a addolent, a'r temlau a adeiladent, a'r offeiriaid a borthent, yr oedd eu bywyd cymdeithasol yn hynod o anfoesol a llygredig. Ar ol 1800 o flynyddau o ddystawrwydd, ac wedi i'r byd am ganrifoedd lawer anghofio fod y dinasoedd hyn wedi bodoli, mae eu hadfeiliadau yn cyfodi o'u beddau ac yn cyhoeddi i'r byd yn y bedwaredd-ganrif-ar-bymtheg, mewn iaith nas gellir ei chamsynied, nid yn unig eu bodolaeth a'u dinystr, ond hefyd eu pechadurusrwydd a'u llygredd, ac yn awgrymu mai yr hwn a orchymynodd dân o'r nefoedd i ddinystrio dinasoedd y gwastadedd yn nyddiau Lot, a fu yn cynhyrfu perfeddion Vesuvius i'r dyben o losgi y ffauau gwarthus hyn, ac i gladdu eu budreddi allan o'i olwg sanctaidd ei hun.

Rhaid terfynu yn y fan hon. Gair am Rhufain yn yr ysgrif nesaf.

---

## Y PARCH. PHILIP L. DAVIES.

### CAMDEN.

GAN Y PARCH. D. W. MORRIS, TAYLORVILLE.

Am dano gellir mynegi bywgraffiad y Beibl i Mordecai yr Iuddew addolgar, anwylddyn Esther, casddyn Haman, a dewisol ddyn y brenin i gael anrhydedd a mawrfri. Efe oedd wr cymeradwy yn mysg lluaws ei frodyr; yn ceisio daioni i'w bobl, ac yn dywedyd heddwch i'w holl hiliogaeth.

I. Ei dderbyniolrwydd gwerinol.

1. "Efe oedd wr" a aned rhwng mynyddoedd Mynwy, gwyntoedd Gwent, a broydd y Blaenau, o gwmpas y flwyddyn 1829. Eithr y neb a elo ar ddydd ffair i Langadog, a Llandeilo, i Lansadwrn, a Llanymddyfri, a wel yno ddynion tebyg iawn yn arddull y prydweddion, meindra y corff, a mwynder y llygaid. Ac yn ardal meddygon Myddfai, wrth sawdl y mynydd du, a llanerchau llad Pantavon y ganed ei dad; a "Dafydd y Gorllewin" y gelwid ei enw, ar Dwyn y Seren, glanau yr Ebwy. a'i haddef yn aer iddi. Ei fab a alwodd efe yn Philip, efallai o barch i Phylip y pysgotwr o Bethsaida, neu Philip Griffiths o'r Alltwen, neu Philip Rees o Dredegar, neu Philip Melancthon y diwygiwr. Tebyg na chafodd ei enwi felly er cofio am Philip Fawr o Macedonia, ac arwydd y bwch ar ei luman, awch y fagddu ar ei gryman, ac Alexander ei fab yn bla ar y byd cyfan. Daeth Philip yn phiol i'r gwin, Lewis yn

Digitized by Google

llais o'r glyn, a Davies yn ddiliau dyddanwch i gredadyn.

2. "Efe oedd wr cymeradwy."—Mudodd i Mynwy yn blentyn, cyrhaeddodd i Went i weithio, ac yn y Blaenau y bu yn blino a chwysu, yn cario a gyru, yn llafurio ac yn ymboeni. Daeth y Parch. William Roberts yn weinidog i Salem y Blaenau yn 1846; yr oedd yn briod â merch Daniel Jones, Liverpool, tad Ebenezer Rowland Jones, ac adwaenid Mr. Roberts dan yr enw "Nefydd," yn morio môr y meddyliau mawrion. Tybiwn mai efe a fu yn bedyddio y bachgen Philip mewn afon loew, dyfroedd rhedegog, a ffrwd yn y fro, gan ei gyflwyno i'r Iesu. A daeth y bachgenyn yn gymeradwy gan bererinion y Blaenau, efengylwyr Ebwy, y saint yn Salem, a'r nwyfus "Nefydd" ei hun. Tri gem yn ei goron fu, ei fedyddio gan "Nefydd," ei wisgo â nodedigrwydd, a'i ddyrchafu i fawredd a nefolrwydd.

3. Efe oedd gymeradwy yn mysg y bobl. Daeth yn hogyn i America, disgynodd yn Mhennsylvania, ac ymsefydlodd yn y Five Points. Pump o bwyntiau bywyd iddo fu addoli ei Grewr, arddel y Gwaredydd, adwaen ei ras, anwylo ei deulu, ac argeisio ei ogoneddu. Dyna y pyrth i Bethesda y bywyd, y pellrawd i dy trugaredd, a'r pwyntiau i oes y bachgen myg, yn ei wroli.

4. Efe yn gymeradwy gyda lluaws ei frodyr. Tad iddo fu y Parch. William Morgan, Pottsville; mam iddo fu gwraig y ty; brawd iddo fu Richard Edwards, a chwaer iddo fu pob merch hyfwyn yn y dyrfa. Ac yr ydoedd Agrippa yn ei barchu, y Bereaid yn ei anwylo, Cornelius yn ei wahodd, Demetrius yn ei ganmol, Erastus yn ei anrhydeddu, a Ffestus yn gadael iddo dyfu.

II. Ei ddefnyddiolrwydd yn goffaol.

1. Efe yn ceisio ac awyddu. Mae tri modd i godi dyn i bregethu. Duw yn gogwyddo, duwiolion yn cydsynio, a'r dyn ei hunan yn ceisio. Tua deunaw mlwydd oed teimlodd Philip duedd i bregethu, eglwys Pottsville yn foddlon, Mr. William Morgan yn awyddu, a'r diaconiaid yn cydolygu, ac yno bu y gogwyddo diwyrni, y cydsynio parod, a'r ceisio dyfal.

2. Efe yn ceisio drwy benderfynu. Derbyniwyd ef i Athrofa Lewisburg, ac yno bu yn aberthu cysuron ar allor addysg. Astudiodd y gwybodion, blaenorodd ar y llu, cododd gyda gwawrddydd, dilynodd yrfa enwogion, ac efrydodd egwyddorion amryfath, a gadawodd y coleg â'r M. A. ar ol ei enw. Mab aruchel, manna angel, a melodi yr addewidion, ar y morfa yn denu.

3. Efe yn ceisio daioni. Anfaddeuadwy, yn fy marn i, oedd arwallu ei enw o'r *Baptist Encyclopedia,* a gyhoeddwyd yn Philadelphia yn 1881. Dyrchefir yno rai o gyffiniau ebargofrwydd, o gorsydd dinodedd, ac o ymylon diddymdra, ac ar y dalenau hyny y *maent* yn gwywo, y *byddant* yn mallu, ac y cânt eu gadael gan y miloedd i ddihoeni. Mae ceisio *dim* yn ffolinebrwydd, ceisio *drwg* yn melldithio, a cheisio *daioni* yn elfyddu y Mawredd ei hun, yn agoriad y wawr, blagur y coed, cariadusrwydd yr haf, digonedd y ddol, a haelfrydedd ei ddeheulaw.

4. Efe yn ceisio daionusrwydd i dyfu. Philip L. Davies a urddwyd ar eglwys y Bedyddwyr yn Carbondale, Pa., eglwys y bu llewyrch mawr arni, llawer iawn ynddi, a llawenydd bywiol drwyddi. Dyna lle bu y Parch. B. E. Bowen yn tynu y bwa, Daniel ei frawd yn llwyddo am helfa, T. B. Morris yn arwisgo y drugareddfa, a P. L. Davies yn planu olewydd Palestina i'r pererinion ymfudol, i ymhyfrydu dan y llwyni llad. Pregethai am awr yno yn y boreu, awr yn Olyphant y nawnddydd, a mwy nag awr yn Carbondale yn yr hwyr. A bu cwmwl y nos yn goleuo, corn y lleuad yn ymlenwi, a siriolwch y ser, yn swyn i'r llu.

5. Efe yn ceisio daioni i'w genedl. Elai i'r gyfeillach yn Carbondale un tro, a brawd dall wedi ei flaenu, ac yn eistedd yn ymyl y tân, ac holi, "Pwy sydd yna?" ac atebai y gweinidog, "Pechadur sydd yma;" a bu yn y *stove,* y tân a'r addoldy yn Hephziba, yn Beulah, a gardd y brenin yn yr oedfa

Digitized by Google

hono. Mae Betty Jones, a John Prothero, a P. L. Davies, wedi myned i fyny, ond y mae Henry Phillips a Mrs. Phillips, yn gwylio, Richard Davies a Mrs. Davies yn ymroddi, Daniel Davies yn cofio y gair drwyddo. Mrs. Jones yn ffyddlon, a Mrs. Hughes yn garedig. Trueni na byddai John Jones a John Hughes yn ymaelodi, yn herwydd y mae marwolaeth yn agos, ac ail fyd gerllaw.

III. Ei derfynolrwydd yn gynarol.

1. Ac yn dywedyd, "Wedi ei ddonio, ei areithfa yn Areopagus dano, ei wefus yn allor i danio, a bydd cofebion byw am dano yn traethu ar weddnewidiad yr Emanuel, yr eglwys ar y graig, a Duw yn ymgilio i deml ei sancteiddrwydd, i gael ei bobl iddi.

2. Ac yn dywedyd am heddwch yn dylifo. Dywedai yn y 'gyfeillach yn brofiadol, yn y teuluoedd yn frawdol, ar y ffyrdd yn gymydogol, ac yn y pwlpud yn freninol allu. A bu heddwch yn dylifo, hyfrydwch yn ei fro, a harddwch yn ei osgo.

3. Ac yn dyweyd i'r oll dano. Pan fyddo un eglwys yn bostio yn ei gallu, edryched o amgylch iddi, a gwel eglwysi bychain yn diflanu, y cyfundeb cymanfaol yn gwaelu, ac enwadau eraill yn gwawdio ac yn danod y gwendid. Ac nid yw anwybyddu, a balchïo, cysgu, a dwrdio, gwaeddi ac edritho, yn gallu mudo un o'r meini tramgwydd o Bozra, o Bethaven, na Babel Mandel.

4. Ac yn dywedyd am hedd a dringo. Aeth Philip L. Davies yn weinidog Amerigyddol, a bu yn y *Berean Church* yn New York, yn pregethu yn well na Beecher, Dowling, ac na Talmadge. Yn y Delaware yn drên o fuanedd, ac yn darian o fonedd. Yn y Camden y bu farw yn 1875, yn 41 mlwydd oed, a gweddw yn galaru, amddifaid yn goroesi, a meibion mawredd yn edmygu athrylith y dyn, boneddigeiddrwydd y cyfaill, cynesrwydd y brawd, didwylledd ei galon, a mwynder ei fron.

"Wedi dylyd hyd elawr—yn benaf,
Daith boenus daearlawr,
Duw'n hedd i'w wneyd yn hoeddwawr,
Firain fyth yn y farn fawr."

---

# Fflachiadau Athrylith.

## GWERSI RHAGLUNIAETH.

Aeth Juda a Jerusalem, drwy hir ymgaledu ac ymgyndynu dan oruchwyliaethau Duw, i'r fath ystâd a chyflwr o'r diwedd, fel y rhoddodd yr Arglwydd hwynt i fyny yn ei soriant, ac y dygodd arnynt weinidogaeth galetach nag un a brofasant o'r blaen, er y dydd y daethai eu tadau dros yr Iorddonen hyd y dydd hwn, pan y caethgludwyd hwy o honi i Babilon. Yr oedd yn anhawdd iawn ganddo ef wneuthur hyn—rhoddi "anwylyd ei enaid" yn llaw eu gelynion, a bwrw "had Abraham ei anwylyd" ymaith o'i olwg. Y mae swn ymysgaroedd ei dosturiaethau i'w glywed yn rhuo yn ei leferydd wrthynt drwy y prophwydi yn fynych. "Cymer addysg, O Jerusalem! rhag i'm henaid ymadaw oddiwrthyt, rhag i mi dy osod yn anrhaith, yn dir anghyfaneddol." (Jer. 6 : 8.) Llawer o weithiau y llefarodd yr Arglwydd wrthynt ac am danynt drwy ei holl weision y prophwydi; ond llosgodd holl feginau ei ragluniaeth a'i air, "a chan dân y darfu'r plwm; yn ofer y toddodd y toddydd; canys ni thynwyd y rhai drygionus ymaith. Yn arian gwrthodedig y gelwir hwynt bellach; am wrthod o'r Arglwydd hwynt." Ac wedi i'w Duw eu gwrthod, i ba le yr ânt, a beth a ddaw o honynt? I law Nebuchodoncsor, i'w caethgludo i Babilon am ddeng-mlynedd-a-thriugain; ac er y cânt eu gwaredu oddiyno, a'u dwyn yn ol i'w gwlad eu hunain, eto ni adferir hwy byth i'w hurddas gwladwriaethol yn ngolwg y cenedloedd, fel y buasent o'r blaen; ni bydd iddynt byth frenin o had Dafydd i eis-

Digitized by Google

tedd ar ei orseddfainc ef mwy; bydd creithiau eu hen bechodau, a cherydd-on Duw arnynt o herwydd eu pechodau hyny, yn aros ar wyneb eu sefyllfa a'u cyflwr fel cenedl a gwladwriaeth o hyny allan; dan warogaeth i'r cenedloedd—y Persiaid, y Groegiaid, a'r Rhufeiniaid, y naill ar ol y llall—y byddant mwy, hyd oni ddel Crist i "eistedd ar orseddfa Dafydd," mewn ystyr ysbrydol, "ac i'w chadarnhau hi â barn ac â chyfiawnder, o hyn allan byth."

Dyna y pethau a ddygwyddasant iddynt hwy, ac "a ysgrifenwyd er addysg i ni;" dyna fel y terfynodd yr hir ymryson a fuasai rhwng Duw a'r bobl hyny, trwy weinidogaethau ei ragluniaeth, ei air a'i Ysbryd, er eu dychwelyd oddiwrth eu pechodau, fel y gallasai efe eu harbed a'u bendithio, ac y mynent hwythau wrthod gwrando, a thrwy y cwbl fyned yn mlaen yn ffyrdd eu calon gildynus. Ond beth yw yr addysg i ni yn y pethau hyn? Yr addysg ydyw, Os yw yr un pechodau yn ffynu yn ein gwlad, y rhai y cyhuddid hwy o honynt, ac os ydym yn gweled fod y Brenin mawr yn ceryddu Prydain yn y blynyddau hyn, drwy yr un cyffelyb oruchwyliaethau yn awr, ag y ceryddodd efe y bobl gynt; ac os ydyw hithau yn parhau i fyned yn mlaen, gan ymgaledu fwy-fwy yn ei phechodau, fod genym achos mawr i ofni a chrynu rhag y bydd yr un cyffelyb ddiwedd i Brydain Fawr, â'i Llundain fawr, ag a fu i Juda enwog, â'i Jerusalem ardderchog —*Koheleth*.

## Y FFORDD I LWYDDIANT.

Gweithio yn galed ydyw y brif ffordd i lwyddiant. Nid all ond carpiau a thlodi ddod o ddiogi. Seimlyd benelin ydyw yr unig stwff i wneyd aur o hono. Dim chwys, dim melus. Yr hwn a fyno gael wyau y frân, a raid ddringo'r goeden. Rhaid i bob dyn adeiladu ei ffortiwn ei hun yn y dyddiau hyn. Llewys y crys wedi eu torchi i fyny a arwain i feddiant o'r brethyn goreu; a'r hwn nad yw gywilydd ganddo yr arffedog a fydd yn fuan yn alluog i wneyd hebddi. "Diwydrwydd yw mam lwc dda," fel ag y dywed poor Richard; ond "Diogi ydyw gobenydd y diafol," fel y dywed John Ploughman. Credwch mewn teithio yn mlaen gam a cham; peidiwch a dysgwyl bod yn gyfoethog ar unwaith. Peidiwch a rhoi i fyny fusnes bychan hyd nes y gwelwch y tâl un mawr i chwi yn well. Gwnewch can lleied o gyfnewidiadau ag a alloch. Os cewch anhawsderau mewn un lle, cewch hwynt mewn lle arall. Os symudwch oblegid ei bod yn llaith yn y dyffryn, canfyddwch ei bod yn oer ar y bryn. Peidiwch a neidio i lyn nad ydych yn gweled ei waelod. Peidiwch a bod uwchlaw eich busnes. Yr hwn sydd yn troi ei ffroen oddiwrth ei waith, mae yn ffraeo a'i fara a'i fenyn. Mae hwnw yn of gwael iawn a fyddo yn ofni ei wreichion ei hun. Mae rhyw gymaint o bethau annymunol mewn cysylltiad a phob gwaith ond ysgubo simneiau. (Mae y gwaith hwnw i gyd yn annymunol wrth gwrs.) *Nonsense*, fy nghydymaith anwyl, nid oes dim yn isel nac yn gywilyddus mewn un alwedigaeth onest. Peidiwch a bod yn ofnus i faeddu eich dwylaw; mae digon o sebon i'w gael. Peidiwch a cheisio gwneyd arian trwy ddull castiog. Nid yw yn talu i lyfu mel oddiar ddrain. Ni wna dyn gonest gi o hono ei hunan mewn trefn i gael asgwrn. Peidiwch byth a dinystrio eich henaid er mwyn sorod; mae hyny yn debyg i foddi eich hunan mewn ffynon i gael llwnc o ddwfr. Peidiwch a chymeryd dim mewn llaw y bydd raid i chwi edifarhau o'i blegid. Arian glân neu ddim; marciwch hyny, oblegid bydd enill a gafwyd mewn dull anghyfreithlon yn golled dragywyddol.—*Y Parch. C. H. Spurgeon*.

## YN ENW'R IESU.

Mae yr efengyl hon, yn ol gorchymyn Duw, i gael ei phregethu, sef ei *chario* i fyny yn enw y Brenin a'r Senedd; felly yr aeth allan y deuddeg ap-

Digitized by Google

ostol yn enw Iesu Grist. Bu Aaron farw wedi diosg y wisg, a'r enwau, a'r clychau; am hyny ni chlywid eu sain pan y syrthiodd yn mynydd Hor yn gwneyd un ddolef; a phan y cyfyd ef yn y dydd a ddaw, ni bydd tinc gan y clychau; ond bu Iesu farw yn Ben y genedl gyfiawn, a'i wisg am dano. Yr oedd tri-ugain-a-deg o glychau wrth odreu Aaron, ond gellir darlunio fod holl addewidion, prophwydoliaethau, ac athrawiaeth yr efengyl, yn crogi wrth odreu ei wisg, y rhai a dinciasant dros Galfaria, ac a fywhauant pan y bu farw; a phan y cyfododd ef o'r bedd. Yr holl addewidion, o Genesis hyd Ddatguddiad Ioan, a ysgwydasant, gan seinio tangnefedd ar y ddaear, pan y cyfododd, a'r holl addewidion y'nghrôg wrtho; ac enwau ei bobl ar ei ddwyfroneg. Yr hon a dderbyniasoch yn grediniol a phrofiadol, ymaflodd hi ynoch fel y cawsoch lygaid i weled, clustian i glywed, a bywyd i weithredu; ac yn yr hon yr ydych yn sefyll heb ymadael oddiwrth ddysgwyl bywyd tragywyddol trwy Iesu Grist.—*Christmas Evans.*

---

## CRAIG YR OESOEDD.

(ROCK OF AGES.)

Craig yr Oesoedd, gad i mi
Lechu yn dy gysgod di;
Gad i'r gwaed a'r dw'r o glwy'
D'ystlys lifodd drosof, mwy
Olchi'm beiau, trefnu'n rhad
I'm heuogrwydd gyfiawnhad.

Gwaith fy nwylaw, pe yn llawn,
I dy gyfraith ni rydd iawn;
Fy awyddfryd pe'n ddilyth,
A fy nagrau'n tywallt byth,
Oll am gamwedd 'thalant ddim,
Rhaid dy gael yn Geidwad im'.

Yn fy llaw un rhodd nid oes,
Unig glynaf wrth dy groes;
Noeth, Tydi yw'r wisg o werth;
Eiddil, ynot Ti mae'm nerth;
Aflan, i dy ffynon âf,
Oni'm golchi marw wnaf.

Tra y tynaf f' anadl brau,
F' emrynt pan yn angeu'n cau,
Pan gaf olwg ar dy wedd
Fry yn urdd dy farnol sedd,
Craig yr Oesoedd, gad i mi
Lechu yn dy agen di.

*Cyf.* ANEURIN VARDD.

---

## BEDYDD BABANOD—

PA BRYD Y DECHREUODD?

GAN Y PARCH. WM. JONES, WISCONSIN.

*Mr. Golygydd*—Gwelaf eich bod am gael gwybod genyf, pa bryd y dechreuwyd bedyddio plant, a pha fodd y daeth i mewn. Ymddengys fod dull a deiliaid bedydd wedi eu cyfnewid tua'r un amser, ac o herwydd yr un achos, a hyny mor foreu a diwedd yr ail ganrif neu ddechreu y drydydd. Yr achos o gyfnewidiad y ddau oedd, fod yr eglwys, neu lawer o honi, wedi myned i feddwl, oddiwrth y geiriau yn Ioan 3: 5, yn benaf, fod bedydd mor angenrheidiol er cadwedigaeth dyn a phlentyn, fel nad oedd gobaith am ddim ond colledigaeth y naill a'r llall os buasent farw yn ddifedydd. Felly os buasai baban yn glaf, ac mewn perygl o farw, bedyddid ef, fel na buasai yn cael ei ddamnio; ac os buasid yn barnu y buasai perygl ei drochi ef, tywalltid dwfr arno, neu os ofnid gwneyd hyny, gwneid yn y dull goreu y gellid. Mae Chamierus yn dweyd, "Mai trochiad yr holl gorph oedd yr arferiad o'r dechreuad, yr hyn sydd yn gosod allan feddwl y gair bedydd. Am hyny yr oedd Ioan yn bedyddio yn yr afon. Wedi hyny cyfnewidiwyd ef i daenelliad, er nad yw yn sicr gan bwy, a pha bryd y dechreuwyd ef."—*Haynes' Cyclopedia, p.* 145. Gwelir oddiwrth dystiolaeth y gwr dysgedig uchod, nad yw mor hawdd dweyd am ei ddechreuad i fanylrwydd.

Mae Mr. Spurgeon yn dyweyd, "Pa awdurdod sydd gan arferiad (bedydd babanod) ag a ellir profi yn bodoli tua diwedd yr ail neu ddechreu y drydedd

Digitized by Google

ganrif?" Ond gan mai Bedyddiwr yw ef, gadawn ef o'r naill du.

Salmasius a Suicerius a dystiant, "Nad oedd neb yn y ddwy ganrif gyntaf yn cael eu bedyddio cyn cael eu dysgu yn gyntaf yn y ffydd, a chael eu cyfarwyddo yn athrawiaeth Crist, a bod yn alluog i broffesu eu hun yn gredinwyr yn ol y geiriau hyny, "y neb a gredo ac a fedyddier."—*Van Dale's Hist. of Bap., p.* 1136.

M. Farney a ddywed, "Hwy fedyddient o'r amser hwn (diwedd yr ail ganrif,) fabanod yn gystal a rhai mewn oed."—*Abridg. Eccles., Vol.* 1, *p.* 33.

Mae Eurceleus yn dweyd, "Yr oedd bedydd babanod yn y ddwy ganrif gyntaf ar ol Crist yn hollol anadnabyddus, ond yn y drydedd a'r bedwaredd, defnyddid ef gan rai; yn y bumed, a'r oesau dilynol, yr oedd yn cael ei dderbyn yn gyffredinol. Ni ddechreuodd yr arferiad o fedyddio babanod cyn y drydedd oes ar ol Crist; yn yr oesoedd cyn hyny ni chawn un hanes am dano, a dygwyd ef i mewn heb orchymyn Crist."—*Inst. Relig. Christ., c.* xii.

Mr. Chambers sydd yn sylwi, "Ymddengys nad oedd neb yn cael eu bedyddio yn yr amseroedd cyntaf ond dynion mewn oed.—*Cyclop., Article Baptism.*

Venema sydd yn sylwi, "Mae yn sicr fod bedydd babanod yn cael ei arfer yn yr ail ganrif, eto yn y fath fodd fel nad oedd yn arferiad yr eglwys, nac yn cael ei ddefnyddio yn gyffredinol, llawer llai yr oedd yn cael ei gymeradwyo gan y lluaws. Nid yw Tertullian yn ei enwi yn mysg traddodiadau yr eglwys, y rhai a ddefnyddid yn gyhoeddus, ac yr arferid eu cadw." *Hist. Eccles.*, 108.

Tyst arall ar y pen hwn yw Thomas Lawson, yr hwn oedd yn un o'r Crynwyr, a thrwy hyny yn farnwr diduedd. "Gwel awdwr *Rantism*, hyny yw taenelliad, nid Crist na'r apostolion, eithr Cyprian, nid yn nyddiau Crist, ond rhyw ddau cant a deg-ar-hugain o flynyddoedd wed'yn. Austin, mab i'r rhinweddol Monica, er ei fod wedi ei ddysgu yn y ffydd, eto nis bedyddiwyd ef hyd nes yr oedd yn ddeg-ar-hugain oed. Ambrose, er ei fod wedi ei eni o rieni Cristionogol, ac a ddysgwyd yn egwyddorion Cristionogaeth, nis bedyddiwyd ef hyd nes y dewiswyd ef yn Esgob Milan. Yr un modd gyda Jerome, ac eraill. Ymddengys fod athrawiaeth Fidus, o berthynas i drochi neu daenellu plant, yn beth newydd i Cyprian, gan nas gallai ei gadarnhau heb gael barn a chyngor chwech-a-thriugain o esgobion. Pe buasai wedi ei orchymyn gan Grist, a'i arfer gan yr apostolion, a pharhau mewn dull a sylwedd hyd amser Cyprian, ni fuasai angen cymaint i benderfynu y mater."

Mae Beveridge yn dweyd yn ei bymtheg rheol apostolaidd, "Fod y ddefod o daenellu yn cael ei harfer yn lle trochiad yn amser y Pab Gregory, yn y chweched ganrif."

Mae John Calvin, yn ei esboniad ar Act. 8: 38, yn sylwi, "Yma y gwelwn pa fodd yr oedd bedydd yn cael ei weinyddu gan yr henafiaid, oblegid hwy a drochent yr holl gorph yn y dwfr; yn awr yr arferiad cyffredin yw (yn Geneva) i'r gweinidog i daenellu y corph neu y pen."

Priodol yn y fan yma yw rhoddi tystiolaeth Esgob Smith, Kentucky: Dywed, "Fod trochiad nid yn unig yn gyffredinol chwech neu wyth cant o flynyddoedd yn ol, eithr yr oedd yn wreiddiol ac apostolaidd; nid oes un hanes ar gael am fedydd yn cael ei weinyddu mewn un dull arall am y tri chanrif cyntaf, oddieithr yr ychydig achosion o rai yn cael eu bedyddio ar eu gwelyau. Mae y cwpan a'r daenell yn gwbl Genevaidd yn eu tarddiad; hyny yw, dygwyd hwy i mewn gan Calvin yn Geneva."—*Bliss' Letters, page* 24.

Dean Stanley a ddywed, "Fod bedydd trwy daenelliad yn cael ei wrthod gan yr holl eglwys henafol (oddieithr yn yr ychydig achosion o wely angau neu angenrheidrwydd eithafol), fel pe heb fod yn fedydd o gwbl. Yr eithriad cyntaf, braidd, oedd yr heretic Novatian. Yn yr oes apostolaidd, ac yn y tair canrif dilynol, mae yn eglur, fel rheol gyffredin, mai personau mewn

Digitized by Google

oed oedd yn dyfod i ymofyn bedydd, o'i llawn ddewisiad eu hunain. Yr ydym yn cael ychydig engreifftiau o fedydd plant yn y drydedd ganrif—cawn un engraifft o fedydd babanod. Mae hanes am blant rhieni Cristionogol, megys Chrysostom, Gregory, Nariansen, Basil, Ephrem, Odessa, Austin, Ambrose, &c., yn brawf penderfynol, nid yn unig nad oedd yn ddyledswydd, ond nad oedd yn arferol. Yr oedd ganddynt hwy rieni Cristionogol, eto nis bedyddiwyd hwynt nes iddynt gyrhaedd addfedrwydd oedran. Dywed y Deon, "mai un rheswm dros y cyfnewidiad oedd y teimlad ofergoelus oedd yn edrych ar fedydd fel *charm*, yn hanfodol i iachawdwriaeth, ac yn hawlio ei weinyddu i bob un y gellid cyffwrdd dwfr ag ef, pa mor anghydwybodol bynag y byddai. O herwydd y rheswm hwnw y daeth yr arferiad o ddwyn (*steal*) plant i gael bedydd heb gydsyniad eu rhieni, megys yn achos y bachgen Iuddewig Mortara."—*Stanley on Baptism, complete ed., pp.* 23—25.

Weiner, yn ei *Lectures on Archaeology in manuscript*, a ddywed, "mai ar yr afiach y gweinyddid taenelliad ar y cyntaf, ond yn raddol gweinyddid ef i eraill ar ol y seithfed ganrif; ac yn y drydedd-ganrif-ar-ddeg yr oedd wedi dyfod yn arferiad gyffredinol yn y Gorllewin.

Venema a dystia, "Fod Tertullian yn gwrthwynebu bedydd babanod, yr hyn ni fuasai yn ei wneyd pe buasai yn draddodiad, ac yn arferiad yn yr eglwys, gan ei fod yn hynod ofalus am draddodiadau; a phe buasai bedydd babanod yn draddodiad, buasai yn sicr o wneyd sylw o hyny. Yr wyf yn casglu, gan hyny, nad oedd bedydd babanod yn bodoli cyn dyddiau Tertullian, ond fod rhai yn ei ddyddiau ef am gael eu plant wedi eu bedyddio, rhag ofn iddynt farw yn ddifedydd, ond gwrthwynebwyd hwy gan Tertullian." Gwel *Bedydd y Testament Newydd*, gan y Parch. T. Price, tu dal. 47.

Eusebius, un o'r haneswyr eglwysig mwyaf ymddiriedol, a sylwa, "Fod Novatian wedi syrthio i anhwyldeb gofidus, a meddyliwyd y buasai farw yn ebrwydd, a derbyniodd fedydd; taenellwyd ef â dwfr drosto i gyd yn y gwely ar yr hwn y gorweddai, os gellir galw y fath weithred yn fedydd." Yr oedd Novatian yn byw rhwng yr ail a'r drydedd ganrif, a thystir gan luaws o'r awduron penaf, mai dyma yr engraifft gyntaf o gyfnewidiad yn null gweinyddiad bedydd, ac edrychid ar y fath ddull o weinyddu mor afreolaidd, fel pan yr ymgeisiodd Novatian am swydd eglwysig, dygwyd afreoleidd-dra ei fedydd yn rheswm dros ei wrthodiad.

Bunsen, sef un o brif ddysgedigion Germany, a sylwodd, "Fod bedydd plant yn ei ddull diweddar, hyny yw, bedydd babanod newydd eni, gyda meichniaeth rhieni, neu ryw rai eraill, yn gwbl anadnabyddus i'r eglwys foreuol, nid yn unig yn niwedd yr ail ganrif, ond hefyd yn nghanol y drydedd ganrif." (Gwel *Bunsen's View of Baptism, p.* 11.) Yn tu dalen 17 o'r un gwaith, dywed yr un awdwr galluog, mewn cyfeiriad at gyfnewidiad bedydd, "Mewn canlyniad i'r cyfnewidiad hwn, a llwyr ddymchweliad ei brif ffurf, yr hyn a ddygwyd oddiamgylch yn benaf gan yr Affricaniaid yn y drydedd ganrif, ac a gwblhawyd gan Austin (yn neu cyn y flwyddyn 428 o. c.), mae'r elfenau naturiol hyn (meddai, gan gyfeirio at fedydd, yn nghyda phethau eraill a gyfnewidiwyd), wedi eu dadgyfansoddi yn ofidus, yn yspaid agos i bymtheg cant o flynyddoedd, fel nad oes dim yn aros yn awr yn unman ond dadfeiliad." Eto dywed, "Darfu'r Eglwys Orllewinol, dan arweiniad Rhufain, ddiddymu bedydd y crediniol, a chydag ef hefyd ei arwyddocad (*symbol*) sef trochiad, gan ddwyn taenelliad yn ei le."

Dywed Weiner, "Yn wreiddiol nid oedd neb ond dynion mewn llawn oed yn cael eu bedyddio, ond tua diwedd yr ail ganrif, yn Affrica, ac yn y drydedd ganrif yr oedd bedydd babanod yn cael ei ddwyn i mewn; ac yn y bedwaredd ganrif yr oedd yn cael ei ddal i fyny yn dduwinyddol gan Austin."—*Winer's Manuscript Lectures.*

Cawn eto dystiolaeth Matthies ar y

Digitized by Google

pen hwn: "Yn y ddwy ganrif gyntaf nid oes un prawf ysgrifenedig ar gael sydd yn dangos yn eglur fod bedydd babanod yn bodoli y pryd hwnw."

Dywed Winer, "mai Tertullian sydd yn son gyntaf am fedydd babanod; ac nad yw Ireneus yn son dim am dano, fel y tybiwyd ei fod."

Gwelaf mai y perygl mwyaf ydyw i mi ddyfod a gormod o dystion, a thrwy hyny wneyd fy ysgrif yn rhy faith. Gobeithiwyf, er hyny, y madd-eua darllenwyr y Wawr, os dygaf rai tystion yn ychwaneg yn mlaen yn erbyn y fath gysegr yspeilwyr sydd wedi gweithio allan o eglwys Crist ddarlun mor brydferth a llawn o'i ddyoddefiadau, ei gladdu, a'i gyfodi o'r bedd, ac wedi achosi i ganoedd o filoedd o gystal dynion a'r Arlywydd Garfield gael eu lladd heb drugaredd am wadu eu hawl i gael bod yn eglwys Dduw.

Mae Keiser, yn ei *Bible Theology*, wrth sylwi ar Act. 18 : 8, yn dyweyd, "Mae'r hanes cyntaf sydd genym am fedydd babanod, i'w gael yn yr eilfed ganrif." Dywed Rosser, Von Coln, a Munscher, &c., "yr ymddengys mai Tertullian, tua'r flwyddyn 204, ydyw'r ysgrifenydd Cristionogol, neu baganaidd, cyntaf, sydd yn son am fedydd babanod, ac mae ef yn ei wrthwynebu." "Prawf eglur," meddai Neander, "nad oeddid eto yn ei ystyried yn sefydliad apostolaidd; oblegid pe buasai felly, ni fuasai yn meiddio ei wrthwynebu mor benderfynol." Eto dywed Neander, "Tystiodd Tertullian yn erbyn bedydd babanod, yr hwn, yn sicr, nad oedd y pryd hwnw yn arferiad cyffredinol dderbyniol." Gwel hefyd ei *Ch. Hist., Vol. 1, p. 310*, lle y dywed yr hanesydd enwog diweddaf, "mai gyda'r claf yn unig, lle yr oedd angenrheidrwydd yn galw, y gwneid un eithriad gyda golwg ar drochiad." Yn un o'i Ddarlithiau ar Dduwinyddiaeth, dywed yr un awdwr, fod y Pabyddion yn apelio at draddodiad i amddiffyn bedydd babanod, tra mae Protestaniaid wedi gwrthod traddodiad i'w gynal i fyny; o herwydd hyny daeth y Diwygwyr i ddyryswch yn ei gylch; a chan eu bod wedi ymarfer ag ef, gwnaethant gynyg i'w brofi trwy yr Ysgrythyrau, a defnyddiwyd twyll resymau i'w gadarnhau.

Tybiwyf, Mr. Golygydd, fy mod wedi dwyn digon o dystion i brofi dechreuad bedydd babanod; mae agos gymaint o honynt ag a ddygwyd yn mlaen ar dreial y llofrudd Guiteau, ac maent oll yn ddynion o'r radd flaenaf fel haneswyr, beirniaid, esbonwyr, a phroffeswyr yn mhrif athrofeydd gwahanol wledydd y byd; dynion sydd wedi chwilio a gwybod pa beth oeddynt yn ei ddweyd, a'r oll o honynt yn daenellwyr, mor belled ag yr wyf yn deall, oddigerth un, sef Spurgeon; feliy nis gellir haeru fod eu tystiolaeth yn ymgodi oddiar deimlad o *partiality*. Mewn ysgrifau dyfodol dangosaf ei gynydd graddol nes cyrhaedd ei *glimax* uchaf yn Nghymanfa Bresbyteraidd Westminster, yn 1643, ei ddrygedd a'i *ddecline* presenol.

---

## ADRODDIAD O BREGETH

### YN HYDE PARK, PA.

---

Nos Iau, Mawrth 9, 1882, aethum i gapel y Bedyddwyr Cymreig yn Hyde Park, Pa., i wrando pregeth gan y Parch. J. Vaughan Davies, Penarth, Caerdydd, D. C., yr hwn sydd yn awr ar ymweliad am fyr amser a'r Unol Dalaethau. Bu yn America o'r blaen. Daeth yma y tro hwn i ymweled a'i chwaer, yr hon sydd yn Plymouth, Pa. Bwriada ddychwelyd yn Mai nesaf; ond yn y cyfamser y mae yn pregethu yn eglwysi ei enwad yn y wlad hon. Y mae yn ddyn ieuanc o olwg barchus a diniwed. Fel pregethwr y mae yn llefaru yn rhwydd ac eglur, ei faterion yn dda, a'i ddull yn sicrhau sylw ei gynulleidfa. Yr oedd yn noson stormllyd, y cenllysg mân wedi disgyn trwy y dydd, a mân-wlaw yn y prydnawn a'r hwyr, nes gwneyd y ffyrdd yn llithrig ac anhawdd eu cerdded, eto yr oedd cynulleidfa luosog wedi dod yn nghyd, a rhoddwyd gwrandawiad astud i'r brawd, a llawer o amenau. Gwelais y Parch. D. W. Morris yn y

Digitized by Google

gynulleidfa, yr hwn a wrandawai yn astud.

Y testyn oedd Heb. 12: 1. "Oblegid hyny ninau hefyd, gan fod cymaint cwmwl o dystion wedi ei osod o'n hamgylch, gan roi heibio bob pwys, a'r pechod sydd barod i'n hamgylchu, trwy amynedd rhedwn yr yrfa a osodwyd o'n blaen ni."

Y mae yn ymddangos i mi mai amcan mawr, amcan penaf yr Apostol wrth ysgrifenu yr Epistol hwn, oedd cadarnhau y saint yn y ffydd Gristionogol, yn eu crediniaeth Gristionogol am y presenol a'r dyfodol. Dengys yn gyntaf ragoriaeth yr efengyl ar yr hen oruchwyliaeth, yn ei holl adranau, yn gymaint ag y mae sylwedd yn rhagori ar gysgod. Y mae Duw yn llefaru yn eglurach yn yr efengyl. Bu yn llefaru trwy y prophwydi, ond nid oedd mor amlwg ag yn ei Fab. Yr oedd ynddo ef yn eglur. Y mae pob peth perthynol i'r efengyl yn well—gwell aberth, gwell amodau, gwell archoffeiriad; ac fel cyfundraeth a rheol bywyd ac ymarweddiad y mae yn well.

*Argument* Paul ydyw hyn: Y mae dynion dan yr hen oruchwyliaeth wedi byw yn dduwiol, ac wedi gwneyd pethau mawr; enwodd lawer o honynt oedd dan yr hen oruchwyliaeth; yr oeddynt yn byw dan anfanteision wrth eu cymharu a ni, ond yr oeddynt wedi rhagori yn fawr. (Darllen Heb. 11: 33, 34.)

Yr oedd yr amser yr oeddynt yn byw ynddo yn anfanteisiol mewn cymhariaeth a'r amser dan yr efengyl. Yn mha le yr oedd eu nerth hwy? Nid ynddynt hwy fel dynion galluog a thalentog; na, eithr gorweddai yn y ffaith eu bod yn credu Duw yn ei air, ac yn gweithredu yn gyson a'u crediniaeth yn addewidion Duw; a hyny bob amser, a gadael rhwng Duw â *results*. Yr ydym ni yn poeni ein hunain gyda *results*. Ein dyledswydd ydyw gwneyd ein gwaith, a gadael y cyfan wedi hyny gyda Duw. Dyma ddirgelwch eu nerth.

"Oblegid hyny ninau hefyd." Mae yma rywbeth i "ninau." "Gan fod cymaint cwmwl o dystion." Daw Paul ag engraifft arall o un yn dod i'r byd, yn myned trwy y byd, ac yn myned o'r byd, trwy ffydd. Pwy oedd efe? "Gan edrych ar Iesu." Dyma *fodel*, dyma safon i chwi, ac esiampl i fyw trwy ffydd. Y mae ffydd yn cyfrif am ei lwyddiant Ef yn y byd. Dywed Paul am dano yn byw trwy ffydd. "Yr hwn yn lle (neu yn fwy priodol, *am*) y llawenydd a osodwyd iddo, a ddyoddefodd y groes, gan ddiystyru gwaradwydd, ac a eisteddodd ar ddeheulaw Duw." Yr oedd Efe ar y ddaear, ac heb le i roddi ei ben i lawr; llawer yn ei wawdio ac yn ei erlid; ond yr oedd yn gweled ei le ar ddeheulaw Duw, wedi concro pobpeth, wedi myned adref i fyw, ac wedi gwisgo gogoniant ei *bosition* tragywyddol. Y mae am i ni fyw trwy ffydd. Os wyt ti yn gweled y palmwydd, rhaid i ti ymladd. Os wyt ti yn gweled dy hun wedi cyrhaedd Canaan, bydd yn help i ti fod yn amyneddgar. Dyna *argument* Paul. Os gellir credu Duw, bydd yn help i ni. Yr hwn sydd wedi addaw y nef, a ninau yn credu hyny, am fod Duw wedi ei haddaw. Pan yn gofyn i Dduw am lwyddiant i'r efengyl, rhaid i ni gredu ein bod yn gweled y byd wedi ei achub.

Gwelwn yr olwg y mae Paul yn gymeryd ar y bywyd crefyddol—*rhedeg*. Bryd arall sonia am fywyd crefyddol yn debyg i fywyd *milwr*. "A gwisgo holl arfogaeth Duw." Bryd arall sonia am dano fel *morwr*. "Gobaith fel angor." Hefyd *pererin*, "pererin yn y tir." Ond yma y gymhariaeth ydyw *gyrfa*. "Rhedeg yr yrfa."

Rhaid i ni gadw y gymhariaeth hon o flaen ein llygaid os ydym am ddeall yr Apostol. Dengys hyn fod bywyd crefyddol yn fywyd o ymdrech—rhedeg fel dyn sydd ganddo rywbeth mewn golwg—*ymdrech*. Nid afresymol yw gofyn am ymdrech gyda chrefydd. Nid oes un gwaith yn y byd y gellir ei gyflawnu heb ymdrech. Y mae y morwr a'r milwr yn gorfod ymdrechu. Paham y gwnawn ni rwgnach ein bod i ymdrechu yn y bywyd crefyddol? "Yr hyn yw eich rhesymol wasanaeth chwi." Os oes rhywbeth yn werth ymdrech,

Digitized by Google

bywyd yw hwnw, ac yn neillduol bywyd tragywyddol.

Rhedg wrth reol. Y mae yma *line* ar y *race-course*, llinell wedi ei rhoddi er mwyn i ni ddeall y llwybr. Y mae o bwys ein bod yn rhedeg yn ol y rheolau, fel y maent wedi eu gosod o'n blaen. Cofiwn hyn.

Cyfarwyddiadau i redeg y bywyd crefyddol. "Gan roi heibio bob pwys, a'r pechod sydd barod i'n hamgylchu." Y mae pwys yn y "rhoi heibio" hwn. Bywyd o aberth yw y bywyd crefyddol. Rhaid aberthu. "Rhoddwch eich cyrph yn aberth byw, sanctaidd a chymeradwy," &c. Golyga ein bod yn rhoddi heibio bob peth sy'n rhwystr i ni fyw yn grefyddol. Nid oes dim yn fwy o rwystr i redegwr na phwysau. Y mae rhedegwr yn taflu heibio bob pwys y gall ef fod hebddo. Felly y mae'n rhaid i ni wneyd er mwyn byw yn grefyddol.

Cyfeiria Paul, hefyd, fe allai, at bethau sydd yn rhwystr, eto yn gyfreithlon ynddynt eu hunain. Yn amser Crist yr oedd drws ty y tad i gael ei gau yn erbyn y mab, os byddai iddo ddilyn yr Iesu. Dywedodd Crist wrthynt, "Y neb a garo dad neu fam yn fwy na myfi, nid yw deilwng o honof fi."—Rhaid i ni roddi heibio bob peth sydd yn bwysau a'n ceidw yn ol ar yr yrfa grefyddol. Sonia Paul yma am bechod, y "pechod parod i'n hamgylchu." Pechod yn y cyfanswm, pechod tu fewn a thu allan, y pechod sydd barod i'n hamgylchu. Rhaid i ni ei roddi heibio. Mae yn bosibl ein bod yn gwisgo yr hen ddyn Y mae genyf fi wisg y gallaf ei *recommendo* i chwi. "Gwisgwch am danoch yr Arglwydd Iesu."

Darllenais am *expedition party* yn myned mewn tair o longau i chwilio am ryw ynys. O'r diwedd gwelsant hi. Meddai y dynion wrth y cwmni, "Gadewch i ni ddeall ein gilydd, cyn myned i'r tir—pwy fydd ein brenin ni?" Wedi siarad llawer penderfynwyd mai y dyn a lwyddai i roddi ei law gyntaf ar y tir, a fyddai eu brenin. Dyma y parti yn y tair adran yn ail gychwyn, a'r oll yn gwneyd eu goreu. Yr oedd yno un dyn yr hwn oedd yn awyddus iawn i fod yn frenin, ond gwelai yn eglur ei fod yn myned i'w cholli; yr oedd y lleill yn enill arno. Yn hytrach na cholli, torodd ei law ymaith, a thaflodd hi ar y tir cyn i'r lleill allu glanio, ac felly yr enillodd. Fe allai na bydd eisiau i ti dori dy law er mwyn enill y bywyd; ond gwell yw i ti aberthu pobpeth er mwyn bywyd tragywyddol. Edrych ar y *possessions* tragywyddol. "Os myn neb ddyfod ar fy ol i," &c. Y mae yn werth i ni *fynu* bod yn gadwedig.

Y mae llawer o bethau gyda ni sydd yn bwysau; megys *hunanoldeb;* gwna hwn ddyn yn drwm ac yn *stiff.* Dyn felly yw y dyn hunanol yn mhob man. Nid yw yn foddlon ufuddhau i Dduw nac i ddynion. Bydd rhedegwyr yn myned i *drainio*, lle y byddant yn gorfod chwysu er lleihau eu pwysau cyn rhedeg. Rhaid i ni wneyd hyny, er ein gwneyd yn ysgafn. Y mae genym feddyg da i ofalu am danom. Dos ato. Gall ef ein gwneyd yn ddynion bychain ysgeifn. Gwrteithiwn y gras o ostyngeiddrwydd. Dyna y dyn a all weithio gyda nerth. Nid oes neb arall all lefaru, gweddio, a chyngori fel hwn.

Mae yma anogaeth—anogaeth fawr, o ran hyny—"lluaws o dystion." Dywed rhai mai y byd a olygir wrth y lluaws tystion. Dywedir fod y byd yn sylwi arnom, ac yn dweyd am y camau (*steps*) na ddylasem gymeryd. Nid dyna y meddwl yma. Nid oes ar Dduw angen am dystion ar y ddaear i ddyweyd wrtho ef am ymddygiad ei blant. Gwyr ef beth sydd yn nghalon dyn. "Chwilia y galon a'r arenau." Nid yw y byd yn dystion drosom, nac yn ein herbyn, gyda Duw. Dywed eraill mai hen deulu y ffydd a olygir, y rhai sydd yn hofran o'n deutu yn yr awyr, a'u bod gyda ni yn y cwrdd gweddio, y gyfeillach, &c. Y dosbarth olaf yw y tystion, ond nid fel y dywedir yn yr olaf. Tystion yn dweyd *wrth* blant Duw, *am* blant Duw yn yr hen amserau. Pa fodd y maent yn dweyd wrthym am saint yr hen amser? Mae hanes y saint yn yr Ysgrythyrau, ac os ydym ni yn chwilio yn y Gair, yr ydym

Digitized by Google

yn eu canol, yn cael ein hamgylchynu ganddynt, megys gan gwmwl. Os rhaid i ni fyned i ffau y llewod, y mae yno Ddaniel i ddywedyd wrthym am ffyddlondeb Duw. Os rhaid i ni fyned i'r ffwrn dân, y mae y tri llanc yno yn dywedyd wrthym, "Daliwch ati, yr un ag a'n daliodd ni a'ch deil chwithau; y mae yn ffyddlon i'w addewidion."

—

Yr oedd yn gyfarfod da, a'r dylanwad yn ddymunol." I. C.

# Bwrdd y Golygydd.

## EGLURHAD.

Drwg genym i ddiffyg ddygwydd yn y rhifyn diweddaf, yn hanes cwrdd nos Lun, ar sefydliad Dr. Williams yn Hyde Park. Y mae rhan helaeth o hanes y cwrdd ar ol, yn nghydag enwau rhai o'r siaradwyr, megys y Parchedigion D. W. Morris, B. W. Thomas, Giraldus, &c., a rhag bod un camddealltwriaeth am hyny, dymunwn roddi yr eglurhad canlynol: Ysgrifenwyd nodiadau byrion genym am y cwrdd hwnw yn nhy y Parch. B. W. Thomas, a darllenwyd hwy i'r brawd Thomas cyn eu hanfon i Utica. Yn y nodiadau hyny, fel y darllenwyd hwy i Mr. Thomas, yr oedd crybwyllion am bawb fel eu gilydd, ond y mae yn ffaith i rai dalenau yn cynwys yr hanes fyned ar goll yn rhywle—credwyf wrth fyned trwy ddwylaw y cysodydd—fel ag i adael bwlch gweladwy yn yr adroddiad. Os na chymerir ein gair dros eirwiredd yr eglurhad, yna nid oes genym mo'r help. Pell ydym oddiwrth ddefnyddio dalenau y WAWR i weithredi yn bleidiol tuag at neb, gan nad beth a ddichon arall awgrymu. Yr oedd yn naturiol ddigon i rai o'r brodyr y mae eu henwau allan dybied fod rhywbeth yn fwriadol wedi ei wneyd, ond hyderwn, wedi yr esboniad hwn, y symudir pob tybiaeth o'r fath o'u meddyliau.

Yr oedd genym amryw bethau yn y nodion hyny yn cyfeirio yn neillduol at y Parch. D. W. Morris, fel un o weinidogion blaenorol yr eglwys yn Hyde Park. Yn lle y nodion aethant ar goll, rhoddwn a ganlyn:

Daeth y Parch. D. W. Morris yn weinidog i Hyde Park yn Tachwedd, 1870; ymadawodd Tachwedd, 1875, yr hyn oedd y tymor hwyaf a dreuliwyd gan un gweinidog yn y capel a nodir. Yn ei amser ef y cymerwyd yr addoldy Cymreig ar Shanty Hill gan yr enwad; y dechreuwyd yr achos yn Jackson Street; y prynwyd ysgoldy yn Bellevue, ac yr adeiladwyd un arall yn y Fourth Ward—yr oll yn ei amser ef. Drachefn, yn ei amser ef y gwnaed y bedyddfan yn y capel, y bedyddiwyd 30 yr un Sabboth ynddo, ac y chwanegwyd yn agos i 60 i'r cymundeb canlynol. Crybwyllwyd, noson y cyfarfod dan sylw, gan Mr. Hughes, mai yn yr amser y bu Mr. Morris yn weinidog y bu yr achos gryfaf erioed yn y lle. Buasai yn foddhaus genym pe gallem adgofio yn llythyrenol rai o sylwadau tarawiadol Mr. Morris yn y cwrdd nos Lun. Wedi iddo nodi rhai llinellau cyfarwyddiadol i'r eglwys, diweddai gan ddweyd yn olynol, "Ewch yn mlaen fel yna." Wedy'n ychwanegai, gan derfynu yn gyffelyb, "Ac ewch yn mlaen fel yna." Y Parch. D. B. Thomas, Philadelphia, a ddywedai am dano ei hun pan yn yr athrofa—yn pregethu yn Gymraeg yn rhyw eglwys gymydogaethol yn y wlad—yr hyn waith nad oedd erioed wedi bod yn ei wneyd o'r blaen; ac yn mhlith ei wrandawyr yr oedd rhyw hen frawd yn rhoi hwyl iddo, gan ddweyd yn fynych, "Och a fi, Och a fi!" a thybiai Mr. Thomas mai tosturi at ei Gymraeg ydoedd, yr hyn a barodd flinder mawr iddo; ond wedi hyny deallodd mai dyna oedd ffordd yr hen frawd hwnw i roi hwyl i bregethwr.

Pan gododd y Parch. B. W. Thomas i siarad, dywedai mai efe oedd wedi cyfansoddi y bregeth Gymraeg hono

Digitized by Google

i'w gyfaill o Philadelphia—(yr oeddynt yn yr Athrofa yr un amser). Wrth glywed hyn, cododd yntau, gan ddyweyd, mai am hyny yr oedd yr hen frawd hwnw gynt yn dweyd wrth ei wrando, "Och a fi, Och a fi!" Gwelodd Thomas, Hyde Park, ei fod wedi ei guro; ceisiodd glytio pethau ei oreu, ond i ddim pwrpas; modd bynag, cafwyd mawr ddyddordeb rhwng pob peth. Yr oedd pawb yn terfynu eu hanerchiadau mewn teimladau da at Dr. Williams, ac yn mawr ddymuno ei gysur a'i lwyddiant yn y lle.

## Y BEDYDDWYR YN RWSSIA.

Wrth ysgrifenu yn nghylch Ymneillduwyr oddiwrth Eglwys Groeg, dywed un o newyddiaduron Rwssia fel y canlyn: "Yn ddiweddar mae y Bedyddwyr wedi trawsblanu eu hunain yma, ac yn peri mwy o gyffro ac anhunedd i'r offeiriaid Rwssiaidd na neb o'r enwadau eraill. Yn gryf yn eu hymlyniad wrth egwyddorion eu crefydd, a chan arwain bywyd bucheddol, y maent, mewn gwirionedd. yn ddrain poenus yn ystlysau y clerigwyr uniongred, h. y., offeiriaid yr Eglwys Roegaidd.—Caniateir iddynt bregethu a gwerthu eu llyfrau hefyd gan yr awdurdodau; ac mewn dadleuon cyhoeddus, y maent eilwaith a thrachefn wedi gorchfygu yr offeiriaid. Teimlir parch iddynt gan y werin ar gyfrif eu moesoldeb; ac y mae athrawiaethau y Bedyddwyr (yn Rwssia) yn prysur enill tir.—*Oddiwrth Ap P. A. Mon.*

## ADOLYGIAD Y WASG.

GEMAU Y BEIRDD: Yn cynwys rhai o Brif Weithiau Prif-feirdd Cymru, o Ddyddiau D. Ap Gwilym hyd yn Bresenol. Detholedig, gyda Sylwadau am yr Awdwyr, gan H. Cernyw Williams.

Mae ein syniadau personol am yr awdwr yn dra ffafriol. Yr ydym wedi arfer barnu am dano fel un o ddynion ieuainc goreu pwlpud y Bedyddwyr yn Nghymru, fel llenor coeth, o foesau pur. Pan ar ymweliad â Chymru, cawsom gyfleusdra i'w glywed yn pregethu yn Nghwrdd Chwarterol Ffestiniog. Tybiem wrth ei wrando, fod ceinder pur yn mân-ymdoni yn ei barabliad! Yr oedd ei dremiad yn arwyddo coethder a lledneisrwydd. Yr oedd ei berson yn gweddu i'r pwlpud. Gwyddom hefyd fod iddo ran yn ngolygiaeth y *Greal*, yr hwn swydd a leinw yn hapus. Heblaw hyn clywsom amryw o frodyr adnabyddus a chwaethus yn siarad am Mr. Williams yn yr un modd. Y mae yn dda genym ddwyn tystiolaeth nad yw y GEMAU dan sylw wedi peri i ni newid ein barn uchel am dano, fel bardd a llenor. Y mae ein hawdwr yn fardd campus, er, efallai, nad yw yn perthyn i'r dosbarth o feirdd a ystyrir yn gyffredin yn flaenaf. O'r hyn lleiaf, nid yw yn perthyn i'r awenyddion sydd yn ehedeg yn arwrol uchel, megys Hiraethog, na chwaith i ddosbarth Ceiriog a'i ddilynyddion. Nid yw Hywel Cernyw yn hoff o eithafionau. Ceidw efe yn bur agos at ganol llwybr barn. Mae yn hoff o'r *prydferth a'r da.* Gwelir hyny yn eglur yn y detholiad presenol. Mae yn debygol ei fod yn gosod allan ei feddwl ei hun yn ngeiriau S. T. Coleridge, a ddyfynir ganddo: "Nid wyf yn dysgwyl elw na chlod oddiwrth fy ysgrifeniadau, ac ystyriwyf fy hunan wedi cael digon o daledigaeth heb y naill na'r llall. Y mae barddoniaeth wedi bod i mi yn wobr mawr iawn ynddo ei hun—lliniarodd fy ngofidiau, ychwanegodd a choethodd fy mwynianau, anwylodd fy unigedd, a rhoddodd i mi arferiad o chwilio am y da a'r prydferth yn mhob peth sydd yn fy nghyfarfod, ac yn yr oll sydd yn fy amgylchynu."

Addawa Mr. Williams roi "Gemau" eto yn llyfr cyffelyb, os bydd hwn yn rhoddi boddhad. Rhoddwn i'n darllenwyr engraifft o'r Gemau hyn, o waith y bardd enwog Iorwerth Glan Aled:

Digitized by Google

### CLOCH Y LLAN.

O! mor ddwys mae'r gloch yn galw
Am ryw un sydd wedi marw;
*Hen wr* ydyw, pedwar ugain,
A fu gynt yn llencyn cywrain;
Bu drwy'r plwyf fel yn ddiareb
Am ei synwyr a'i ddoethineb;
Ond mae'r einioes wedi darfod,
Rhaid ei guddio yn y beddrod.

Taena'r awel dros y bryniau,
Sain sy'n duo ael y borau,
Heddyw eto, mawr yw'r galar,
Gelwir *mam* i bridd y ddaear.
Swn y gloch sy'n rhoddi rhybudd
Am y claddedigaeth newydd,
A phob adsain bair ochenaid
Yn mron deg o blant amddifaid.

Egyr haul ei lygaid llachar,
Tremia'n llon ar dlysni'r ddaear;
Chwery'r awel yn y llwyni,
Perlia'r gwlith ar ael y lili.
Ond y gloch! Och, swn pruddhaol,
Cyfnewidia'r olwg siriol,
Galw mae am *lodes* landeg,
Acw i huno dan y gareg.

Gwe' · baban bach yn gwenu
Ar ei fam pan gyntaf ddeffry;
Gwel y rhosyn yn ymwrido
Ar ei foch rhwng gwallt yn cyrlio;
Gwel ei lygaid yn tywyllu;
Gwywa'r rhosyn—yntau'n trengu!
Cofia, blentyn mwyn, daw amser,
Geilw'r gloch tydi ar fyrder!

---

MEMORIAL SERMON ON WILLIAM MANN, of Philadelphia. Died Sept. 7, 1881. aged 67 years. By Rev. B. D. Thomas, Philadelphia (his Pastor). Testyn, 1 Bren. 7: 22. "Ac ar ben y colofnau yr oedd gwaith lili."

Y peth goreu allwn wneyd ydyw rhoddi amlinelliad byr o honi.

Y colofnau hyn yn mhlith addurniadau penaf teml Solomon—yn cynrychioli nerth a phrydferthwch. Addurniadau y deml yn ddwbl ddyddorol wrth ystyried eu hystyr arwyddluniol. Nid yn unig yr oedd yn bentwr o addurnedd, ond hefyd o ystyr. Cymerwn y colofnau hyn i gynrychioli cymeriad. Nid oedd y deml hono ond cysgod. Mae hon wedi ei hadeiladu o feini bywiol. Mae y maen mwyaf dinod yn ogoneddus, ond rhai yn fwy gogoneddus na'u gilydd. Y rhai a fuont yn golofnau yma, a gânt fod yn golofnau yn y ty nid o waith llaw.

I. *Yr elfenau hanfodol mewn cymeriad.*

Prif nodweddau y colofnau oedd nerth a phrydferthwch. Y mae y nodweddau hyn, yn ol ffigyr y testyn, yn cynwys yr holl elfenau posibl mewn cymeriad o dan law y Meistr mawr. Yr oedd y nerth yn hanfodol i'r adeilad, nid er addurniant yn unig, ond er ei gynal. Y mae yr un peth yn wir am ddynion da—gwir dda—maent yn golofnau o dan fwâau amgylchog cymdeithas i'w dal i fyny.

*Prydferthwch.*—Mae daioni bob amser yn brydferth. Mae llaw y nefoedd arno. Mae nerth a phrydferthwch yn cyd-daro a'u gilydd.

II. *Gwasanaethgarwch cymeriad.*

Mae ystyr i fywyd. Mae ei ogoneddusrwydd yn gyfartal i'w rwymedigaethau.

Cynal i fyny sefydliadau crefyddol. Addurno lleoedd o addoliad. Nid yw y colofnau yn orphenedig heb y gwaith lili. Gwneyd cartref yn gysurus a meithrinol i rinwedd a chrefydd.

Buasai yn dda genym roi amlinelliad cyflawn, ond mae gofod yn gyfyng. Credwn na welsom bregeth angladdol well na hon mewn argraff.

---

## MAN-LEWYRCHIADAU.

—Deallwn fod y Parch. W. J. Williams, Church Hill, O., wedi ymgymeryd â gofal yr eglwys yn Coalburgh hefyd. Da iawn. Pe byddai yr eglwysi Cymreig yn fwy cyffredinol yn gwneyd yn gyffelyb, byddai yn lles iddynt, yn lle gadael i'r achos farw o eisiau gweinidogaeth. Beth sydd yn well i eglwys pan yn fechan a gwan nag uno ag eglwys gymydogaethol i gynal gweinidogaeth rhyngddynt. Y mae'r ddwy eglwys uchod yn deall beth sydd oreu, ac yn gweithredu yn gyferbyniol.

Digitized by Google

—Hysbysir ni fod yr achos yn dra llewyrchus yn Church Hill o dan weinidogaeth y brawd Williams. Ebe gohebydd: "Y mae pedwar-ar-ddeg o flaen yr eglwys, ac i gael eu bedyddio yn fuan, a thri o wrthgilwyr wedi troi yn ol atom, a chredwn fod llawer wrth y drws. Mae yr eglwys mewn ysbryd gweithio rhagorol. Mae y capel yn orlawn o wrandawyr bob Sabboth, a'r cyfarfodydd wythnosol yn lluosog a bywiog iawn, cariad brawdol yn ffynu, yr eglwys yn llawn gwaith, a Duw yn tywallt ei fendithion. Anfynych y ceir dosbarth o grefyddwyr mor ymdrechol i ddyfod i'r cyfarfodydd pan mae y tywydd yn hynod o wlyb a'r ffyrdd mor ryfeddol o leidiog."

—Mae y Parch. John E. Evans, Woodbine, Ill., ar gychwyn i'r Gorllewin Pell, er nad yw yn gwybod yn iawn i ba le. Mae y brawd Mr. Evans yn wr cymeradwy gartref ac oddi cartref. Llwyddiant iddo.

—Cyfeiriad Ysgrifenydd eglwys y Bedyddwyr Cymreig yn Oshkosh ydyw: Richard Bennett, Box 1604, Oshkosh, Winnebago Co., Wis.

—Hen frawd rhagorol oedd Rowland Rees, a fu farw yn ddiweddar yn Coal Valley, Ill. Genedigol ydoedd o Cwmaman, Sir Gaerfyrddin. Bedyddiwyd ef yn Ironton, gan y Parch. Wm. Owen, Pittsburgh. Yr oedd yn y wlad hon er y flwyddyn 1854. Daeth i Illinois yn 1856. Ei oed pan y bu farw oedd 85 mlwydd. Bu farw ei wraig yn 1865. Y mae mab a merch iddynt yn byw yn gysurus yn Coal Valley, sef Thomas Rees a Mrs. Morgans.

—Bu y frawdoliaeth yn Audenried, Pa., yn ffodus flwyddyn yn ol i sicrhau gwasanaeth y brawd Evans fel eu gweinidog, canys yr hanes ydym yn ei gael oddiyno ydyw, ei fod yn barchus, derbyniol, a llwyddianus yn y lle.

—Bydd yn dda gan gyfeillion lluosog y Parch. Jonathan Nicholas, Spencer, N. Y., ddeall ei fod yn dringo i fyny yn barhaus gyda'r Bedyddwyr Americanaidd. Yn ddiweddar y mae wedi derbyn galwad oddiwrth eglwys fawr gyfoethog Phenixville, Pa., a deallwn iddo ateb yn gadarnhaol. Yr oedd yn dechreu ar ei weinidogaeth yn ei faes newydd y Sabboth cyntaf yn Mawrth. Bu yn weinidog yn Spencer am saith mlynedd, a bedyddiodd yno 73 o bersonau.

—Diolchwn i'r cyfeillion yn New Straitsville, O., am eu ffyddlondeb dros y cyhoeddiad. Y mae hyn yn arwyddo gweithgarwch mewn cyfeiriadau eraill. Y mae y frawdoliaeth yno wedi gwneyd gwaith rhagorol yn y blynyddau diweddaf. Da genym ddeall fod eu gweinidog, y Parch. C. Jones, mor llafurus a llwyddianus yn eu plith.

—Mae y frawdoliaeth yn Newburgh, O., yn dra llewyrchus o dan fugeiliaeth y Parch. J. F. Richards. Mae y canu yn llewyrchus yn eu plith, ac y maent eisiau cyflenwad o'r Llawlyfr Moliant, a hwnw heb ddod i ni eto o Gymru; ond dysgwyliwn ef yn fuan.

— Gwelwn oddiwrth ddyfyniadau o'r *Llandudno Register and Herald*, sydd newydd ddyfod i'n llaw, fod y Parch. J. Spinther James wedi tynu sylw mawr yn Llandudno yn ddiweddar trwy ddynoethi twyll ac anonestrwydd personau neillduol yn y Cyngor Trefol. Mae y dosbarth goreu o'r dinasyddion yn mawr gymeradwyo Spinther, ac mae diwygiadau mawrion yn debyg o ddilyn.

—Drwg genym na ddygwyddodd i ni wybod hyd yn ddiweddar am afiechyd trwm y Parch. James R. Price, o Kingston, Pa., yn niwedd y flwyddyn ddiweddaf. Modd bynag, da genym ddeall ei fod wedi gwella cystal. Ni fedd dyffryn y Wyoming frawd mwy hynaws a dymunol nag ef.

—Ebai y Parch. Wm. M. Evans, Cattaraugus, "Y mae yma weinidog ieuanc o'r Hen Wlad, o'r enw T. M. Griffiths, Darenfelen, Mynwy, D. C., newydd ddod drosodd. Bu bedair blynedd yn Llangollen, a thair yn y weinidogaeth. Credwyf ei fod yn fachgen talentog a doniol. Dyma gyfle da i eglwys heb weinidog i gael un.

Digitized by Google

—Mae y Parch. John Edred Jones yn canmol ei le yn Connecticut. Cynaliodd gyfarfodydd diwygiadol am rai wythnosau yn ddiweddar, ac y mae llawer wedi eu dychwelyd.

—Cynelir cylchwyliau blynyddol y Bedyddwyr yn y First Baptist Church, ar gongl 39th Street a Park Avenue, New York, yn dechreu ddydd Mercher, Mai 24, ac yn diweddu ddydd Mercher, Mai 31, 1882. Gwna y Pwyllgor ar Letygarwch yr oll a allant i sicrhau y prisiau iselaf am fwrdd i'r sawl a elont yno o bellder. Gellir gohebu a C. R. Blackall, 25 Great Jones Street, ar y mater, cyn Mai 1.

# Barddoniaeth.

## A WELAIST DI?

GAN IORWERTH GLAN ALED.

A welaist ti'r Tyner? Edrych draw
Ar faban bach yn dodi'i law
I symud deigryn oddiar foch,
Fu'n wridog gynt fel rhosyn coch;
Ond sydd yn llwyd gan ddeifiol gam,
Yn arlun trist o ofid mam:
Cyffyrddiad bys y baban byw
A deigryn mam—tynerwch yw.
Ni wyla 'r byd wrth wel'd y drych;
Ond wyla torf o engyl gwych.

A welaist di'r Prudd? Dos, edrych draw,
Ar fenyw'n eilun byw o fraw,
Dan ywen ddu wrth Lan y Cwm,
Ar nos ddi-loer, uwch beddrod llwm,
Yn treiddio'i chof trwy'r tyweirch mud
At rai sy yno'n huno'n nghyd—
Ei thad a'i mam, ei gwr a'i phlant,
A'i gruddiau'n llifo fel y nant;
A all dy dafod ddweyd yn rhydd
Nad ydyw hon yn olwg brudd?

A welaist di'r Prydferth? Edrych draw
Ar blant yn chwareu—wyth neu naw—
Yn ymyl ffrwd, gan dremio i'r don
Nes gloewi'r llif â'u llygaid llon;
Neu gwel hwy'n casglu'r lili wen
I'w phlethu â chwrliawg wallt eu pen;
Ond O! rho drem ar aelwyd glyd,
A gwel hwy ar eu gliniau'n nghyd,
Yn canu am Grist—a'r Nef mewn chwant
Yn plygu ei chlust i wrando plant.

A welaist di Fawredd? Tremia draw
Ar raiadr gwyllt yn taenu braw
Rhwng creigiau cuchiog, nentydd broch,
A'r byd yn gwrando'i erch lais croch;
Neu dos at gefnfor chwydda i'r nef
Yn ngrym y gwynt, ystormus lef:
Mae mawredd yna. Ond gwel sant:
Ar lin mewn gweddi tery dant
Wna'n fud am ysbaid dannau'r côr
Sy'n chwareu fry wrth orsedd Iôr.

## PENILLION

AR FARWOLAETH SARAH ANN ROBERTS, PROVIDENCE, PA., UN O DDEILIAID FFYDDLONAF YSGOL SUL Y BEDYDDWYR.

GAN EI HATHRAW.

Hardd oedd Sarah Ann fel lili,
Swynol degwch ar ei grudd;
Dwylaw tyner a melfedaidd—
Llygaid byw fel toriad dydd;
Sangai 'n ysgafn ar y glaswellt,
Bywyd ddawnsiai yn ei gwedd—
Un o flodau tlysaf anian
Blanwyd fry yn ngwlad yr hedd.

Fel rhyw seren yn sirioli,
Yn y dosbarth ydoedd hi,
A'i goleuni yn bur danbaid
Gylch y groes ar Galfari.
Mawr ymdrechai ddysgu teithiau
'R Arglwydd Iesu yn y byd—
O dref Bethle'm i Golgotha,
Gan ryfeddu 'i angau drud.

'Nawr mae'n gweled gwrthddrych cariad,
A mwynhau ei nefol wedd,
Ac yn rhodio llwybrau Gwynfa,
Gyda 'i mam* mewn dwyfol hedd—
Yn cydwledda gyda'r seintiau,
Yfed gwinoedd engyl glân,
Ac yn dechreu'r anthem newydd
Mil pereiddiach nag o'r bla'n.

Dysgu tônau ar y ddaear,
Canu rhiniau Crist a'i groes;
'N awr yn edrych ar yr aberth,
Drwy ddyfnderoedd angeu loes—
Gweled Iesu ar yr orsedd,
A'r holl seintiau yn gytun—
Tannau'r nefoedd am y tyna
Yn clodfori Mab y dyn.

Draw ar ddoldir afon bywyd,
Yn Mharadwys gyda'i Duw,
Yn mwynhau awelon balmaidd
Gydag engyl yno'n byw;
Gwrando ar hyawdledd cariad
Yn coroni brenin Nen,
Hithau'n uno gyda'r dyrfa,
I roi 'r goron ar ei ben.

*Providence, Pa.* E. D. JONES.

* Yr oedd ei mam wedi ei blaenu i fyd yr ysbrydoedd.

Digitized by Google

## DAVID LLOYD JONES,

MEBYN MR. A MRS. D. LLOYD JONES, PITTSBURGH, PA.*

This baby came from babyland,
With fairies o'er the golden sand;
And without cries, and without groans,
Their queen gave him to Mrs Jones.

He is a perfect beauty,
He is a perfect beauty, &c.,
Much prettier than the rose.

Mae tlysni syw y rhosyn coch,
A'r lili wen yn ngwrid ei foch;
Ac ymgystadlu maent pa un
Ga'i wneyd e'n ddrych i wel'd ei hun.

Prydferthach yw na'r rhosyn,
Prydferthach yw na'r rhosyn, &c.,
Priodfab lili'r ardd.

Trwy fethu penderfynu hyn,
Ar ddoeth awgrymiad angel gwyn,
Ymuno maent i wneyd eu sedd,
Ac ymgusanu yn ei wedd!
Prydferthach yw na'r rhosyn, &c.

Mae hanfod holl freuddwydion swyn
Ei riaint ynddo, febyn mwyn;
Sylweddiad yw o'r cariad cun
Wnaeth un o ddau—wnaeth Dei o un!
Prydferthach yw na'r rhosyn, &c.

Fel mae holl bertrwydd anian chweg
Yn chwerthin yn ei ruddiau teg,
Fe wela'i riaint lygaid Duw
Yn edrych trwy ei lygaid byw!
Prydferthach yw na'r rhosyn, &c.

Maent hwy heb chwilio'n awr yn cael
Fod enfys nefol gylch ei ael,
A mêl tlws wenyn gerddi'r nef
Yn llifo o'i wefusau ef!
Prydferthach yw na'r rhosyn, &c.

He is a beauty! O, how wise!
Is he an angel in disguise?
No! but in him without a guile
His angel on his parents smile!

He is a perfect beauty,
He is a perfect beauty, &c.,
Much prettier than the rose.

*Hafod Awen, Ill.* H. GWERFYL JAMES.

*Parotoed fy hen gyfeillion, Dowlais Jones, Daniel, Ffau'r Wasg, a Meth Lewis, i ganu hon erbyn y deuaf fi i Ddinas y Mwg yn Mawrth nesaf, er cofio'r amser gynt yn Nghymru lân.
—H. G. J.

## SYMUDIR Y CYSGOD.

Symudir y cysgod yn fuan,
Ai ofer dysgwyliaf am gael
Pelydrau lle 'riga'r prudd gwmwl,
Ei ddagrau ac eira mor hael?
Pryd gwisga y gwanwyn wyrddlesni
Ar wyneb y cwmwl a'r ddol?
Oes gobaith am awyr ddigwmwl,
Ddaw'r adar a'r blodau yn ol?

Ga gorchudd ei symud ryw foreu
O'm calon ofidus a blin?
Wna gobaith a ffydd fy nghysuro
A bwa'r addewid llawn rhin?
Pwy chwala feisdonau fy ngofid,
Atelir ei lanw gan drai?
Ddaw'r awel a geiriau f' Anwylyd,
Ha fab, fe faddeuwyd dy fai?

Cyfodir cysgodion y gauaf
O'r dyffryn, y mynydd a'r rhos,
A'r bywyd a wisga'r hen ddaear,
A gwisgoedd ei hie'nctyd yn dlos;
A thry ei chwynfanau yn ganu,
Pob elfen, pob anadl yn gôr,
Cydunant i chwyddo yr anthem,
A llu gwaredigol yr Iôr.

Symudir y cysgod amheuon
Gan wrthddrych hawddgaraf fy serch,
A'r cwmwl bygythiol a chwelir,
Gorchfygaf y temtiwr du, erch;
Caf weled pan ddaw fy yfory,
Ei ofal, a theimlo mor gref
Yw'r graig lle gwna guddio fy mywyd
Yn Nuw, i gyd-fyw gydag Ef.

*Youngstown, O.* MATHRAFAL.

## LLAIS YR YSGOL SABBOTHOL.

Dewch ie'nctyd heb frad yn unfrydol,
Ac hefyd oed canol, wyr call,
A chwithau yn bybyr, hen bobol,
I'r Ysgol Sabbothol heb ball;
Cewch yma'r gwir Air cyfarwyddol
At wisg annatodol y Tad,
A weithiwyd o Bethle'm Ephrata,
I gopa Golgotha trwy'r gwaed.

O! deuwch, hen frodyr afradlon,
Oll weithian yn ffyddlon mewn ffydd,
A gwerthwch Is awyr hen sorod,
Un diwrnod cyn darfod eich dydd;
Cewch yma i'ch oes yn iachusol,
Wir drysor digyfor y Gair,
Ddyfnderoedd o foroedd rhyfeddol,
Annhraethol wirfoddol Fab Mair!

Dewch weithian, mae'n galw rhai gwaelion,
Enwogion a gwaelion i'n mysg,
A chwithau y llonaf wyr llawnion,
Yn weigion fel dynion er dysg.

Dewch hefyd holl benceirdd i byncio,
A seinio er tanio'n gytun,
I chwareu a chyngan iach angel,
Mae yma le i Handel ei hun!

*Dell Roy.* LLYWARCH.

# Y Maes Cenadol.

GAN Y PARCH. W. F. DAVIES, NANTICOKE, PA.

### Y MAES CARTREFOL.

Nid yn fynych y byddwn yn dweyd gair am y gwaith cenadol gartref. Mae rhesymau digonol am hyny, a'r rhai hyny yn ddigon hysbys fel mai gwastraff fyddai treulio amser i'w nodi. Ond yn gymaint a bod y flwyddyn hon yn Jubili y "Gymdeithas Genadol Gartrefol," a sylw neillduol yn herwydd hyny yn cael ei alw at y maes, a bwriad cryf yn swyddogion y gymdeithas i gasglu $500,000 er hynodi y Jubili, mae yn esgusawd digonol dros ddwyn y maes i sylw darllenwyr y WAWR. Yn gymaint a bod y maes mor helaeth, ni fydd i ni ddwyn ger bron ond yn unig y rhanau hyny o hono a ystyriom yn fwyaf teilwng o sylw. Nid oes un rhan o'r Talaethau Unedig wedi cael cymaint o sylw yn ddiweddar ag Arizona, Idaho, Montana, Wyoming, New Mexico, Nevada, ac Utah. Mwnau a manteision amaethaethyddol sydd wedi galw sylw y byd at y chwech blaenaf a nodwyd, ac amlwreiciaeth at yr olaf. Mae y lleoedd a enwyd yn cynwys y rhanau mynyddig o America. Cymerant i mewn yr holl wlad o Mexico i America Brydeinig, ac o derfynau dwyreiniol y Mynyddoedd Creigiog hyd derfynau gorllewinol y Sierra Nevada. Mae o Sherman, yr orsaf uchaf ar y Mynyddoedd Creigiog, i'r Summit, yr orsaf uchaf ar y Sierra Nevada, 1,122 milldir o bellder. Mae Sherman yn 8,000 o droedfeddi uwchlaw y mor. Mae y tiriogaethau hyn yn cynwys gyda eu gilydd 762,568 o filldiroedd ysgwar, yr hyn sydd saith waith gymaint a'r Middle States. Medda ar boblogaeth o 500,000, neu ddau berson am bob tair milldir ysgwar. Heb son am diriogaethau eraill sydd gan y Gymdeithas Gartrefol i ofalu am danynt, mae ein gofod ni yn rhy gyfyng i sylwi ond yn fyr ar y rhanau uchod. Wrth feddwl am y tiriogaethau eang uchod a'u poblogaeth wasgaredig, anmhosibl yw i'r meddwl ystyriol lai na gofyn, "beth yw eu sefyllfa foesol a chrefyddol, tybed?" Ie, mae hwn yn gwestiwn a ofynir gan lawer o ddarllenwyr pan ddaw hwn ger eu bron, ac fe ddylai gael ei ofyn gan bob Cristion yn America. Ceisiwn nodi rhai ffeithiau a fydd yn gymorth i ni ateb y gofyniad. Gan yr holl gymdeithasau cenadol yn y wlad mae 165 o genadon wedi eu danfon i lafurio yn y tiriogaethau hyn—un cenadwr ar gyfer 4,090 milldir ysgwar. Ond rhaid cofio nad yw y cenadon hyn wedi eu gwasgaru yn rheolaidd dros y tiriogaethau. Mae 100 o honynt yn y prif ddinasoedd, ac felly yn gadael dim ond 65 i'r man bentrefi a'r cymydogaethau gweithfaol. Cawn o fân bentrefi yn wasgaredig yn mhob man ddim llai na 1,894, a 906 o'r nifer uchod yn ddigon pwysig i feddu llythyrdy.

Wrth deithio yn orllewinol ar y *Central Pacific Railroad*, o Ogden i Reno, pellder o 600 milldir, cawn 67 o orsafoedd. Mae rhai o'r gorsafoedd hyn o gryn bwysigrwydd, eto nid oes yn yr un o honynt Ysgol Sul, capel nac eglwys, gweinidog na phregethwr, nac un gwasanaeth crefyddol yn cael ei gynal gydag un math o reoleidd-dra, oddigerth gan y Mormoniaid, ac mae amheuaeth mawr am grefyddolder yr olaf a dweyd y lleiaf. Dod yn ddwyreiniol o Ogden i Laramie, 460 milldir, cawn 61 o orsafoedd, ond yn un o honynt y mae eglwys a gweinidog. Yr haf diweddaf y cafodd Corrinne, pentref 30 milldir o Ogden, yn meddu 100 o deuluoedd, glywed yr efengyl gan Fedyddiwr am y tro cyntaf erioed. Hefyd hwnw oedd y gwasanaeth crefyddol cyntaf oedd wedi bod yn y lle am flwyddyn. Kelton, 90 milldir o Ogden, pentref o gryn bwys yn bresenol, a ddaw yn fwy pwysig eto yn fuan. Yma mae teithwyr yn gadael am Idaho ac Oregon. Nid oes yn Kelton gapel,

Digitized by Google

eglwys, pregethwr, Ysgol Sul, nac ysgol ddyddiol. Terrace, 40 milldir o Kelton, sydd dref nad yw wedi cael moddion crefyddol ond pump o weithiau mewn saith mlynedd. Nid oes fan ar y cyfandir yn cynyddu yn llawer cyflymach na hwn; mae yn barod ddwy reilffordd yn myned drwodd, ag sydd yn rhedeg yn uniongyrchol o'r naill fôr i'r llall—o'r Werydd i'r Tawelog, a phedair eraill naill ai ar waith neu mewn bwriad. Felly mae pobl a chyfoeth lawer i gael eu trosglwyddo trwy rhanau hyn, ac nid hyny yn unig, ond mae y cyfoeth anhysbyddadwy sydd ynddynt yn sicr o dynu canoedd o filoedd, ac yn eu tynu yn bresenol, i gartrefu ynddynt. Mae yn amlwg ar unwaith fod sefyllfa foesol a chrefyddol y tiriogaethau hyn o'r pwys mwyaf i Gristionogaeth, i America, ac i'r byd yn gyffredinol. Mae y ffeithiau ydym wedi nodi yn rhoddi i ni ddrychfeddwl tywyll am sefyllfa ysbrydol y rhanau hyn yn bresenol. Dros 1,700 o bentrefi heb gapel, pregethwr, ac heb Sabboth. O'r 500,000 sydd yma yn byw, llai na 10,000 o honynt yn mynychu lle o addoliad. Dros 450,000 byth yn meddwl ond anfynych am ddim crefyddol. O'r 80,000 o blant sydd yn y pentrefi hyn, 65,000 o honynt byth yn myned i un Ysgol Sul, ond y rhan fwyaf o honynt yn tyfu i oedran, mor amddifad o wybodaeth am Dduw, ag eiddo y llwythau mwyaf anwaraidd yn Affrica. Tra mae Cristionogion lawer yn y dwyrain yn edrych gyda difaterwch ar hyn, ac yn ystyried y lleoedd yn rhy ddistadl i anfon iddynt genadon hedd, a Gair y bywyd, mae y diafol a'i weision wrthi a'i holl egni. Lleinw y lle â thafarndai, *gambling houses*, a thai gwaeth na hyny, os oes lle. Llwydda egwyddorion y fagddu yno yn mhob cyfeiriad, ac y mae y tiriogaethau dan eu dylanwad yn cael eu gwneyd yn uffern ar y ddaear. Mae canoedd o aelodau ein heglwysi, a deiliaid ein Hysgolion Sabbothol yn flynyddol yn symud allan i'r parthau hyn o'r wlad, ac yn fuan yn cael eu llyncu gan awydd i gydymffurfio ag arferion llygredig y rhai sydd yno o'u blaen. Anmhosibl braidd yw myned i un pentref yn y lleoedd a nodwyd na chyfarfyddir â dynion fuont unwaith mewn safleoedd pwysig yn eglwys Dduw, yn gorwedd yn gelaneddau ar y maes wedi eu llorio gan y gelyn. Mae arferion drwg bron bob cenedl dan haul yn llifo i'r tiriogaethau a nodwyd, oblegid y mae dynion o bob man yn dyfod yno. Yn ychwanegol at hyn, mae dylanwad gwenwynol Mormoniaeth yn ymledaenu yno yn mhob cyfeiriad. Ychydig flynyddau yn ol y cafodd Mormoniaeth ei bodolaeth, ond heddyw eistedda yn dawel dan gysgod y Wasatch Mountains, ac heria un o'r galluoedd gwleidyddol cryfaf ar y ddaear i'w gwneyd hi i dalu gwarogaeth i ddeddfau y llywodraeth, ac ymddwyn yn weddaidd a theilwng o ddeiliaid gwlad wareiddiedig. Mae gan Formoniaeth fwy o genadon a phregethwyr ar y maes trwy y tiriogaethau hyn nag sydd gan yr holl enwadau crefyddol yn orllewinol i'r Mississippi. Mae pawb yn hysbys o lygredd Mormoniaeth ag sydd yn darllen papyrau y dyddiau hyn. Tra mae hi yn tynu dyn i lawr nid eistedd yn llonydd ddylem, ond ymdrechu danfon i'w plith ddynion egwyddorol.

Dyma mae y Gymdeithas Genadol Gartrefol yn wneyd, ac er dwyn hyny yn mlaen yn Utah, a manau eraill, mae yn gofyn ar flwyddyn ei Jubili $500,000. Gwnawn ein goreu hyd y mae ynom ei bod yn eu cael.

---

## HANESION CARTREFOL.

---

SABBOTH YN FREEDOM, CATTARAUGUS.

Tua'r 10fed o'r mis hwn (Chwefror), teimlais awydd neillduol i dalu ymweliad â'r brawd anwyl Evans, yn nghyd a'r frawdoliaeth yn Freedom yn gyffredinol, er cael ychydig o adfywiad i'm meddwl a'm hysbryd pruddaidd ac isel. Gofynais i Mary, fy mhriod, am gael caniatad i fyned, ac atebodd hithau gyda gwên siriol, am i mi fyned, os oeddwn yn meddwl y cawswn ryw gymaint o fwynhad; "a pharotowch i

fyned y fory," ebe hi, ac felly y bu. Dydd Sadwrn, aethum at y trên bychan mewn pryd. Wedi aros am ychydig, daeth yr amser cychwyn, ac ymaith a ni tua chyfeiriad Arcade. Yr oedd fy awyddfryd gymaint am eu gweled, nes y teimlwn ryw sut mai araf iawn oedd ein symudiad yn mlaen, ond o'r diwedd cyrhaeddwyd Arcade. Yna cyfeiriais fy nghamrau tua Freedom. Pan mewn dwfn fyfyrdod ar y mwynhad oedd yn fy aros, ac heb sylwi ar neb na dim, clywais ryw un yn galw arnaf, a deallais yn fuan mai un o aelodau eglwys Freedom oedd yno; ac wedi ysgwyd llaw gynes a chyfarch gwell i'n gilydd, dywedodd wrthyf am aros am ychydig mewn ty gerllaw, y cawn fy nghario at dy Mr. Evans. Felly y gwnaethum, a chefais dderbyniad caredig; ac wedi ymdwymno a chael lluniaeth, yr oeddwn yn teimlo yn dra chysurus. Yn ein hymddyddaniaeth yno, dywedwyd fy mod wedi bod yn dra ffortunus, am fod bedydd i gael ei weinyddu ar bump o bobl ieuainc y dydd canlynol, sef y Sabboth. Clywed hyn a lanwodd fy enaid o lawenydd, ac addewais i'm llygaid yn gystal a'm clustiau fwynhad mawr.

Ar hyn, dyma y brawd yn galw am danaf, ac wedi talu diolch i'r teulu hynaws, ymaith a ni. Pasiwyd yr amser yn ddifyr gyda'r brawd tra y soniai am y cyfarfodydd da a gawsant er dechreu y flwyddyn; ac hefyd soniai am dair pregeth a draddodwyd gan Mr. Evans yn ddiweddar, ar y dyn ieuanc yn dyfod at Grist, a'u bod yn dda a phwrpasol iawn. Da oedd genyf ddeall fod gweinidogaeth ein brawd yn cael ei gwerthfawrogi gymaint.

Dyma ni wedi cyrhaedd ty Mr. Evans, ond nid oedd ef gartref, am fod cwrdd parotoad yn y capel, er hyny cefais dderbyniad serchog a chynes gan Mrs. Evans. Daeth y brawd adref yn fuan, a chawsom amser dedwydd hyd yr oriau bychain.

Cyfodais yn foreu y Sul, am fy mod yn bryderus yn nghylch y tywydd, ond llongyfarchwyd fi gan wenau siriol brenin y dydd, yr hyn a ragarwyddai ddiwrnod teg, a llonwyd fi yn fawr. Adeg y cwrdd a ddaeth, a gwelwn luaws yn dyfod o bob cyfeiriad, fel y gallaswn gasglu fod rhywbeth o ddyddordeb i gymeryd lle. Ac erbyn myned at y capel, yr oedd cynulleidfa barchus wedi ymgasglu yn nghyd; yna aed yn gryno at lan yr afon, lle yr oedd man cyfleus i weinyddu yr ordinhad. Ar ol ymlonyddu o'r dyrfa, darllenodd Mr. Evans ran o'r wythfed benod o lyfr yr Actau, a gweddiodd yn afaelgar am wenau yr Arglwydd ar yr holl wasanaeth, ac am i'r pedwar brawd a'r chwaer ieuainc gael cymorth yn eu gwaith yn ufuddhau i orchymyn Pen mawr yr eglwys, ac am i'r olygfa fod dan fendith Duw i enill eraill yn ufudd ddeiliaid i'r Gwaredwr bendigedig. Canwyd yn dra swynol, nes oedd fy nghalon mewn hwyl. Pan arweiniai Mr. Evans y bedyddiedigion y naill ar ol y llall i'r dwfr, a'u claddu dan donau yr afonig, gwelwn ddarlun byw o farwolaeth ac adgyfodiad ein Harglwydd Iesu Grist. Edrychai y gynulleidfa yn siriol ac wrth eu bodd. Chwythai awelon tyner o'r deheu, nes gwneyd rhychau prydferth ar wyneb grisialaidd yr afonig, chwalai y cymylau rhyngom a gwyneb glas y wybren, a thywynai pelydrau cynes yr haul, a dawnsient ar wyneb y dyfroedd gloywon; yr oedd Rhagluniaeth fel pe yn rhoddi diwrnod teg megys rhwng cromfachau i weinyddu yr ordinhad sanctaidd, ac yr oedd boddlonrwydd y Nefoedd yn teyrnasu dros yr holl le. Dyna yr olygfa brydferthaf a welodd yr ysgrifenydd er's llawer dydd, gwerth myned ddeg-ar-hugain o filldiroedd i'w gweled. Yna aed yn ol i'r capel yn araf a boneddigaidd, a llanwyd y lle; ac wele olygfa arall ger ein bron, sef bwrdd y cymundeb wedi ei osod. Gwahoddwyd yr ysgrifenydd i ddechreu y cwrdd, ac ufuddhaodd, er cymaint ei wyleidd-dra; yna daeth Mr. Evans, ac aeth at y gwaith dymunol o dderbyn y brodyr a'r chwaer ieuainc i gyflawn freintiau yr eglwys. Gwnaeth hyn mewn dull syml, a gwasgodd arnynt yr angenrheidrwydd o fyw yn ol rheol y ty, ac am iddynt fawrhau eu braint, gan eu bod yn cael eu derbyn i'r gymdeithas uchaf a mwyaf urddasol ar y

Digitized by Google

ddaear, sef eglwys Iesu Grist. Yna rhanwyd yr elfenau arwyddluniol o ddrylliad corph a thywalltiad gwaed ein Gwaredwr ni. Gwnaed sylwadau da a phwrpasol ar yr achlysur. Ymdeimlem y presenoldeb dwyfol yn amgylchu y lle, a'r eglwys mewn hwyl yn cofio am ras ei Harchoffeiriad, a chariad anfeidrol ei Phriod, a minau fel un anhymig yn cael y fraint o gyd-wledda ar y manna ysbrydol. Felly cafodd llygaid a chlustiau, a chalon yr ysgrifenydd fwy na'u dysgwyliad wrth gychwyn o bentref Seisnigaidd Attica i ardal Gymroaidd a gwresog Freedom. Da genyf ddeall fod y brawd Evans a phobl ei ofal mor ddedwydd gyda eu gilydd, a bod llwyddiant ar ei weinidogaeth yn eu plith. Mae afradloniaid yn dychwelyd yn ol i dy eu Tad. Bydded i lawer eto ddod i ymofyn am le yn ei dy, ac enw yn mhlith ei bobl. Dyna yw dymuniad enaid yr eiddoch,

THEODORE ELLISON.

---

PALMYRA, O.

BARCHUS OLYGYDD Y WAWR—Nid oes neb yn teimlo i ddweyd gair am y lle hwn. Beth yw yr achos, nis gwyddom. Modd bynag, credwn y bydd gair am y lle a'r eglwys yn dderbyniol gan bob Bedyddiwr. Y peth cyntaf allwn ddweyd yw, fod gwenau Duw wedi bod gyda ni yn dymorol ac ysbrydol. Nid yn aml y mae parch yn cael ei roddi i'r hwn sydd yn deilwng o hono; mae yma rai sydd yn wir deilwng o barch, rhai sydd yn proffesu yn ogystal a rhai dibroffes. Gallwn ddweyd am wrandawyr yr eglwys hon, fod haelioni wedi gwreiddio ynddynt, maent yn foddlon i roddi pob peth at achos Mab Duw ond rhoddi eu hunain.

Teg yw dweyd gair neu ddau am ein parchus weinidog, y Parch. Edward Jenkins. Ymgymerodd â'r eglwys hon tua dwy flynedd yn ol, a phenderfynodd, gyda chymorth ei Feistr mawr, gael eglwys yn Palmyra unwaith eto yn deilwng o enwad y Bedyddwyr. Gallwn ddywedyd am dano, ei fod wedi gwneyd aberth gwirioneddol dros achos ei Waredwr, ac erbyn heddyw gallwn ddyweyd, mai "hyfryd yw trigo o frodyr yn nghyd." Nid aur ac arian sydd wedi ei gadw yma cyhyd; a phe gallasai fyw ar barch yn unig, ni fyddai arnom ddim ofn ei golli. Yr ydym yn penderfynu gwneyd fel y wraig hono—"Yr hyn a allodd hon, hi a'i gwnaeth." Ymddengys fod yn bryd i ni bellach fel eglwys ddyrchafu mwy ar ein gweinidogion, ond gofalu fod genym gymeriad i ddyrchafu—mae hyn o bwys i ni gofio, ac wrth wneyd hyn gallwn arbed llawer o siarad. Pan mae ein gweinidogion yn gorfod symud o un man i fan arall, credwyf mai y peth lleiaf all eglwys wneyd, gan fod genym Gyhoeddiad misol yn perthyn i'r enwad, fyddai hysbysu yr achos fod ymadawiad yn cymeryd lle. Y gofyniad yn aml yw, Beth yw yr achos fod hwn a hwn yn ymadael? yn enwedig yn ei faes newydd.

Mae dau o weinidogion y Bedyddwyr yn cartrefu yma, sef y Parch. David Hopkins, yr hwn y mae tant ei delyn mor beraidd ag erioed, a'r Parch. William R. Jones, gyda'i ddull nefolaidd. Mae dyddiau blin wedi dyfod i gyfarfod y brodyr da hyn. Dymunwn i'r Duw a'u daliodd yn y gorphenol eu dal eto yn y dyfodol.

Fel mae yn hysbys i lawer, mae y Gymanfa nesaf i fod yma. Cefais ar ddeall fod tuag ugain mlynedd er pan fu y Gymanfa ddiweddaf yma. Gan fod yr eglwys yn wan, gobeithio y cawn gydymdeimlad i'w chynal yn anrhydeddus. Yr eiddoch yn anmherffaith—*J. Roach.*

MR. GOL.—Y mae genyf i'ch hysbysu, fy mod wedi bod yn Niles oddiar dydd Sadwrn hyd heddyw, yn rhagbarotoi er prynu y capel yn ol i'r enwad a'r eglwys Fedyddiedig. Bydd y *Sheriff sale* Mawrth 18fed. Daw pob peth yn *all right* eto, gyda bendith Duw. Yr wyf wedi sicrhau digon o arian i'w brynu yn ol, sef arian benthyg, am chwe' mis heb ddim llôg. Cefais $110 ddydd Llun yn rhoddion gan ddau berson yn Niles. Hefyd, yr wyf wedi sicrhau y brawd anwyl Lewis W. Morgans yn brynwr ddydd y *sale.*

Digitized by Google

Cytunais a'r Sheriff ddoe, yn Warren, i dalu $50 i lawr ddydd y *sale*, a'r gweddill yn mhen triugain diwrnod. Byddaf yn cychwyn yn union at y casglu wedi dydd y *sale*. Curo yr haiarn tra y byddo yn boeth, a chredwyf y byddwn ag eglwys yn Niles yn *all right* eto yn fuan. Yr wyf wedi cymeryd ei gofal am ddau Sabboth yn y mis, nes dod a hi allan o'i thrwbl.—*Edward Jenkins.*

---

ODDIWRTH Y PARCH. THOMAS MORGAN, CUMBERLAND, MD.

*At Olygydd y* WAWR—Yr wyf yn cael llawer llith yn y WAWR ag sydd yn lloni fy nheimladau, ac yn goleuo fy meddwl; ond o bob llith, nid oes yr un a'm llonodd yn fwy na'r eiddo Mr. Evans ar yr amgylchiad nodedig yn Calcutta. Gwyddoch i mi gyfarfod ag amgylchiad o'r un natur, trwy yr hwn y daethum yn Fedyddiwr. Y mae yn wir fod gwrthddrych atdyniadol i gyffroi meddwl y brawd i'r cyfeiriad hwnw, pan nad oedd yr un i gyffroi fy meddwl i, a hwnw oedd un o'r arfau cadarnaf oedd genyf yn fy ymdrechfa yn erbyn y fath feddwl; er hyny yr oedd ymdrechfa y brawd Evans a'r eiddof finau o'r un natur, sef ymdrechfa rhwng yr ewyllys a'r meddwl, a'r meddwl yn gorchfygu. Cyfarfyddwn yn ddyddiol a'r ewyllys yn gorchfygu y meddwl, ond yn anaml iawn a'r meddwl yn gorchfygu yr ewyllys gadarnaf; ac yn anaml iawn y cyfarfyddwn â dynion profiadol o'r fath ymdrechfa, felly ychydig o ddynion a geir i wneyd un sylw o'r fath adroddiad, am hyny yr oedd yn dda gan fy nghalon i gael un o'r un profiad a gefais inau. Gallaf sicrhau i'r brawd fod o leiaf un yn credu i'w adroddiad, nid trwy ffydd, ond trwy brofiad.

Gwelais yn y rhifyn am Chwefror fod hanes y Bedyddwyr o ddyddiau yr Apostolion hyd y flwyddyn 1795 yn cael ei gyfieithu o waith y Parch. Joshua Thomas, gyda llawer o ychwanegiadau gan y Golygydd. Dywed hefyd fod gwaith Joshua Thomas yn brin. Mae yn bur debyg fod y gwaith sydd yn cael ei ddwyn allan yn werthfawr, ond hyn a ddywedaf wrthych, os yw y gwreiddiol yn brin, ac os yw o werth yn ngolwg yr enwad o Fedyddwyr yn yr Unol Dalaethau fel y carent ei gael, parod wyf fi i wneyd anrheg o hono iddynt, os gosodant ef yn un o athrofeydd yr enwad, fel y byddo i bob myfyriwr ac ymwelydd ei ddarllen. Nid yw gwaith gwreiddiol y Parch. Joshua Thomas yn Gymraeg yn cyrhaedd ond hyd yr 31ain o Ragfyr, 1777. Mae y gwaith yn ddwy ran, ond wedi ei rwymo yn un gyfrol yn cynwys yn gyfan-gwbl ychydig dros 500 o dudalenau. Y mae yn bosibl fod y cyfieithiad o hono i'r Saesoneg yn cyrhaedd y fl. 1795, ac felly yn chwyddo ychydig yn fwy.—*T. Mernee.*

---

CYMANFA BEDYDDWYR CYMREIG GORLLEWINBARTH Y MISSISSIPPI.

Bydd y Gymanfa hon i'w chynal eleni gyda'r eglwys yn Dawn, Livingston Co., Mo., Mai 19, 20, 21. Bydd cyfarfod pregethu nos Wener, cynadledd boreu Sadwrn am ddeg, cyfeillach gyffredinol am ddau, a phregethu yn yr hwyr am saith, a thrwy y dydd Sabboth. Erfynir ar y gweinidogion a'r cenadon i fod yn brydlon. Dymunwn alw sylw yr eglwysi at y penderfyniad canlynol o eiddo y gynadledd y llynedd—

"Fod pob eglwys i wneyd casgliad blynyddol tuag at ddwyn treuliau y Gymanfa."—*Thomas D. Evans. Ysg.*

---

ODDIWRTH Y PARCH. BENJAMIN JAMES, O GYMRU.

Castellnedd, Mawrth 1, 1882.

*Parch. O. Griffith*,—Anwyl Frawd,—Yr wyf yn ysgrifenu yr ychydig linellau hyn atoch gan obeithio eich bod yn iach. Bwriadaf ddychwelyd yn ol i America yn mis Mai nesaf, gan fy mod yn hiraethu am weled y wlad yna yn fawr eto. Carwn i chwi wneyd hyn yn hysbys yn y WAWR.

Argraffais 2,000 o'r pregethau a'r ddarlith yn Aberdar, ac yr wyf yn agos a'u gwerthu i gyd. Cefais lawer o fy

Digitized by Google

hen gyfeillion yn garedig iawn, yn neillduol yn y De; ond yr wyf wedi colli llawer ag oeddwn yn adnabyddus â hwy, sydd wedi gadael a myned i fwynhau eu gwobr yn y nef. Diau eich bod wedi clywed am farwolaeth y brawd anwyl y Parch. Lewis Jones, Treherbert. Cafodd gystudd maith, a bu marw yn elw iddo yn ddiau. Brawd da oedd efe.

Carwn i chwi anfon y WAWR i mi o hyn allan i Ashland, Pa., gan y byddaf yn dychwelyd ddechreu Mai. Caf setlo a chwi wedi dychwelyd.

Ceisiodd y Parch. B. Thomas, Letterstone, Pembrokeshire, arnaf i geisio genych anfon y WAWR iddo ef ddechreu Ebrill, gan mai y pryd hwnw yw dechreu y gyfrol. Cofiwch am hyny, a'i hanfon yn fisol yn y dyfodol.

Dymunaf fy nghofio yn garedig atoch, a'r cyfeillion oll yn America.

Y mae genyf *manuscript* o bregethau yr enwog John Roberts, Tredegar gynt. Dichon y gwnaf eu hargraffu pan ddelwyf yn ol. Bydd yn llyfr gwerthfawr, yn cynwys 61 o'i bregethau. Prynais y copi gan gyfaill.

Ymdrechaf gael ysgrif ddyddorol i'r WAWR yn fuan. Yr eiddoch yn frawdol, B J.

---

CYDYMDEIMLAD A GWEINIDOG.

Fel hyn yr ysgrifena y Dr. Cefni Parry i'r *Drych* am Mawrth 7, 1882,—"Caniatewch i mi ofod bychan o'r *Drych*, i roddi datganiad cyhoeddus o fy nheimladau cynes mewn diolchgarwch i eglwys Fedyddiedig y Cymry yn Bevier, Mo., am yr arwydd sylweddol o barch a chariad a ddangosodd tuag ataf, yn y dyddiau tywyll a du, cymylog a niwliog, ar y cymydogaethau hyn yn bresenol. Mae yn hysbys, bellach, i'r wlad yn lled gyffredinol, fod Ariandai Macon City wedi tori, er colled o ganoedd o filoedd o ddoleri i'r cymydogaethau hyn. Yn mysg y colledwyr ceir nifer mawr o bobl dlodion, y rhai trwy lafur, ymdrech, a chynildeb, oeddynt wedi llwyddo i allu rhoddi ychydig ddoleri yn y *Savings Bank*, yn Macon. Cauwyd y Banc i fyny, a chollodd y bobl dlodion hyn yr oll a feddent ynddo; ac y mae colli yr ychydig yn gymaint o werth i'r tlawd, ag yw colli llawer i'r cyfoethog. Yn mysg y colledwyr hyn y mae yr ysgrifenydd yn un. Yr oedd yn nghylch $300 ganddo, wedi eu rhoddi yn y Banc hwn, pan y profwyd fod y Banc yn *failure* truenus trwy ladrad ac anonestrwydd *Ring* drygionus y cyfarwyddwyr a'u goruchwylydd. Teimlai y brodyr a'r chwiorydd yn eglwys Bevier, gymaint dros gyflwr anffodus eu gweinidog, nes penderfynu o honynt ddangos eu cydymdeimlad ag ef yn sylweddol, trwy ei gynorthwyo yn wyneb ei golled, mewn cyflwyniad anrheg iddo o gan' dolar ($100) yn arian. Cyflwynwyd yr anrheg, dros yr eglwys, gan Mrs. Evans, Maesteg, Morganwg, D. C., yr hon sydd ar ymweliad a'i phlant yn y lle ar yr adeg bresenol. Wrth gyflwyno yr anrheg, rhoddes Mrs. Evans, hefyd, haner penadur o aur, ei hun, yn ychwanegol at yr anrheg. Gwnaed y cyfan heb un awgrym gan y gweinidog, nac hyd yn nod y cysgod lleiaf o ddysgwyliad am y fath garedigrwydd. Cefais garedigrwydd yn Utica, Pittston, ac yn Oshkosh, am yr hyn y parhawyf i'w cofio yn gynes; ond ag ystyried yr amgylchiadau, yn nghyda thlodi yr ardaloedd ar yr adeg farwaidd hon ar fasnach, rhaid teimlo Bevier yn hawlio y blaen. Dymunwyf gyflwyno fy niolchgarwch gwresocaf i'r eglwys hon am yr arwydd mawr hwn o serch ataf, ffyddlondeb i mi, a chydymdeimlad a fy achos. Yr Arglwydd Ior fyddo yn talu i'r eglwys, mewn bendithion fyrdd am y caredigrwydd mawr hwn.

---

LLYTHYR CYMERADWYAETH.

*Niles O., Chwef.* 26.—Eglwys Iesu Grist o Fedyddwyr Neillduol y lle hwn, a garant hysbysu pawb y perthyn iddynt wybod, fod ein parchus frawd, y Parch. D. C. Thomas, yn aelod rheolaidd gyda ni, ac yn weinidog ffyddlawn i Iesu Grist; a'n bod yn unfrydol wedi rhoddi llythyr gollyngdod iddo ef, er iddo ymuno ag unrhyw eglwys sydd o'r un farn a threfn. Dymunwn

Digitized by Google

fendith Duw gydag ef lle bynag y byddo yn cael ei arwain. Y llythyr hwn yn dda am chwe' mis o'r dyddiad uchod. Arwyddwyd dros yr eglwys gan David Williams a David Jones, Diaconiaid.—*David Williams, Ysg.*

### SHAWNEE, O.

Nid yw yr achos goreu yn llewyrchus iawn yn ein plith ni y Cymry yn y lle hwn. Mae y Parch. Davies yn pregethu i ni yn awr ac eilwaith, heb gael un cent am ei waith; a gwyr pawb mai peth hollol ddigalon ydyw llafurio am ddim. Bydded i Gymry Shawnee, y rhai sydd yn credu yn egwyddorion y Bedyddwyr, godi fel un gwr, a phenderfynu cael achos teilwng o'r enwad Bedyddiedig yn y lle poblogaidd a phechadurus hwn. Mae y Bedyddwyr Seisnig yn llwyddo yn arderchog yma. Y mae rhai wedi eu bedyddio yn barod, a lluaws yn dysgwyl am yr un fraint.—*J. S. Williams.*

### CYMANFA BEDYDDWYR CYMREIG WISCONSIN.

Mae y Gymanfa hon i gael ei chynal eleni yn Braidwood a Braceville, Ill., Mai 27, 28, 29. Y gynadledd i fod am 10, cyfeillach am 2, a phregethu yn yr hwyr, a thrwy y dydd Sabboth a'r Llun canlynol. Dymunir ar yr eglwysi perthynol i anfon eu cenadon a'u gweinidogion i fod yn bresenol. Bydd eisiau iddynt fod yn Chicago haner dydd Gwener y 26ain, a chymeryd yr Alton Railroad i Braidwood, a bydd yno rai yn eu cyfarfod. Dros yr eglwys—*I. T.*

### NEWBURGH, O.

Derbynied eglwys y Bedyddwyr a'n lluaws cyfeillion ein diolchgarwch puraf fel teulu, am eu caredigrwydd a'u haelfrydedd i ni.

Yr oedd ffrwyth toreithiog *pren* y flwyddyn newydd, a'r budd oddiwrth ddarlith ardderchog Dr. Fred. Evans, (Ednyfed), yn cyrhaedd yn agos y swm hardd o $60. Cawsom hefyd mewn nwyddau werth $10. Y mae hyn yn brawf o sel a gweithgarwch yn yr eglwys, ac yn arddangosiad o'r teimladau cariadus, brawdol a Christionogol sydd yn bodoli yn mynwes yr eglwys tuag at ei gweinidog. Yr eiddoch yn ddiolchgar—*James F. Richards.*

### DIOLCHGARWCH.

Dymuna y Parch. J. R. Jones, Houtzdale, Pa., gyflwyno diolchgarwch gwresog i bobl ei ofal gynt yn Mason City, W. Va., am anrheg o *rubber suit*, yr hwn a alwant yn "wisg fugeiliol," yn nghyda ffon werthfawr. "Ymddengys i mi," medd Mr. Jones, "fod y brodyr wedi bod yn ddoniol yn hyn o beth, drwy awgrymu, 1. Mai elfen bwysig yn y weinidogaeth yw bugeilio y praidd. 2. Nid yw y bugail i'w esgeuluso ar dywydd gwlawog. 3. Y dylai fod yn ofalus am ei iechyd wrth gyflawni ei waith bugeiliol."

### CHURCH HILL, O.

Hynod lewyrchus yw pethau yma mewn ystyr grefyddol. Oddiar pan y daeth y Parch. Williams yma yn weinidog, ymddengys fod pawb yn ei hoffi fel bugail da, gweithgar a gofalus. Y mae yn hynod dderbyniol trwy yr ardal. Ceir yma gynulliadau lluosog, hwyliog a gwlithog; rhoddir gwrandawiad astud i'r hyn a draddodir, a llawer yn dweyd, "Minau a ddeuaf hefyd." Mae oddeutu pymtheg yn y gyfeillach, y rhan fwyaf yn aros am gael eu trochi. Mae agwedd ddymunol ar gynulliadau yr eglwys, a'r ysgol Sul yn flodeuog. Gellir dweyd mai "Hyfryd yw trigo o frodyr y'nghyd." Parhaed felly, on'te?—*Gwalchfryn.*

### OSHKOSH, WIS.

Mr. Gol.—Telais ymweliad a'r frawdoliaeth yn Nekama, Oshkosh, yn niwedd Chwefror, a chefais y fraint o dreulio Sabboth gyda hwy. Da genyf eu gweled mor gysurus, er eu bod yn amddifad o is-fugail. Maent yn ymddangos yn llafurus gyda y gwaith da. Yr wyf yn canmol yr ieuenctyd gyda

Digitized by Google

yr ysgol ganu a'r ysgol Sul, a gobeithio na bydd eu llafur yn ofer yn yr Arglwydd. Mae y chwaer anwyl Miss Bennett wedi bod yn lled wael er ys oddeutu mis o amser. Gobeithio y bydd adferiad buan i'r chwaer, a gobeithiwn y bydd i'r Arglwydd anfon brawd teilwng i lafurio yn ein plith. Yr eiddoch yn y rhwymau goreu—*R. D. Evans, Springwater, Wis.*

---

### Christopher Bach.

Yn mis Medi diweddaf collasom trwy angau, ferch anwyl a hoff; ac oddiar hyny hyd yn bresenol y mae iechyd fy anwyl wraig yn wael iawn. Y mae i ni un ferch eto yn fyw, sef priod T. J. Jones, yn Pomeroy, Ohio. Yr ydym wedi penderfynu gwerthu ein cartref yn Niles, a symud at ein merch i Pomeroy, O. Y mae i ni ddau o feibion caredig a hawddgar—un yn Niles a'r llall yn Warren, O.; ond gyda'r ferch y mae calon y fam; ac y mae'n debyg iawn mai yno yr awn yn mhen ychydig o wythnosau. Bum yn weinidog yn Pomeroy rai blynyddoedd yn ol; felly nid annaturiol i mi fydd y lle a'r trigolion. Y mae ein Tad nefol, trwy ei ragluniaeth ddoeth a da, wedi gofalu yn dirion am danom—nid bychan yw y caredigrwydd a'r cydymdeimlad ydym wedi ei gael yn Niles. Teimlwn yn ddiolchgar.

—*D. C. Thomas.*

---

### Diolchgarwch.

*Remsen*, Mawrth 9.—Mae genyf i ddiolch am y seithfed *donation*, yr hon a gynaliwyd Chwef. 16; ac mewn cysylltiad a'r *donation* mae amryw bersonau wedi fy ngosod dan rwymau neillduol iddynt. 1. Teimlwyf yn rhwymedig i'r eglwys dan fy ngofal am eu hunfrydedd yn pasio i mi gael un, ac yn ganlynol am eu cydymdrechion er sicrhau ei llwyddiant. Dywedir fod y rhif saith yn golygu perffeithrwydd, a gallwn i feddwl fod y seithfed *donation* yn myned yn mhell tuag at brofi hyny, canys ni welais gymaint o unoliaeth yn mysg y frawdoliaeth o gwbl a'r tro hwn. Am hyn, anwyliaid yn Nghrist, derbyniwch fy niolchgarwch mwyaf diffuant. 2. Mae fy rhwymau yn fawr i rai tu allan i'r eglwys, canys gellir dywedyd i luaws o honynt weithio mor ffyddlon a phe buasai yn elw personol iddynt eu hunain. Os na chaniatant i mi gyhoeddi eu henwau yn y Wawr, gallaf ddweyd eu bod wedi eu hargraffu yn annileadwy ar lechau fy serch a'm calon. Diolch i chwi, gyfeillion, am hyny, o galon bur yn helaeth. 3. Diolch calon i Mr. Bristol am roddi benthyg ei neuadd eang ac ardderchog yn rhad ac am ddim i ni; ac nid hyny yn unig, ond hefyd gwneyd pob hwylusdod gyda'r *donation*. Yr oedd yr hyn a wnaeth ef yn werth o leiaf $12. 4. Mae gan yr ardalyddion, mewn modd cyffredinol, hawl yn fy niolchgarwch; canys y mae yn cael ei wneyd i fyny, nid gan yr eglwys, na chan roddion mawrion gan unigolion, ond gan yr ardalwyr yn gyffredin; a syndod oedd gweled cymaint wedi dod yn nghyd ar noson mor wlyb. Yr oeddym fel teulu wedi derbyn amryw roddion cyn y *donation*, ac er gerwinder yr hin, derbyniwyd mewn arian yn unig $125.25 y noswaith hono, a $10 dranoeth, ac y maent wedi parhau o hyny hyd ddoe, fel y mae y *donation* heddyw yn llawn $200, ac nis gwn beth fydd eto. Am hyn oll, derbynied fy nghyfeillion a'm hewyllyswyr da ddiolchiadau mwyaf cywir fy mhriod a minau. Ydwyf, yr eiddoch oll yn rhwymedig a diolchgar—*J. Seth Jones.*

---

### Gofyniad.

Barchus Olygydd—Carwn gael gwybod genych trwy gyfrwng y Wawr, A oes gan y Bedyddwyr Cymreig neu Seisnig Gymdeithas Feiblaidd yn y wlad hon? Os oes, rho'wch ychydig bach o'i hanes yn y Wawr nesaf—yn mha le y mae ei harosfan, a phwy yw ei swyddogion, &c. Rhydd hyn foddlonrwydd mawr i—*Gwalchfryn.*

---

—Mae saith o negroaid yn awr yn heddgeidwaid yn Philadelphia.

Digitized by Google

## *GANWYD—*

Chwefror 17, 1882, yn Upper Lehigh, Pa., mab i Mr. John Price a'i briod. Gelwir ef William.

Boed llwyddiant mawr i Willie bach
I deithio trwy y byd,
Heb ddiffyg olew ar ei ben,
A'i wisg boed wen o hyd.
CYFAILL.

---

## *PRIODWYD—*

Rhagfyr 26, 1881, yn ei dy ei hun, gan y Parch. Edward Jenkins, Mr. Wm. R. Morgans a Miss Minnie Morris, y ddau o Parisville, O.

Mawrth 2, 1882, yn nhy tad a mam y briodasferch, gan y Parch. E. Jenkins, Mr. Thomas M. Griffiths a Miss Ellen M. Williams, y ddau o Palmyra, O.

Mawrth 9, 1882, yn ei dy ei hun, gan y Parch. E. Jerkins, Mr. J. D. Jenkins a Miss M. A. Thomas, y ddau o Palmyra, O.

Chwef. 22, 1882, yn Niles, O., yn nghartref y briodasferch, gan y Parch. D. C. Thomas, Mr. Howard Miller, o Canal Dover, a Miss Sarah Job, o Niles, O

Mawrth 1, 1882; yn Ashland, Pa.. gan y Parch. Jeremiah Griffiths, yn ei dy ei hun, Mr. John Rogers a Mrs. Margaret A. Wyatt, y ddau o Shenandoah.

Chwef. 23, 1882, yn Freedom, N. Y., gan y Parch. W. M Evans, yn ei dy ei hun, Mr. Lot Smith, o Eagle, Sir Wyoming, N. Y., a Miss Mary A. Williams, o Centerville, N. Y.

Mawrth 16, 1882, yn Providence, Pa., gan y Parch. J. P. Harris (*Ieuan Ddu*), William Sims a Sarah Owens, oll o Providence.

Sarah a William siriolwawr,—rwymwyd
Ger Hymen hyd elawr;
Y daith fo'n fendith fawr
Drwy Iesu, eu gwir drysawr.
IEUAN DDU.

---

## *BU FARW—*

### MISS SARAH ANN ROBERTS.

Yn Providence, Pa., Ionawr 13, o'r *Scarlet fever* a'r *diptheria*, Sarah Ann, merch Llewelyn Roberts, ac Ann ei briod, pan newydd adael ei thair blwydd ar ddeg oed.

Geneth addawol iawn oedd Sarah Ann, cariadlawn a phrydweddol—un hynod awyddus i yfed o ffynon dysgeidiaeth. Yr oedd yn feddianol ar feddwl ymchwilgar, yn nghyda chof gafaelgar, ac yn bur wybodus mewn hanesiaeth ysgrythyrol. Ymhyfrydai i gasglu gwybodaeth, yn gyfryw edmygid hi fel deiliad ffyddlawn o'r Ysgol Sabbothol, ac edrychid yn mlaen am ffrwythau addfed yn y dyfodol: "Ond nid fy meddyliau i, yw eich meddyliau chwi," medd yr Arglwydd.

Daeth angau a'i wys yn sydyn ac annisgwyliadwy i'w throsglwyddo i well gwlad i fyw, er tristwch i'w hanwyl dad. Nid oedd Sarah Ann ond dwy flwydd a phedwar mis oed pan fu ei mam farw; ond yn nghanol barn fe gofiodd Duw drugaredd—gadawodd dad tyner i ofalu am dani; cafodd bob ymgeledd ac addysg y gallasai tad cariadlawn gyfranu. Ond bu farw. Byr ond trwm fu ei chystudd olaf.

Sarah Ann, oer yw ei hanedd—huna
Yn mynwes y dyfnfedd;
Ond gwiwlwys daw o'i gwaeledd,
I dir y byw o dy'r bedd.

### DAVID ROBERTS.

Dranoeth bu farw David, maban Mr. Roberts, a Rebecca ei briod, o'r un clefyd, yn flwydd a saith mis oed.

Byr fu'r ymweliad ar y llawr,
Rhodd anwyl werthfawr Duw,
Ei olwg drodd i'r Wynfa fry,
Chwenychai yno 'i fyw.

Fel hyn yr amddifadwyd y teulu megys mewn un dydd o'u hanwyliaid, a chladdwyd y ddau gorph yn mynwent Washburn, Hyde Park, ar y 15fed. Y Parch J. P. Harries yn gweinyddu. Cafodd y teulu yr amlygiad llwyraf o gydymdeimlad gan fyd ac eglwys, yn y brofedigaeth chwerw hon. Yr Arglwydd fyddo yn nawdd ac amddiffyn iddynt yn nydd trallod, ac a'u cynalio hyd yn nheyrnas nef.—
BRAWD.

### MRS. SUSAN WILLIAMS.

Ionawr 17, 1882, yn Remsen, N. Y., bu farw Mrs. Susan Williams, yn 79 mlwydd oed. Bu farw ei hanwyl briod er's tua naw mlynedd yn ol, gan adael ein hanwyl chwaer yn weddw. Ymfudodd y ddau i r wlad hon yn y flwyddyn 1839, o Lanelwy, Sir Fflint. Bu iddynt 10 o blant. Claddasant dri yn Nghymru, a dau yn y wlad hon, ac y mae tri o feibion a thair o ferched yn fyw yn awr, ac oll yn grefyddol, ac mewn sefyllfaoedd da a chysurus.

Bu ein chwaer yn grefyddol am yn agos i ddeugain mlynedd. Nodweddid hi gan ei hysbryd llonydd a thangnefeddus. Cydnabyddai ddaioni yr Arglwydd yn wastadol, a dywedai yn fynych nad oedd ganddi neb i ymddiried ynddo ond Efe. Nid oedd ganddi unrhyw berthynas yn y byd hwn, hyd y gwyddai, ond ei phlant a'i hwyrion, ond y mae yn deilwng o gofnodiad fod y rhai hyny wedi bod yn dyner iawn o honi. Nid oedd hi na'i phriod yn cael eu hystyried yn rhai hynod o haelfrydig mewn ystyr grefyddol; ond gellir dywedyd hyn am danynt, fod eu cyfraniadau crefyddol i fyny a'u dull o fyw. Nid crefydd oedd yn cael y

Digitized by Google

sylw lleiaf o bob peth ganddynt, a gadawodd Mr. Williams ar ei farwolaeth dri chant o ddoleri i ofal Mrs. Williams, er eu rhoddi i eglwys Seion, Remsen, y rhai a gyflwynwyd gan ein chwaer er's ychydig flynyddau yn ol. Bydd y rhodd hon yn gof-golofn barhaol er cadw eu henwau mewn parch ac anwyldeb tra y parhao yr eglwys Fedyddiedig yn Remsen. Heddwch fyddo i'w llwch, a Duw fyddo yn nodded ac amddiffyn i'w holl hiliogaeth.

Y dydd Gwener canlynol i farwolaeth ein chwaer, cafwyd angladd anrhydeddus iddi, pryd y pregethwyd yn addoldy y Bedyddwyr gan y Dr. E. G. Williams a'r Parch. J Seth Jones. Claddwyd hi yn mynwent brydferth Prospect. BRAWD.

### MR. JOHN JAMES.

Chwefror 15, 1882, yn Parisville, Ohio, bu farw Mr. John James, yn 85 mlwydd a 5 mis oed. Ail tranoeth, Chwefror 17, ymgasglodd tyrfa luosog, ac ystyried annymunoldeb yr hin, i dalu y gymwynas olaf i un a gerid ac a berchid yn fawr gan bawb a'i hadwaenai. Claddwyd y brawd da hwn yn y fynwent newydd gerllaw Center Paris, a gweinyddwyd yn y ty ac wrth y bedd gan y Parch. A. J. Morton. Heddwch i lwch ein hanwyl frawd, a Duw pob gras a fyddo yn llond ei addewid i'n hen chwaer oedranus, 80 oed, ac i'w blant, pa rai sydd wedi colli tad tyner a darbodus, yr hwn trwy esiamplau da, cyngorion dwys, a dylanwad dwyfol yr efengyl, gadd weled ei blant oll yn ymuno â chrefydd Iesu Grist.

Ymunodd ein brawd James â chrefydd yn ieuanc, a bu yn ffyddlon hyd y diwedd. Nid wyf yn gwybod yn gywir yr adeg y priododd, ond yr wyf yn deall iddo ef a'r hen wraig fod yn yr ystad briodasol am fwy na 60 mlynedd, ac y mae yr hen wraig yn teimlo yn hiraethlawn iawn am dori cysylltiad fu mor hir a hapus. Bu iddynt naw o blant, sef tri o feibion a chwech o ferched, o ba rai y mae tri yn fyw a chwech wedi blaenu eu tad i'r byd anweledig. Y tri ydynt fyw ydyw John, a Mary, ac Ann. Y mae Ann wedi priodi â masnachwr cyfrifol yn Youngstown, Ohio, a John a Mary yn weddw, ac yn aros gartref gyda eu mam mewn amgylchiadau cysurus.

Daeth gwrthddrych ein coffa a'i deulu i'r wlad hon o Llanfihangel Creiddyn, sir Aberteifi, D. C., yn y flwyddyn 1842. Buont yn aros peth amser yn Palmyra, Ohio, wedi hyny yn Paris. Codasant dy *logs* yn agos i'r Center, a buont yn gymorth mawr i'r Bedyddwyr yno. Yr oedd drws ei dy *logs* bob amser yn agored i dderbyn arch Duw, cyn, ac wedi, adeiladu y capel. Bu ef yn ffyddlon ac ymdrechol iawn pan oedd yr achos yn ei fabandod; a bu yn gwasanaethu yn y swydd ddiaconaidd yn dda am flynyddoedd. Gwyddai natur ei swydd yn well na rhai yn y dyddiau hyn—gwyddai mai gwas i'r eglwys oedd, ac nad oedd i drawsarglwyddiaethu yn rhinwedd ei swydd, fel y gwna llawer un y dyddiau hyn, y rhai sydd a mwy o hunanoldeb ynddynt nag o ras yn eu calon. Yr oedd ef bob amser yn dirion ac hunanymwadol, eto yn gadarn dros y gwirionedd. Ni chariai ddau wyneb i neb. Pe buasai brawd neu chwaer yn dygwydd llithro tipyn o lwybr eu dyledswydd, cymerai bob gofal i'w cael i'w lle—defnyddiai bob tynerwch a ganiatai y Testament Newydd iddo, a dim pellach. Gofalai fwy am ogoniant Duw ac anrhydedd crefydd Crist nag am wyneb na theimlad neb. Cafodd eglwys y Bedyddwyr yn Paris golled fawr yn marwolaeth y brawd John James, er y mae yn wir nad oedd, gan henaint a gwendid yn y blynyddau diweddaf, yn gallu rhoddi ei bresenoldeb yn y cyfarfodydd fel yr oedd pan yn gryf a hoew, ond ymdrechai mor bell ac yr oedd ei iechyd a'i nerth yn caniatau; felly yr oedd cymeradwyaeth y nefoedd o'i blaid—yr hyn a allodd a wnaeth.

Daeth ein brawd i'r wlad hon yn gydmarol dlawd ei amglchiadau, ond trwy ddiwydrwydd a dyfal barhad, a Duw yn bendithio ei ymdrechion ef a'i deulu, daeth i sefyllfa ac amgylchiadau cysurus. I ddechreu, prynodd 60 erw o dir coed tua dwy filldir o Center Paris, a thrwy ei lafur ef a John ei fab, cliriasant y coed a gwnaethant ffarm drefnus, a thrwy eu cydymdrech fel teulu talasant am dani. Prynasant ddarn arall o dir yn agos i'r darn cyntaf, fel yr oeddynt yn awr yn feddianol ar ffarm lled fawr, a'r oll wedi talu am dani. Felly y mae y teulu, er bod eu calon yn drom ar ol priod hoff a thad tyner, wedi eu gadael mewn amgylchiadau cysurus iawn, gyda golwg ar bethau y bywyd hwn; a choron ar y cwbl, y maent oll yn grefyddol.

ALPHA.

### MR. JOHN HUGHES.

Gorphenaf 7, 1881, yn Dawn, Mo., bu farw y brawd ieuanc tawel, diniwed a diymhongar, John Hughes, yn 32 mlwydd oed. Y mae colli brawd da, a milwr dewr o fyddin yr Iesu, yn ergyd drom i deimladau y saint a adewir ar ol, felly gyda y brawd anwyl John Hughes; ond gallwn ddweyd am dano, iddo ymdrechu ymdrech deg, a gorphen ei yrfa yn anrhydeddus. "Gwyn eu byd y meirw, y rhai sydd yn marw yn yr Arglwydd."

Ganwyd gwrthddrych hyn o linellau yn Dynnant, Llanon, Sir Gaerfyrddin, G. C., Gorph. 19, 1849. Enwau ei rieni ydynt William R. ac Esther Hughes, y rhai sydd yn aelodau rheolaidd yn yr eglwys Fedyddiedig yn y lle hwn. Ymddengys i John dderbyn argraffiadau crefyddol yn dra boreu, er nad oedd neb o'r teulu yn arddel Crist ar y pryd. Gwir fod perthynasau ei dad yn Fedyddwyr selog, a lluaws o honynt yn arddelwyr Crist, ond hyd yn hyn nid ydoedd Mr. Hughes felly; ac yr oedd teulu Mrs. Hughes, o'r ochr arall, yn Esgobaethwyr selog, ac un brawd iddi yn offeiriad poblogaidd a galluog; ond, modd bynag, tueddwyd John yn foreu, trwy ddarllen Gair Duw, i ymwasgu â'r Bedyddwyr, felly yn mis Mawrth,

Digitized by Google

1868, pan yn 20 mlwydd oed, cawn iddo gael ei fedyddio ar broffes o'i ffydd yn Mab Duw, yn Porthyrhyd, Sir Gaerfyrddin, gan y diweddar Barch. D. Morris, gweinidog yr eglwys. Adeg hapus ar ei feddwl ydoedd hon, a meddyliai yn fawr hyd ei fedd am y gwr a'i claddodd yn y dyfrllyd fedd, mewn ufudd-dod i orchymyn Pen yr eglwys.

Yn Gorphenaf, yr un flwyddyn (1868), ymfudodd gyda'i rieni i'r wlad hon. Ymsefydlasant yn mhen ychydig amser ar fferm ragorol yn Low Gap, ychydig i'r deheu o Dawn, Mo., lle mae y teulu yn gwneyd yn dda; ond bu John farw y dyddiad a nodwyd, wedi dyoddef am amser maith, a dysgwyl yr alwad am dymor hir. Nid ydoedd wedi mwynhau iechyd da er's rhai blynyddoedd, gan yr ymddengys iddo yn lled fuan wedi dyfod i'r wlad hon, pan yn aredig ar ddiwrnod eithafol boeth yn yr haf—y gwres megys yn ymdywallt ar ei ben—gael *sun-stroke*, yr hyn a effeithiodd ar ei iechyd tra y bu byw. Ni allai weithio fel arfer, ond yr oedd yn ofalus am yr anifeiliaid, ac yn ymdrechol hyd eithaf ei allu.

Yr oedd John Hughes yn Fedyddiwr selog ac egwyddorol, er ei fod yn debyg iawn i'w feistr—"Ni phâr glywed ei lef yn yr heol"—yr oedd yn dawel, gwylaidd a diymhongar. Hefyd, yr oedd yn ffyddlon iawn i'r cyfarfodydd; er fod ganddo ryw bedair milldir a haner o ffordd i ddyfod iddynt, eto nid yn aml y gwelid ei le ef yn wag; ymdrechai fod yn bresenol bob Sabboth, ac yn fynychach.

Yr haf diweddaf, pan y bedyddiwyd ei ddau frawd a'i dair chwaer, yr oedd cwpan ei lawenydd yn rhedeg drosodd, teimlai yn fwy addfed i adael yr anial am y wlad well, ac felly y bu yn mhen byr amser; yn lle myned i roddi tro yn ol i wlad ei enedigaeth, fel y bwriadai, aeth i wlad y goleuni tragywyddol, lle yr ymlonydda mewn llawenydd didor.

Bendith Duw fyddo ar ei deulu hoff. Ei frodyr a'i chwiorydd anwyl, byddwch chwithau hefyd barod.

Y dydd canlynol i'w farwolaeth, claddwyd ei weddillion yn mynwent Low Gap, pryd y gweinyddwyd yn Gymraeg a Saesoneg gan y gweinidog, y Parch. R. M. Richardson.

Ffarwel bellach, frawd hoffusaf,
  Ni gydgwrddwn yn y man,
Ti ddiengaist uwch gofidiau,
  Dringaist fry i dawel fan;
O! mor felus fydd cyfarfod
  Ar heirdd fryniau nef y nef,
Heb un dolur, poen na gofid,
  Ond i ganu "Iddo Ef."

Yn gywir iawn, GALARWR.

DAVID WINTERBURN.

Ion. 26, 1882, bu farw David, mab i'r brawd a'r chwaer anwyl, George a Lydia Winterburn, Taylorville, Pa., yn 10 mlwydd, 2 fis a 7 niwrnod oed. Ei glefyd ydoedd y frech wen, felly claddwyd ef yn y nos, yr hwn gladdiad sydd yn dra annymunol i deimladau cyfeillion a pherthynasau yr ymadawedig.

Ei delaid aden a ledodd,
I fro uwch yn iach y ffodd.

BRAWD.

---

## LLUNDAIN GYMREIG.

Chwefror 25ain, 1882.

CYFARFOD BLYNYDDOL CASTLE STREET.

Nos Fercher diweddaf cynaliodd Bedyddwyr Cymreig Castle Street eu cyfarfod blynyddol yn St. Andrews Hall, Newman Street, o dan lywyddiaeth Mr. Joseph Peters. Yr oedd Mr. William Davies, yr A. S. dros sir Benfro, wedi addaw cymeryd y gadair, ond ar yr unfed awr ar ddeg, anfonodd esgusawd. Yn ffodus, ni raid dibynu yn hollol ar Dy y Cyffredin am lywyddion er fod y llythyrenau A. S. yn meddu swyn mawr i arweinwyr cyfarfodydd Cymreig y brif-ddinas, a da genym yw dweyd i Mr. Peters, er ei fod yn Sais, ac yn Eglwyswr, lanw y swydd y galwyd ef iddi ar fyr rybudd, er boddlonrwydd cyffredinol; a chwanegu heblaw hyny, ddeg gini at amcan y cyfarfod, sef cynorthwyo cyfeillion Castle Street i dalu y ddyled y maent wedi myned iddi gyda'u capel newydd.

Oddiwrth anerchiad ragorol a ddarllenwyd gan Mr. Henry Morgan (mab y diweddar Barch. H. Morgan, Dolgellau), yn nghyda'r adroddiad a ledaenwyd yn y cyfarfod, yr ydym yn cael ar ddeall fod Bedyddwyr Cymreig y West End, ar ol crwydro o le i le am amryw flynyddoedd, wedi cael cyfleusdra i brynu prydles y Franklin Hall, yr adeilad lle yr arferant addoli. Aeth traul y pryniad, a'r cyfnewidiadau angenrheidiol, a hwy i ddyled o rywbeth oddeutu £1,450. Er Gorphenaf diweddaf, y mae yr eglwys fechan, ond gweithgar, wedi casglu cymaint a 470*p*., yr hyn, yn nghyda'r arian oedd mewn llaw, sydd eisoes wedi tynu eu dyled i lawr i 545*p*. Haedda Mrs. O Lewis, Mornington Road, grybwylliad neill-

Digitized by Google

duol, oblegid y mae mwy na chwarter y swm a gasglwyd yn ddyledus i'w hymdrechion hi. Yn mhlith y prif danysgrifwyr, y mae Mr. Owen Lewis (Owain Dyfed) 50*p*.; Mr. G. Rowlands, Sherborne Lane, 50*p*.; Mr. W. Phillips, Kingsland, 25*p*.; Mr. R. Green, Portland Terrace, 25*p*.; Mr. Thomas Hill, Mr. Septimus Evans,· Mr. T. E. Garnon, Mr. Henry Morgan, Mr. D. H. Evans, Mr. Stephen Evans, U.H., a Mr. Alban, symiau o 10*p*. 10*s*. ac isod. Yn ei anerchiad, coffhaodd Mr. Morgan yn gynes am y cynorthwy caredig a estynwyd iddynt gan y diweddar Farnwr Lush a'i briod, a galwodd sylw at ymdrechion canmoladwy Madame Martha Harries (aelod o eglwys Castle Street), Mr. Owen Lewis, yr hwn a arolygodd yn ddidâl y cyfnewidiadau adeiladol, a Mr. Robert Green. Gyda'r amcan o wneyd eu hunain yn fwy adnabyddus i'w brodyr y Saeson, y mae eglwys Castle Street, ar awgrymiad y Parch. Dr. Angus, yn bwriadu trefnu i gael cyfres o bregethau Seisnig. Y mae y gyntaf eisoes wedi ei thraddodi gan y Parch. W. Scott, Abbey Road, a dysgwylir y bydd i Mr. Spurgeon gymeryd rhan yn y gyfres. Pan ofynwyd iddo lywyddu yn y cyfarfod blynyddol, ei atebiad nodweddiadol oedd, '*I have no time to attend soirees; my mission is to preach the gospel*,' ac addawodd ddyfod i bregethu iddynt.

*Soiree*, chwedl Mr. Spurgeon, oedd y cyfarfod blynyddol y tro hwn. Parotodd amryw foneddigesau dê a choffi, a'r danteithion sydd yn eu canlyn; a rhwng y canu, estynwyd y rhai hyn o gwmpas, a bu y trefniad newydd yn hynod o lwyddianus. Canwyd amryw ganeuon rhagorol gan Madame Martha Harries, Miss Hilda Williamson, R. A. M., Miss Annie Kirkham, Mr. Hirwen Jones, R. A. M., Mr. John Henry, R. A. M., Mr. R. Hodder, a chôr Castle Street. Chwareuodd Mr. B. S. Hughes "Adseiniau Gwalia," yn hynod o fedrus ar y berdoneg. Cafwyd hefyd anerchiadau gan y Parch. W. Scott, yr hwn a gymerodd y gadair ar ymadawiad Mr. Peters, gan y Parch. W. Rees, o Lanberis, yn yr iaith Saesoneg. Efallai y maddeua Mr. Rees i ni am awgrymu, fod yn bosibl brawddegu mewn Saesoneg mwy derbyniol na "*women and young gentlemen*," pan yn cyfeirio at y ddau ryw. Eiliwyd y cynygiad gan Mr. Lewis, a phasiwyd ef yn y modd arferol.—*Oddiwrth Ap P. A. Mon.*

---

## NEWYDDION CYFFREDINOL.

—Dywed pwyllgor o Senedd Dalaethol New York, mewn adroddiad ar reolaeth gwallgofdai, fod yn y Dalaeth oddeutu 13,000 o wallgofiaid, neu oddeutu un i 384 o'r trigolion. Yn Lloegr, flwyddyn yn ol, yr oeddynt yn un i bob 357. Yn Nhalaeth New York y mae gwallgofrwydd yn cynyddu yn gyflymach na'r boblogaeth. Dywed y pwyllgor nad oes yn yr Aipht ond un gwallgofddyn i bob 30,000, ac yn Spain, un i bob 7,000. Mae deddfau natur yn cael eu tori yn y brys a'r cyffro (*excitement*) sydd yn gysylltiedig â bywyd gwareiddiedig yn ei ffurfiau diweddar.

—Y mae 13,000 o Iuddewon ffoadurus yn Awstria yn dyfod i'r Talaethau Unedig. Amcan-gyfrifir na bydd nemawr llai na 1,000,000 o ymfudwyr yn dyfod i'r wlad hon eleni.

—Bu farw y bardd Americanaidd enwog, Henry W. Longfellow, y 24ain o'r mis diweddaf, tua 75 mlwydd oed. Bu ei iechyd yn wael er ys tro.

—Gan fod Guiteau wedi cael *suit* o ddillad newyddion yn ddiweddar, cynygiwyd cant dolar iddo am yr hen *suit*, gan ryw gasglwr rhyfeddodau. Gofyna gant a haner.

—Mae *bill* wedi ei gyflwyno i Dy yr Arglwyddi, yn Lloegr, yn ei wneyd yn anghyfreithlawn i *atheist* gael sedd yn y Parliament Prydeinig.

—Y mae llawer o adeiladu yn myned yn mlaen y tymor presenol yn New York, ac y mae masnachdai, &c., yn cael eu hadeiladu yn ddeg neu un ar ddeg llofft o uchder.

—Dywedir fod y Czar o Rwssia wedi derbyn profion argyhoeddiadol fod y Nihilistiaid wedi penderfynu rhoddi i fyny eu hymgais am ei fywyd. Gan hyny bwriedir estyn tynerwch i'r carcharorion politicaidd, a lleiheir nifer y dienyddiadau can belled ag y gellir.

—Achoswyd dinystr mawr ar eiddo yn ddiweddar trwy orlifiad y Mississippi, a dywedir fod llawer o filoedd o bersonau wedi eu gwneyd yn ddigartref trwy hyny

—Ddeuddeng mlynedd yn ol yr oedd Birmingham, Ala., yn faes cotwm. Yn awr y mae yn ddinas o 8,000 o drigolion.

Digitized by Google

# Y WAWR.

CYF. VII.] MAI, 1882. [RHIF. 2.

## PREGETH AR EGWYDDOR ADFERIADOL Y CYFANFYD.

GAN Y PARCH. JOHN W. WILLIAMS, D. D., HYDE PARK, PA.

IOAN iii. 16.—"Canys felly y carodd Duw y byd, fel y rhoddodd efe ei unig-anedig Fab, fel na choller pwy bynag a gredo ynddo ef, ond caffael o hono fywyd tragywyddol."

Mae y geiriau hyn yn perthyn i fyd. Llefarwyd hwynt gan un oedd wedi dyfod oddiwrth Dduw, a'r unig un a welodd y byd hwn ag oedd yn ogyfuwch â Duw. Dim ond un dyn a'u clywodd hwynt o enau y Duw-ddyn, ond yr oedd yr un hwnw yn cynrychioli byd o drueiniaid. Llefarwyd hwynt yn nyfnder y nos, pan oedd y byd yn gorphwys yn mreichiau cwsg; ond teilyngant gael eu hysgrifenu â phin o haiarn ar bob craig; eu lledu ar fanerau ar gopa pob clogwyn; eu hargraffu mewn llythyrenau o aur ar hwyliau pob llong a bad; a'u cyhoeddi yn nghlustiau holl farwolion y ddaear. Tebyg nad oedd yr hwn a'u clywodd gyntaf yn gweled eu mawredd ar y pryd. Yr oedd Nicodemus yn "ddysgawdwr yn Israel;" yr oedd wedi treulio ei fywyd mewn astudio y gyfraith, a dichon ei fod yn deall natur yr hen oruchwyliaeth mor berffaith a'r goreu o'i gyd-oeswyr; ond nid oedd efe yn deall dim o athrawiaeth yr adenedigaeth. Adn. 3—10. Yr ydoedd Iuddewiaeth wedi dirywio i grefydd ddefodol. Ffurf oedd ei Halpha a'i Homega. Yn yr oes hono yr oedd llawer llai o bwys yn cael ei osod ar fod yn eirwir, yn onest, ac yn rhinweddol, nag ar hyd y *straps* a lled y phylacterau â pha rai yr oedd y pen a'r fraich yn cael eu haddurno. Yr oedd crefydd yr oes i'w gweled ar y pen ac ar y fraich, yn hytrach nag yn cael ei theimlo yn y galon, a'i byw gan yr ysbryd. Yr oedd yr addolwr yn cael ei farnu wrth hyd ei weddiau, manylwch ei ddefodau, a chywirdeb ei ystumiau crefyddol.

Yr oedd rhan bwysig o weinidogaeth ein Harglwydd yn cael ei chyfeirio at godi syniad y bobl am grefydd i glawr uwch. Wrth wneyd hyn mae yn dyfod i gyffyrddiad â dysgawdwyr crefyddol y genedl, yr hyn oedd yn rhoddi mantais iddo i weled eu hanwybodaeth a'u dallineb. Yr oedd Iesu yn llefaru am fywyd, ac yn cyfeirio eu sylw oddiwrth wisgoedd, a *mottoes*, a rhwymynau, at y teimlad byw—at yr elfen ag oedd yn bodoli ar wahan oddiwrth yr holl allanolion hyny. "Yn wir, yn wir, meddaf i ti, oddieithr geni dyn drachefn, ni ddichon efe weled teyrnas Dduw." "Geni, geni," meddai Nic-

Digitized by Google

odemus, "Pa fodd y dichon dyn ei eni, ac efe yn hen?" Mae hyny yn ddichonadwy, ac yn hanfodol i ddyn mewn trefn iddo weled teyrnas Dduw, oedd yr ateb. "Pa fodd y dichon y pethau hyn fod?" meddai yr ymofynydd. "Iesu a atebodd ac a ddywedodd wrtho, A wyt ti yn ddysgawdwr yn Israel, ac ni wyddost y pethau hyn?" Tydi yn athraw yn Israel, ac heb wybod *alphabet* gwir grefydd! Tydi yn dysgu y genedl i addoli, ac heb wybod egwyddorion cyntaf addoliad. Tydi yn proffesu arwain y bobl i wlad well, ac heb wybod pa le y mae y wlad hono, na'r ffordd i fyned iddi. Tydi yn proffesu arwain meddwl a chalon yr oes yn ol at Dduw, ac heb gael gafael ar Dduw dy hunan. Mewn trefn i ti allu dysgu Israel y ffordd i'r bywyd, rhaid i ti ei deall hi dy hun. Gwrando, dyma hi, "Canys felly y carodd Duw y byd, fel y rhoddodd efe ei unig-anedig Fab, fel na choller pwy bynag a gredo ynddo ef, ond caffael o hono fywyd tragywyddol."

EGWYDDOR ADFERIADOL Y CYFANFYD.

I. *Mai yr egwyddor yn ol yr hon yr adferir y colledig ydyw yr un aberthol.* "Canys felly y carodd Duw y byd, fel y rhoddodd efe ei unig-anedig Fab."

Mae Iesu yn cyfeirio yma at yr egwyddor adferiadol yn flaenorol i'w dadblygiad yn mhlith dynion. Mae yn llefaru am ei chynhyrfiadau yn y galon anfeidrol, mewn cyfnod, o bosibl, pan nad oedd dyn na phechod yn bodoli. Dichon ei fod yn cyfeirio at y cyfnod y mae Paul yn ysgrifenu am dano yn ei lythyr at y Rhufeiniaid, pan yn dweyd, "Canys cyn geni y plant eto, na gwneuthur o honynt dda na drwg, fel y byddai i'r arfaeth yn ol etholedigaeth Duw sefyll, nid o weithredoedd, eithr o'r hwn sydd yn galw." Neu, dichon ei fod yn cyfeirio at yr hen oruchwyliaeth, pan oedd yr egwyddor adferiadol yn amlygu ei hun ar allorau ac yn aberthau y genedl Iuddewig, oblegid yr oedd gwaed pob aberth, a thân pob allor yn dangos natur yr egwyddor oedd i ddwyn y byd yn ol at Dduw. Yr un egwyddor sydd yn weledig yn aberthiad oen yr Iuddew ac yn aberthiad Oen Duw. Mae gwahaniaeth anfeidrol rhwng gwerth y ddau, ond yr un egwyddor sydd yn gofyn lladd y ddau. Mae dirprwyaeth yn bresenol yn y ddau—bywyd yn cael ei arbed a'i adferyd trwy aberthiad un arall, yw y ffaith yn y ddau. Nid oedd Iuddewiaeth ond goruchwyliaeth trwy yr hon yr oedd Duw yn dysgu mai trwy aberth yr oedd y byd i gael adferiad. "Y ddeddf, gan hyny, oedd ein hathraw ni at Grist, fel y'n cyfiawnhâid trwy ffydd."

Mae rhai yn dysgu fod y byd i'w gyfodi i safle uwch trwy *ddadblygiad;* nid dyma ffordd Duw, ond trwy *aberth.* "Canys felly y carodd Duw y byd, fel y *rhoddodd efe ei unig-anedig Fab.*" Y mae Duw yn arbed y byd rhag angau bythol trwy roddi ei Fab i farw yn lle y byd. Yr egwyddor adferiadol ydyw, nid y bach yn dadblygu ei hun i'r mawr, ond y mawr yn ymostwng er cyfodi y bach a'r colledig i fyny. Felly y mae hi mewn natur hefyd. Meddyliwch am y modd y mae y gronyn yn cyrhaedd safle uchel yn y byd materol. Heddyw gwelaf ef y tu allan i ymerodraeth bywyd, yn *inorganic atom,* yn perthyn i'r greadigaeth ddifywyd, ond mae'r gwynt yn chwythu hedyn i'w ymyl, ac i gyffyrddiad ag ef. Mae yr hedyn yn ei fabwysiadu fel eiddo iddo ei hun, ac yn ei gyfodi i'r byd llysieuol. Mae yn awr yn yr ymerodraeth

Digitized by Google

newydd am amser, yn yfed i fewn yr awyr falmaidd, ac yn chwareu a'r awelon. Mae yr anifail yn dyfod heibio ac yn ei gipio i fyny, ac yn ei godi i'r ymerodraeth anifeilaidd. Mae yr anifail yn cael ei ladd, ac yn dyfod yn ymborth i'r dyn. Mae yr ymborth yn dyfod yn rhan o'r ymenydd, eisteddle y bywyd meddyliol, yr hwn sydd yn alluog i gymdeithasu â Duw, y bywyd uchaf sydd yn bodoli. Mae dyrchafiad y gronyn yn effaith aberth, ac nid dadblygiad—bywyd uwch yn gafaelyd ynddo, ac yn ei godi i glawr uwch nag o'r blaen, hyd nes y mae wedi cyrhaedd y safle uchaf sydd yn ddichonadwy iddo.

Felly y mae yn y greadigaeth foesol. Mae Duw yn dyfod i lawr er mwyn codi dyn i'r lan. "A chwithau a fywhaodd efe pan oeddych feirw mewn camweddau a phechodau." "Eithr Duw, yr hwn sydd gyfoethog o drugaredd, o herwydd ei fawr gariad trwy yr hwn y carodd efe ni, îe, pan oeddym *feirw* mewn camweddau, a'n *cyd-fywhaodd* ni gyda Christ, ac a'n *cyfododd*, ac a'n gosododd i *gyd-eistedd* yn y nefolion leoedd yn Nghrist Iesu; fel y gallai ddangos yn yr oesoedd a ddeuai, ragorol olud ei ras ef, trwy ei gymwynasgarwch i ni yn Nghrist Iesu." Mae gronyn marw moesol yn cael ei ddyrchafu trwy oruchwyliaeth aberth, ac yn cael ei osod i eistedd yn nghadair uchaf bodolaeth; a Duw yn bwriadu gwneyd *exhibition* o hono i'r oesau dyfodol, a'i ddangos fel MASTER-PIECE trefn gras.

Nid ar unwaith mae yr adferiad yn cael ei effeithio, ond yn raddol. "Ant o nerth i nerth; ymddengys pob un ger bron Duw yn Seion." Y nef yn dyfod i lawr i'r ddaear, ac mewn canlyniad, y ddaear yn cael ei chodi i'r nef.

II. *Fod egwyddor adferiadol y cyfanfya o darddiad a dadblygiad dwyfol.*—"Canys felly *y carodd Duw y byd*, fel y *rhoddodd efe ei unig anedig Fab.*"

Duw ydyw yr unig weithredydd yn iachawdwriaeth y byd. Duw yn caru, a Duw yn rhoddi. Beth yw Datguddiad ond hanes gweithrediad cariad anfeidrol, a chofres o roddion Duw i ddynion. Nid hanes cariad, ond hanes *gweithrediadau* cariad. Mae yn ymddangos i mi ei bod yn anmhosibl i ni gael hanes cariad Duw. Mae hanes cariad yn anwahanedig oddiwrth hanes Duw. Beth ydyw cariad Duw ond ymgynhyrfiadau calon Duw. Yr oedd y rhai hyn yn bod cyn creu byd nac angel. Draw, yn mhell cyn bod byd y daearegwr yn bodoli, gellir dyweyd, "Canys felly y carodd Duw y byd." Mae naturiaethwyr yr oesau wedi bod yn chwilio am darddle y Nile yn Affrica, ond mae y fan heb ei benderfynu hyd y dydd hwn. Mae ei gwely yn myned i mewn i'r mynyddau, a'i ffrydiau yn golchi hen greigiau oesol gogleddbarth y cyfandir i lawr yn y dyfnderau lle na bu meidrolion erioed yn anadlu. Mae y llinell ar y *map* yn dangos ei rhediad yn unig o'r fan yr ymsaetha allan hyd yr hon yr arllwysa i fôr y Canoldir. Dim ond yr hyn sydd yn weledig o honi sydd yn wybyddus i ddynion. Felly hefyd am gariad Duw. Gallwn fyned yn ol ar hyd glanau yr afon hon am filoedd o flynyddau. Treigla heibio Jerusalem, Bethania, a Nazareth, trwy Babilon, anialwch Arabia, yr Aipht, ac yn ol i Ganaan, heibio Bethel a Peniel, ac yn mlaen at fynydd yr Ararat, ac oddiyno i ardd Eden, lle yr ymsaetha allan o'r

Digitized by Google

dyfnderoedd anchwiliadwy. Rhaid aros yma, am nas gallwn fyned yn mhellach, a dweyd mewn perthynas i'r rhan anweledig o honi, "Canys felly y carodd Duw y byd." Mae ei dadblygiad yn ddwyfol. "Ac y rhoddodd efe ei unig-anedig Fab." Nid y Mab ydyw ei unig rodd i'r byd; mae efe wedi bod yn rhoddi trwy'r cenedlaethau, ond hon ydyw y rhodd fwyaf. Yr oedd yr egwyddor aberthol yn cyrhaedd ei pherffeithrwydd yn rhoddiad y Mab. Yr ydym yn cael darlun cywir o ddadblygiad yr egwyddor hon yn nameg y llafurwyr drygionus. Yr oedd gwas ar ol gwas yn cael ei anfon, "a'r llafurwyr a ddaliasant ei weision ef, ac un a gurasant, ac arall a laddasant, ac arall a labyddiasant. Drachefn, efe a anfonodd weision eraill, mwy na'r rhai cyntaf; a hwy a wnaethant iddynt yr un modd. Ac yn ddiweddaf oll, efe a anfonodd atynt ei fab ei hun, gan ddywedyd, Hwy a barchant fy mab i. A phan welodd y llafurwyr y mab, hwy a ddywedasant yn eu plith eu hun, Hwn yw yr etifedd; deuwch, lladdwn ef, a daliwn ei etifeddiaeth ef. Ac wedi iddynt ei ddal, hwy a'i bwriasant ef allan o'r winllan, ac a'i lladdasant." Yr oedd y goleuni yn .cynyddu fel yr oedd yr oruchwyliaeth yn myned yn mlaen. Nid oedd y patriarchiaid ond megys ser yn y tywyll nos; yr oedd y barnwyr a'r prophwydi yn ser o faintioli mwy; o'r diwedd torodd y wawr, ac ymddangosodd yr Haul mawr. "Myfi yw goleuni y byd," meddai Iesu. Un diwrnod yr oedd y Dysgawdwr yn cydmaru y gorphenol a'r presenol, y ser a'r haul. Yr oedd Jonah yn oleuad mawr, "ond wele fwy na Jonah yma." Yr oedd Solomon yn oleuad mwy na Jonah, "ond wele un mwy na Solomon yma." Pan ymddangosodd yr haul, ciliodd y ser. Dyma'r goleuni mwyaf. Nid oes yn y cyfanfyd ddim goleuad mwy na'r haul. Mae'r ser yn myned o'r golwg o flaen yr haul. Mae holl roddion Duw i'r byd fel dim yn ymyl rhoddi y Mab. Nid oes dim son am un rhodd ond hon yn yr Efengyl. "Fel y rhoddodd efe ei unig-anedig Fab."

III. *Fod darpariaeth Duw mewn aberth mor helaeth ag i wneyd adferiad yr holl fyd yn ddichonadwy.* "Fel na choller pwy bynag a gredo ynddo ef, ond caffael o hono fywyd tragywyddol."

Mae *genius* yr oesau wedi bod yn dyfal chwilio am ryw foddion i symud poen, a haint, a marwolaeth, o'r byd; ond y mae ystadegau yn profi na fu oes dyn erioed yn fyrach nag ydyw hi heddyw. Mae cleifion yn ceisio dianc o grafangau y Nemesis marwol trwy fyned o un hinsawdd i hinsawdd arall, ac o un wlad i wlad arall; ond nid oes un fodfedd yn y byd hwn heb fod o fewn ymerodraeth brenin braw. Geilw rhai ef, "*the land of the living;*" ond mewn gwirionedd, "*the land of the dying*" ydyw y byd hwn. Mewn tref yn Lloegr, adeiladwyd heol o dai i'r lan yn uchel ar ael y bryn, ar fan a ystyrid y mwyaf iachus yn y cylchoedd, a galwyd hi, "*The Deathless Street.*" Yr oedd canoedd o'r preswylwyr am gael ty i fyw ynddo ar yr heol hon. Aeth un teulu, yn eu brys i ddianc rhag angau, i fyw i un o'r tai cyn ei fod yn sych, a'r canlyniad fu i un o honynt, merch ieuanc deunaw oed, glafychu a marw cyn pen mis ar ol eu mynediad i mewn. 'Does dim "*Deathless Street*" na *deathless house* i'w gael yn y byd hwn. Wn i ddim ond am un, yn hanes y byd, sydd wedi ymddangos ynddo yn gryfach nag angau, sef Iesu, Mab

Digitized by Google

Duw. Gall efe sefyll ar lan y bedd, a dweyd wrth y marw, "Tyred allan;" ac wrth ei ganlynwyr, "Byw wyf fi, a byw fyddwch chwithau hefyd." Mae Iesu, trwy aberth, wedi sicrhau i ddynion nid yn unig *heol anfarwol*, ond *byd anfarwol*. "Fel na choller pwy bynag a gredo ynddo ef, ond caffael o hono fywyd tragywyddol." Y mae *genius* ddwyfol wedi llwyddo i feistroli haint moesol y ddynoliaeth, ac yn anfon cenadau i bob ysmotyn o'r ddaear lle mae pechadur yn byw, i gyhoeddi, "Nid oes gan hyny yn awr ddim damnedigaeth i'r rhai sydd yn Nghrist Iesu." "Canys felly y carodd Duw y byd, fel y rhoddodd efe ei unig-anedig Fab, fel na choller pwy bynag a gredo ynddo ef, ond caffael o hono fywyd tragywyddol." Yr hyn sydd yn distrywio y byd yn awr ydyw, nid pechod yn ei wedd gyffredinol, ond anghrediniaeth. Mae dynion yn myned i golledigaeth heddyw, nid am eu bod yn perthyn i hiliogaeth bechadurus, ond am beidio credu yn y Mab.

'Does dim colli yn y Mab. Mae yn golli yn mhob man ond yn y Mab. Yn amser y rhyfel, ddechreu y ganrif hon, rhwng Ffrainc a Phrydain Fawr, collodd y masnachwyr Seisnig ugeiniau lawer o longau yn yr English Channel. Pan oedd y llestri hyn yn dychwelyd a'u trysorau o wledydd tramor, yr oedd y *French cruisers* yn eu cipio, ac yn myned a hwynt i Calais, Havre, a Boulogne. Ond wedi i'r llywodraeth Brydeinig anfon *convoy* i'r sianel i ofalu am y llestri hyn, ni chollwyd yr un mwy. Yr oedd pob llestr yn ddiogel ond iddi fod o fewn golwg i'r *convoy*. Felly y gallwn ddweyd am lestri'r ddynoliaeth. Collwyd miliynau lawer o honynt yn y cyfyngfor rhwng y byd hwn a thiriogaeth y gelyn; ond erbyn heddyw mae y llywodraeth Ddwyfol wedi anfon *convoy* i ddiogeli pob un sydd yn foddlon hwylio dan ei chysgod—"Fel na choller pwy bynag a gredo ynddo ef, ond caffael o hono fywyd tragywyddol."

---

## Y GAREG ROSETTA,

### NEU ALLWEDD GYNTAF I ARWYDDLUNIAU YR AIPHT.

Mae crefydd yr hen Aiphtiaid yn adnabyddus i ni trwy gofnodion dilys o wahanol fathau, yn cyraedd yn ol trwy gyfnod o ddim llai na thair mil o flynyddau. Gallasai fod mewn bodolaeth am ganrifoedd lawer yn flaenorol i'r cofadeiladau boreuaf sydd ar gael. Mae ei dechreuad, nid yn fater hanesyddol, ond damcaniaethol. Mae ei chanrifoedd olaf yn asio â chanrifoedd cyntaf y grefydd Gristionogol, yr hon a gymerodd ei lle. Yn ystod y tymor diweddaf hwn, addoliad yr anifeiliaid cysegredig oedd yn tynu prif sylw yr amddiffynwyr Cristionogol a wnaethant unrhyw sylwadau ar y pwnc.

Clement o Alexandria, un o'r rhai dysgedicaf o'r tadau Groegaidd a ddug addoliad yr Aipht i sylw mewn penod yn erbyn addurniadau eithafol mewn gwisgoedd. Cymhara y menywod a addurnent y corph, ac a esgeulusent yr enaid, i demlau addurnedig yr Aipht, oddifewn i ba rai yr oedd gwrthddrych addoliad gwael. Mae iaith Origen yn dra thebyg i'r eiddo Clement. Yr oedd yn naturiol ddigon fod gwrthwynebrwydd fel hyn yn cael ei ddangos gan Gristionogion ac Iuddewon, at grefydd yr Aiphtiaid, ond yr oedd teimlad cyffelyb yn cael ei ddangos ati gan lawer o gyfoeswyr paganaidd. Gwnaeth rhai o ysgrifenwyr Groeg eu crefydd yn destyn gwawd yn eu gweithiau awdurol.

Digitized by Google

Nid yw yn rhyfedd gyda y fath esiamplau o'u blaenau fod llawer o ysgrifenwyr yr oes hon yn siarad am grefydd yr Aiphtiaid fel un o ffurfiau iselaf a gwrthunaf o addoliad natur, ac yn gynwysedig yn yr hyn a elwir yn gyffredin yn ddewiniaeth Affricanaidd, neu o'r hyn lleiaf yn sylfaenedig arno.

Er hyny, nid yw barn dyeithriaid am grefydd, fel yr ymddengys yn allanol iddynt, o fawr bwys. Ni raid i ni ond adgofio adroddiadau ysgrifenwyr paganaidd am y grefydd Iuddewig, a barnau anffafriol y rhai mwyaf goleuedig o'r ysgrifenwyr hyn am Gristionogaeth yn ei dyddiau boreuaf a phuraf. Ni allent amgyffred ymadroddion fel y rhai a gyfeirient at Iesu Grist, fel Oen Duw, yn tynu ymaith bechodau y byd, neu yr ymadroddion yn y Datguddiad, am yr Oen gyda saith gorn a saith lygad, &c. Mae yn natur pethau fod personau fyddont yn byw tu allan i grefydd, yn neillduol os na fyddant yn tueddu ati, yn methu ei deall hi, na'i harwyddion. Anfynych mae dynion yn ymwybodol o'r rhagfarnau a fyddo yn eu hanghymwyso i farnu yn gywir a diduedd am gyfundraethau tu allan i gylch eu harferion eu hunain. Gall athronwyr a ddichon ymffrostio yn eu rhyddfrydigrwydd, fethu deall arddangosion fyddont yn effaith ymarferiad crefyddol; maent yn ddealladwy yn unig i'r rhai y mae y fath ymarferiad yn perthyn.

Mae prawf diamheuol fod gwrthuni y grefydd Aiphtaidd, fel yr ymddangosai i ddyeithriaid, yn diflanu wrth ddyfod i adnabyddiaeth lawnach o honi. Dywed Philo, athronydd Iuddewig o Alexandria, fod dyeithriaid ar eu dyfodiad cyntaf i'r Aipht yn chwerthin am ben yr anifeiliaid cysegredig, ond fod yr ofergoeledd cyffredinol yn eu gorchfygu hwythau yn fuan. Wedi'r cwbl nid oedd addoliad yr Aiphtiaid yn gyfyngedig i anifeiliaid cysegredig. Mae Herodutus, Plato, ac ysgrifenwyr clasurol eraill, yn crybwyll am Amon, Osiris, Isis, Thoth, Neith, a duwiau eraill; a phriodola rhai, nid yn unig grediniaeth o anfarwoldeb yr enaid i'r Aiphtiaid, ond hefyd ddarfod i'r athrawiaeth gael ei dysgu yn gyntaf ganddynt hwy.

Pa gysylltiadau oedd rhwng gwahanol ranau y grefydd hon a'u gilydd? A oedd y grefydd yn ei hoesau diweddaraf yr un â hen grefydd wreiddiol y wlad? A fu rhyw gynydd neu ddirywiad? Yr oedd egluro y cwestiynau hyn, a llawer eraill, yn hollol anmhosibl hyd yn ddiweddar. Gwnaeth rhai awdwyr galluog gynygion teg at hyn trwy gasglu yn nghyd gymaint o oleuni a ellid gael yn ngweithiau ysgrifenwyr Groegaidd a Lladinaidd. Ond nid oedd unrhyw foddion i brofi geirwiredd eu tystiolaeth. Ni ellir dysgu unrhyw hanes gyda sicrwydd ond oddiwrth dystiolaethau cyfoeswyr y byddo yr hanes yn dygwydd. Ni ellir myfyrio unrhyw grefydd er llesiant a budd ond oddiwrth ei llenyddiaeth. Ond yr oedd gwybodaeth o'r iaith Aiphtaidd, nid yn unig wedi marw, ond tybid fod allwedd i ddeongli ei hysgrifeniadau wedi myned ar goll am byth. Yr oedd y llythyrenau arwyddluniol, yn cynwys lluniau o'r haul, y lleuad, anifeiliaid, planhigion, a gwrthddrychau eraill, naill ai yn naturiol neu gelfyddydol, y rhai ydynt yn baentiedig neu gerfiedig ar lawer o gofadeiladau Aiphtaidd, yn cael edrych arnynt fel arwyddluniau o dan ba rai yr oedd dirgelion crefydd wedi eu cuddio o olwg yr anwybodus. Gwnaed llawer cynyg i'w deongli. Yr oedd y rhai hyn oll, modd bynag, yn

Digitized by Google

amddifaid o unrhyw reol i weithredu wrthi. Yr oedd y cwbl yn cael ei wneyd ar antur. Gwnaed y cynygion mwyaf egniol gan y Jesuitiad Athanasius Kircher, ond wedi'r cwbl, nid yw ei lyfrau mawrion ar yr ysgrifau arwyddluniol, ond cof-golofnau o lawer iawn o amser a llafur ofer. Tybid fod pob llythyren arwyddluniol yn cynrychioli drychfeddwl; a nifer o arwyddluniau y gwyddis yn awr eu bod yn sefyll am enwau a theitlau yr ymerawdwyr Rhufeinig, Vespasian, Titus, a Domitian, a gymerid fel yn gynwys traethiadau cymysglyd ofergoelus. Yr oedd cof-adeiladau gau yn gwasanaethu pwrpas y deonglwyr hyn, yn gystal a rhai gwirioneddol, ac yr oedd gwallau dirfawr yn canlyn. Yn y "*Isiac table,*" darganfyddodd Kircher amryw ddirgelion sanctaidd yn ffafriol i Gristionogaeth; darllenai Pegnorius yn yr arysgrifau hyn orchymynion moesol a doethineb gwleidyddol. Beirniad arall (Jublonski), a ystyriai mai dyddiadur ydoedd, tra y ceisiodd y pedwerydd berswadio y byd dysgedig i gredu fod yr arwyddluniau hyn yn desgrifio rhinweddau a gwasanaethgarwch y tynfaen, a chwmpawd y morwr.

Rhoddodd darganfyddiad y gareg Rosetta (*The Rosetta stone*) derfyniad ar yr holl anturwaith hwn. Mae y gareg hon yn yr Amgueddfa Brydeinig, a ddygwyd yno fel ysbail rhyfel gan y Saeson. Deuwyd o hyd iddi yn ystod y gwarchae Ffrengig yn 1799, yn agos i'r dref, oddiwrth yr hon y mae wedi ei henwi, mewn adfeilion teml cyflwynedig i'r duw Atum Nefer, gan Pharaoh Nechao. Mae yr arysgrifau ar y gareg hon wedi eu hysgrifenu trwy orchymyn yr archoffeiriaid, a gyfarfyddent yn Memphis i anrhydeddu Ptolemy V. ag urddas breninol yn 193 cyn Crist, i'r dyben o goffadwriaethu y gwasanaeth a wnaethai y tywysog hwn i'r wlad. Ond nid hyn sydd yn gwneuthur y gareg Rosetta mor werthfawr ac enwog. Trwy gydgyfarfyddiad ffortunus, mae yr arysgrifau hyn wedi eu rhoddi mewn tair iaith, a thri math o lythyrenau—yn iaith a llythyrenau cysegredig yr offeiriaid—yn eiddo y werin—a'r Groeg. Yr oedd y ddiweddaf yn hawdd ei darllen a'i deongli, gan fod y testyn ysgrifenedig yn cynwys ymadroddion deddfwrol, er anrhydedd i'r brenin fel y nodwyd—a hyny mewn tair iaith a llythyrenau; aed i gydmaru y naill a'r llall a'u gilydd, sef y Groeg a'r ieithoedd Aiphtaidd (cysegredig a gwerinol oeddynt cyn hyn yn annealladwy); a daeth y gareg Rosetta fel hyn yn allwedd deongliad arwyddluniau yr Aipht a'i thrysorau hanesyddol. Hysbysid yn y testyn Groeg mai yr un peth oedd ysgrifenedig yn y ddwy iaith arall ar y gareg hon. Yr oedd modd deongliad yr arysgrifen yn yr ieithoedd Aiphtaidd yn awr yn gydmarol syml. Yr oedd y dyrys-bwnc i'w feistroli trwy ranu y testyn arwyddluniol yn sypynau, neu eiriau yn cyfateb i'r geiriau yn y Roeg, fel ag i ddarllen pob sypyn yn yr ieithoedd arwyddluniol Aiphtaidd. Yr oedd cywirdeb y deongliad i'w brofi oddiwrth y rhwyddineb y gellid darllen a deongli testynau arwyddluniol eraill. Ond cael gafael ar wyddor yr arwyddluniau, yr oedd y peth mawr wedi ei gyraedd.

Gwnaeth amryw o brif ddysgedigion Ewrop gynyg ar y gwaith dad-dyrysol hwn, a rhai o honynt gyda gradd o lwyddiant. Darfu y dwyreiniwr mawr Silvestre de Sacy benderfynu fod y sypynau yn yr iaith werinawl yn cyfateb i enwau Ptolemy, Berenike, Alexander, ac enwau priodol eraill, a darfu

Digitized by Google

i'r ysgolhaig Swedaidd Akerblad yn y flwyddyn 1802. ffurfio gwyddor o'r llythyrenau gwerinawl ag oedd yn rhyfeddol o gywir mor bell ag yr oedd yn cyraedd. Ni chafwyd allwedd gyflawn i ddeongliad llenyddiaeth Aiphtaidd, modd bynag, hyd nes y cyhoeddwyd llythyr Champollion at M. Dacier yn Medi, 1822. I Champollion, yr hynaf, awdwr dysgedig "*Yr Aipht o dan y Pharaohaid,*" y perthyn yr anrhydedd o'r darganfyddiad pwysig hwn. Ond er mai Ffrancwyr oeddynt ddeonglwyr y gofadail hanesyddol werthfawr hon, ar ba un y carient yn mlaen eu hymchwiliadau cyntaf, daeth i ddwylaw y Saeson fel ysbail rhyfel. Tybia y Ffrancod, modd bynag, mai gwyddoniaeth, ac nid arfau rhyfel, ddylasai benderfynu i bwy yn gyfiawn y perthynai.

Hyd heddyw mae yn arferiad cyffredin gan y Saeson i gysylltu enw eu cydwladwr Dr. Thomas Young gydag enw Champollion, fel yn cyd-gyfranogi ag ef yn ngogoniant y darganfyddiad hwn. Nid oes unrhyw berson, meddir, a wyr ddim am ieithoedd Aiphtaidd a a fedr gymeradwyo y fath haeriad. Yr oedd Dr. Young yn ddyn o dalentau anghyffredin, ebe P. Le Page Renouf, ond yr oedd gwir gyfeiriad ei dalentau yn hir yn anhysbys i'r rhai hyny a fynent ei roi fel cystadleuydd â Champollion. Syrthiodd i'w ran, ebe Proff. Tyndall, i ddarganfod ffeithiau mewn *optics* ag yr oedd cyfundraeth Newton yn analluog i'w hesbonio, a llwyddodd yn y diwedd i'w gosod ar sylfeini profadwy.

Helmholtz, dyn mawr arall, a lefara am dano : "Yr oedd yn un o'r meddylwyr mwyaf a welodd y byd erioed." Ond nid gwir mai efe a ddeallodd allwedd deongliad arwyddluniau, na bod dim a wnaeth efe wedi helpu Champollion yn ei ddarganfyddiad. Pan ddeallwyd yr allwedd, ac iddi gael ei gydnabod yr un iawn, canfyddwyd fod un neu ddau o'r hyn a ddysgasai Young yn gywir. Ond nid oedd dim yn ei ddull na'i gynllun, trwy yr hwn y gallasai efe neu ryw un arall wahaniaethu rhwng yr hyn oedd gywir neu anghywir, neu a allasai ei arwain ef neu ryw un arall un cam yn mlaen. Yr oedd Young, meddir, yn sicr o fod yn iawn wrth honi mai P a T oeddynt y ddwy lythyren gyntaf yn enw arwyddluniol Ptolemy; ond yr oedd ei gam nesaf yn gyfeiliornus, ac felly yr oedd yr un canlynol. Ni lwyddodd i adranu yr enw breninol hwnw, na'r eiddo Berenike. Yr oedd ei gynygion yn fethiantau. Camsyniodd Autokrator am Arsinœ, a Cæsar am Euergetes. Mae ei gyfieithiadau, ebe Dr. Birch, islaw beirniadaeth, ac mor ddisail a'r eiddo Kircher.

Ond yr oedd darganfyddiad Champollion o natur wahanol. Heblaw y ddau fath o lythyrenau Aiphtaidd a ddefnyddir ar y gareg Rosetta, y mae trydydd, a elwir yn gyffredin *hieractic.* Y mae y llythyrenau arwyddluniol gyda darluniau cywrain o anifeiliaid, planigion, a gwrthddrychau eraill, yn eithaf cyfaddas mewn ysgrifau cofadeiladol, ond yn hollol anghyfaddas at ddybenion cyffredin bywyd; ac yr oedd yr Aiphtiaid o'r amseroedd boreuaf wedi arfer llythyrenau crwn fuanlaw, sef math o dalfyriad o'r ffurf arwyddluniol. Mae meini y Pyramid mawr yn meddu nodiadau arnynt yn y llythyrenau hyn. Mewn cyfnod llawer mwy diweddar (ryw saith ganrif cyn Crist), cafodd y math hwn o lythyrenu ei dalfyru a'i ddirywio yn mhellach, ac ymddangosodd yn y dull a el

Digitized by Google

wir yn awr yn *demotic*, a hwn yw yr ail fath o lythyrenau ar y gareg Rosetta. Mae llawer o ysgrifeniadau yn yr Amgueddfau Prydeinig yn y math hwn o lythyrenu. Yn hir cyn iddo ddirnad natur wirioneddol ysgrifen Aiphtaidd, yr oedd Champollion wedi myfyrio yn amyneddgar y perthynasau rhwng y tri math, ac wedi darganfod unrhywiaeth hanfodol y tri—y *demotic* yn ddirywiad o'r *hieractic*, a'r *hieractic* yn ddirywiad o'r *hieroglyphic*. Trwy M. Dacier yr oedd wedi cyflwyno dau draethawd i'r *French Academie des Sciences*, un ar y *hieractic*, ac un arall ar y llythyrenau *demotic*. Ond ei gam pwysicaf yn mlaen a wnaeth oedd darganfod unrhywiaeth rhai llythyrenau *demotic*, natur wyddorol y rhai a eglurhasid gan Akerblad, gyda y rhai *hieractic* cyferbyniol—ac yn ganlynol y rhai arwyddluniol. Os dylai un gael ei enwi mewn cysylltiad â Champollion, nid Young ddylai fod, ond Akerblad.

Perffeithiodd Champollion ei reolau deongliadol mewn ysgrifau Aiphtaidd eraill, rhai o honynt yn ysgrifenedig yn yr iaith Roeg, a rhai arwyddluniol. Gwnaeth Champollion waith mawr ac ardderchog yn ganlynol i hyn. Nid yn unig rhoddodd sylfeini Gramadeg a Geiriadur Aiphtaidd, ond a eglurodd hefyd hanes a chrefydd yr Aipht. Gwnaeth hyn trwy gyfieithu a dosranu testynau byrion, gan agoryd byd newydd i'r myfyriwr hanesyddol, a phrofi yn ddiamheuol nad oedd odid i ddim ag oedd wedi ei ysgrifenu yn flaenorol am hanes a chrefydd yr Aiphtiaid yn haeddu y grediniaeth leiaf.

Cafodd Champollion yn ystod ei fywyd lawer o wrthwynebwyr, ond ni ellir enwi un person a gyfranodd ddim tuag at gywiro neu ddadblygu yn y modd lleiaf ei olygiadau. Pa gywiriadau bynag a fabwysiadodd, yr oeddynt yn ganlyniadau o'i fyfyrdod personol. Ni wnaeth un o'i ddysgyblion uniongyrchol nemawr gynydd heblaw a ddysgasant ganddo ef.

Yn 1837, amryw flynyddau ar ol marwolaeth Champollion, dygwyd ei gyfundraeth ieithyddol o dan feirniadaeth lem gan Dr. Lipsius, pryd y dadguddiwyd amryw ranau gwallus, ac y dysgwyd yn gywirach berthynas yr iaith Copticaidd a'r hen ieithoedd Aiphtaidd.

Am amryw flynyddau dilynol, mae llawer o fyfyrwyr ail-raddol wedi bod yn treio eu llaw yn y maesydd Aiphtaidd. Yn 1850 daeth ysgoleigion mwy galluog i'r maes, ac y maent wedi gadael eu hol bythol ar wyddoreg ieithol yr Aipht. Erbyn hyn mae y dirgelwch wedi ei symud—mae yr allwedd wedi ei chael, a'r ffordd i'w defnyddio wedi ei dysgu. Mae hen iaith yr Aipht wedi ei hadferyd yn wirioneddol—yn araf, mae yn wir, gam a cham. Medrir yn awr ddarllen a deall, nid yn unig arysgrifau cyhoeddus cywir ac ardderchog, ond hyd yn nod sgribliadau llaw-ysgrifau Aiphtaidd. Mae y rhan fwyaf o'r ysgrifeniadau sydd ar gael am yr Aipht a'i phobl o natur grefyddol; a'r rheswm am hyny yw, fod holl gofebau yr Aipht wedi diflanu, heblaw rhai oeddynt o angenrheidrwydd o natur grefyddol—y temlau a'r beddau. Mae palasau y breninoedd a'r mawrion wedi diflanu yn hollol. Mae ein gwybodaeth am adeiladwaith wladol yr Aipht yn gyrhaeddadwy yn unig trwy yr arluniau lliwiedig yn y beddau. Mae y wybodaeth sydd genym am hanesiaeth Aiphtaidd yn gynwysedig yn hollol mewn arysgrifau cyhoeddus ar furiau y temlau, a manylion damweiniol cynwysedig yn arysgrifau ang-

Digitized by Google

laddol personau unigol. Ac wedi cael allwedd i'r iaith, y peth cyntaf wed'yn er cael goleuni o'r defnyddiau hyn oedd eu dosbarthu, a'r peth cyntaf mewn dosbarthu ydoedd nodi dilyniad ac amseriad pethau. Y mae yn syndod o'r mwyaf y fath waith gorchestol sydd wedi ei wneyd yn y modd hwn gan ddysgedigion. Mae yr wmbredd diddiwedd o ofergoelion, credoau a thraddodiadau oesau ag oeddynt gynt dan glo, ac yn cael edrych arnynt i barhau felly byth, trwy fedrusrwydd meddyliol, dysgeidiaeth a chwilfrydedd dynol yn cael eu dwyn i oleu dydd. Y mae y seliau yn cael eu datod. Y mae yn rhaid fod y gwybodaethau newyddion hyn o hanes wreiddiol cenedloedd boreuol, ac yn neillduol eu crefyddau, yn sicr o fod yn fanteisiol i gynydd gwareiddiad, ac yn benaf oll yn fanteisiol i lwyddiant Cristionogaeth, yn athrawiaethol ac ymarferol.

G.

## DIM OND DEILEN.

Dim ond deilen fechan, felen,
Dyfai gynt yn nghoed yr ardd,
Roed mewn llyfr rhwng dau ddalen,
Flwyddau'n ol gan Elen hardd;
Gwerdd pryd hyny oedd y ddeilen,
Hithau, Elen, oedd yn iach;
Ond daeth chwa i wywo Elen,
Felly hefyd gwywai'r ddeilen,
Dim ond deilen felen, fach.

Canfu'r ddeilen haf yn gwenu,
Pan yn ngwynfa deg y coed,
Gwelodd hefyd storm yn mathru
Ei chwiorydd dan ei throed;
'Chydig a feddyliau Elen
Pan yn cadw'r ddeilen iach,
Fod darluniad pur o'i bywyd
Wedi ei gerfio gan ryw ysbryd
Ar y ddeilen felen, fach.

P'le mae tlysni gwyrdd y ddeilen
Pan y tyfai yn ei lle?
P'le mae tlysni gwyneb Elen?
Adsain ofyn eilwaith, P'le?
Ond mewn argraff ar y ddalen,
Lle y rhoed y ddeilen iach,
Mae rhyw air am "nefoedd lawen,"
Gyda chofion serchog Elen
At y ddeilen felen, fach,

## BARNU.

GAN Y DIWEDDAR BARCH. JOHN WILLIAMS, RHOS, AWDWR YR "ORACLAU BYWIOL."

[Copiwyd o'r *Greal*, 1854, gan Mr. Edward E. Jones, Venedocia, Ohio, yn ol ein cais.]

[Parhad.]

Os dyna i gyd a feddylir wrth y fath ddywediad, nid ydwyf yn meddwl cyffwrdd ag ef â phen fy mys. Yr wyf yn amheu ai dyna yn unig a feddylir bob amser wrth y cyfryw ddywediad, ac o ganlyniad y mae eisiau dyfod i'r goleu o berthynas iddo; ac am hyny ni a gymerwn bob trafferth i edrych i mewn iddo. Pan y byddis yn son am farnu yn gywir neu anghywir, yn gam neu uniawn, y mae rhyw brofiedydd neu safon yn cael ei olygu, yn ol yr hwn y mae y farn yn gam neu uniawn, neu â'r sawl y mae i gael ei mesur. Os barn ei wrthwynebwr yw y safon, mae y dywediad yn eithaf priodol a rhesymol, "Y mae genyf hawl i ffurfio barn sydd yn gamsyniol pan ei profir wrth eich barn chwi; ac y mae genych chwithau yr un hawl i ffurfio barn sydd anghywir pan ei mesurir wrth fy ngolygiadau i fel safon." Ond ai dyna y cwbl a feddylir pan ddywedir, "Y mae genyf yr un hawl i farnu yn *wrong* ag sydd genych chwithau i farnu yn *right*. Onid meddwl fy ngwrthwynebwr, pan yn dwyn yn fy erbyn y cyhuddiad o ffurfio barn gyfeiliornus, ydyw, nid ei bod yn gyfryw yn ol ei farn ef yn unig, yr hyn a fyddai yn gyhuddiad plentynaidd, ond ei bod felly pan yn cael ei mesur wrth yr iawn safon, â'r hwn hefyd y golyga bod ei farn ef ei hun yn cyduno? Ymddengys i mi mai hyny ydyw. Yn awr cyn y gallwn benderfynu y mater hwn, y mae yn

Digitized by Google

rhaid i ni gymwyso ein sylwadau at ddyn o dan ryw nodweddiad; naill ai fel creadur, dinesydd, neu weithredydd moesol. Edrychwn arno yn y tri chymeriad hyn; a'r cwestiwn gan hyny yw, A oes gan ddyn, fel creadur, fel dinesydd, neu ddeiliad o lywodraeth wladol, neu fel gweithredydd moesol a chyfrifol i Dduw, hawl i farnu yn gamsyniol? Yr ydym yn gwneuthur gwahaniaeth rhwng hawl naturiol, hawl ddinasyddol (*civil*), a hawl foesol.

1. A oes gan ddyn hawl naturiol i farnu yn gyfeiliornus? Pan y soniwn am ddyn fel yn meddu unrhyw hawliau naturiol, yr ydym yn edrych arno fel unigolyn (*individual*) ar ei ben ei hun, fel pe na byddai neb ond efe ei hun yn y byd. Fel y cyfryw y mae ganddo hawl i wneuthur fel y myno ag aelodau ei gorff a galluoedd ei feddwl; y mae ganddo hawl i symud ei droed, ei fraich, a'i dafod, fel y dewiso, a phan y bo da yn ei olwg. Ond pan yr edrychom arno fel yn cyfansoddi rhan o gymdeithas, mae y cwestiwn yn argymeryd gwedd arall hollol wahanol. Y mae genyf hawl naturiol, mae yn wir, i symud fy mraich fel y mynwyf, ei gostwng i lawr neu ei chodi i fyny, ei thaflu yn ol neu yn mlaen, yn araf neu yn gyflym; ond pe byddai genyf fidog neu gyllell flaenllym yn fy llaw, ac un arall yn sefyll yn fy ymyl, a fyddai genyf yr un hawl i wneuthur felly? Y mae genyf hawl naturiol i gau neu agor fy llygaid fel y dewiswyf; ond pe b'ai genyf res o ager-gerbydau o dan fy ngofal, fyddai genyf yr un hawl? Y mae genyf hawl naturiol i osod i lawr res o ffigyrau, 3+4+7+9+10, a chysylltu y meddylddrych a fynwyf â phob un o'r arwyddluniau yna; ac wrth eu cynnodi (*add*), gwneuthur faint a fynwyf o gamsyniadau; ond a fyddai genyf yr un hawl pe bawn yn sefyll y tu ol i'r bwrdd cyfrif fel ysgrifenydd mewn masnachdy? Na, fe fyddai gonestrwydd yn fy rhwymo i gysylltu y meddylddrych arferol â phob arwyddlun a ffigyr, a gofalu na wnelwyf ddim camgymeriad wrth symio y cyfrif i fyny. Y mae genyf, yr un modd, hawl naturiol i ffurfio unrhyw farn i osod syniadau wrth eu gilydd yn fy meddwl fel y dewiswyf; ond os byddai i'r cyfryw syniadau effeithio ar fy nedwyddwch fy hun neu fy nghymydog, nid oes genyf hawl foesol; yr wyf yn gyfrifol am fy marn. Am y rhan fwyaf o blant dynion, nid oes dim llawer o bwys beth fyddo eu barn o ran dim a effeithia ar eraill; ond y mae pob un yn gyfrifol iddo ei hun am ei farn.

2. Y mae genyf hawl wladol neu ddinasyddol i farnu drosof fy hun gyda golwg ar faterion crefyddol. Pan y sonir am hawliau dyn fel aelod o unrhyw gymdeithas, i farnu drosto ei hun, a gweithredu wrth gwrs drosto ei hun, ein meddwl yw, neu a ddylai fod, ei fod yn ei meddu can belled ag na byddo yn milwrio yn erbyn dybenion neu egwyddorion y gymdeithas hono. Dyben llywodraeth wladol neu ddinasyddol yw, diogelu bywyd, rhyddid, a meddianau y deiliaid. Yn awr y mae yn canlyn oddiwrth hyn-yna, fod genyf hawl ddinasyddol i feddwl fel y dewiswyf am bawb a phobpeth cyhyd ag na byddo y syniadau hyny yn tueddu i ddinystrio dybenion llywodraeth. Y mae genyf hawl i feddwl fel y mynwyf am grefydd, gwrthddrych addoliad, y dull o addoli, a phethau cyffelyb—mai Iesu o Nazareth yw y Messiah, neu mai twyllwr oedd—fod Joe Smith yn brophwyd, neu wadu hyny—fod Mari y Fantell Wen yn ysbrydoledig, a Joanna Southcot yn hudoles, cyhyd ag na byddo hyny yn peryglu bywydau, yn cwtogi rhyddid, neu yn yspeilio fy nghymydog. Meddylia rhai, nad ydynt yn dewis mewn un modd cael eu cyfrif yn mhlith yr anhaelfrydig, er na ddylai yr awdurdodau gwladol ymyraeth â meddyliau neu egwyddorion crefyddol neb fel y cyfryw, eto os bydd tuedd uniongyrchol y cyfryw egwyddorion i ddrygu eraill, y dylid ymyraeth o du y llywodraeth. I hyn gellir ateb, nad yw y llywodraeth wladol yn cymeryd i fewn (*take cognizance of*) feddyliau; nid ydyw, a hyny am y rheswm goreu yn y byd, nas gall, "yn barnu meddyliau a bwriadau y galon." Y mae *meddwl* y tu hwnt i'w

Digitized by Google

*phrovince;* y mae yn rhan gysegredig o ymerodraeth yr Hollwybodol.—"*Thoughts are not subjects*"—"Meddyliau nid ydynt ddeiliaid"—sydd un o ddywediadau mwyaf ysblenydd bardd Stratford; ac y mae yn cynwys gwirionedd sylfaenol ac egwyddorol o berthynas i lywod-ddysg. Na, nid yw meddyliau yn ddeiliaid llywodraeth wladol; nid ydynt yn dyfod o fewn cylcn ei hawdurdod hi nes y delont yn weithredoedd. Beth a dybygech am ddyn yn cael ei ddal, ei garcharu, ei brofi, ei euog-farnu, a'i grogi, am *feddwl* lladd dyn arall? Nis gellid byth ei brofi yn euog, heb gael un tyst yn bresenol yn y llys, yr hwn, can belled ag y gwyddom ni, fu ond unwaith erioed yn y fath le, a'r pryd hwnw fel drwgweithweithredwr yn cael ei farnu. Nid oes neb ond Efe a wyr holl feddylfryd y galon; ac am hyny nid ydym yn gyfrifol i neb am ein meddyliau ond iddo Ef.

3. Ond bod gan unrhyw ddyn hawl foesol i farnu yn *wrong*, yr ydym yn ei wadu yn y modd mwyaf penderfynol; oblegid os oes gan unrhyw ddyn hawl foesol i farnu yn gamsyniol, mae ganddo yr un hawl i wneuthur pa beth bynag a ddichon fod yn ffrwythau neu gynyrchion y farn hono, neu y byddo y cyfryw syniadau yn naturiol yn arwain iddynt. Mae ein syniadau, fel yr ydym yn ymwybodol eu bod, ac fel yr addefir yn gyffredinol, yn cario dylanwad ar yr ewyllys. Fod yr ewyllys yn hunan-benderfynol mewn unrhyw ystyr a'i gesyd allan fel yn gweithredu heb gymellion (*motives*), ac mai nid y cymelliad cryfaf yw y daioni mwyaf mewn golwg ar y pryd, sydd yn beth nad oes neb a ryfyga ei haeru yn ddifrifol. Yn awr, amlwg yw, nad oes genym hawl i ewyllysio yr hyn sydd gamweddus, oblegid y mae ein hewyllysiadau yn ddeiliaid gyda golwg ar y ddeddf foesol; ac at yr ewyllys yn uniongyrchol y mae gorchymynion a gwaharddiadau y ddeddf yn cael eu cyfeirio, ac nid at y fraich, y llaw, y troed, neu y tafod. Y mae y ddeddf yn gyntaf, ac yn benaf, yn anerch y meistr, ac nid y gweision; y brenin, ac nid y deiliaid. Ond caniataer mai at ein gweithredoedd y cyfeirir gorchymynion neu waharddiadau y gyfraith yn uniongyrchol; yna os oes cysylltiad naturiol rhwng y weithred a'r ewyllysiad, heb yr hyn nis gallai fod yn dda na drwg; ac os oes cysylltiad naturiol ac achosiadol rhwng ein hewyllysiadau a'n barnau, gan y rhai y penderfynir hwynt, ac y dylanwadir arnynt, y mae gorchymyn neu waharдd y naill, mewn effaith yn gwneuthur yr un peth â'r llall. Y mae gwahardd neu orchymyn gweithred, yn wahardd neu orchymyn yr ewyllysiad o honi; ac y mae gwahardd neu orchymyn yr ewyllysiad yn wahardd neu orchymyn y syniadau sydd yn penderfynu ac yn rhoddi cyfeiriad i'r ewyllysiad hwnw. Yn mhellach, y mae myntumio fod gan ddyn hawl foesol i farnu yn gamsyniadol, yn profi ein bod yn edrych heibio i'r gwahaniaeth dirfawr sydd rhwng sefyllfa a chyfrifoldeb dynion wedi a chyn cael datguddiad. Fod cyfrifoldeb yr hwn a gollo ei ffordd a'r *map* yn ei law, yr un a'r eiddo y sawl nas gwelodd y *map* erioed, sydd dybiaeth nad oedd iddi, fel yr hyderwn, ond ychydig o bleidwyr. Y mae yr ymadrodd "barnu yn gamsyniol," agos a bod yn wrth-ddywediad. Barnu yw canfod, gweled, dirnad. Gweled yr hyn nid yw, sydd beth annichon. Pan y defnyddir y geiriau, "barnu yn *wrong*," y meddwl raid fod, naill ai methu canfod yr hyn sydd, neu ddychymygu ein bod yn gweled yr hyn nad yw. Pan y dygwydd hyn, rhaid ei fod felly o achos un o'r tri pethau canlynol: 1. Naill ai o achos rhyw ddiffyg yn y llygad, neu y gallu canfyddiadol. 2. Neu o herwydd absenoldeb y cyfrwng priodol, sef goleuni. 3. Neu oblegid sefyllfa y gwrthddrych o ran ei berthynas â'r llygad. Cymwyser hyn at y mater mewn llaw. Nid yw dyn yn amddifad o'r gallu canfyddiadol; y mae gan y meddwl ei lygad; y mae Duw wedi rhoddi i ni "ddeall (alluoedd meddyliol), fel yr adnabyddom yr hwn sydd gywir." Nid ydym ychwaith yn amddifad o'r cyfrwng priodol; y mae genym ddatguddiad o

Digitized by Google

feddwl ac ewyllys y Goruchaf—y mae genym y "goleuni sydd yn goleuo pob dyn." Yr oedd Iesu Grist yn mhell oddiwrth gydnabod fod gan yr Iuddewon hawl i farnu yn *wrong*; na, dyma ei eiriau ef: "Oni b'ai fy nyfod i a llefaru wrthynt, ni buasai arnynt bechod; ond yr awr hon nid oes ganddynt esgus am eu pechod." Yr oeddynt yn gyfrifol am eu barn, a'u pechod mawr oedd barnu yn gamsyniol am yr Iesu, a hwythau yn meddu pob manteision i farnu yn iawn o berthynas i'w nodweddiad, ei anfonedigaeth, a'i honiadau. Y mae pethau crefydd wedi eu gosod mewn pellder addas, gyda golwg ar ein deall. Y maent wedi eu datguddio trwy ddynion, yn teimlo, yn meddwl, ac yn llefaru, yn debyg i ni ein hunain. Y mae crefydd, o ran yr athrawiaeth o honi, wedi ei bwriadu i'w deall; ac o ran ei dyledswyddau, i'w hymarferyd; a phe byddai dyn fel y dylasai fod, y mae crefydd yn hawdd ei deall, yn hawdd ei chredu, ac yn hawdd ei hymarfer.

## DEUGAIN MLYNEDD YN OL.

GAN Y PARCH. R. EDWARDS, POTTSVILLE.

Dyma eiriau a arferai yr hen frawd Baldwin yn aml yn y cyfeillachau yn Utica, yn 1843 ac 1844, pan oeddwn yn hogyn anmhrofiadol. Ymddangosai y tymor i mi y pryd hwnw yn faith a phwysig, ond erbyn hyn ymddengys fel chwedl wedi ei hadrodd, neu gysgod yn cilio. Fel doe yn fy ngolwg yr wyf yn cofio glanio yn Efrog Newydd yn 1841, gyda fy nghyfaill James Jones, mab "Jones o'r Boot," Merthyr, yr hwn yn ddiweddar a gymerwyd ymaith gan y cancr yn ei wyneb, er ei fod wedi cyrhaedd safle uchel yn y Ddinas Ymerodrol. Derbyniwyd ni yn garedig gan Gymry New York, ac yn enwedig y Bedyddwyr Cymreig, yn Canal St., y pryd hwnw, lle yr oedd y Parch. D. Phillips yn gweinidogaethu. Yr oedd y Parch. D. E. Bowen newydd fyned i Carbondale, ac nid wyf yn gwybod am neb yn y swydd weinidogaethol yn mhlith y Bedyddwyr Cymreig yn America yn bresenol ond efe a'r Parch. D. Probert, Youngstown, oeddynt y pryd hwnw yn weinidogion sefydlog, heblaw y Parch. Morris J. Williams, yn South Trenton. Daeth y Parch. Theophilus Jones a'r Parch. J. P. Harris i America y flwyddyn ganlynol, ac amryw enwogion eraill o bryd i bryd, ar eu hol. Yr oedd cryn siarad wedi bod yn mhlith y Bedyddwyr Cymreig, am gael cyhoeddiad i'r enwad, ac ar gymelliad eraill ymgymerais â'r gwaith o argraffu y *Beread*, yn 1842, yr hwn gyhoeddiad a roddwyd i fyny, neu a gyfnewidiwyd i'r *Seren Orllewinol*, yn 1844, pan y symudais i Utica, ac oddiyno i Pottsville yn 1845.

Nid yw fawr o bwys i mi adrodd fy helbulon a'm trafferthion o hyny hyd yn bresenol; digon yw dywedyd fy mod wedi ymdrechu am lawer o flynyddau, yn ngwyneb rhwystrau ac anhawsderau; ond fy amcan yn bresenol yw rhoddi ychydig o hanes enwogion yr enwad, ac amgylchiadau yr achos y pryd hwnw. Nid oedd ond ychydig o eglwysi gweinion gan y Bedyddwyr, yn Pennsylvania, Ohio, na Wisconsin, yn 1842. Yr oedd ein nerth penaf yn gorwedd o Utica i Steuben, yn Swydd Oneida, N. Y. Gwir fod dyddiau goreu y "Capel Gwyn" wedi myned heibio, ond yr oedd golwg addawol ar Remsen, South Trenton, Marcy, ac Utica, gyda y Cymry—y Parchn. W. Phillips, W. Thomas, ac eraill, yn pregethu iddynt. Ar rai amserau deuai y Parch. Wm. Owens, Pittsburgh, heibio, ac ystyrid ef fel rhyw gomed ryfeddol, yn swyno y bobl gan ei ddawn a'i bereidd-dra; ac er nad oedd wedi cael fawr o fanteision addysg, yr oedd rhyw ddylanwad ysbrydoledig yn cydfyned â'i bregethau, fel mae amryw eto yn cofio am yr effeithiau. Gwahoddai Owen Jones, Remsen, ef i ddyfod i Gymanfa Oneida, yn y *Seren*, fel y canlyn: "'Ry'ch chwi'n uwch o'ch pen i fyny na neb arall wrth bregethu; yn Steuben, 'ry'm am eich gweled mewn hwyl braf, a than arddeliad."

Yr oedd y Parch. W. Morgan wedi

Digitized by Google

llafurio am rai blynyddoedd yn Pottsville a Belmont cyn hyny, ac ystyrid ef yn un o *standards* yr enwad, yn ddyn tawel a thangnefeddus, ac uwchlaw drwgdybiaeth yn ei fywyd. Yr oedd yn dra gwahanol o ran ei ysbryd, i'r hybarch W. Owens, gan ei fod yn gyffredin yn *non-committal* mewn ymrysonau ac ymrafaelion, pan oedd y gwron o Pittsburgh bob amser yn dyfod allan fel cawr i amddiffyn yr hyn neu y rhai a farnai yn deilwng, tra y cyhoeddai ei anathema yn eglur ar y rhai a farnai yn gyfeiliornus, neu yn ymddwyn yn anweddus. Ni phetrusai ddywedyd, "Ti yw y gwr," wrth bob un a farnai yn gyfeiliornus, neu yn gwyro oddiwrth lwybr dyledswydd; ond anaml y dywedai y tangnefeddwr o Pottsville air drwg neu chwerw wrth y rhai a haerent bethau haerllug a gwrthun. Pob parch i'r ddau.

Un o'r cymeriadau mwyaf dysglaer, gwreiddiol, hunan-ymwadol, a theilwng, yn ol fy marn fach i, oedd y Parch. William Richmond, Blakeley. Ymddygai fel plentyn, heb honi unrhyw fawredd neu awdurdod; ond pan yn egluro egwyddorion a gwirioneddau yr efengyl, treiddiai i'r dyfnderoedd braidd heb yn wybod i'w wrandawyr; ac yr oedd ei ddarluniadau mor amlwg a naturiol, fel na allesid codi unrhyw wrthddadl yn ei erbyn. Yn ei hen ddyddiau yr oedd yn hollol ystwyth a diragfarn. Cofiwn yn dda am ei daith ddiweddaf i Swydd Schuylkill, pan oedd fel yn addfedu i ogoniant. Yr oedd yn llawn o'r Ysbryd Glan, ac yn mwynhau tangnefedd annhraethadwy yn ei enaid, fel y dywedai wrthyf ei fod yn treulio oriau lawer yn ei wely yn y nos yn myfyrio ar gariad a daioni Duw at fyd annheilwng; ac yr oedd mor foddlawn a diolchgar am yr hyn a roddid iddo, neu a osodid o'i flaen yn mhob ty yr elai iddo, fel y gadawai ddylanwad daionus a hyfryd ar ei ol yn mhlith pawb y deuai i gyffyrddiad â hwynt. Nis gwelsom fawredd yn cael ei egluro mewn bychander yn neb yn fwy amlwg nag yr ymddangosai yn mywyd gogoneddus y Parch. William Richmond.

Hen frawd anwyl arall sydd wedi cael effaith annileadwy ar fy nghof oedd yr hybarch John Stephens, o South Trenton. Yr oedd ei babell ddaearol yn dadfeilio pan ddaethum i adnabyddiaeth ag ef, ond ei enaid fel yn addfedu i'r nefoedd. Yr oedd cael awr o'i gyfeillach ef yn talu yn dda i mi am fyned yno o Utica yn ei ddyddiau olaf. Hynod mor fwyn a charedig y derbyniai hogyn anmhrofiadol pan yn dechreu pregethu, a rhoddai lawer o gyngorion a chyfarwyddiadau i mi ac eraill, fel na allasem fethu ei hoffi. Ychydig wythnosau cyn ei farwolaeth, buom yn cynal cyfarfod gydag ef, ac wrth son am hyder ac ymffrost Dafydd yn ei Dduw, yr oedd ef a'r brodyr anwyl John ac Abram Hughes, ac eraill, yn ymorfoleddu yn yr Arglwydd. Da i ni oedd bod yno. Bu "*Daddy*" Stephens farw a'i haul yn dysgleirio. Pan aethum i New York yn mhen ychydig fisoedd, ac adrodd ei hanes wrth Dr. Cone, yr oedd yntau yn gwirio y dystiolaeth, ac yn son yn deimladwy am y cymorth a'r addysgiadau a dderbyniodd yntau oddiwrtho yn nechreu ei fywyd gweinidogaethol, pan yn cynorthwyo y Parch. John Williams, tad y Dr. Williams, yn Oliver Street, y pryd hwnw. Ystyriai Dr. Cone fod Stephens yn un o ser dysgleiriaf yr enwad yn New York tua dechreu y ganrif bresenol—yn ysgolhaig Beiblaidd rhagorol, yn bregethwr nerthol, ac yn Gristion didwyll. Parch da i'w goffadwriaeth.

Ysgrifenais y nodiadau hyn ar gais golygydd y WAWR. Os byddant yn gymeradwy ganddo ef, dichon y bydd genyf ychwaneg o grybwyllion am enwogion ac amgylchiadau yr enwad yn y blynyddau dyfodol. Gwir fod rhai goleuadau wedi dysgleirio yn ein ffurfafen am dymor byr, nad yw werth son am danynt; ond y mae eraill, megys y Parchn. T. P. Hughes, Wm. Terrar, R. Roberts, &c., a fuont yn llafurio yn galed dan lawer o anfanteision, y dylem eu hanrhydeddu a'u parchu, canys y mae

"Eu henw da, eu parch a'u bri,
Yn nghadw yn y nefoedd fry."

Digitized by Google

# Fflachiadau Athrylith.

## GORUCHWYLIAETH YR EFENGYL YN ORUCHWYLIAETH GORONOG.

Y mae gweinidogaeth yn ngoruchwyliaeth efengyl, megys coron ar ben holl waith Duw; coron creu y byd trwy i'w Fab farw ynddo i achub dyn, coronwyd y cysgodau trwy eu cyflawni,—y ddeddf trwy ei hanrhydeddu,—y prophwydoliaethau a'r addewid o'r Messiah trwy eu llenwi i fyny. Coronwyd holl berffeithiau y Duwdod trwy eu llewyrchu allan yn un cynullfan cariad prynedigol. Gan fod y weinidogaeth hon genym ni, dysgwyliwn achub llawer eto, oblegid sylwedd ydyw ac nid cysgod—ysbryd ac nid llythyren—rhyddid ac nid caethiwed—cyfiawnhad ac nid damnedigaeth—nid gogoniant dileuol, ond un arosol byth.

Mae yn rhyfeddod mawr yn ngolwg angelion y cariad a garodd yr eglwys, y gwaed a'i prynodd, y goleuni sydd yn gwisgo, a'r drefn sydd yn ei choroni: "ar yr hyn bethau mae yr angelion yn chwenych edrych." Nid yr oeddent, ond maent, yn gweled plyg ar ol plyg yn cael ei agor o ddoethineb, gallu, gras, a haeddiant dwyfol. Bydd yn syndod i fodolion, ac i wlad distryw fawr, i weled eu hymerodraeth wedi ei malu yn llwch, a'r cestyll wedi eu dryllio, a thyrfa ddirif wedi dianc â phalmwydd yn eu dwylaw. Rhyfeddu a wna y saint eu hunain wrth ganu y gân newydd byth, iddynt hwy gael eu caru a'u prynu â gwaed yr Oen, a'u gwneuthur yn saint trwy ddylanwad yr Ysbryd Glan. Y cynulleidfaoedd lle nad yw athrawiaeth gras ar sylfaen Iawn Crist yn cael ei phregethu, cynulleidfaoedd heb eu gwisgo â'r haul ydynt, ac heb eu coroni â'r efengyl dragwyddol. Diolch i Dduw am gynifer o gynulleidfaoedd yn Nghymru, yn amlach a lluosocach, yn ol y rhifedi nag un genedl arall, yn cael eu coroni gan weinidogaeth bywyd tragwyddol. Bydd gan lawer Cymro tlawd goron o fawl i roddi ar ben Mab Mair, ac fe roddir lle iddo ddyfod yn mlaen yn nghanol torf ddirif o batrieirch, proffwydi, apostolion, merthyron, a seintiau o blith pob cenedl; caiff yntau roddi y goron ar ei ben am ei achub yn eu mysg hwynt oll. Bydded genych ras, gynulleidfaoedd Cristionogol, i ymddangos â'r goron ar eich penau; yr efengyl a'i hordinhadau ydyw eich gogoniant a'ch coron, yr hyn a egyr le i chwi sefyll ar ddeheulaw y Priod-fab yn y dydd hwnw. Bydded goleuni athrawiaeth y Testament Newydd yn gwisgo yr eglwys, ac nid meini gwerthfawr a pherlau bydol, parch a sefydliad dynol, a chyfoeth daearol; a boed yn ei llaw hi gwpan neu phiol iachawdwriaeth i yfed at bawb win bywyd, ac nid gwin llid puteindra ac erledigaeth, yr hwn oedd yn phiol aur y butain fawr. —*Christmas Evans.*

## Y DYN DOETH.

Lle y triga gwybodaeth yn symiau mawrion, nid yw fel dwfr ar y wyneb, y gellwch yn hawdd fyned ato, ond y mae fel dwfr a orwedd yn isel yn y ddaear, yn risialaidd ac adfywiol, nas gellir ei gael allan ond trwy gymorth sugnedydd (*pump*). Rhaid iddo gael ei dynu allan. Y dynion mwyaf gwybodus yw y rhai mwyaf gwylaidd a dystaw. Y mae'r arwynebol yn siaradus, ond y mae'r dwfn yn dawedog. Y mae'r ffraeth a'r amleiriog bob amser yn arwynebol ei feddyliau, ond y mawr ei wybodaeth sydd gynil.—*Dr. D. Thomas.*

## DAIONI DUW.

Yn gymaint ag mai anfon ei Fab oedd y weithred ddaionus uchaf allasai Duw fynegu, rhaid fod ei wrthod ef y dirmyg mwyaf ellir daflu ar haelionusrwydd Duw. Y mae'r anniolchgarwch sydd yn y gwrthodiad hwn mor uchel

Digitized by Google

yn rhestr pechodau ag ydyw y person a ddiystyrir yn rhestr bodau. Y mae Crist yn rhodd, yn rhodd freninol, yn rhodd anghymarol, yn deilliaw o drysorau anamgyffredadwy daioni. Beth yw ein gwaith yn troi ein cefnau ar y rhodd hon ond ei dirmygu, a llefaru yn ein hymddygiad nad yw gem ddrutaf y nefoedd yn fwy gwerthfawr na phleserau darfodedig y ddaear, nac yn haeddu triniaeth well na phe buasai dim ond gweddillion wedi eu cynyg i ni?—*Charnock.*

## YN NGHRIST.

Bod yn Nghrist yw bod yn ei feddylddrychau, yn ei gymeriad, yn ei Ysbryd fel awyrgylch bywyd. Y mae dynion yn mhob man yn byw yn meddylddrychau ac yn nghymeriadau eraill. Efe, yr hwn sydd yn byw yn ysbryd Raphael, a ddaw yn arluniwr; efe, yr hwn sydd yn byw yn ysbryd Milton, a ddaw yn fardd; efe, yr hwn sydd yn byw yn ysbryd Bacon, a ddaw yn athronydd; efe, yr hwn sydd yn byw yn ysbryd Cæsar, a ddaw yn rhyfelwr; efe, yr hwn sydd yn byw yn Ysbryd Crist, a ddaw yn ddyn.

## Y BRIODAS.

Daeth Mab Duw ar ei daith i waered i'r byd lle yr oedd ei eglwys, a thrigodd yn ei phlwyf hi dair blynedd ar ddeg ar hugain, ac yr oedd yn rhaid gweinyddu ei briodas ar y ddaear yn ei phlwyf hi. Ymwisgodd ef â dillad ei gwlad. Pan y deallwyd mai y Priodfab oedd efe, gyrwyd i mewn ato ysgrifau ar gefn eu gilydd, o'i dyledion hi yn llyfrau deddf Sinai; daliwyd ef yn yr ardd am ei dyled hi, gan swyddogion wedi arwyddo eu hawdurdod gan ei Dad. Ni ddiffoddodd fflam ei gariad, ond dywedodd, "Os fi yr ydych yn ei geisio, gadewch iddi hi fyned ymaith." "Felly y carodd ei eglwys, ac y rhoddes ei hun drosti." Parhaodd ei gariad yn fflamau angerddol, heb leihau yn ei angerdd drwy garchar a barn. Ni allasai hoelion dur a fflangellau, coron ddrain, poeri, mantell goch, a gwinegr, a bustl, na gwawd a gwaradwydd y groes, wanhau dim arno. Dyma Ben y byd o gariad, a Phen y nefoedd hefyd. Holl bentwr dyled yr ysgrifen-law a osodwyd yn ei erbyn ar y groes, yr hyn hefyd ni wanhaodd ei gariad, canys yr oedd ganddo fodd, âg aur gwlybion gwaed ei galon, i lwyr ddileu yr holl ddyled—dyferyn o'r hwn oedd yn anfeidrol mwy gwerthfawr na holl aur a pherlau y byd hwn. O gylch tri y prydnawn, cynaliwyd y briodas, a thalodd ei dyled; mynodd hi yn ferch rydd o ddwylaw melldith y ddeddf; llefarodd yntau y gair "Gorphenwyd," fel clo tragywyddol ar y cyfamod priodasol.—*Christmas Evans.*

## ANFFYDDIAETH.

Y mae anffyddiaeth bob amser yn enill buddugoliaeth pan yn cydymu â rhagrith ac ofergoeliaeth, ond byth pan mai ei gwrthwynebydd yw rheswm.—*George Bancroft.*

## DYCHWELIAD YR AFRADLON.

Sorodd Shoni ar ei gyflog, a throes ei gefn ar dy ei feistr, wedi bod yno yn gwasanaethu am flynyddau. Wrth grwydro o fan i fan, cymerodd Shoni yn ei ben i fyned am dro i'r dref, er gweled pa beth oedd yn myned yn mlaen yno. Pan yn rhodio yno ar hyd yr heol, pwy a gyfarfyddai â Shoni, yn ddisymwth, ond ei hen feistr. Pan welodd Shoni ei feistr, aeth yn lled *shy*, ac nid oedd ei atebion ond byrion, ac arwyddai yn amlwg nad oedd am siarad fawr ag ef. "Wel, wel, Shoni," ebe y meistr, "ni wna hyn y tro; os ymadael, gad i ni ymadael yn ffryndiau, tyred gyda mi." Ffordd yr aeth ei feistr a Shoni, tua heol y Groes, ac i mewn i arwydd y Llew o lwyth Judah, ac wedi eistedd i lawr, galwodd ei feistr am bob o wydriad o win, o winwydd Escol, yr hwn a sathrwyd yn ngwinwryf Calfaria. Dygwyd ef iddynt o'r

Digitized by Google

rywogaeth oreu, ac erbyn i Shoni yfed ond ychydig o hono, wele ef ar ei draed; y dagrau yn berlau gloewon yn rhedeg dros ei ruddiau, a'i ddeheulaw yn estynedig at ei feistr, ac yn gwaeddi allan, "Meistr! ffryndiau mwy, ffryndiau hyd y bedd mwy, meistr anwyl, ffryndiau hyd dragwyddoldeb mawr mwy! Adref gyda chwi, meistr anwyl; yn eich gwasanaeth chwi y treuliaf fy oes mwy! byth mwy! byth mwy! A ydyw y pechod wedi ei faddeu, meistr anwyl?" "Ydyw, Shoni bach; dere yn ol, dere yn ol. 'A'u pechodau a'u hanwireddau, ni chofiaf mo honynt mwyach.' Croesaw, croesaw, tuag adref; y mae yr hen fywioliaeth a welaist gynt yn dy aros eto."—*C. Evans.*

# Bwrdd y Golygydd.

## Y "CLASSICS."

Mae math penodol o lyfrau yn cael eu galw yn *Classics.* Defnyddir y gair i wasanaeth deublyg. Llefarir am y Groeg a'r Lladin fel ieithoedd clasurol, a'r ysgrifenwyr mawrion ynddynt fel *y classics;* tra ar adegau eraill clywir am arddull Seisnig glasurol, neu yr *English classics.* Beth a dybia y gair, ynte, ynddo ei hun, a pha fodd y mae wedi dod i feddu yr ystyr deublyg hwn? Mae yr ymadrodd wedi deilliaw oddiwrth arferiad gwleidyddol yn Rhufain. Cyfrifid pysigrwydd dyn yno yn ol ei dderbyniadau blynyddol (*income*)—un yn y trydydd dosbarth, un arall yn y pedwerydd, yc felly yn y blaen; ond yr hwn oedd uchelaf, gelwid ef yn benodol Y DOSBARTH—*the class—classicus;* nid oedd angen cysylltu rhif gydag enw y penaf hwn. Yna, trwy gyfatebiaeth amlwg, gelwid yr awdwyr goreu yn *classici*, neu ddynion o'r dosbarth uchelaf, yn debyg fel yr arferwn ddyweyd am ddynion, "*men of rank,*" a fo yn y sefyllyllfoedd uchelaf yn y wladwriaeth. O dipyn i beth, daeth yr ymadrodd i'w ddefnyddio yn benodol am y Groegwyr a'r Lladinwyr. A chymeryd y dull gwreiddiol o ddefnyddio y gair am yr awdwyr goreu yn rheol, byddai mor briodol galw yr awdwyr goreu yn mhob iaith yn *classics.*

## YMWELYDD O GYMRU.

Y mae yn dda genym hysbysu fod y Parch. Wm. Evans, gweinidog Elim, Penydarren, Merthyr, yr hwn sydd yn frawd i Ednyfed, a'r Parch. John Evans, ar dalu ymweliad ag America. Bydd yn cychwyn o Lerpwl ar yr eilfed o Fai, a bwriada dreulio oddeutu chwech wythnos yn y wlad hon. Bydd yn dwyn gydag ef y cymeradwyaethau uchelaf fel dyn, Cristion, a phregethwr. Os bydd rhai o'r eglwysi Cymreig yn dymuno cael ei wasanaeth, gwell iddynt frysio anfon at Ednyfed i Franklin, Pa.

## MR. GLADSTONE YN NGHAPEL SPURGEON.

Yn mhlith gwrandawyr Mr. Spurgeon nos Sul, yn niwedd Ionawr diweddaf, yr oedd y Prif-Weinidog a'i fab henaf, Mr. W. H. Gladstone. Nid hwn oedd y tro cyntaf i Brif-Weinidog Prydain Fawr fod yn un o wrandawyr Mr. Spurgeon, ac nid dyma y tro cyntaf i Mr. Gladstone fod yn wrandawr mewn addoldy Ymneillduol. Flynyddau lawer yn ol, bu y diweddar Arglwydd Palmerston fwy nag unwaith yn gwrandaw ar y pregethwr poblogaidd hwn; a bu Mr. Gladstone yn agoriad addoldy yr Annibynwyr yn Islington, yn gwrandaw ar Dr. Allon. Synu yr ydym ni ei fod wedi oedi cyhyd heb glywed, yn ddiddadl, bregethwr mwyaf poblogaidd yr oes hon. Y mae Spurgeon yn y byd bregethwrol yr hyn yw Gladstone yn y byd gwleidyddol—yn sefyll yn uwch o'i ysgwyddau na'i frodyr. Yr oedd gweled y Prif-Weinidog yn eistedd i wrando arno yn awgrymiadol iawn o'r

Digitized by Google

cyfnewidiad sydd wedi dyfod dros gymdeithas o fewn y ganrif hon, ac o'r warogaeth a delir gan wir fawredd i wir athrylith a gallu crefyddol. Yr oedd yno wedi cydgyfarfod, yn ddiddadl, ddau o ddynion blaenaf yr oes. Digon tebyg y ceir rhyw feddyliau offeiriadaidd yn ddigon crebachlyd i encilio mewn braw sanctaidd oddiwrth yr olygfa, ac ni ryfeddem na ddyfeisia rhyw Dori y chwedl fyd Gladstone wedi ymuno â'r Bedyddwyr. Dyfeisiwyd flynyddau yn ol chwedl ei fod wedi ymuno â'r Pabyddion; ond buasai hyny yn llai pechod yn marn rhai na'i fynediad i'r Tabernacl i wrando ar brif bregethwr ei oes. Onid oes i Brif-Weinidog Prydain Fawr hawl, fel rhyw bechadur arall, i ddewis ei bregethwr a'i gynulleidfa, ac i ddewis myned i wrandaw yn achlysurol y tu allan i gylch yr eglwys ei magwyd ynddi? Y mae Spurgeon a'i Dabernacl, fel y dywed y *Standard*, newyddiadur y Toriaid, yn sefydliad yn Llundain bellach, ac ni feddylia ymwelwyr â'r Brif-ddinas eu bod wedi gweled y cyfan heb ymweled â Thabernacl Spurgeon, a gwrandaw arno. Dilynwyd yr esiampl gyffredinol hon gan y Prif-Weinidog a'i fab. Anfonwyd i ofyn a fyddai Mr. Spurgeon yn pregethu yn yr hwyr, ac atebwyd yn gadarnhaol. Daethant yno ychydig cyn yr amser, a chawsant ymgom â Mr. Spurgeon. Eisteddent yn y gwasanaeth yn sedd y gweinidog, yn ei ymyl, ac ymadawsant yn ymddangos wedi eu llwyr foddloni yn y gwasanaeth.—*Seren Cymru.*

---

## MAN-LEWYRCHIADAU.

—Ar yr 22ain o Ebrill ymadawodd y brawd ffyddlon a'r cyfaill tirion, Arianfryn, o Braceville, Ill., a'r wlad hon, am Gymru, yn y *City of Rome.* Brawd iddo ef yw Mr. Treharne, dosbarthwr y WAWR yn Braceville. Nis gwyddom a fwriada ddychwelyd ai peidio. Tebygol y bydd yn sâl am America, fel pawb eraill. Mae Arianfryn yn fardd da. Dyma englyn a anfonodd i ni wrth ymadael, i

ANGAU.

Bladur yn mhlith y blodau—neu heliwr
Dynoliaeth i'w beddau;
Cyflog od pechod pob pau,
Yw yr ingol oer angau.

—Anfonasom lythyr y diwrnod o'r blaen at Ednyfed, er ceiso ei symbylu i anfon ei erthygl addawedig am Gymru i'r WAWR, a dyma ei atebiad:

"Giraldus, Giraldus, paid bod yn drafferthus,
Danfonais fy ysgrif i'th law,
Ac yn y WAWR wiwlon ymddengys yn fuan,
Gan son am y doniau sydd draw."

Bydd yr ysgrif at yr hon y cyfeirir yn y WAWR am Mehefin.

—Gwelir ar dudalen arall hanes marwolaeth a chladdedigaeth yr hen chwaer barchus Mrs. Job, mam Mr. Samuel Job, Jolliet, Ill., diweddar o Bethel Home, Cleveland, O. Bydd yn chwith gan lawer o ymwelwyr â thy Mr. Job ddeall nad yw yr hen chwaer dirion, ddiniwed, Mrs. Job, mwyach ar dir y byw.

—Bydd y Parch. W. Morlais Evans yn dychwelyd i'r wlad hon tua diwedd Ebrill, a bydd yn dda ganddo *supplyo* unrhyw eglwys Fedyddiedig mewn angen am weinidog. Gwyr pawb a glywsant y brawd yn llefaru, ei fod yn bregethwr swynol a sylweddol. Bydd yn gaffaeliad gwerthfawr i eglwys ag eisiau bugail arni. Treuliodd flwyddyn dderbyniol gyda'r eglwys yn Houtzdale, Pa., ac y mae iddo gymeriad difrycheulyd. Gellir gohebu â'r ysgrifenydd mewn perthynas iddo—*D. T. Phillips, Port Chester, N. Y.*

—Mae y Parch. D. Rhoslyn Davies yn myned i'w faes newydd yn Pittsburgh gyda dymuniadau goreu llu o gyfeillion yn nwyreinbarth Pa, a manau eraill. Mae ein calon ninau yn dychlamu yr un ffordd.

—Yn y rhifyn nesaf o'r WAWR, bydd gan y Parch. John W. Williams, D. D., Hyde Park, ysgrif arall ddyddorol dan y penawd "Adgofion am yr Eidal."

— Yr ydym yn dra diolchgar i'r Parch. Wm. Jones, Wis., am ei ysgrifau cryfion i'r WAWR. Y mae ganddo ef rai ffeithiau yn ei ysgrif nesaf mewn

Digitized by Google

perthynas i ddechreuad bedydd babanod, nas gwelsom yn ein bywyd ddim yn debyg i'r hyn a ddywed. Wel, bydded ein darllenwyr yn esgud i ddarllen y ffeithiau a esyd ger bron yn yr ysgrif nesaf.

--Mae y brawd W. D. Rees, Omaha, Neb., eisiau cael cenadaeth gartrefol i'r Bedyddwyr Cymreig yn y Gorllewin.

— Ebe y Parch. John R. Jones, Houtzdale, Pa.: "Y mae golwg ddymunol ar yr achos mawr. Bedyddiais bump y Sabboth cyntaf o'r mis hwn (Ebrill), ac un y Sabboth diweddaf; adferwyd pump, a derbyniwyd trwy lythyrau dri. Y mae eraill yn cloffi, a dysgwyliwn gael bedyddio y Sabboth cyntaf yn Mai eto. Frawd, cofia am danom wrth orsedd gras."

## ADOLYGIAD Y WASG.

Llyfr gwasanaethgar iawn i bob gweinidog, ac i bob Bedyddiwr, o ran hyny, yw *Blwyddiadur* y Bedyddwyr, cyhoeddedig gan y Gymdeithas Gyhoeddiadol yn Philadelphia. Nid yw ond tua 150 o dudalenau, ond mae yn orlawn o'r hysbysiadau mwyaf defnyddiol o barth i achos yr enwad yn yr Unol Dalaethau. Ceir ynddo grynodeb o weithrediadau ein cyfarfodydd blynyddol, a'n cymdeithasau cenadol, enwau eu swyddogion, a thalfyriad o'u gwethrediadau, rhifedi ein cymanfaoedd, eglwysi, aelodau, ynghyd ag enwau a chyfeiriadau ein holl weindogion. Y mae yn anhebgorol angenrheidiol i bwy bynag sydd am gadw ei hun yn wybyddus o amgylchiadau ac hanesyddiaeth yr enwad yn America. Ei bris yw *haner dolar.*

### "THE BREAKER BOY."

Ymhlith y llyfrau a gyhoeddwyd yn ddiweddar gan Gymdeithas Gyhoeddiadol y Bedyddwyr yn Philadelphia, mae un o ddyddordeb penodol, ac yn un gwir addas i'w roddi yn llyfrgell yr Ysgol Sabbothol, a byddai yn gaffaeliad dyddorol mewn unrhyw deulu, yn neillduol lle mae pobl ieuainc.

*Nofel* ydyw, yn sylfaenedig a'r ffeithiau, yn hytrach gweuir i'r chwedl wirioneddau hanesyddol, addysgiadau crefyddol mewn athrawiaeth ac ymarferiad. "*The Breaker Boy of Lansford*" ydyw y teitl. Mae rhai pethau ynddo yn ei wneyd yn neillduol o ddyddorol i bobl ieuanc ein Hysgolion Sabbothol Cymreig.

1. Cymer y dygwyddiadau hanesyddol le yn swydd Carbon, Pa. Genir arwr y chwedl yn Lansford, ac mae'r hanes yn fywiol iawn i'r darllenydd sydd yn gwybod am y cylchoedd hyn.

2. Mae y portreadau personal *dymunol* ynddo agos oll yn Gymry, gwelir hyny yn amlwg oddiwrth yr enwau: Wm. Davies (enw yr arwr), Thomas Morgan, James Jones, Robert Williams, &c. &c., ac mae yr holl lyfr yn dangos fod yr awdwr yn cario meddwl uchel iawn am y Cymry. (Tybed ai nid Cymro ydyw ?)

3. Mae amcan y llyfr hefyd i gynyrchu teimladau a thueddiadau crefyddol. Gwneir hyn nid yn bregethwrol, ond mae ysbryd crefyddol yn ei dreiddio, a theimla'r darllenydd y dylanwad yn ddwys.

4. I Ysgolion Sabbothol y Bedyddwyr mae yn wir addas. Dysga yn bybyr athrawiaethau neillduol ein henwad; yn hyn cyfranoga i raddau llai o natur llyfrau fel y *Great Iron Wheel, Grace Truman,* a *Theodosia Ernest.*

Mae y dygwyddiadau a groniclir ynddo yn cymeryd trem ar weithrediadau y "Molly McGuires," a desgrifir hwynt yn wir effeithiol; hefyd ymweliadau cyffrous i'r glofeydd, i ddangos peryglon y mwnwyr a phethau eraill ydynt yn ddyddorol, ac yn rhoddi addysgiadau derbyniol. Mae fel y rhan fwyaf o ffug-chwedlau yn y ffaith fod edafedd euraidd serch yn rhedeg drwyddi; ond mae y dyner-nwyf hon mor naturiol i'r galon ddynol, ac i fywgraffiad pob un fel nad yw llyfr yn rhoddi hanes bywyd arwr yn gyflawn heb ei chymeryd i mewn. Pris y llyfr yw $1.25. American Baptist Pub. Society, 1420 Chestnut St. Philadelphia.

Cydymaith i'r llyfr uchod o ran maint, (dipyn bach yn fwy) a ffurf yw

Digitized by Google

"*The Sheltered Stranger*" cyhoeddedig gan yr un gymdeithas, ei bris yw $1.50 Mae y ddau wedi eu rhwymo yn gryf a hardd mewn llian, ac maent yn addurnol yn gystal a dyddorol, ac maent mor hyfforddiadol ag y geill llyfrau o'r fath fod.

---

LLYFR A'R FEDYDD. Gan y Parch. B. EVANS, Castellnedd, D. C.

Gyda phriodoldeb neillduol y gellir galw yr oes hon, yn oes y llyfrau. Y mae milldiroedd lawer o bapyr mewn newyddiadurion, cyhoeddiadau, a llyfrau o bob math, yn cael eu defnyddio bob dydd o'r wythnos. Dengys hyn fod dyn o ran ei enaid yn greadur treulfawr iawn. Y mae yn bosibl diwallu corff âg ymborth; eithr anmhosibl digoni angenion enaid â gwybodaeth. Moes, moes, yw iaith enaid yn barhaus. Wedi cael un llyfr, a'i fwyta, a'i dreulio yn llwyr; nid yw hyny ond yn creu mwy o archwaeth a gorawydd am lyfr arall. Gan fod y galwad mor fawr, yn yr ystyr hwn, dylid bod yn ddiolchgar fod y cyflenwad mor helaeth ag y mae. "Nid *aur* yw pob peth sydd yn dysgleirio," yn marchnad y llyfrau; o ganlyniad, er mwyn arbed traul ac amser, y mae yn angenrheidiol arfer doethineb a phwyll wrth brynu yn y farchnadfa yma, rhag i ni gael llawer o us ac ychydig o wenith, mynydd o yspwrial heb un perl ynddo, a môr o eiriau heb lonaid gwniadyr o synwyr. Pan yn talu ymweliad ag Hen Wlad anwyl ein tadau, er's tua blwyddyn a haner yn ol, cyfarfyddais ag amryw o enwogion y Pwlpud Cymreig; ac yn mysg eraill, cefais y fraint o dreulio dau neu dri diwrnod yn nghwmni y brawd hoff, a'r pregethwr galluog, y Parch. B. Evans, Castellnedd, yn nhref henafol Aberteifi. Daeth yno i bregethu a gwerthu ei lyfr newydd ar Fedydd.

Mae Mr. Evans fel awdwr a phregethwr, yn sefyll yn y rhes flaenaf yn mhlith gweindogion Cymru. Efe ydyw ysgrifenydd Cymanfa y Bedyddwyr yn Morganwg; a gwyr pawb mai hon yw y gymanfa gryfaf a fedd y Bedyddwyr Cymreig. Mae efe wedi llanw y swydd bwysig hon er's tuag ugain mlynedd. Mynais ei lyfr, ac yr wyf wedi cael gwledd i'r meddwl wrth ei ddarllen a'i fyfyrio; a meddyliais mai gweddus a phriodol yw dwyn y cynyrchion addfed hyn i sylw Bedyddwyr Cymreig y Talaethau Unedig, trwy gyfrwng Y WAWR. Llyfr bychan ydyw o ran maint papyrawl, yn cynwys *cant ac wyth* o dudalenau, wedi ei ddosparthu i saith o benodau; ond y mae pob tudalen ynddo yn llawn o bethau addysgiadol, minicg, a tharawiadol ar y pwnc yr ymdunir ag ef. Gellid gwerthu y llyfr hwn yn y wlad hon am tua 40 cents yr un, a dylai copi o hono, ar bob cyfrif, fod yn nhŷ pob Bedyddiwr Cymreig drwy yr holl wlad. Nid amcan yr awdwr ydyw gwneyd ymdriniaeth *ddysgedig* o'r pwnc fel y gwelir yn ngweithiau gorchestol Dr. Carson, Conant, ac eraill; eithr y mae wedi ei gyfaddasu yn fwy at chwaeth a safle y werin yn gyffredinol. Yn y Rhagdraeth dywed yr awdwr fel y canlyn: "Yn nacâol, nid fy amcan, wrth ysgrifenu y llyfr hwn, oedd dangos mwy, na chymaint, o ddysgeidiaeth, ar y pwnc o fedydd. nag sydd wedi ei ddangos yn flaenorol gan gynifer o fy mrodyr galluog a dysgedig arno yn yr iaith Gymraeg. Gyda golwg ar *Ddysgeidiaeth*, y mae dysgedigion blaenaf a phenaf yr oesau, perthynol i bob enwad crefyddol, yn cytuno i ddyweyd fod y Bedyddwir yn hollol gywir yn y dull o fedyddio, yn gystal â bod eu deiliaid, credinwyr, yn wir ddeiliaid yr ordinhad; a chytunant hefyd â'r Bedyddwyr am arwyddocad bedydd. Yr unig ddadl yw, cofier, bod y Taenellwyr am osod taenelliad yn fedydd cystal a throchiad, a'r babanod yn gystal deiliaid yr ordinhad; yr hyn nad yw y Bedyddwyr yn ganiatau. Felly y ddadl i gyd yw yn nghylch taenelliad ar fabanod, ac nid o berthynas i drochiad y credinwyr. Dealler felly mai dadl un-ochrog ydyw, sef am y taenelliad, ac am y babanod. Ond er yr holl gydnabyddiaeth uchod o eiddo dysgedigion taenellyddol, yn cyfaddef fod y Bedyddwyr yn iawn, y

Digitized by Google

mae rhai o'u hysgrifenwyr a'u pregethwyr cyffredin yn ymdrechu taflu llwch i lygaid eu darllenwyr a'u gwrandawwyr, er eu cadw mewn tywyllwch, a'u darbwyllo hyd yn nod i gredu nad yw trochiad yn fedydd o gwbl! Ac, er creu rhagfarn yn meddyliau y bobl, mor helaeth ag y gallant, at y Bedyddwyr, lluniant anwireddau lluosog o amryw natur a dulliau o berthynas iddynt.

Yn gadarnhaol, ynte, dyben y llyfr hwn ydyw dynoethi yr anwireddau hyn; neu, mewn iaith mwy pendant, y celwyddau noeth hyn a ledaenir gan y cyfryw rai am y Bedyddwyr, eu bedydd, &c., a dangos pa fodd y mae y mater yn sefyll rhwng y Bedyddwyr a'r taenellwyr, yn neillduol i'r rhai nad oes ganddynt gyfleusderau a hamdden i chwilio llyfrau dysgedig a chostfawr. Gan hyny bydd hyn yn llawlyfr i'r cyfryw; a gobeithir y bydd yn offeryn hefyd i lanhau llygaid meddyliau y rhai a arferant y traddodiad anysgrythyrol o daenellu; ac y deuant i weled, credu, ac ufuddhau i'r gwirionedd fel ag y mae yn yr Iesu, gyda golwg ar yr ordinhad o fedydd, yn gystal a phob gwirionedd arall o'i eiddo."

Er mwyn i'r darllenydd gael rhyw syniad am gynwysiad y gwaith hwn, y peth goreu allwn wneyd ydyw rhoddi crynodeb byr o gynwysiad y penodau, yn nghyda rhai dyfyniadau wrth fyned yn y blaen:

*Penod I.*—Bod cyfeiliornadau a thraddodiadau dynol yn cael eu hamddiffyn bob amser ag anwireddau a thwyll-osodiadau—Y rheswm fod yr enwadau crefyddol, o'r Pabyddion i lawr at wahanol enwadau taenellyddol Protestanaidd, yn erbyn y Bedyddwyr—Y Bedyddwyr yn gwrthod y traddodiadau o fedydd, a thaenelliad babanod, ac am hyny y mae yr holl daenellwyr yn unol yn eu herbyn, ac yn caru pe gallent eu diddymu fel enwad crefyddol, &c., &c.

Dengys yr awdwr yma fod pob cyfeiliornad ac anwiredd yn rhwym o gael cyfeiliornadau ac anwireddau eraill i'w hamddiffyn a'u dal i fyny. Fel hyn y mae y naill ddrwg yn esgor ar ddrwg arall, a phechod yn cael ei ychwanegu at bechod. Mae y chwedl am y bachgenyn, yn dangos ac yn egluro ein meddwl; pan y gofynai ei feistr iddo, paham yr oedd mor ddiweddar yn dyfod i'r ysgol y boreu hwnw? I'r hyn yr atebai, bod y ffordd mor anghyffredin o lithrig, fel ag yr oedd yn gorfod rhoddi dau gam tuag yn ol, wrth gerdded, am bob un ag oedd yn roddi tuag yn mlaen. Yna gofynai ei feistr, pa fodd yr oedd wedi gallu dyfod i'r ysgol felly o gwbl? I'r cyfryw ofyniad yr atebai y gwr bach eilwaith, Mi droais fy nghefn tuag yma, a fy wyneb tuag yn ol, felly yr oeddwn yn gallu rhoddi dau gam yn mlaen am bob un yn ol. Yr oedd yr anwiredd olaf wedi ei lunio er amddiffyn yr un blaenaf.

Un cloff iawn yw cyfeiliornad, rhaid iddo yn barhaus gael ffyn baglau i'w ddal i fyny. Pan y mae traddodiadau dynol yn cael eu dwyn i mewn i gysylltiad â chrefydd ein Harglwydd Iesu Grist, y rhai nad oes sail iddynt, na sill am danynt yn yr Ysgrythyrau, y mae yn rhaid wrth reswm eu dal i fyny, a'u dwyn yn mlaen ar dwyll a chelwydd am hyn a hyn o amser. Yna dangosir fod tuedd erledigaethus yn meddianu y gwahanol bleidiau a amddiffynant gyfeiliornadau. Yr oedd y Phariseaid, yn amser ein Hiachawdwr, i lawer iawn o raddau yn waeth na'r Saduceaid, trwy eu bod wedi ychwanegu yr holl draddodiadau at Air Duw; ac nid yn unig hyny, ond yr oeddynt hefyd wedi myned i ddiystyru yr Ysgrythyrau, o herwydd eu bod yn parchu traddodiadau yn fwy na hwynt. Cafodd y traddodiadau eu casglu at eu gilydd gan Judah Hakkadosh, tua diwedd yr ail ganrif, y rhai a elwid y Talmudau, neu y Mishua, a'r Gemaros oeddynt yr esboniadau ar y cyfryw. Ac yna, wedi cwblhau Talmud Jerusalem, tua'r drydedd neu'r bedwaredd ganrif, yr oedd y rhai a elwid *Tannaim* neu y *Mishuaical Doctors*, yn esbonwyr ar y cwbl o honynt. A chyfrifid esboniadau y Doctoriaid yn gyfartal a'r Talmudau a'r Gemaros; ac wrth gwrs, yn rhagori ar Moses a'r prophwydi! Y cyfreithwyr a'r doctoriaid yn amser Crist oeddynt ddosbarth o ddynion yr un fath yn gymwys a'r *Mishuaical*

Digitized by Google

*Doctors* yn y canrifoedd canlynol. Dywed ein Hawdwr mai y Phariseaid gynt yw y Pabyddion yn bresenol. Mae y Bedyddwyr yn hollol rydd oddiwrth eu holl draddodiadau. Y mae y Pabyddion yn honi bod ganddynt hawl, trwy olyniaeth apostolaidd, i dynu oddiwrth, ac i ychwanegu at y gosodiadau eglwysig, fel yr ewyllysiont, yn annibynol ar na gorchymyn nac esiampl yn Ngair Duw; a phe cydnabyddai y Taenellwyr hyn, byddent yn fwy cyson â hwy eu hunain wrth daenellu babanod. Pe gofynai y Taenellwr i'r Pabydd, paham y mae yn atal y gwin yn y cymun oddiwrth y *laity?* gallai y Pabydd ofyn i'r Taenellwr Protestanaidd, paham y mae yntau yn galw taenelliad yn fedydd? Am mai yr un rheswm sydd i'w roddi am y ddwy weithred—traddodiadau ydynt. Cyfeirir yn y benod hon fel y canlyn at yr erledigaethau ofnadwy a ddyoddefodd y Bedyddwyr :—"Y mae y gysegr-lywodraeth (*hierarchy*) fwyaf poeth a adnabyddwyd gan y byd, wedi bod yn benthyca gwasanaeth breninoedd er ymdrechu eu diwreiddio oddiar wyneb y ddaear; ond y maent wedi byw a lluosogi o dan eu *anathemau* hwynt. Ni wnaeth eu corwyntoedd o gasineb ddim ond yn unig eu gwasgaru fel hadau y deyrnas; a hwy a dyfasant o'r newydd yn mhell ac yn helaeth, nes dihysbyddu eu malais a'u gallu. Darfu i'r Calfiniaid, Lutheriaid, a'r Pabyddion, yn yr un modd, eu ffieiddio hwynt, eu llosgi hwynt, a'u melldithio hwynt.—*Gan W. M. Evans, Cattaraugus, N. Y.*

---

# Barddoniaeth.

## Y BARDD A BERWYN.

GAN CYNDDELW.

Fy moreu fu y' Merwyn,
Ofer a gwag foreu gwyn,
Afradus foreu ydoedd,
Boreu gwyn fel barug oedd;
Ond darfu ei flin erwin awg,
Aeth heibio fel taith hebawg;
Minau'n awr a 'mhen yn wyn,
O fy hiraeth am Ferwyn,
A genais hyn o gŵyn serch
Edwinawl i'w adanerch.

Gwedi f'oes a gloes y glyn,
O! am orwedd yn Merwyn;
Od oes byth gael dewis bedd,
I Ferwyn âf i orwedd;
Tua'r lle bu dechre'r daith,
Af yn ol i fy nylaith;
Gan Ferwyn caf gynfawredd,
Ei graig fawr yn gareg fedd,
A'i stormydd, tragywydd gân
I ffysgiaw fy ngorphwysgan;
Ac o Ferwyn cyfeiriaf
I lawen wyl teulu Naf,
I fyw'n y nef, gartref gwyn,
Hir wyl bur ar ol Berwyn.

Seithug fel barug Berwyn,
Yw hoenus daith einioes dyn;
Un haf ac un gauaf gwyw
In' nodwyd, ein rhan ydyw;
Berwyn ddeil mewn pybyrwch
Ddyrnod traws ddu oerni trwch;
Er holl wg oer aua' llaith,
I'w foelydd daw haf eilwaith;
Minau mor fer yw'm heinioes,
Buan âf fi i ben fy oes,
Heb obaith ail daith, na dydd
Ail wanwyn o lawenydd.

Ond O! am hedd ddiwedd oes,
Mwyn loniant mewn ail einioes,
Ail einioes uwch haul anian,
Byw glwys anfarwoldeb glân,
Uwch bryniau a llethrau'r llawr,
Yn nwyf eilfyd nefolfawr,
A byw yn iach heb un nos,
Nac ofn, na dryc-hin cyfnos,
Fry yn hyf ar fryniau hedd,
Hoenfawr wyl anfarwoledd;
Byd braf fydd cael haf o hyd
O lonfawr dawel wynfyd,
Ac awen dirf ac ieuanc,
Pen i'w thrin heb boen na thranc.

---

## Y PHARISEAD A'R PUBLICAN YN GWEDDIO.

LUC XVIII 10—14.—[*Buddugol.*]

Cawn yn y ddau weddiwr
  Gyfarfu yn y deml,
Hanfodion rhithgyfarchiad,
  A chynllun gweddi seml.
Cawn yma'r hunanolrwydd
  Iselaf ran ei ryw;
Cawn yma'r gostyngeiddrwydd
  Rydd hawl at orsedd Duw.

Ymddyrchai'r Pharisead,
  A thybiai 'i hun yn ben,
Gan daflu trem ymffrostgar,

Hunangar tua'r nen.
Ei hun a dybiai buraf,
Gyfiawnaf o bob dyn,
Rhith-folai'r Duw Goruchaf,
Gor-folai 'i enw ei hun.

Cyflwynai rith ymprydiau,
I lys gwirionedd fry;
Dadleuai 'i dlawd ddegymau,
'N ddigonol iawn o'i du.
Cyfrifai'i hun yn uwchaf
Ar raddeg dynolryw,
A chredai y dylesid
Ei gyfrif megys Duw.

Yr ail, dan bwys ymdeimlad
O'i annheilyngdod mawr,
Ac ingoedd enaid euog,
Ogwyddai 'i ben i lawr.
A churai'n drwm ei ddwyfron,
A grym pob curiad ai,
Nes taro drws trugaredd,
Ac agor hwnw wnai.

Ei hunan dybiai'n fychan,
Ei bechod dybiai'n fawr;
Ei ffydd ehedai 'i fyny,
Ei ddagrau lifai 'i lawr.
Ac esgyn bro'r llawenydd
A wnai'i wylofus lef;
A'r weddi fer anadlodd,
Gyrhaeddodd orsedd nef.

Ymdeimled â'i fychander,
A hoffo fod yn fawr,
A hoffo fyn'd i fyny,
Yn gyntaf aed i lawr.
Aeth un o'r deml i waered,
Gan gyfiawnhau ei hun;
A'r llall dan fantell oleu,
Cyfiawnder y Duw-ddyn.

*Rhyd Ddu.* RHISIART AB GWILYM.

## BEDDARGRAFF

PRIOD MR. JOHN WILLIAMS, PONTYPRIDD.

Dyngares ro'wd yn y gweryd—hunodd
Joanna siriol-bryd;
O'i thy hwn, wedi maith enyd,
Hi gwyd yn iach i burach byd.

*Taylorville, Pa.* WILLIAM T. JOHN.

## DEATH IN THE GLASS.

See how it sparkles in my sight,
The doting drunkard cries ;
See, how it moves itself aright,
How tempting to my eyes.

Fool, knowest not that death is there,
And there the serpent is!
The glittering froth conceals a snare
That leads away from bliss.

*Kingston, Pa.* YOUNG BEGINNER.

**Er Cof am Ann Hewells, Coalburgh, O.**

Dyn ei hun sy'n llanw arlun
Taith ei fywyd yn y byd,
Ei weithredoedd ysgrifena
Len a fydd yr un o hyd;
Dyma y rhai urddasola'
Goffawd per ein hanwyl Ann,
Ni ddaearwyd yn y beddrod
Ond ei marwol babell wan.

Er i haul y nef fachludo,
Erys tanbaid wrid ei wawr,
I bortfori lliwiau 'r cymyl
Gyda rhyw arddunedd wawr;
Felly ceir adlewyrch bywyd,
Ann mewn rhinwedd ar ei hol—
Fel blodeuyn nad yw'n marw,
Dyf ar baradwysaidd ddol.

Tra daw llanw adfyfyrion
Tyner adgof idd ein rhan,
Daw i mewn yn llanw'r galon,
Ddagrau herwydd colli Ann;
Pe'n gyffelyb i honyma
Byddai ein holl wragedd derch,
Ein haelwydydd droent heddyw
Yn rhyw haner nef mewn serch.

Fel y collir ysgeifn lwybrau
Chwim agerddlong ar yr aig,
Yn yr angau mewn anghofrwydd
Collir enw llawer gwraig;
Ond tra byddo mewn anwyldeb
Goffawdwriaeth gwraig mewn bri,
Enw Ann mewn parch barablir—
Bendigedig fyth fydd hi.

Beirdd a gweision hedd ni thawant
Foli lletygarwch hon,
Yn ei phresenoldeb teimlant
Galon hael ac uniawn fron;
Tawel ydoedd a diymffrost,
Byw a phawb i gymell hedd,
Nes wyf braidd o'r syniad yma
Na roed purach Ann mewn bedd.

Yn y teulu, yn yr eglwys,
Prudd-der fydd o'i hol yn hir,
Niwl y bedd yw'r prudd-der yna,
Drwyddo'r Cristion wel yn glir;
A chlyw ar ei glust yn tori
Swyn y geiriau hyn o hyd,
"Gwyn! O Gwyn ei fyd a huna
Yn yr Arglwydd, gwyn ei fyd."

Byddai'r un mor ffol i'n geisio
Lliwio'r lili deg ei gwawr,
A rhoi addurn ar gymeriad
Sydd mewn gloewder fel y wawr; [ol,
Rho'wch o'ch blaen ddrych gwraig rinwedd-
Iaith a chrebwyll sydd rhy wan,
Amlinellwch ef a'r perffaith,
Darlun fydd o'r hyn oedd Ann.

*Coalburgh, O.* MORGAN P. REES.

# Y Maes Cenadol.

GAN Y PARCH. W. F. DAVIES, NANTICOKE, PA.

Ddarllenydd Hoff—Amcanwn osod ger dy fron, y mis hwn, lawer o ffeithiau byrion, a ffigyrau a ymddangosant ar y wyneb yn sychion. Ond myfyria hwynt ychydig, a chredwyf yr eangir dy syniadau lawer iawn am y maes sydd dan ein sylw. Y peth cyntaf a osodaf

Digitized by Google

ger dy fron yw yr hyn mae Cristionogion Prydain Fawr wedi gyfranu y flwyddyn ddiweddaf at y gwaith cenadol mewn gwahanol wledydd. Eglwys Loegr $2,329,080; Eglwyswyr ag Ymneillduwyr sydd yn dal i fyny yr un Cymdeithasau, $885,370; Ymneillduwyr Lloegr a Chymru $1,521,565; Presbyteriaid Scotland a'r Iwerddon, $654,875; Pabyddion, $38,860. Yn gwneyd cyfanswm anrhydeddus, $5,344,750. *Well done* yr Hen Wlad. Dylid cofio nad yw y swm uchod yn cynwys dim o'r llog y mae y gwahanol gymdeithasau yn dderbyn yn flynyddol oddiwrth symiau mawrion o arian sydd wedi eu rhoddi yn flaenorol; nac ychwaith y gweddill mewn llaw y flwyddyn flaenorol; na dim dolar a gyfranwyd gan bersonau sydd yn byw yn y meusydd cenadol. Ond y swm uchod oll wedi ei chasglu drwy Eglwysi y gwahanol gyfundebau gartref yn ystod y flwyddyn.

*Germany.*—Swyddfa argraffu y Bedyddwyr yn Hamburg, Germany, yr hon sydd dan ofal Dr. Philip Bickel, a wasgarodd 37,000 o Feiblau, a Thestamentau, 2,000,000 o dudalenau o bamphledau, a gwerth $10,000 o lyfrau a chylchgronau crefyddol yn ystod y flwyddyn.

*Frainc*—Mae gwaith Mr. Saillems yn Marseilles, Nice, a Corsica yn dra llwyddianus. Mae offeiriaid yr Eglwys Babaidd yno yn myned yn llai eu rhif yn flynyddol. Mae yno yn bresenol fwy na 3,000 o blwyfi heb offeiriaid.

*Spain*—Mae nid yn unig Cristionogion brodorol, ond cenadon o fanau eraill hefyd yn cael eu llabyddio a cherig, tra wrth eu gorchwylion mewn rhai manau o'r llywodraeth.

*Itali.*—Mae yn Itali 138 o gynulleidfaoedd Cristionogol ac Eglwysi rheolaidd wedi eu ffurfio. Mae yno 100 o leoedd i bregethu heblaw hyny; dywedir fod dim llai na 100 o weinidogion yr Eglwysi yn rhai a fuont unwaith yn offeiriaid selog yn yr Eglwys Babyddol.

*Austria*—Yw yr unig lywodraeth yn Ewrop heddyw lle nad oes rhyw fath o ryddid crefyddol yn cael ei ganiatau i ddwyn yn mlaen yn agored waith cenadol. Yn Austria mae hyn yn cael ei wahardd, a'r dorau yn cael eu cau yn erbyn Tywysoges y Nef.

*India.*—Sir Arthur Cotton a hawlia fod sefyllfa arianol y wlad mor dda fel y gall yn rhwydd fyw heb y cyllid oddiwrth yr *opium trade*, ac hefyd dynu haner y dreth sydd ar yr halen, yr hon sydd yn bresenol yn drom iawn. Yn Bengal mae amryw o ysgolion Sabbothol, a gwneir ymdrech egniol i gael plant y brodorion iddynt. Yr 8fed o Ionawr diweddaf traddododd yr enwog Joseph Cook o Boston ei ddarlith gyntaf yn India, yn nhref Bombay. Yr oedd cynnulleidfa o dros fil o Ewropiaid a brodorion yn ei wrando. Y testyn oedd "Certainties in Religion." Mwynheid y ddarlith yn fawr gan y brodorion yno gystal ag eraill. Pasiodd 4 o fenywod o Bengal yr arholiadau yn athrofa Calcutta yn anrhydeddus, ychydig amser yn ol. Pwy a ddywed nad oes amser gwell, a hyny yn fuan, yn aros India.

*Burmah.*—Mae cysylltiadau gwleidyddol Burmah ag eiddo Prydain yn India, yn ogystal a rhai llwythau cymydogaethol, yn dra annymunol, ac i raddau yn beryglus. Ond gyda doethineb o bob tu mae yn bosibl i heddwch deyrnasu. Mae brenin Burmah wedi bod yn wael iawn ei iechyd yn ddiweddar, a hyny yn herwydd ei fywyd anwastad. Mis Ionawr diweddaf, daeth cylchgrawn misol, o nodwedd lenyddol allan o'r wasg genadol yn Rangoon.

*China.*—Mae yr *opium trade* rhwng India a China wedi cynyddu er y flwyddyn 1800, o 4,054 o flychau, 133 pwys yr un, i 96,839 o flychau, a'r oll yr un faint o bwysau. Mae yr Afon Yangtse yn China yn dyfrhau darn o dir, yn cynwys mwy o drigolion nag un darn arall ar wyneb y ddaear. Mae y Cristionogion brodorol yn China wedi cynyddu o 351 yn 1853, i 19,669 yn niwedd 1881. O'r nifer uchod mae 4,818 yn Bresbyteriaid; 3,490 yn Fethodistiaid Esgobawl, 3,379 yn Gynulleidfaolwyr; 2,126 yn Fedyddwyr; 2,088, yn Episcopaliaid; 2,237 yn Lu-

Digitized by Google

theriaid; 713 yn perthyn i'r Reformed Church, a 804 yn dal cysylltiad a'r China Inland Mission, yr hon nid yw yn perthyn i uu enwad yn neillduol. Dywed Esgob Pabyddol Hong Kong fod ganddynt yn eu hysgolion y flwyddyn ddiweddaf 400,000 o blant Chineaidd yn cael eu dysgu yn egwyddorion eu heglwys. Esgob Bowman a fynega fod y Chineaid o'r diwedd yn dechreu gwahaniaethu rhwng y cenadon ac eraill sydd yn ymweled a China o'r un gwledydd, fel i beidio dal y cenadon yn gyfrifol am weithredoedd anfoesol pawb dyeithriaid sydd yn ymweled a'u gwlad.

*Japan.*—Yn y flwyddyn 1859 y dechreuwyd y gwaith cenadol yn Japan, a gellir dweyd fod mwy wedi ei gyflawni yno y 10 mlynedd diweddaf nag yn yr holl flynyddoedd yn flaenorol i hyny. Mae yno heddyw 136 o genadon, 76 o Eglwysi; a 14 o honynt yn hunan-gynaliol, a 58 yn rhanol felly. Rhifa yr holl aelodau 3,408. Mae yno 35 o ysgolion, a 1,513 o ysgoleigion, Athrofeydd duwinyddol, 6, yn y rhai mae 97 o fyfyrwyr, Ysgolion Sabbothol 90; Ysgoleigion yn y rhai hyn 3,724. Cyfranwyd o arian gan aelodau y gwahanol Eglwysi, tuag 8,534 o ddoleri. Gwerthwyd yno yn ystod y flwyddyn 115,000 o gopiau o'r ysgrythyrau; y rhai gostiodd i'r Japaniaid $16,000. Mae 5 o papyrau Cristionogol yn cael eu cyhoeddi yn bresenol yn Japan, un o honynt yn gyhoeddiad misol i'r plant.

*Africa.*—Yn y rhanau gorllewinol o'r cyfandir, lle mae cenadon Eglwys Loegr yn llafurio, mae y trigolion wrth y canoedd yn bwrw ymaith eu delwau, ac yn gorlenwi yr addoldai ar ddydd yr Arglwydd. Mae mudiad ar droed i gael cenadaeth feddygol a chlafdy Protestanaidd yn mhorthladd Said. Yn yr ochr ddwyreiniol, ac yn nhiriogaeth Abyssinia, mae y Cenadon yn gorfod ffoi am eu heinioes, a phwy bynag a ddelir a'r ysgrythyrau yn ei feddiant a garcharir a'u cartrefleoedd a losgir. Dygir hyn oll oddiamgylch trwy ddylanwad offeiriaid yr eglwys frodorol ar y brenin. Yn ddiweddar lladdwyd amrai o offeiriaid Pabyddol yn ymyl Llyn Tanganyika. Eu hunain oedd yn y bai. Yr oeddynt wedi prynu caethwas, yr hwn ddygwyd oddi arnynt, aethant i geisio ei adfeddianu, a defnyddio moddion anghyfreithlon er llwyddo, ond ni lwyddasant, eithr collodd llawer o honynt eu bywydau yn yr ymdrech.

*Ynysoedd y Mor.*—New Guinea dybir yw yr ynys fwyaf yn y byd. Mae cyhyd ag o Lundain i Caercystenyn, ac yn 500 milldir o led; eto, o'r holl ynysoedd hi sydd yn cael lleiaf o sylw mewn ystyr genadol. Mae Java 500 o led a 100 o hyd, ac mae llwyddiant mawr wedi bod ar yr efengyl yn yr ynys yn ddiweddar. Mae Eglwysdy wedi ei gysegru yn ddiweddar yn New Zealand a gostiodd $300,000. Mae brodorion pedair o ynysoedd y Gilbert wedi bod yn ymladd cymaint a'u gilydd er 1876, fel mae 5,000, o'r 10,000 oedd yn gwneyd i fyny y boblogaeth wedi eu lladd. Brysied y dydd y caffont yr efengyl sydd i beri i ryfeloedd beidio hyd eithaf y ddaear.

---

## HANESION CARTREFOL.

### NODIADAU O HYDE PARK.

Y mae yn llawen genym allu hysbysu darllenwyr lluosog y WAWR, fod agwedd fywiog ar yr eglwys hon yn awr, yn fwy felly nag y gwelwyd hi er ys llawer o amser, os nad erioed. Tueddodd yr Arglwydd feddwl Dr. Williams heb yn wybod iddo ef na ninau i ddod drosodd i lanw ein dymuniadau. Tra yr oeddem ni yn methu a chael ein boddloni, ac yn parhaus ofyn, "Dyro i ni fugail wrth fodd dy galon," yn sydyn gwnaeth ei ymddangosiad yn ein plith fel cenad yr Arglwydd, ac y mae ewyllys yr Arglwydd wedi llwyddo yn ei law ef—yr eglwys wedi adfywio, y gynulleidfa wedi lluosogi, a llu mawr wedi troi at Iesu—yr iawn ddyn yn yr iawn fan.

Sabboth yn ddiweddar, derbyniwyd 55 yn ychwanegiad at yr eglwys, 35 trwy fedydd, a'r gweddill oddiar dir

Digitized by Google

gwrthgiliad; y mae yma eraill eto yn ymgeiswyr am aelodaeth, rhai trwy fedydd, ac eraill oddiar dir gwrthgiliad. Golygfa ddymunol ac addawol i eglwys y Duw byw oedd gweled y dorf fawr yn codi ar eu traed i gael y cyfamod, a deheulaw cymdeithas. Ni welais neb erioed mor ofalus wrth dderbyn i mewn i'r eglwys. Credwyf ein bod yn gyffredin yn rhy esgeulus yn y pwnc hwn, ac mai i hyn y gellir priodoli y gwrthgiliad buan yma.

Yn yr un cyfarfod, ordeiniodd 6 o ddiaconiaid newyddion, sef y brodyr Benjamin Hughes, Thomas D. Davies, William Evans, James A. Evans, Evan J. Davies ac Ebenezer Lloyd. Os parha pethau fel hyn, bydd raid myned yn ngafael â phen yr adeilad, a dweyd wrtho, Ymestyna.—*Ebenezer Lloyd.*

---

### Corphoriad Eglwys

*I'r Bedyddwyr ar Rolling Mill Hill, gerllaw Wilkesbarre, Pa.*

Penderfynodd eglwys y Bedyddwyr Seisnig y ddinas hon sefydlu eglwys i'r Bedyddwyr Cymreig a Seisnig yn y lle uchod, gan farnu fod mawr angen am un felly, gan fod llawer o Gymry a Saeson o Fedyddwyr yn byw yn yr ardal heb fyned i un lle o addoliad (mewn rhan) o herwydd eu hegwyddorion. Yr oedd oddeutu deg o Gymry yn aelodau yn eglwys y Saeson Bedyddiedig. Pasiodd yr eglwys Seisnig benderfyniad i ollwng y deg hyn i sefydlu eglwys ar yr Hill. Neillduwyd yr amser, sef yr 20fed o Fawrth, at y corphoriad; ond yr oedd eisiau Cymraeg. Penderfynodd y frawdoliaeth fechan anfon am y Parch. D. T. Phillips, Port Chester, ac fe ddaeth.

Boreu Sabboth, am 10, pregethodd oddiar Salm 102: 6.

Am 2, daeth Dr. Frear, gweinidog y Saeson Centenial Baptist Church, atom. Ni phregethodd ef, ond aeth trwy y drefn o gorphori yr eglwys. Pregethodd Phillips yn Saesoneg, oddiar y geiriau, "Ar y graig hon yr adeiladaf fy eglwys," &c. Yna Dr. Frear a neillduodd y deg, trwy ddarllen llythyrau eu gollyngdod, a darllen y rheolau eglwysig, a'r cyfamod sydd ganddynt, a chael arwyddion cydsyniad gan y deg, a gair gan Mr. Phillips. Felly gorphenwyd sefydliad yr eglwys. Mae yma eglwys erbyn hyn o dri deg a chwech o aelodau, ac wyth deg o ysgoleigon yn yr Ysgol Sul, ac arwyddion da, dybygid, yn mrig y morwydd o swn tyrfa yn dod.

Am 6, pregethodd Mr. Phillips oddiar Luc 10: 41, 42. "Martha, Martha, gofalus a thrafferthus wyt yn nghylch llawer o bethau," &c. Yr oedd yn bregeth ymarferol dda.

Ceisiwyd gan Mr. Phillips bregethu nos Lun wed'yn, a boddlonodd i hyny. Yr oedd hon yn bregeth ddarluniadol o'r Cristion, ond y rhan fwyaf neillduol o honi oedd, "A môr nid yw mwyach." Cawsom bethau profiadol i'r Cristion tra yn nghanol ei drallodion a'i helbulon, gwyntoedd a'r croeswyntoedd a'r ystormydd yn curo arno. Yr oedd ei bregethau yn dda ragorol, a gallwn ddweyd yn ddibetrus fod pawb wedi eu boddloni yn fawr yn y cyfarfodydd. Adeiladu Seion yw y pwnc mawr, ac ymeangu teyrnas Crist.—*David A. Davies.*

---

### Galwad i Weinidog.

Mae y Parch. David Jones, Shenandoah, Pa., wedi cael galwad unfrydol oddiwrth eglwys y Bedyddwyr Cymreig sydd yn addoli Duw yn Johnstown, Pa., i ddyfod yn weinidog iddynt. Derbyniodd yntau yr alwad yn ewyllysgar, a bydd yn dechreu ar ei weinidogaeth yma mewn modd cyson a rheolaidd ar y boreu Sabboth cyntaf yn mis Mai, 1882, os yr Arglwydd a'i myn.—*T. J. Price*

---

### Anrheg i Weinidog.

Mr. Gol.—Dymunwyf hysbysu drwy gyfrwng eich Cyhoeddiad poblogaidd fy mod wedi rhoddi gofal yr eglwys yn Ridgeway i fyny. Yr oedd y dadgysylltiad rhyngom yn gwbl dangnefeddus; nid oedd genyf ddim yn erbyn yr eglwys, na'r eglwys ddim yn fy erbyn inau. Derbyniais bob caredigrwydd

Digitized by Google

a allwn ddymuno oddiwrth yr eglwys a'r ardal yn gyffredinol; ac ar fy ymadawiad, anrhegwyd fi â *suit* o ddillad o'r fath oreu. Am yr arwydd hwn o garedigrwydd, dychwelaf fy niolchgarwch gwresocaf i bawb a ddangosasant eu hewyllys da i mi yn yr achos, ac yn neillduol i'r ddwy chwaer ieuainc a rhinweddol, Miss M. Roach a Miss H. J. Rees, drwy ymdrech y rhai yn benaf y dygwyd y peth oddiamgylch. Taled yr Arglwydd iddynt hwy, a phawb a'u cynorthwyasant yn eu gwaith o haelfrydedd. Derbyniais, gyda'r dillad, amryw roddion gwerthfawr gan gyfeillion eraill, caredigrwydd y rhai nis gallaf ei anghofio. Mae arwyddion o serchawgrwydd o'r fath yn lloni y meddwl lawer yn fwy na gwerth y rhoddion ynddynt eu hunain.—*William Jones.*

Cofied fy nghyfeillion mai fy nghyfeiriad presenol ydyw, West Salem, La Crosse Co., Wis.—*W. J.*

---

EGLWYS FEDYDDIEDIG HYDE PARK, PA.

"PREGETHU I'R GWEINIDOG GAN ELIPHALET."

Yn gymaint a bod ysgrif wedi ymddangos yn y *Wasg* am Mawrth 18, 1882, gan Eliphalet, yr hon sydd yn cyfeirio yn uniongyrchol at yr eglwys uchod yn Hyde Park a'i gweinidog, sef y Parch. J. W. Williams (yr hwn a ddaeth drosodd yn ddiweddar o Gymru, ac a ymsefydlodd yn fugail ar yr eglwys hon ddechreu y flwyddyn), neillduodd yr eglwys bwyllgor i ymweled a'r Parch. D. W. Morris, Taylorville, i ofyn os efe oedd awdwr yr ysgrif grybwylledig. Cawsant yr atebiad mai efe oedd yr awdwr;

Ac yn gymaint a bod yn yr ysgrif a nodwyd gyfeiriadau angharedig at ymddygiad yr eglwys Fedyddiedig yn Hyde Park, tuag ato ef pan yn weinidog arni am bum mlynedd, fel y gwelir yn yr ymadroddion canlynol:—"Mae yr eglwys hon yn fy adwaen i, a minau yn adwaen yr eglwys drwyddi, ac y mae hyny yn anfantais dirfawr iddi;" "Yr un yw hi, dyna oedd hi, a dyna fydd hi;" "Yr un eglwys anhylon;"

A bod yn yr ysgrif hefyd gyfeiriadau a dueddant i gamarwain y cyhoedd mewn perthynas i safle yr enwad Bedyddiedig yn yr Unol Dalaethau, megys yn y geiriau canlynol:—"Edrych di i Dalaeth yn y Gorllewin a gweli gant o weinidogion o'r un enwad a ni, heb un math o eglwysi. Mae yn y Dalaeth hon fwy na dau gant heb ofal eglwysi, ond yn cwyno, crynu, a dihoeni, ac y mae gan yr enwad yn y wlad trwyddi, bymtheg cant, a mwy, o eglwysi, yn rhifo o ddeg i dri, yn cwrdd mewn ysgubor, neu anedd-dy, ac yn rhy dlawd i gael un math o addoldai;"

Ac yn gymaint ag y cyfeiria at ddyfodiad gweinidogion teilwng o Gymru i'r wlad eang a phoblogaidd hon, yn perthyn i'r Bedyddwyr ac i enwadau eraill, mewn iaith wawdlyd a sarhaol, megys y gwelir yn y geiriau hyn:—"Daw llu o bregethwyr yn haf 1882, i Baradwys yr anghall, i Eden y camsyniol, ac i Ganaan y dychmygwyr; rhaid eu rhoddi i ganu i gleifion Bethania, eu gyru i Gadara, a'u sefydlu gyda seryddion Samaria;"

A bod yn yr ysgrif duedd ac ymgais i aflonyddu teimlad, ac i wanhau ymddiried gweinidog presenol yr eglwys yn y frawdoliaeth, trwy wneyd ensyniadau mewn perthynas i'w hymddygiad at weinidogion parchus eraill a fuont yn llafurio yn llwyddianus a dedwydd yn ein plith yn y gorphenol.

Penderfynwyd, Yn mlaenaf, Ein bod fel eglwys, yn y modd mwyaf difrifol, yn datgan ac yn cofnodi ein hanghymeradwyaeth o ymddygiad y Parch D. W. Morris, Taylorville.

Yn gyntaf.—Yn ensynio fod yr eglwys hon wedi ymddwyn yn anweddaidd, anfoneddigaidd, ac anfrawdol tuag ato yn ystod ei weinidogaeth yn ein plith, yn ngwyneb y lluaws ffeithiau a brofant mor eglur ymddygiad gwahanol tuag ato. Yn ail.—Yn cyfeirio at yr enwad Bedyddiedig yn y wlad hon mewn iaith sarhaus a dirmygedig, ac yn ceisio diystyru yr eglwysi hyny sydd yn bresenol heb weinidogion arnynt (llawer o'r rhai sydd o ddechreuad diweddar ac yn ymdrechu am fodolaeth o dan anfanteision mawrion, ac mewn lleoedd newyddion), fel rhai distadl a bychain

Digitized by Google

o rif, ac yn cyfarfod mewn ysgubor neu anedd-dy, ac yn rhy dlawd i gael un math o addoldai. Yn drydydd —Yn ymgynyg trwy y newyddiaduron Cymreig at ddigaloni gweinidogion galluog a berthynant i'r gwahanol enwadau crefyddol yn Nghymru, i ymfudo i'r wlad fawr hon, trwy ei darlunio fel dim gwell "Na Pharadwys yr anghall, Eden y camsyniol, a Chanaan y dychmygwyr," tra y mae efe ei hun wedi cyraedd safle lawer uwch, ac wedi, ac yn derbyn cyflog mwy nag a dderbyniodd erioed yn yr Hen Wlad. Yn bedwerydd.—Yn ceisio aflonyddu y teimlad hapus a chariadlawn a fodola rhwng y gweinidog presenol a'r eglwys hon, gan awgrymu fod gweinidogaeth yn cyraedd dros flwyddyn neu ddwy yn anmhosibl gyda'r eglwys hon; ac yn lle ymorfoleddu ac ymlawenhau yn achubiaeth pechaduriaid, yn ystod y llwyddiant presenol, yn eiddigeddu, a bychanu. Penderfynwyd,

Yn ail.—Ein bod yn deisyf ar awdurdodau y newyddiaduron Cymreig yn y wlad hon, i wrthod cyhoeddi ysgrifau o'r natur hyn, gan eu bod yn tueddu i greu teimladau annymunol yn mhlith eglwysi, a rhwng gweinidogion yr efengyl, ac yn dangos teimladau eiddigeddus ac isel-wael mewn personau y dysgwylir, gan fyd ac eglwys, bethau gwell oddiwrthynt. Ydwyf, yr eiddoch dros yr eglwys, B. HUGHES,

Ebrill, 1882. Ysg. Gohebol.

---

CYMANFA

*Bedyddwyr Cymreig Ohio a Gorllewinbarth Pensylvannia.*

Cynelir y Gymanfa uchod eleni yn Palmyra, Ohio, Mai 26, 27, a'r 28, 1882. Y gynadledd i ddechreu am 10 o'r gloch boreu dydd Sadwrn. Dymunir i'r gweinidogion a'r cenadon fod yno yn brydlon.

Cofied yr eglwysi mai bychan a gwan yw y frawdoliaeth yn Palmyra, ac fod galwad am eu cydymdeimlad mwyaf hael er eu cynorthwyo i gynal y gymanfa yn anrhydeddus.

THOMAS THOMAS, Ysg.

Sharon, Pa.

GALWAD I WEINIDOG.

Rhoddodd eglwys y Bedyddwyr ar Heol Chatham, Pittsburgh, Pa., alwad unfrydol i'r Parch D. Rhoslyn Davies, Kingston, i'w bugeilio yn yr Arglwydd, ac y mae yntau wedi ei ateb yn gadarnhaol, a bydd yn dechreu ar ei lafur gweinidogaethol y Sul cyntaf yn Mai. Y farn gyffredin yw mai "dyn iawn, yn yr iawn le," a fydd Rhoslyn yno. Boed felly.—*Brawd.*

---

HAMETOWN, O.

Canolig iawn yw iechyd y Parch. Iago W. James er ys talm, ac mae yma rai yn aros wrtho er's wythnosau am eu bedyddio; gobeithio y daw ar fyrder i fwynhau ei gynefin iechyd. Mae'r eglwys hon (sef yr eglwys Fedyddiedig), yr hon sydd yn cael ei gwneyd i fyny rhwng Sherman, neu Dennison, a'r lle hwn, yn gwerthfawrogi talent a chymwysderau y Parch. James. Mae ef yn un sydd wedi gwneyd daioni mawr yn y lle hwn, ac nid yw eto ond ieuanc, gan hyny, ni a hyderwn nad yw yr hyn sydd wedi ei wneyd ganddo, a thrwyddo, ond yn unig gwawr fechan o'r goleuni dysglaer a ganfyddwn cyn diwedd ei oes.—*Eilianydd.*

---

*PRIODWYD—*

Rhagfyr 26, 1881, yn Sharon Pa., gan y Parch. Thomas Thomas, Mr. Silas Boden, Montour City, a Miss Annie Pickering, Brookfield, Ohio.

Ionawr 4, 1882, yn Sharon, Pa., gan y Parch, Thomas Thomas, Mr. John Mazey a Mrs. Temby Vanslyke, y ddau o Brookfield, O.

Ionawr 14, 1882, yn Sharon, Pa., gan y Parch. Thomas Thomas. Mr Joseph King a Miss Mary A. Latham, y ddau o Girard, O.

Ionawr 30, 1882, yn Sharon, Pa., gan y Parch. Thomas Thomas, Mr. George Smith a Miss Jennie Davies, y ddau o Hubbard, O.

Chwefror 6, 1882, yn Sharon, Pa., gan y Parch. Thomas Thomas, Mr. A. J. Rummable a Miss M. A. Richards, y ddau o Orangesville, Pa

Chwefror 13, 1882, yn Sharon Pa., gan y Parch. Thos. Thomas, Mr. James T. Thomas, Youngstown, O., a Miss Margaret Davies, Hubbard, O.

Digitized by Google

Chwefror 15, 1882, yn Sharon, Pa., gan y Parch. Thomas Thomas, Mr. Peter Wagner, Sharon, a Miss Lucas Baker, Lowellville, O.

Mawrth 30, 1882, yn Sharon Pa., gan y Parch. Thomas Thomas, Mr. B. F. Quinby a Miss N. York, y ddau o Sharon.

Ebrill 1, 1882, yn Sharon Pa., gan y Parch. Thos. Thomas, Mr. John Prosser, Middlesex, Pa., a Mrs. Lucinda Young, o Greenville, Pa.

Mawrth 2, 1882, yn Mill Hollow, Pa., gan y Parch. D Rhoslyn Davies, Mr. George Seipe a Miss Margaret Ann Morris, y ddau o'r lle uchod.

Mawrth 18, 1882, yn Kingston, Pa., gan y Parch. D. Rhoslyn Davies, Mr. Thos. Roberts a Miss Mary Powell, y ddau o'r lle uchod.

Ebrill 12, 1882, yn Dodgeville, Wis., gan y Parch. Joseph T. Jones, yn ei dy ei hun, Mr. George R. Reese a Miss Maria Lewis, y ddau o Ridgeway, Wis.

Dywedaf o serch, clodadwy,—hyd fedd
Da fyddont heb oer-glwy;
A llwyddiant oll iddynt hwy
Ymrodiaw'n gymeradwy.

Uwchafiaeth eu parch hefyd,—a rhinwedd
Goronir drwy'u bywyd;
A gwên o barch, gwyn eu byd,
A'u dyddiau'n llawn dedwyddyd.

*Dodgeville.* J. T. JONES.

Rhag. 4, 1881, yn Shenandoah, Pa., gan y Parch. David Jones, yn nhy Mrs. Powell, nain y briodasferch, Mr. Thomas Blower a Miss Esther Ponton, y ddau o'r dref hon.

Rhag. 24, 1881, yn Shenandoah, Pa., gan y Parch. David Jones, yn nhy Mr. Edmund P. Jones, tad y briodasferch, Mr. Jonathan Pritchard a Miss Margaret Jones, y ddau o'r dref hon.

Mawrth 9, 1882, yn nghartref y briodasferch, gan y Parch. W. Jones, Mr. J. Torrence, Hastings, Minn, a Miss Frankie Harrington, N. La Crosse, Wis.

---

## *BU FARW—*

### MISS MARGARET GIBBON.

Mawrth 9. 1882, yn 18 mlwydd oed, namyn deg diwrnod, Miss Margaret Gibbon, merch David a Mary Gibbon, gynt o Audenried, Pa., ond yn awr yn Drifton, Pa. Dywed y meddyg mai dolur y galon fu'r achos o'i marwolaeth. Ymfudodd ei rhieni i'r wlad hon o gymydogaeth Hirwaun, ger Aberdar, D. C., tua 14eg mlynedd yn ol, pan nad oedd Margaret ond rhosyn bychan a thlws yn ngardd dynoliaeth, ac yn agored i haul tesog, a rhew-wyntoedd amgylchiadau y bywyd hwn; ac fel mae blodau prydferth yr ardd yn deifio gan y rhew wynt, felly hefyd daeth awelon deifiol afiechyd gan gario hadau marwol i gyfansoddiad tyner yr eneth brydferth, ddiwyd, a duwiol hon. Hoffus waith ganddi ydoedd dysgu gair Duw, a'i drysori yn ei chof; a da oedd gan y rhai a'i clywsant hi yn adrodd rhan o gynwysiad yr oracl dwyfol, yn yr Ysgol Sul, a'r cyrddau cyhoeddus, wrando arni hi yn adrodd ffrwyth ei llafur mor dda a dymunol. Dylem ddweyd yn y fan hyn, fod ei rhieni yn grefyddol, ac yn rhoddi iddi hi bob cefnogaeth i lafurio yn ngwinllan y Duw byw, a'r meistr tyner a da, yr hwn a garai Margaret a'i holl galon, ac a'i holl enaid. Dichon y meddylia rhywun fod hyn yn ddweyd helaeth; nid felly, a dyma engraifft neu ddwy i brofi ei duwioldeb diamheuol yn ein golwg ni.

Pan wedi bod yn gorwedd ar ei gwely gan bwys ei chystudd, am rai dyddiau, teimlodd fod awr ei hymddatodiad yn agosâu, er hyny ni wylltiodd fel yr anobeithiol, ond codai ei golygon i fyny, a dechreuodd ganu

"Safe in the arms of Jesus,
Safe on his gentle breast."

Yna methodd gan wendid, ac am fod anadlu mor anhawdd iddi Ar amgylchiad arall, pan yn gofyn am gael rhywun i ddarllen a gweddio, gofynodd ei mam os ydoedd hi yn gweddio ei hun, y dylasai wneyd felly os nad oedd, "O, mother, I have prayed, and I like to hear others reading and praying," meddai, a chyflawnwyd ei chais.

Yn mhen un-diwrnod-ar-ddeg wedi ei chystuddio i'w gwely, o fewn ychydig fynydau i'w hymddatodiad, galwodd am ei thad a'i mam i erchwyn ei gwely, a dywedodd wrthynt ei bod hi yn myned at Iesu; yna trodd, gan ddweyd wrth ei dwy gyfeilles, y rhai oeddynt yn gweinyddu iddi y noson ddiweddaf o'i chystudd, "Sing, girls, sing now; 'Nearer, my God to Thee.'" Yr oeddynt yn aros i glywed os buasai yn dweyd rhagor o'r hymn. Na, yr oedd wedi tewi yn yr angeu, a'r ysbryd wedi myned at yr hwn a'i rhoes ef ar darawiad amrant; ond ar ei gwyneb arosai gwên fel o foddlonrwydd fod ei hysbryd wedi cael croesawiad i wlad yr aur delynau, a phriodol y canodd y bardd—

"Y duwiol, O! mor ddedwydd bydd," &c.

Gweinyddwyd yn yr angladd gan y Parch. T. Evans, Audenried, a chanwyd y ddau emyn Seisnig crybwylledig. Yr oedd tyrfa o bobl wedi casglu yn nghyd o'r gwahanol gymydogaethau, i dalu y gymwynas olaf i'w gweddillion, a chafodd angladd anrhydeddus. Heddwch i'w llwch. T. AB IAGO.

D.S.—Dymuna ei rhieni ar i bapyrau Cymru godi yr uchod, er mwyn yr amryw berthynasau yn yr hen wlad.—T. AB IAGO.

### MRS. ELIZABETH LLOYD.

Yn Bellevue, Hyde Park, Pa., ar y 12fed o Ionawr, 1882. Mrs. Elizabeth Lloyd, gwraig

y Parch. Ebenezer Lloyd, yn 40 mlwydd oed, er Gorphenaf diweddaf. Yr oedd yr ymadawedig yn enedigol o Bronant, ger Tregaron. Cafodd yno ei dwyn i fyny o dan aden y Methodistiaid Calfinaidd. Pan tua 14eg oed aeth i wasanaethu i gymydogaeth Gogerddan Fawr, yn yr hwn le y treuliodd y rhan fwyaf o dymor ei hienctyd. Priododd â Mr. Lloyd yn Chwefror, 1865. Cafodd ei bedyddio yn Penrhyncoch, gan y Parch. Isaac Jones, yn 1871, lle y buont yn preswylio hyd nes iddynt ddod i Americ. Daeth Mr Lloyd drosodd yn 1870, a daeth hithau drosodd, a'r plant, yn 1873. Ganwyd iddynt chwech o blant, pump o'r rhai ydynt yn awr yn fyw. Claddwyd hi yn Hyde Park, ar y 15fed. Gwasanaethwyd ar yr achlysur gan y Parch. D. W. Morris. Ei chlefyd oedd y *typhoid fever*, a bu yn glaf am dair wythnos. Yr oedd yn ddynes o gymeriad da, ac o gyneddfau meddyliol cryfion. Tad yr amddifaid, a barnwr y gweddwon, fyddo yn dirion o'i phlant galarus, a'i phriod hiraethlon.

CYFAILL.

### MR. CHARLES JONES.

Mawrth 21, 1882, yn Jermyn, Pa, Charles Jones, yn 32 mlwydd a 3 mis oed. Mab ydoedd i John a Sarah Jones, Penybanc, ger Pontantwn, plwyf Llangyndeyrn, sir Gaerfyrddin. Daeth i'w ddiwedd wrth ddilyn ei alwedigaeth fel glowr yn mhwll Rhif 1, yn y lle, ar y boreu uchod, trwy i ddernyn o'r gloyn *top* syrthio arno, nes ei ladd ar amrantiad. Ymfudodd i'r wlad hon yn Gorphenaf, 1866, gyda ei rieni o Mountain Ash. Gadawodd briod hoff, yn nghyda mam oedranus, a thri brawd, mewn galar a thrallod dwys ar ei ol. Priododd â Lydia Williams, o'r lle, yn Ebrill diweddaf. Bedyddiwyd ef a'i briod yn Ionawr diweddaf, gan y Parch James Price, Kingston (gwel y WAWR am Mawrth).

Wrth ddarllen yr uchod, gellir canfod tri hynodrwydd wedi dygwydd i'n gwrthddrych mewn llai na deuddeg mis o amser, sef dydd ei briodas, y dydd y gwnaeth broffes gyhoeddus o Fab Duw, a dydd ei farwolaeth. Yr oedd Charles, o ran natur, dipyn yn wyllt, eto y cwbl yn diflanu yn y man, ac mor ddiniwed a'r golomen. Efe oedd yn arwain y canu yn eglwys fechan y Bedyddwyr yr oedd yn aelod o honi, oddiar ymadawiad yr hen frawd Samuel Morgan, ac yr oedd yn addawol yn y cylch hwnw. Yr oedd yn ffyddlon yn y Gymdeithas Iforaidd yn mhob achos, a bu yn aelod o honi bron oddiar ei sylfaeniad. Dangosodd yr Iforiaid eu parch iddo ar y 23ain, pan hebryngwyd yr hyn oedd farwol o hono i fynwent y lle, yn nghyda thyrfa luosog heblaw hyny. Gweinyddwyd yn ei angladd, yn y ty ac ar lan y bedd, gan y Parch. David B. Griffiths, Providence, Pa., ac ar ran y Gymdeithas Ivoraidd gan y brawd John T. Griffiths.

Tyfed y blodau pereiddiaf ar ei fedd, a bydded yr awel i chwythu yn dyner dros ei orweddfan, a bydded i wlith y nen ireiddio ei fangre, gwylied angelion ei lwch, a bydded fod ei enw yn gymeradwy ar gyfrol y farn, ac agoriad y llyfrau, yw dymuniad ei frawd.

JOHN R. JONES.

### MR. JONATHAN W. PHILLIPS.

Yn Freedom, Swydd Cattaraugus, N. Y., Ionawr 13, 1882, yn 65 mlwydd oed, Mr. Jonathan W. Phillips. Ganwyd gwrthdrych y sylwadau hyn yn Hendref, Llandudoch, Sir Benfro, D. C. Yr oedd yn fab i'r diweddar Barch. David Phillips, yr hwn a fu yn weinidog gyda'r Bedyddwyr yn Blaenywaen am amryw flynyddau. Bedyddiwyd ein brawd ymadawedig pan tua 15eg mlwydd oed yn Blaenywaen, gan y Parch. Richard Davies, a pharhaodd yn ffyddlon i'w broffes hyd angau.

Teulu enwog a pharchus yn nghymydogaeth Llandudoch ac Aberteifi yw y Phillipiaid hyn wedi bod am flynyddau lawer, ac yn parhau felly eto i raddau mawr, fel y dengys y ffaith mai nai fab brawd i'r ymadawedig ydyw y Dr. Phillips, Maer tref Aberteifi yn bresenol. Yn y flwyddyn 1841, ymunodd Mr. Phillips mewn priodas â Miss Ann Rees, Treclun, Eglwyswrw, Dyfed. Dyma deulu enwog eto yn hanes y Bedyddwyr. Cafodd myfyrwyr Hwlffordd, a gweinidogion, a phregethwyr o bob gradd letty cysurus, a chroesawriad gwresog yn Nhreclun, ganoedd o weithiau. Chwaer i Mrs. Phillips, a merch Treclun, oedd anwyl briod y diweddar W. R. Davies, Dowlais, yr hwn oedd yn hynod am ei arabedd bywiog. Ac y mai nai iddi, sef Mr Rees, yn weinidog yn bresenol yn Philadelphia, Pa.

Mae ein hanwyl chwaer Mrs. Phillips, o herwydd afiechyd a gwendid corfforol, yn cadw ei gwely er's amryw flynyddau; ond y mae yn gallu darllen ac ymddyddau yn oleuedig braidd ar bob pwnc, a gwaith anhawdd ydyw canfod gwraig mor *intelligent* ag ydyw hi.

Bydded i'r Arglwydd yn ei dynerwch anghymharol i fod yn ffynonell cysur a dyddanwch i'n hanwyl chwaer yn ei chyfynder presenol. Ymfudodd y teulu i'r wlad hon, yn y flwyddyn 1851, a sefydlasant yn y gymydogaeth hon. Yr oedd ein brawd yn aelod selog yn eglwys y Bedyddwyr yn Freedom. Yr oedd yn meddu ar amgyffredion meddyliol cryfion, ac yr oedd yn hyddysg iawn yn mhynciau ac athrawiaethau y grefydd Gristionogol, a meddai ar gôf yn mhell tuhwnt i'r cyffredin. Gellir dyweyd am dano ei fod yn ddyn plaen, egwyddorol a dirodres yn ei holl ymdrafodaeth. Cerid a pherchid ef yn fawr gan bawb yn yr ardal. Byddai bob amser yn drwyadl ddidwrw mewn byd ac eglwys. Dyn o ychydig eiriau ydoedd; eithr pan lefarai, byddai ei eiriau fynychaf yn darawiadol ac yn hollol i'r pwrpas. Fel crefyddwr yr oedd yn un cyson a diargyhoedd o ran ei fuchedd. Teimlir colled fawr ar ei ol, canys ystyrid ef yn un o golofnau cedyrn gydag achos Bedyddwyr yn y lle; ond y mae ein colled ni wedi bod yn elw tragywyddol iddo ef.

Digitized by Google

Byr iawn y bu ei gystudd. Ei ddolur oedd *typhoid pneumonia*, a thuag wyth a deugain o oriau a gymerodd y clefyd hwn i dynu i lawr ei babell ddaearol. Gwyddai ei fod yn rhodio ar hyd glyn cysgod angau; ond eto teimlai yn ffyddiog, cadarn a gwrol yn Nuw ei Iachawdwriaeth. Gallasai ddyweyd gyda Dafydd, peraidd ganiedydd Israel. "Iē, pe rhodiwn ar hyd glyn cysgod angeu, nid ofnaf niwed; canys yr wyt ti gyda mi, dy wialen a'th ffon a'm cysurant." O, mor galonog a dewr y teimla y dyn duwiol wrth wynebu glyn marwolaeth. Yn wir, y mae yn werth treulio oes gyfan mewn llafur a lludded yn ngwaith yr Arglwydd, er mwyn bod yn feddianol ar yr hyder yma wrth ymadael a'r byd. Priodol iawn y gallwn ddweyd yn ngeiriau Cynddelw, am ein brawd Phillips:

"Uwch dirboen, mewn hoen, mewn hwyl—yn
Brwd una'n brawd anwyl; [gwledda,
Brysiodd i hyfryd breswyl
Duw a'r Oen, i gadw'r wyl."

Cafodd gladdedigaeth barchus a lluosog. Gosodwyd yr hyn oedd farwol o hono yn mynwent Ebenezer, gyda llu o'r hen frodyr a chwiorydd sydd wedi blaenu. Gweinyddwyd ar yr achlysur gan yr ysgrifenydd. Gadawodd ein brawd weddw a phedwar o blant, tri mab ac un ferch, i alaru eu colled ar ol priod gofalus a thad cariadlawn. Bydded i Dduw yn ei drugaredd beri i'r meibion ddilyn llwybr eu tad ar ol y Gwaredwr; a bydded i'n dwy chwaer, y rhai sydd yn ddysgyblion i Iesu Grist, gael prawf amlwg fod yr Athraw dwyfol yn agos atynt, ac yn eu dyddanu yn eu trallod.

W. M. EVANS.

EVA JANE JONES.

Mawrth 22, 1882, yn 8 mis a 3 diwrnod oed, Eva Jane, plentyn Reese a Mary Ann Jones, Ridgeway, Wis. Rhoddwyd ei chorph bychan i huno yn mynwent capel y Bedyddwyr yn y gymydogaeth. Pregethwyd ar yr achlysur gan yr ysgrifenydd, a chymerwyd rhan yn y gwasanaeth claddu gan y Parch. Phillips (A.) Heddwch i'w llwch.

Eva fwynaidd 'hedodd adre',
I ororau pur y ne',
Cafodd delyn buddugoliaeth,
Draw yn ol ei arfaeth ef;
Mae'r un fach mewn nefawl drigfan,
Fry yn seirian fro y saint,
Wedi dechreu'r gân dragwyddol—
Dyna iddi freiniol fraint.

*Dodgeville.* J. T. JONES.

MISS CLARA CLEGG.

Mawrth 14, 1882, ger Salem y Coed, Clara, merch i ferch ieuengaf y diweddar Barch. R. C. Owen, sef yr enwog, anfarwol, a'r athrylithgar Trebor, Dodgeville, yn 13 mlwydd a 9 mis oed. Bu yr un hoff, anwyl, a phrydweddol farw yn nhy ei hewythr a'i modryb, Mr. a Mrs. Griffiths, y rhai ydynt yn nodedig am eu crefyddolder a'u haelionusrwydd, a buont yn dyner a hynaws iawn wrth Clara fach, yn ei hymdrech galed â galluoedd angau. Taled yr Arglwydd iddynt am eu caredigrwydd. Claddwyd hi yn nghladdfa Dodgevile, lle hefyd yr huna ei mam, ei nain, a'i thaid (Trebor), a llu o enwogion eraill, hyd

Nes bydd doran beddau y byd
Ar un gair yn agoryd.

Cyflawnwyd y gwasanaeth claddu yn Gymraeg â Saesneg gan y Parch. Sem Phillips (A.), a'r ysgrifenydd.

O'r ty o boen, Clara fach,
Diengaist yn gynar adre';
Henffych well iti bellach,
Mae'th gartref mewn nef yn iach.

*Dodgeville* J. T. JONES.

GWLADYS THOMAS.

Ebrill 10, 1882, yn Parsons, Pa., bu farw Gwladys, baban Thomas R. a Jane Thomas, yn 5 wythnos oed. Claddwyd y fechan yn mynwent Wilkesbarre. Gweinyddwyd yn y ty ac wrth y bedd gan y Parch. W. D. Thomas, Parsons. Cydymdeimlwn â'r teulu yn eu galar. Heddwch i lwch yr anwyl.

Gorwedda, Gwladys, mewn gwir hedd,
Yn dawel i orphwyso;
Mi blana' flod'yn ar dy fedd,
Yn arwydd 'mod yn cofio. IEUAN.

MRS. MARGARET JOB.

Ebrill 12, yn Joliet, Ill., yn 75 mlwydd oed, Mrs. Margaret Job, sef mam y Parch. Samuel Job, gynt o Cleveland, Ohio, ond yn awr o'r lle uchod, a mam Mr. William Job, Springfield, Ill. Yr oedd yn fam i 16 o blant, a dim ond y ddau uchod sydd yn fyw, ac yr oedd yn gwneyd ei chartref gyda ei mab Samuel er's amryw flynyddoedd. Prydnawn Sabboth y 9fed o Ebrill, nis gwyddant pa fodd, syrthiodd dros y grisiau i lawr i'r *cellar*, a chafodd ei niweidio mor fawr fel na fu byw ond hyd nos Fawrth. Gwnaed pob peth a ellid gan y meddygon a'r teulu, ond yr oll yn aneffeithiol i gadw angeu draw. Yr hyn oedd yn archoll ddofn i deimlad y teulu, ei phlant, a'i phriod, oedd ei cholli mor sydyn ac annysgwyliadwy; ond da fod ganddynt obaith cryf fod y cyfnewidiad yn *elw* iddi, er bod gyda hi gartref cysurus yn y fuchedd hon.

Anfonwyd pellebyr (*telegram*) at yr ysgrifenydd, ac aeth yno i gydweinyddu

Digitized by Google

a'r Parch. J. W. Canley (B.), yn y claddedigaeth. Efe ydyw gweinidog parchus yr eglwys y mae y teulu yn aelodau ynddi. Daeth lluaws mawr o'r dinasyddion yn nghyd ar yr amgylchiad, yr hyn oedd yn profi fod y teulu yn barchus iawn yn y lle; a diau y bydd eglwys Gymreig y Bedyddwyr yn Newburgh, O., yn teimlo yn ddwys ar ol ein hanwyl chwaer, oblegid yno yr oedd yn dal ei haelodaeth yr adeg y bu farw. Claddwyd hi yn barchus iawn gan ei meibion, mewn arch o'r fath oreu—(*metalic*)—yn brawf o'u serch ati. Felly, yr ydym yn awr yn dymuno heddwch i'w llwch, a chysurer meddwl y galarus a'r gobaith sydd yn yr efengyl ei bod mewn gwell gwlad heddyw. Diau y teimla ei hanwyl chwaer, Miss Cicel Jenkins, yr hon sydd yn 82 mlwydd oed, ac yn byw yn Ystradfellte, D. C., ac yn adnabyddus iawn i bregethwyr y T. C.

*Chicago.* D. Harries.

### MRS. ELIZABETH REES.

Chwefror 4, 1882, yn 61 mlwydd oed, yn lled ddisymwth, bu farw Mrs. Elizabeth Rees, Omaha, Nebraska Er ei bod wedi cael anwyd trwm ar y pryd, a hwnw wedi troi yn *asthma*, fel ar brydiau y byddai yn dyoddef yn enbyd, nid oedd ei chyfeillion na'i hanwyl briod wedi dychymygu ei bod yn myned i'w gadael mor fuan a disymwth. Y dydd cyn ei marwolaeth yr oedd yn teimlo yn lled dda, ac yn treulio yr hwyrnos yn llawen a difyr gyda'i phriod a'i nith, ac yn bwriadu myned i edrych am ei chymydogion nesaf y dydd canlynol; ond ychydig cyn tri o'r gloch y boreu, dywedodd ei bod mewn poen mawr. pryd y galwyd ei phriod—oedd yn dygwydd bod yn cysgu yn y llofft y noson hono—ac er pob ymdrech i liniaru ei phoen, oddeutu tri o'r gloch bu farw yn dawel yn mreichiau ei hanwyl briod, megys yn ddiarwybod iddo. Syrthiodd y newydd galarus yn ofidus i glustiau pawb o'i chydnabod, yn enwedig yr ychydig Gymry sydd yma yn ymgasglu at eu gilydd i gadw Ysgol Sabbothol Gymreig; oblegid yr oedd yn un o honom, ac yn chwaer grefyddol yn meddu ar brofiad addfed. Gellir dweyd ddarfod iddi ymborthi yn felus ar fendithion trefn gras ar hyd ei hoes, a'i bod yn "Israeliad yn wir, yn yr hon nad oedd twyll." Yr oedd pawb o honom yn ei hedmygu a'i hoffi yn fawr, er nad oedd wedi bod yn hir yn ein mysg.

Ganwyd Mrs. Rees yn Cilcen, Sir Fflint, G. C., rywbryd yn y fl. 1820. Merch ydoedd i Mr. a Mrs. William Jones, ac y mae chwaer iddi yn byw yn awr yn Everbuscy, Coed yr Hendre. Yr oedd yn haner chwaer i fam y Parch. John E. Jones, Rhostylin, ger Wrexham. Cafodd y fraint o'i magu a'i dwyn i fyny yn grefyddol, a gwnaeth yn fawr o freintiau yr eglwys. Daeth a'i phapyr eglwysig i Omaha o'r Mwnglawdd, sef o gapel Bethel a'r Nant. Carai yn fawr son am hen bregethwyr parchus Cymru, megys Daniel Jones, Llandegai, ac eraill. Bu yn aelod y rhan fwyaf o'i hoes yn eglwys Rose Place, Liverpool.

Ymbriododd â William D. Rees yn Gorphenaf, 1865, yn hen gapel Abbot Street, Wrexham, a sicrhawyd yr undeb gan yr hybarch Richard Jones.

Ymfudodd ei phriod i'r wlad hon yn Medi, 1878, a dilynwyd ef gan ei briod a'i nith yn 1881. Yr oeddynt yn hoff iawn o'u gilydd fel teulu, yn parchu ac yn cael parch gan bawb, a chan y gwirionedd hefyd. Gadawodd briod caredig a nith ofalus a thyner, yn nghyd a lluaws o gyfeillion, i alaru ar ei hol. Y Duw hwnw sydd wedi addaw bod yn Dad yr amddifaid ac yn Farnwr y gweddwon fyddo yn llon'd ei addewid i'r teulu yn y brofedigaeth lem. ac a'u nertho i ymdawelu ac ymostwng i drefn yr hwn sydd anfeidrol ddoeth.

Dydd Sul, y 5ed, ymgasglodd holl Gymry y dref yn bur gryno, ac amryw o gyfeillion eraill, i dalu y gymwynas olaf i'n hanwyl chwaer. Cafodd gladdedigaeth anrhydeddus Hebryngwyd ei gweddillion i fynwent Prospect Hill, lle y gorwedd yn dawel yn ochr y gweddill o'r Cymry sydd yno, hyd ganiad yr udgorn diweddaf. Heddwch i'w llwch yw dymuniad ei chyfaill,

Bagillt.

Digitized by Google

# Y WAWR.

CYF. VII.] MEHEFIN, 1882. [RHIF. 3.

## BLWYDDYN YN NGHYMRU.

GAN Y PARCH. FRED. EVANS, D. D., (EDNYFED).

### RHIF II.

Nid yn Llangynyd, ond yn Llangynwyd, y mae Maesteg. Mae y lle hwn yn enwog am eglwysi. Rhifa eiddo y Bedyddwyr chwech neu saith: Salem, lle y treuliais flwyddyn hynod ddedwydd; Bethel, lle y mae yr hygar Maurice; y Tabernacl, lle y pregetha yr athronyddol Jones; Bethania, lle yr efengyla y seraph Hughes. Mae Calfaria hefyd dan ofal yr angel o Bethania. Cawn yno ddwy eglwys gan y Trefnyddion Calfinaidd, pump gan yr Annibynwyr, un Wesleyaidd, un o eglwysi Harri VIII., ac adeilad eang gan Babilon Fawr. Nid oes yno gynulleidfaoedd mawrion, oddigerth yn Salem a Bethania. Gweinidog Salem yn awr yw yr athrylithgar Ceulanydd, gynt o'r Tabernacl, Merthyr. Mae yn fardd rhagorol, ac enillodd, yn rhanol a Thalamus, ar "Ioan Emlyn," yn Eisteddfod fawr Merthyr, yn 1881; yn bregethwr coethedig a dylanwadol, a dymunwyf iddo o'm calon lwyddiant mawr.

Sir hynod yw Morganwg, ar gyfrif llawer o bethau. Mae ynddi drefydd poblog iawn, megys Merthyr, Abertawe, a Chaerdydd. Yn y lleoedd hyn bu enwogion perthynol i ni fel enwad, sef Gomer, yn Abertawe; Jones, Seion, Merthyr; a Dafydd Jones yn Nghaerdydd. Yn Abertawe cawn hefyd Dr. Davies ddall, yn gweled mwy na'r cyffredin; a'r talentog a'r caredig Jones bach. Yn Merthyr cawn y Demosthenes Cymreig, sef Roberts fawr, Emlyn dalentog a boneddigaidd, a Roberts dduwiol iawn, yn awr o Lwynhendy. Yn Nghaerdydd cawn William Jones ddifwlch, a Griffiths fendigedig ei goffadwriaeth.

Mae presenol rhai o'r lleoedd yma yn uchel. Yn Abertawe cawn yr esboniadol Parry, yr ymarferol Lewis, a'r hyawdl Owen. Yn Nghaerdydd cawn y barddonol Humphrey, a'r duwinyddol Thomas. Nis gwn pwy sydd yn Merthyr ar hyn o bryd.

Gan fy mod wedi dechreu son am y lleoedd poblog, af yn mlaen gan enwi aml frawd ac aml le. Y lle Bedyddiedig mwyaf hynod yn y byd hwn yw Dyffryn Rhondda. Yn Mlaen-y-Cwm y mae y brawd Maurice, ac y mae yn enwog am ei synwyr cyffredin, ei sel a'i

Digitized by Google

weithgarwch. Yma y mae y Josephiaid sydd gan y wlad barch iddynt, a gobeithiwyf na flina y Midianiaid hwynt.

Yn Nhreherbert y mae bwlch nas llenwir mo hono yn fuan, canys mae y Parch. Lewis Jones yn mhlith y meirw. Bachgen *noble*, brawd trwyadl, dyn galluog, a Christion gonest, ydoedd. Dyoddefodd yn enbyd oblegid yr *asthma*. Yn ei ddydd gwnaeth waith da; yn y nos bu yn dawel ac amyneddgar. Yn awr y mae yn ngwlad y dydd tragywyddol. Pan y deuwn i Treorci, deuwn i Jerusalem y Bedyddwyr yn y Cwm. Dyma y capel mwyaf yn Nghymru, a dyma lle y llafuria un o'r brodyr goreu yn Nghymru, sef y brawd W. Morris. Dyn *first class* yw, ac y mae y Noddfa yn golofn o sel a chariad. Nid yn unig y mae ganddo ef galon i weithio, ond mae y bobl hefyd yn selog yn eu gwaith. Yn Mhentre'r Ystâd y mae y Parch. G. Evans yn llafurio. Pregethwr gwresog a da yw, a chyfaill da i'r carn yw; ac y mae ei ddyfodiad i'r Cwm wedi bod yn fendith. Nid yn unig y mae Mr. Evans yn un o "wyr y dw'r," ond y mae hefyd yn un o wyr y tân. Pe yn alluog i gadw y tân ychydig dan lywodraeth, rhagorai fel pregethwr.

Wel, wel, dyma ni yn Nebo, hen faes llafur yr anfarwol Rufus. Nid yw ef mwy yno, ond yn mywyd y brodyr a'r chwiorydd, ac yn nghalon y weddw. Ei olynydd yw y Parch. Anthony Williams, gynt o'r Garn, yn Sir Gaernarfon. Pan yn y Garn pregethai yn nghapel y beirdd, sef hen gapel Dewi Wyn a Robert ap Gwilym Ddu. Dyma ddyn cryf a phregethwr poblogaidd, ac yn gyfaill diledryw. Ar ein ffordd i Bontypridd y mae y doniol Jones, Llwynypia, mab y bardd Alltud Glan Maelor, awdwr penillion campus ac anfarwol; Arwystl ehedegog ac athrylithgar, dyn yn llawn hyd yr ymylon o synwyr. Dyma *genius* byw. Nid yw yn weinidog ar Soar, Dinas, yn awr, ond bu yno am dros ugain mlynedd o amser. Ei olynydd yw Mr. Hugh Jones, dyn ieuanc o Pontypool, a dyn o'r *stamp* iawn. Yn y Porth cawn y brawd da a gweithgar, Thomas, a Williams ddestlus yn y Rhondda, ac yn Mhontypridd eu brenin oll, sef y Dr. Edward Roberts. Efallai nad oes ddyn yn Nghymru yn llawnach ysgolor na Dr. Roberts. Lle hynod yw Pontypridd. Yma y mae nythle rhyw fath o Dderwyddiaeth wyntog ac anffyddol. Yr apostol mawr yw Myfyr, yr hwn a gafodd un o deitlau gweigion Buchanan, o Philadelphia. Mae ef a'i ddysgyblion yn enwog am eu hunanoldeb a'u hanmharch o bob peth gwir grefyddol. Y lle cysegredig yw y Maen Chwyf, ac yma y cynelir cyfarfodydd dienaid, ac yr eir trwy seremoniau gweigion a diddaioni. Nid yw anffyddiaeth y lle wedi cael llonydd gan Dr. Roberts. Pan yn taro, tarawa i'r byw. Ymrodia yn y modd mwyaf dirodres a hunan-ymwadol. Cwm rhyfedd yw hwn; cynalia ei Gyfarfod Misol ei hun. Yn Nghyfarfod Chwarterol y Sir cyfarfyddwch ag amryw sydd wedi bod ar y maes am amser maith, ac amryw sydd newydd ddechreu.

Mae Dr. Price, Aberdar, yn parhau i wneyd daioni. Gwir nad ydyw yn meddu yr hen dân a'r brwdfrydedd gynt; gwir fod ei wallt fel yr eira, eto y mae ei lygad yn glir, ei ben yn iach, ac am hyny cyngora yn ddoeth. Nid oes neb yn Nghymru wedi gwasanaethu yr enwad fel efe; a haedda barch mawr a chlod uchel. Cyflwynwyd

Digitized by Google

iddo dysteb anrhydeddus y flwyddyn ddiweddaf, ond synais a synaf at ddifaterwch y Bedyddwyr Cymreig yn y wlad hon gyda golwg arni. Nid yw yn debyg yr anghofiwn ei ymweliad â ni rai blynyddoedd yn ol. Duw a'i bendithio ef a'i deulu caredig yn *Rose Cottage*.

Mae enw Evans, o Gastellnedd, yn hysbys i bawb. Yr wyf yn meddwl ei fod ef wedi gweithio fel Ysgrifenydd Cymanfa Morganwg am dros chwarter canrif. Mae yn ddyn o alluoedd cryfion, yn gyfrwys fel cadnaw, yn ddyfalbarhaol fel *beaver;* dyn selog dros y gwir yw, ac y mae ei ysgrifau yn llymion ac argyhoeddiadol. Nid yw blynyddau yn dylanwadu llawer arno; ieuanc yw o hyd. Yn y Gynadledd siarada yn eglur, ond yn hybarch, ac yn *sarcastic* ar brydiau.

Yn y Parch. N. Thomas, Caerdydd, cawn y boneddwr a'r duwinyddwr. Genedigol yw o Nantyglo. Mae wedi bod yn weinidog ar y Tabernacl am flynyddoedd meithion. Nid oes dim yn hynod ddysglaer ynddo, ond y mae ganddo un peth sydd yn hynod ddysglaer, sef ei gymeriad. Mae ei eglwys yn gref. Er mai eglwys Gymreig yw hon, eto pregetha Mr. Thomas beth Saesonaeg bob Sabboth. Amheuwyf ddoethineb hyn mewn dinas lle y mae digon o Gymry i lanw amryw o Dabernaclau. Da oedd genyf ganfod parch diffuant y brodyr ieuainc i'r hynafgwyr yma, ar eraill gyda hwy. Rhodded Duw ras i'r gweinidogion ieuainc barchu y rhai sydd yn awr yn teithio yn y glyn.

Mae yn y Cyfarfod Chwarterol weinidogion gweithgar iawn yn mhlith y canol oed a'r ieuainc. Nid fy mwriad yw enwi pawb a haeddant hyny, ond dwyn ger bron darllenwyr y WAWR rai fel *sample* o lawer cyffelyb yn Sir Forganwg.

Mae enw y Parch. A. J. Parry, o Abertawe, yn adnabyddus i bob Bedyddiwr o Gymro. Aeth o Bontypwl i Cefnmawr, ac yma y gwnaeth ei hun yn boblogaidd. Gweithia yn egniol yn y cylch dirwestol. Nid oes neb yn Nghymru wedi llafurio yn fwy diwyd na Mr. Parry. Wrth bregethu dewisa y dull esboniadol, ac ar rai prydiau y mae yn rhy fanwl. Dengys ei holl bregethau ôl llafur diflino. Cymer fwy o bwyll yn awr na phan yn y Cefnmawr. Doethineb ddaw gyda dyddiau. Gweinidogaetha yn hen eglwys barchus Bethesda. Mae ganddo, yr hyn sydd yn anaml iawn yn Nghymru, gydweinidog, sef y Parch. J. Young Jones. Pregethwr melus a destlus yw Mr. Jones. Mae yn Eglwys Loegr lawer o *guradiaid*, ond y mae yn bwnc amheus pa un a ydynt yn angenrheidiol yn yr eglwysi Bedyddiedig. Ni ddylai y gweinidog priodol fod gymaint oddi cartref. Gobeithiwyf na wel pobl Salem y llinellau hyn, onide bydd ganddynt rywbeth i'w ddweyd.

Yn Abertawe, cawn y Parch. John Lewis, gynt o Salem, Maesteg. Mae ef yn hynod boblogaidd a llwyddianus. Oddiar y mae yn Bellevue, Abertawe, y mae wedi bedyddio a derbyn trwy lythyrau amryw ganoedd. Efe ydyw Cymedrolwr Cymanfa Morganwg yn awr. Yn y pwlpud y mae yn hwyliog ac ymarferol, ac y mae ynddo yr elfenau angenrheidiol er sicrhau poblogrwydd.

Yn ei ymyl, yn Caersalem Newydd, hen faes llafur yr enwog Mathetes, y mae y Parch. Isaac Thomas yn gweinidogaethu. Nid oes yn Nghymru frawd

parchusach na hwn. Yr oeddem yn gydfyfyrwyr yn Pontypwl. Y pryd hwnw yr oedd yn ddiwyd ac ymroddgar, ar erbyn heddyw saif yn y rhestr flaenaf fel gweinidog a phregethwr. Anaml iawn y bydd Thomas yn *flat*, canys ni ymddibyna yn ormodol ar allanolion. Pregethwr *solid* yw, heb ddim *varnish gingerbread* yn perthyn iddo.

Nid pell oddiyma y mae Treforris, lle y gweinidogaetha y Parch. B. Roberts. Dyma frawd hyawdl a nerthol. Siarada yn dra araf ond yn gadarn, ac y mae iddo barch mawr yn y lle.

Un o weinidogion mwyaf poblogaidd Cyfarfod Chwarterol Morganwg yw y Parch. Waldo James, o Aberafon. Mae Waldo yn ddoniol dros ben, ac yn un o'r goreuon i ddweyd hanes y gwr drwg. Mae barddoniaeth fyw yn ei bregethau, a theilwng yw fel un o olynwyr y barddonol Lleurwg. Cadeirydd y Gymanfa am y flwyddyn ddiweddaf oedd y Parch. Edward Jones o Maesteg. Yn ystod ei arosiad yn Mhentyrch, cyfansoddodd amryw o draethodau campus ar destynau athronyddol, ac enillodd rai troion yn rhai o'r Eisteddfodau pwysicaf. Byddai yn bechod braidd i adael Cwm Aberdar allan. Y brenin yw Dr. Price. Yn y Gadlys y mae brawd call, cyfaill gwirioneddol a llenor gwych, sef Mr. Evans. Meddylir yn uchel am dano gan ei frodyr. Yn Ynyslwyd y mae Twrfab ddoniol. Yn Aberaman y mae Mr. Davies (Didymus), fy hen olynydd yn Llangynidr. Nid oes neb yn Nghymru yn alluog i bregethu yn fwy cryno a destlus na Davies. Nid yw y dyn oddiallan yn gryf iawn, ond y mae ganddo feddyliau tlysion a barddonol. Brawd *genuine* yw. Yn Cwmaman y mae y brawd tanllyd Humphreys. Dyma bregethwr *right* dda, cyfaill i'r carn, a brawd didwyll. Tanio yn rhy fuan y mae Humphreys. Gwelir y fflamiau ar rai adegau, cyn y bydd wedi ffarwelio a'r rhagymadrodd. Gwella yn hyn wrth heneiddio.

Yn Mountainash y mae y gwylaidd a'r doeth Williams. Yma y mae wedi cyhoeddu rhad ras am flynyddoedd meithion, ac amlwg yw mai yma y terfyna ei ddyddiau yn nghanol ei gyfeillion mynwesol. Mae ganddo ddylanwad mawr yn y Cyfarfod Chwarterol. Mae iddo air da gan bawb, a chan y gwirionedd ei hun.

Rhaid i mi dewi. Dymunol i mi fyddai enwi llawer eraill, ond y mae y brodyr yma yn mhlith y mwyaf adnabyddus, a gwnant arwain meddyliau darllenwyr y WAWR at eraill. Cymerer Cyfarfod Chwarterol Morganwg ar y cyfan, a beiddiwn ddweyd nad oes yn un yn Nghymru well pregethwyr, rhagorach dynion, a gonestach Cristionogion. Llwyddiant i'r Cyfarfod ac i'r brodyr.

---

## ADGOFION AM YR EIDAL.

GAN Y PARCH. JOHN W. WILLIAMS, D D., HYDE PARK, PA.

### RHIF II.

#### VIA APPIA.

Yn yr ysgrif flaenorol, rhoddwyd braslun o Naples a'r cylchoedd, ac o sefyllfa bresenol Pompeii a Herculaneum. Yn hon bwriadwn arwain y darllenydd i Rufain, ar hyd y Via Appia, ffordd Appia, yr hon oedd y brif-ffordd o Naples, trwy Puteoli, i brif ddinas yr ymerodraeth yn amser sefydliad Cristionogaeth. Buasai cymeryd y ffordd

Digitized by Google

ddiweddaraf i Rufain, a chychwyn naw o'r gloch y boreu, gyda'r trên o Naples, a myned gyda chyflymdra agerdd trwy y dyffrynoedd eang a ffrwythlawn heibio y dinasoedd amgaerog oeddynt wedi eu hadeiladu yn mhell i fyny ar lechweddau y mynyddau, ac wedi eu sylfaenu yn y creigiau oesol, ar ben y clogwyni serth, er mwyn diogelwch rhag y gelyn, yn y canol oesau, a thrwy faesydd brwydrau sydd a'u henwau ar du dalenau hanesyddiaeth y wlad, a lle y gorwedda yn gytun yn nystawrwydd angeu pleidwyr gormes a gwroniaid rhyddid, yn fwy cydweddol, ddichon, â chwaeth dosbarth lluosog o efrydwyr yn yr oes hon. Ond coleddwn syniadau gwahanol o berthynas i chwaeth darllenwyr y Wawr. Credwn fod yr enwau Paul, Luc, Clemens, Rufus, Amplias, Urbane, a Stachys, yn cynwys llawer mwy o swyn i'r efrydydd Cristionogol, nag ydyw yr enwau Augustus, Claudius, Brutus, Hannibal, a Virgil. Ac er fod Ogof Virgil, lle yr oedd prif-fardd yr oes glasurol yn addysgu ei ganlynwyr yn llenyddiaeth yr amserau, o fewn dwy filldir i Puteoli, lle y glaniodd yr apostol Paul, "carcharor Iesu Grist," eto credwn mai i'r porthladd at yr efengylwr, ac nid i'r mynydd at y bardd, y cyfeiriai y darllenydd ei gamrau gyntaf. Mae y carcharor wedi derbyn addysgiad uwch, yn cael ei gynhyrfu gan ddylanwadau cryfach, ac yn ddygiedydd cenadwri anfeidrol well nag eiddo y bardd; felly awn i Rufain ar hyd y ffordd a dramwyodd yr apostol Paul.

Mae y pellder tua 137 o filldiroedd, a'r daith ar hyd y ffordd a wnaeth Appius Claudius 442 o flynyddau cyn y cyfrif presenol. Yr oedd y ffordd hon yn myned yn syth o'r brif ddinas i Capua, ac yno ymranai yn ddwy, y naill yn rhedeg yn mlaen i Brundusium, y Brindisi presenol, a'r llall i Puteoli, y Puzzuoli presenol. Yr oedd yr heol hon wedi ei ffurfio o feini mawrion, y rhai oedd wedi eu cyfatebu mor dda, fel y mae llawer o honi yn aros yn ei ffurf gyntefig hyd y dydd hwn, ac ymwelydd, pan yn ei cherdded, yn ymdeithio yn llythyrenol ar hyd yr un ffordd a'r apostol Paul pan ar ei daith i Rufain.

Yr orphwysle gyntaf ar ol ymadael o Puzzuoli ydyw Capua, tref bwysig, ddeuddeg milldir o'r ddinas flaenorol. 'Does un neillduolrwydd yn perthyn i'r dref hon yn bresenol nac i'w hamgylchoedd, ond yn unig fel y man mwyaf tebyg i'r carcharor orphwys ynddo ar y nos gyntaf o'i daith i ddinas y Cæsars. Oddiyma yn mlaen ar hyd y brif-ffordd am 85 o filldiroedd, 'does dim ond y bryniau cylchynol, mynyddau yr Appenine yn y pellderau ar y llaw ddeheu, a'r coedwigoedd pryd-ferthion, i dynu sylw yr ymdeithydd at yr allanol; ond i lygad y meddwl mae pobpeth yn gysegredig a phwysig. Y mae yr heol yn orlawn gan yr orymdaith ag y mae hanes am dani yn y benod ddiweddaf o Lyfr yr Actau, yn gynwysedig o garcharorion, tramwyyddion o wahanol wledydd y Dwyrain ar eu taith i brif ddinas y byd, a Julius y swyddog Rhufeinig. Ond wedi cyrhaedd Appii Forum mae pethau yn wahanol. Os yw ein meddwl yn parhau mewn cydymdeimlad â'r prif garcharor yn yr orymdaith, mae'r gwresraddyr ysbrydol yn dangos sefyllfa well ar bethau. Mae rhan o'r frawdoliaeth o'r brif ddinas yn ei gyfarfod, gan ei longyfarch, yr hyn sydd yn ei gysuro a'i galonogi.

Digitized by Google

Y mae cyferbyniad mawr rhwng agwedd pethau yn y lle hwn heddyw ag ydoedd yn yr amser oedd Horace yn myned drwyddo i Brundusium, a Horatius yn pasio drwyddo gan ddwyn yr ysbail driphlyg a ddygodd oddiar y Curiatiaid; a phan oedd Titus yn dychwelyd o ryfeloedd y Dwyrain, yn cael ei ganlyn gan y miloedd caethion o blant Israel, a'r llengoedd Rhufeinig yn llwythog o drysorau Jerusalem, ac yn eu plith "y saith canwyllbren aur;" a phan oedd Paul a'i gydgarcharorion ar eu taith drwyddo i sefyll eu prawf o flaen Cesar. Gan ei fod yn gorwedd wrth derfyn y camlas mawr oedd yn rhedeg yno o Terracina, yr oedd yn lle pwysig am ei fasnach. Y mae Horace (Sat. 1, 5, 4,) yn siarad am dano fel yn llawn o fadwyr, y rhai oeddynt yn trosglwyddo y teithwyr lluosog o'r Deheu tua'r brif ddinas a manau eraill. Yn bresenol mae y cylchoedd hyn yn hollol ddifywyd, ac yn nghanol yr unigedd nid oes ond un gwesty—*Locanda di Foro Appio*—a hwnw y mwyaf anneniadol a thruenus yr olwg a welodd yr ysgrifenydd yn yr Eidal, i ddangos y fan lle y cyfarfyddodd Paul a rhai o'r brodyr o Rufain.

Deg milldir yn mhellach yn mlaen deuwn i Tres Tabernae, lle y cyfarfyddodd y brodyr eraill o Rufain a'r apostol. Ymddengys oddiwrth lythyrau Cicero at Atticus (2, 12) fod y Tair Tafarn yn gorwedd wrth y groesffordd oedd yn arwain o Autium i'r Via Appia, gerllaw y Cisterna bresenol, ac o dan gysgodion bryniau Volscia. Dichon mai yma y gorphwysodd "y carcharor" y nos ddiweddaf cyn cyrhaedd pen ei daith, oblegid yr oedd yn awr o fewn 30 milldir i Rufain. Ar ol i'r teithiwr fyned rhag ei flaen 15 milldir eraill, mae yn dringo fyny i ben bryn uchel, o'r hwn y canfydda yn ymagor o'i flaen y gwastadedd eang a elwir y Campagna. Mae yr olygfa yn gyfryw nas gellir yn hawdd ei hanghofio. Ar yr aswy mae y gwastadedd yn rhedeg yn mlaen hyd fôr y Canoldir; ar y dehau ymddengys mynyddau Sabia fel mur glas yn ei gau i fewn; yn mhell yn y gogledd, gant o filldiroedd oddiwrth y teithiwr, terfynai yn mynyddau Albano; yn syth o'i flaen, mae y ffordd yn parhau am bymtheg milldir, ac yn diweddu ar y Capitoline, un o'r saith bryn ar y rhai y safai Rhufain, "*the mistress of the world*," at yr hon y cyfeiria y gyriedydd, gan ddweyd, "*Eccola, signor, eccola! Roma!*"

Wedi teithio pum' milldir eraill, mae gorweddleoedd meirw y ddinas yn dechreu, ac yn parhau oddiyno yn mlaen heibio'r bedd-ogofau (*catacombs*), ac yn terfynu wrth eglwys *Giovanni in Oleo*, lle y dywed traddodiad i Ioan gael ei daflu i bair o olew berwedig, yn amser Domitian, o'r hwn y daeth allan heb ddyoddef dim niwed.

Pan oedd yr ysgrifenydd yn yr Eidal gwelodd ar y Capitoline, yn agos i *equestrian statue* Marcus Aurelius, ddwy gareg filldir oeddent ar y Via Appia yn yr amser pan oedd Paul ar ei daith i'r ddinas. Mae braidd yn sicr i lygad yr apostol edrych ar y ceryg hyn, gan fesur y pellder i'r ddinas fel yr oedd yn myned yn mlaen, a dweyd, fe ddichon, "Un filldir eto, a byddaf ar ben fy nhaith."

Ar ddynesiad yr ymwelydd at y ddinas, mae'r adfeilion coffaol yn lluosogi, ac ar bob llaw ymddyrchafa'r tyrau a'r cofgolofnau a adeiladwyd gan gyfoeth a chelfyddyd, pan oedd Rhufain yn ei gogoniant. Un o'r rhai mwy-

Digitized by Google

af nodedig ydyw y twr ar fedd Cecilia Metalla, merch Quintus Metallus Creticus, a gwraig Crassus. Mae hwn yn sefyll ar ben bryn tua dwy filldir o borth deheuol y ddinas, ac yn 70 troedfedd o dryfesur. Yn y drydedd ganrif ar ddeg gwnaeth y Caetaniaid fur-ganllawiau (*battlements*) iddo, mewn trefn i'w gyfaddasu fel amddiffynfa yn amser rhyfel. Ychydig yn mhellach y'mlaen, ar y deheu, mae bedd y Scipios, beddogof fechan yn y graig, a ddarganfyddwyd yn 1780, o'r hon y symudwyd maen-arch enwog L. Scipio Barbatus, a phenddelw (*bust*) y bardd Ennius i'r Vatican, gan Pius VII. Nid oes dim yn weledig yma heddyw ond y fan lle y gorweddai y meirw. Pan oedd y bardd Childe Harold ar ymweliad â'r lle, deffrodd yr awen, a chanodd:

"The Scipios' tomb contains no ashes now;
The very sepulchres lie tenantless
Of their heroic dead."

Yn y gymydogaeth hon mae amryw fedd-ogofau, megys *The Catacombs of* S. Sebastiano, a St. Calixtus. Treuliodd yr ysgrifenydd un diwrnod i ymweled a'r ddau le hyn. Gair am danynt yn y nesaf.

## CERFLUNIAETH GROEGAIDD.

Nid oes un o'r celfyddydau ceinion y rhagorodd y Groegiaid ynddynt i'r un graddau a cherfluniaeth. Gwnaethant y gelfyddyd hon yn eiddo penodol iddynt eu hunain. Mae yn eithaf possibl fod yr Italiaid i fyny â hwynt mewn paentyddiaeth, er nad yw hyny yn sicr, o herwydd diffyg prawfion sylfaenedig ar ffeithiau. Ond mewn cerfluniaeth, maent ar y blaen o ddigon ar bob cenedl law-gywreiniol a fu ar y ddaear erioed; ac y maent yn debyg o barhau yn ddieilfydd felly yn y dyfodol. Y mae hyd yn nod y gweddillion drylliedig o'u gorchestion ydynt wedi dianc rhag distryw, yn destynau syndod, edmygedd a chanmoliaeth parhaus y celfyddydwyr blaenaf. Bydd y Groegiaid yn deilwng o edmygedd a diolchgarwch bythol, am iddynt feiddio ymryddhau oddiwrth ddeddfau hen, unffurfiaeth ac arferiaeth anhygyrch y Dwyrain—am iddynt ddwyn celfyddyd o'i chaethiwed a'i barau pres; ac yn neillduol am iddynt roddi i gerfluniaeth nodwedd hoenus, naturiol, ddynol, wreiddiol ac iachusol. Ac er fod eu gorchestion cerfluniol yn cael eu bwriadu ganddynt fel anrhydedd i dduwiau dychymygol, eto prin y gellid galw hyny *ar y cyntaf* yn eilun-addoliaeth, gan mor ddifrifol ac eneidiol yr oedd hyn oll yn cael ei wneyd ganddynt. Pell oeddynt ar y cyntaf o addoli gwaith ei dwylaw; yn hytrach yr oedd gwrthddrychau cerfluniol yn cynrychioli nerthoedd anweledig; ac nid oedd y cerf-ddelwau ond cyfryngau i dalu gwarogaeth i'r cyfryw.

Wrth honi y fath uwchafiaeth i'r Groegiaid yn y gelfyddyd ardderchog hon, y gofyniad a gymell ei hun i'r ystyriol ydyw, Beth oedd achos neu achosion y fath ddadblygiad gwareiddiol? O dan ba amgylchiadau y daethant i ragori yn y modd hwn? Beth oedd yr elfenau a droisant yn fanteisiol er meithrin yn y bobl hyny y fath ragoriaeth cerfluniol? Paham na fuasai eraill yn tebygu iddynt? Yn ddiau rhaid fod rhyw bethau yn eu hanes y gellir eu nodi fel rhesymau neillduol o fanteisiol i gyrhaedd y fath hynodrwydd. Ymdrechwn nodi rhai o'r pethau hyny yn eu hanes a ystyriwn yn ffafriol i ragori yn y cyfeiriad arbenigol hwn.

Mae hanesiaeth yn dysgu mai dwy

Digitized by Google

gangen o'r un cyff oedd y Groegiaid a'r hen Rufeiniaid yn wreiddiol. Yr oeddynt unwaith yn y cyff hwnw yn y Dwyrain, yn meddu yr un diwylliaeth iaith a chrefydd a'r Indiaid, y Persiaid, yr Ellmyniaid a'r Celtiaid. A phan y daeth yr adeg i'r ddau dylwyth hyn ymfudo i Ewrop, yr oeddynt yn ddiddadl yn meddu elfenau cynhenid uwchraddol. Yr oedd y Groegiaid yr adeg hono mewn cyfnod o ddiwylliaeth, ag oedd yn eu cymwyso i dderbyn argraffiadau dyfnion o'u cartref newydd. Mae pobl bob amser yn derbyn argraffiadau o'r wlad a breswyliant, ac y mae yr argraffiadau hyn yn rymusach ar bobl ifainc, ond a fo mewn oedran a gallu i dalu sylw i'r amgylchoedd, ac i wahaniaethu rhwng y prydferth a'r gwrthun. Yr oedd yr hinsawdd yn ffafriol i'w bri dyfodol. Yn y wlad hono a'r pryd hwnw yr oedd y bobl yn byw llawer yn yr awyr agored. Cyfrifai yr henafiaid ei hinsawdd yn rhodd y duwiau. Un o'u beirdd a ddarlunia un o'u duwiau yn tynu ei anadl ato uwchben un o'r afonydd tryloewon, ac yna yn anadlu ar y wlad awelon balmaidd, nes gwneyd iddi darddu a thyfu mewn lledneisrwydd amryfath. Yr oedd yr hinsawdd yn hynod gymedrol—yn rhydd oddiwrth eithafion oerni a gwres. Y mae pobl mewn gwlad felly yn ymddadblygu yn gynt, ac yn fwy cyfunol na neb arall. Nid yw dyn yn cael ei lethu na'i wanhau gan ormod gwres, na chael ei fferu a'i grino gan ormod oerfel. Nid yw yn ymroi i anweithgarwch breuddwydiol nac i lafur didor. Gweithredai dau o neillduolion y tir yr un ffordd. Yn y lle cyntaf, yr oedd Groeg yn rhwydwaith o fynyddau. Nid oedd yn y wlad nemawr wastadedd. Y mae tair rhan o bump yn anghymwys i'w ddiwyllio. Yn nhalaeth Attica, yn neillduol, mae y pridd yn ysgafnach a theneuach nag yn un man arall. Yr olewydd, y gwinwydd, haidd ac ychydig wenith ydyw y cwbl a ellir godi yno ar gyfer dyn. Yr oedd arwynebedd y wlad yn fwy cyfaddas ar gyfer y llygad a'r teimladau llednais nag ar gyfer y cylla. Mae y fath wlad yn magu dynion hoew, bywiog, sobr, yn anadlu mewn awyr bur, ac yn ymborthi yn gymedrol. Felly mae y trigolion presenol. Nid oes dim meddwon yn eu plith, ond maent bob amser yn yfed dwfr pur. Nid yw y fath ddull o fyw yn tueddu i wneyd y meddwl yn farwaidd; wrth leihau chwenychiadau y cylla, mae yn cynyddu eiddo y meddwl.

Ond tra y mae Groeg yn wlad fynyddig, mae yn wlad o fôr-lanau lawer. Er ei bod yn llai na Phortugal, medda fwy o'r rhai hyn na'r Yspaen. Mae y môr yn ymdreiddio i'r tir mewn myrdd o gilfachau a thoriadau. Mae y sefyllfa fel hyn yn tueddu i feithrin ysbryd morwrawl, yn neillduol pan mae tlodi tirol a glanau creigiog yn peri prinder mewn moddion cynaliaeth i'r trigolion. Yr oedd y Groegiaid yn farsiandwyr, teithwyr, môr-ladron, ac anturiaethwyr o'u cychwyniad, a thrwy eu hanes—yn defnyddio eu hegnion a'u medrusrwydd i ddyhysbyddu y teyrnasoedd Dwyreiniol, neu drigolion y Gorllewin, gan ddwyn yn ol aur, arian, ifori, caethion, coed, llongau, pob math o nwyddau marsiandiol wedi eu pwrcasu yn uwch ac yn is na'r farchnad, drychfeddyliau a dyfeisiadau pobl eraill—eiddo yr Alpht, Phœnicia, Caldea, Persia, ac Etruria. Mae bywyd o'r natur hwn yn bywiocau ac yn minio y dealltwriaeth i raddau hynodol.

Digitized by Google

Y llwythau a breswylient yn mhell oddiwrth lanau y moroedd, megys yr Arcadiaid, a barhaent i arwain bywyd gwladaidd a syml; ac eraill yn fwy anniwylliedig fyth, megys yr Acarnaniaid, y rhai na feddent un dramwyfa i'r môr, a barhasant yn haner barbaraidd hyd y diwedd. Y cymellydd a roddasai yni yn eraill, ni chyrhaeddodd hwy. Dyna'r fath amgylchiadau daearyddol o'r dechreuad a wasanaethodd i gyffroi y meddwl Groegaidd.

Gellir cymharu y bobl hyn i haid o wenyn wedi eu geni o dan awyrgylch dyner, ond ar ddaear dlawd, yn gwneyd y defnydd goreu o'r ffyrdd agored iddynt trwy yr awyr, yn cyrchu i bob cyfeiriad, yn casglu cyflenwadau, yn heidio, gan ymddiried i'w colynau eu hunain a'u medrusrwydd am amddiffyn, yn codi tai eiddilaidd, ac yn casglu mel, gan fwmian yn mhlith creaduriaid mawrion amgylchynol. Gwelir yr un heidgarwch meddyliol, pa un bynag ai yn ymarferol neu yn ddamcaniaethol yr adolygwn. Yr oeddynt yn foreu yn caru gwirionedd yn ei hanfodion cyntaf. Arferent fyfyrdod, heb ofalu am y lles a ddeilliai iddynt oddiwrtho. Groeg yw mam dadleuwyr, ymresymwyr, a doeth gyngorwyr. G.

---

## BEDYDD PLANT—

### EI DDECHREUAD GWANAIDD, A'I GYNYDD GRADDOL.

GAN Y PARCH. WM. JONES, WISCONSIN.

---

Yn fy ysgrif ddiweddaf, dangosais trwy fwy na dau neu dri o dystion, fod bedydd wedi ei gyfnewid ar ol yr oes apostolaidd; profais hefyd mai tua diwedd yr ail neu ddechreu y drydedd ganrif y cyfnewidiwyd ef. Yn fy ysgrif bresenol dangosaf pa mor wanaidd oedd ar y dechreu, ond iddo yn raddol ychwanegu ei nerth nes cyrhaedd pinacl uchaf ei enwogrwydd, fel y llanwodd braidd yr holl fyd. Yn Dr. G. C. Knapp's Theology, cyfaddefir gan y taenellwr enwog hwn, mai yn y "drydedd ganrif, neu efallai yn gynt, gweinyddid bedydd i'r afiach, drwy dywalltiad neu daenelliad; eto nis cydnabyddid hwn yn fedydd gan rai, a chyfododd dadl yn ei gylch, gan ei fod y pryd hwnw yn beth mor ddyeithr i fedyddio drwy yn unig dywallt dwfr." Dywed "mai Cyprian oedd y cyntaf a amddiffynodd fedydd drwy daenelliad, pan y buasai angenrheidrwydd yn galw am hyny, ond yn bwyllog ac yn bur derfynawl. Eithr yn raddol daeth y dull hwn o fedyddio yn fwy cyffredinol."—Cyf. ii., tu d. 516, 517.

Deylingius, yr hwn oedd ysgrifenydd Lutheraidd enwog yn yr 17eg ganrif, a ddywed, "Yn mhen amser ar ol marwolaeth yr apostolion y daeth bedydd yr afiach yn adnabyddus, pan y buasai afiechyd ac angenrheidrwydd eraill yn gwahardd trochiad."—Encycl. Brit., Art. Baptism.

"Yr arferiad o daenellu plant yn lle eu trochi, yr hyn ar y cyntaf a ganiateid mewn achos o wendid neu afiechyd y baban, a gynyddodd mewn amser i'r fath raddau fel yr esgeuluswyd trochiad yn llwyr."—Haynes' Bap. Cyclo., tu d. 288, 289.

Dywed Neander, "mai gyda'r claf yn unig, pan y buasai angenrheidrwydd yn galw, y gwnelid un eithriad (oddiwrth drochiad").—Vol. 1. p. 310 Ch. History.

Dywed Benson, un o ddynion mwyaf Germani, "Fod bedydd babanod newydd eni, wedi tarddu oddiwrth fedydd plant. The baptism of new-born infants grew out of that of children advancing towards that of boyhood."

Gwelir oddiwrth dystiolaethau yr haneswyr enwog uchod, pa mor wanaidd a therfynol oedd, ac mai ar ychydig y gwneid un eithriad oddiwrth y trochiad apostolaidd; edrychid ar y cyfryw fedydd yn afreolaidd, a chedwid y rhai fuasent wedi eu bedyddio felly o swyddi eglwysig, megys y gwnawd yn achos Novatian, ar yr hwn,

Digitized by Google

mae yn debyg, y gwnawd yr eithriad cyntaf, trwy dywallt dwfr arno yn ei wely. Yr un modd hefyd, a thua yr un amser, ac o herwydd yr un achos, y cyfnewidiwyd deiliaid bedydd. Dyn mewn oed oedd y cyntaf y tywalltwyd dwfr arno, pan yn debyg o farw; ond gan fod y Cristionogion yn y canrifoedd cyntaf ar ol yr apostolion yn credu fod pob dyn, a phlentyn, a baban, a fuasai farw yn ddifedydd, yn golledig byth, ac mewn canlyniad i'r fath gred, awd i fedyddio yn ieuengach, ieuengach, nes yr awd i fedyddio plant, ac oddiyno at fabanod, os buasent yn debyg o farw; ïe, aethant mor ynfyd a bedyddio plant cyn eu geni, os buasai perygl nas gellid eu geni yn llwyddianus. Y mae peth fel hyn yn rhy warthus braidd i son am dano; eto y mae yn angenrheidiol dynoethi y fath ysgelerder yn ngwyneb pob haul a greodd Duw. Mae yn debyg na ddylid gadael y crybwylliad diweddaf heb ychwaneg o oleuni arno. Tua diwedd yr 17eg ganrif, y tad Jerome Florentini, o Lucca, gyhoeddodd y 4ydd argraffiad o lyfr, er egluro, cadarnhau, a chyfarwyddo gweinyddiad bedydd i fabanod cyn eu geni, yn cael eu gymeradwyo gan ddim llai na deugain o gymeradwyaethau oddiwrth dduwinyddion, esgobion, meddygon, ac athrofeydd.—Robinson's Hist., Lond. ed., p. 432. Yn 1751 cyhoeddwyd llyfr i'r un pwrpas gan Canjiamile, athraw duwinyddol yn Palermo, yn yr iaith Italaidd. Gwel Pendleton Christian Bap., p. 106.

Gellir gweled oddiwrth y dyfyniadau uchod, pa mor anmhosibl ydyw gwybod pa le y terfyna ynfydrwydd dyn a ol iddo unwaith adael ffordd y gwirionedd. Ni welsom ni erioed yr ynfydrwydd hwn yn ngwlad ein genedigaeth, er y gwelsom rai, ac y clywsom am fwy, yn trethu eu hanadl i'r eithaf wrth redeg i ymofyn yr offeiriad neu ryw wr eglwysig arall, i daenellu yr un bach cyn ei farw. Bu y gred ofnadwy y buasai y Duw trugarog yn taflu i'r tân faban diniwed os buasai farw yn ddifedydd, yn crythau am rai canoedd o flynyddoedd. Dywed Dean Stanley, am Austin, ei fod, fel yr oedd yn cynyddu mewn oedran, yn myned yn fwy penderfynol yn y gred, fod pob un, o bob oed, a fuasai farw yn ddifedydd, yn cael ei ddamnio. Gwel complete ed., tu dal. 17. Wrth gwrs, yr oedd y gred hon wrth gryfhau, yn naturiol gynhyrfu y tadau Cristionogol, fel eu gelwir, yn fwy penderfynol dros daenellu plant os buasai yr arwydd lleiaf eu bod yn glaf, nes tua'r chweched a'r seithfed ganrif yr aethant i daenellu ar yr iach yn bur gyffredin. Yr ymadawiad cyntaf oedd, tywallt dwfr ar ddyn claf yn ei wely. Yn nesaf awd i lawr at blant; oddiwrth blant, y cam nesaf oedd at blant newydd eni; ac oddiwrth y rhai hyny awd i fedyddio plant cyn eu geni!! Yr un modd gyda y dull—tywallt oedd y cam cyntaf oddiwrth y dull gwreiddiol; wedi hyny daeth yn daenellu; ysgafnhaodd hwnw, nes y daeth, fel yr achwyna un ysgrifenydd Pabyddol, drwy ddweyd, "Fod nid yn unig yr eglwys Gatholic, ond yr honedig eglwys Ddiwygiadol, wedi cyfnewid yr arferiad gwreiddiol, gan ganiatau yn awr, fedydd drwy dywallt neu daenellu dwfr ar y person. Iẽ, mae llawer o'u gweinidogion yn ei wneuthur yn awr drwy lithro bys a bawd wlyb dros ben y plentyn, neu ysgwyd bys neu ddau gwlyb drosto, yr hyn sydd galed i'w alw yn fedydd o gwbl." Gwel Dr. R. Wetham Annot on Mat. 3:6.

Yn y seithfed ganrif, cafodd tywalltiad ar fabanod ychwanegiad at ei nerth a'i boblogrwydd. Yn y flwyddyn 753 bu gorfod i'r Pab Stephen II. ffoi o Rufain, oddiar ffordd y Lombardiaid, am nodded, at Pepin, yr hwn oedd y pryd hwnw Frenin yn Ffrainc. Tra yr oedd y Pab yno daeth mynachod (*monks*) Cressy ato, gan ofyn, "A wnai bedydd drwy dywallt dwfr ar ben y plentyn y tro mewn achosion o angenrheidryydd? Atebodd Stephen, y buasai y cyfryw fedydd yn gyfreithlon yn y cyfryw achosion." R. Fuller, tu dal. 82. Dywed Basnage, "mai dyma y ddeddf gyntaf yn erbyn trochiad." Er nad yw y ddeddf hon yn rhoddi y trochiad o'r naill du, ond yn unig mewn achosion angenrheidiol, trochiad

Digitized by Google

oedd y rheol eto, a thywalltiad yn eithriad. Gresyn na fuasai yr Iuddewon yn gwybod am ddyfais fel hon i droi heibio erwindeb yr enwaediad, yr hwn y mae Stanley yn ei ddarlunio fel "defod ddyeithr, boenus, a barbaraidd." Tu dal. 7. Mae llawer o haneswyr enwog yn darlunio i ni y perygl oedd yn gysylltiedig a'r gweinyddiad o'r enwaediad, a bod llawer wedi colli eu bywydau trwyddo. Gallai Abraham arbed gweithred boenus arno ei hun, ac ar ei deulu, ac ar ei holl weision, drwy newid ychydig ar orchymyn Duw, ac eto gadw y sylwedd, fel y dywed John Calvin ydynt hwy yn Geneva yn ei wneyd gyda bedydd. Gallasai ddweyd nad oedd yn teimlo yn iach, a rhoddi y toriad ar ryw le arall heblaw y man penodedig, a chael gwaed o'i gnawd ei hun, a dweyd fod sylwedd yr enwaediad ganddo, er iddo newid ychydig ar y dwyfol orchymyn. Ond ni feddyliodd y patriarch am y ddyfais o newid dim ar orchymyn Duw er mwyn cyfleusdra nac esmwythdra; a phe buasai wedi gwneyd felly, ni fuasai ei enw genym yn "Abraham ffyddlon," heddyw. Ond, i ddyfod yn ol at fy nhestyn, mi ddywedais fod y trochiad wedi ei adael gan y Pab Stephan yn rheol, er iddo gyfreithloni tywalltiad, mewn achosion angenrheidiol; a pharhaodd i fod yn rheol hyd amser Cymanfa Ravena, yn y flwyddyn 1311, pryd y cafodd y taenelliad godiad arall yn uwch i fyny. Yn y Gymanfa hon y codwyd taenelliad yn gyfartal i'r trochiad. Codwyd, yn y Cyngor Pabyddol hwn, ddefod ddynol, a ddygwyd i mewn i'r eglwys Gristionogol rai canoedd o flynyddoedd ar ol yr oes apostolaidd, yn gyfuwch â gorchymyn dwyfol! Gwel Edinburgh Encyclop., art. Bap. Bu y codiad hwn, o angenrheidrwydd, yn help iddo enill tir a phoblogrwydd rhyfeddol drwy wahanol wledydd y byd. Mae Dr. Whitby, a llawer o daenellwyr mor enwog ag yntau, yn dyweyd fod trochiad wedi bod yn arferiad yr eglwys am dri-chant-ar-ddeg o flynyddoedd. "Ni ddechreuodd," meddai Deon Stanley, gan gyfeirio at fedydd plant, "hyd y drydedd-ganrif-ar-ddeg, eto efe a yrodd allan o holl Ewrop yr hen arferiad cyffredinol o fedyddio." Complete ed., tu dal. 22. Gwel hefyd Stackhouse Hist. of Bible, P. 8, tu dal. 1234, a Dr. Whaley's Com. on Rom. 6 : 4. Ond er y dyrchafiad yma o fedydd plant yn 1311, eto parhaodd y trochiad mewn cryn awdurdod wedi hyny, gan mai eu trochi gafodd Edward VI. a'i chwaer Elizabeth, y Frenines Brotestanaidd gyntaf eisteddodd ar orsedd Lloegr erioed. Dengys hyn fod trochiad mewn cryn barch ar ol Cymanfa Ravena, gan eu bod hwy yn blant i Harri VIII., Brenin Lloegr.

Ond tyred gyda mi, ddarllenydd, a mi a ddangosaf i ti ryfeddod arall yn y nef; gallaf ddangos i ti godiad arall a gafodd bedydd plant, a'r codiad diweddaf, ond nid y lleiaf, a gafodd. Yn Nghymanfa Westmins'er, a gynaliwyd yn y flwyddyn 1643, yr hon oedd yn Gymanfa Bresbyteraidd, rhoddwyd y mater ar bleidlais, Pa un a arferid, ai trochiad ai taenelliad? Pleidleisiodd 24 o blaid trochiad, a 24 yn erbyn trochiad, ac o blaid taenelliad, a throwyd y fantol drwy i'r cadeirydd, Dr. Lightfoot, roddi ei bleidlais o ochr y taenelliad. Aeth llais y lluaws yn erbyn bedydd Crist yn Westminster, fel yr aeth llais y lluaws yn erbyn ei sefydliad yn Jerusalem. Pan mae gorchymyn Duw wedi dyfod i gael ei benderfynu gan ddynion, mae wedi dyfod i ddim. Syndod annhraethol oedd troi Crist allan o'i fyd ei hun drwy groeshoeliad; a syndod annhraethol arall oedd troi bedydd Crist allan o'i eglwys ei hun. Mae y driniaeth gafodd bedydd yn Nghymanfa Westminster yn peri i mi feddwl am eiriau R. ap Gwilym Ddu, mewn cyfeiriad at Grist, pan ddywedodd,

"Ei brofi gan wael bryfyn,
A barnu Duw ger bron dyn."

Druan o fedydd fy Arglwydd, darlun mor brydferth o'm Gwaredwr bendigedig, yn ei ddyoddefiadau, ei gladdedigaeth, a'i adgyfodiad buddugoliaethus o'r bedd, a darlun o'm hadgyfodiad fy hun o'r bedd; fel y dywed y dysg-

Digitized by Google

edig T. Charles, o'r Bala, "Fod bedydd yn gosod allan adgyfodiad y corph i fywyd o ogoniant, yn gystal ac adgyfodiad yr enaid i fywyd sanctaidd a grasol." Bedydd fy Arglwydd, oddiwrth ba un yr oedd yr apostolion yn tynu cymaint o'u cymelliadau ar y Cristionogion i "farw i bechod, a byw buchedd newydd," i roddi eu serch ar y pethau sydd uchod, gan eu bod wedi cydgyfodi gyda Christ, &c. Do, fe allodd Cymanfa Westminster droi allan o'r eglwys y bedydd a orchymynwyd gan Grist, ac a weinyddwyd gan ei apostolion ffyddlawn; yr hyn na allodd Cymanfa Babyddol Ravena ei wneyd, a gyflawnwyd gan Gymanfa Bresbyteraidd Westminster. Yn ol tystiolaeth Dr. Wall ac eraill, yn y Gymanfa hon, ac yn yr eglwys Bresbyteraidd yn Geneva, y dyrchafwyd taenelliad i'w ogoniant uwchaf. Dywed mai yn Geneva y cyhoeddwyd y ffurf gyntaf yn cyfarwyddo y gweinidog, ar weinyddiad bedydd, i dywallt dwfr ar y person, heb son dim am y trochiad o gwbl; fod y ffurf hon wedi ei chymeradwyo gan John Calvin, a bod y rhai a ddiangodd o Loegr yn amser y Frenines Mary, i Geneva, wedi hoffi trefn y Presbyteriaid yno o weinyddu bedydd, a chan mai Ysgotiaid oeddynt, iddynt ddychwelyd i'w gwlad ar farwolaeth Mary, a chymeradwyo i'w cydwladwyr y drefn o weinyddu bedydd a welsant yn Geneva; ac o Scotland, fod taenelliad wedi dyfod i Loegr. Dywed mai Cymanfa Westminster a droes y fedyddfan i'r cwpan. Dywed hefyd, "na ddefnyddiwyd erioed mo'r fowlen daenellu, oddigerth mewn achosion o angenrheidrwydd, gan y Pabyddion, nac unrhyw Gristionogion eraill, hyd nes ei defnyddiwyd ganddynt hwy." Judson, 30, 31. Mae y Dr. yn dyweyd, "mai dan deyrnasiad Elizabeth y caniatawyd i blant gweiniaid gael eu bedyddio drwy daenelliad, a bod llawer o wragedd cyfoethog, ac yn raddol y bobl gyffredin, yn cael ffafr gan yr offeiriaid, i basio eu plant fel rhai gweiniaid, a rhy analluog i oddef y trochiad yn y dwfr." Mor naturiol ydyw hyn oll i dynerwch y mamau ewyllysio i'w plant gael gochel y trochi, yr hyn a dybient yn beryglus. Mewn gwirionedd, trochi ydyw rheol eglwys Loegr hyd heddyw, yn ol y *Common Prayer;* tywalltiad ydyw yr eithriad, os bydd y plentyn yn wan; eithr am daenelliad, nid oes un gair o son am dano, i gael ei weinyddu i glaf nac iach. Dyna'r achos i John Wesley wrthod taenellu plentyn Mr. Parker, Savannah, Ga., tra yr oedd ei fam yn tystio ei fod yn iach a chryf, er hyny ei bod yn benderfynol na chai mo'i drochi; am hyny gwrthododd Wesley ei daenellu; am yr hyn y dygwyd ef o flaen y *grand jury* yn Savannah i gael ei brawf. Ond yr oedd y gweinidog ar dir *sound,* gan fod y *Common Prayer* o'i blaid. Gwel Wesley's Works, vol. iii., pp. 20, 24.

Meddai Dean Stanley, "In the Church of England it is still observed in theory, but in practice it gave way since the 17th century." Complete ed., p. 22. Mai *soil* y ddaear, drwy bechod, yn naturiol i gynyrchu drain a mieri, felly y mae y meddwl dynol i feithrin cyfeiliornadau, fel y gwelir yn yr ysgrif hon.

---

## Y PARCH. THOMAS MORRIS, CASNEWYDD.

GAN Y PARCH. D. W. MORRIS, TAYLORVILLE.

---

I. Efe a aned o achau celfyddgar. Rhwng Llandeilo a Llangadog, ar wastadedd Dyffryn Ceidrych, ac yn Pontbrenareth, yn Sir Gaerfyrddin, y ganed ef, yn y flwyddyn 1780. Ei dad, William Morris, ydoedd asiedydd o fri, celfyddgar, cywrain, a saeriantydd syw, a'i fam yn ddynes ganmoladwy yn ei bro. Enw ei chwaer henaf ydoedd Bridget, a briododd â Thomas, y saer, Cwmifor, a bu yn aelod yno flynyddoedd lawer. Yr oedd yn 90 mlwydd oed pan y bu farw. Mab iddi hi yw Thomas Thomas, Ysw., y diacon hynaf yn eglwys y Bedyddwyr yn Moorfields, Llundain, gwr o olud mawr, rhinweddau amryfath, a haelioni diflino. Ei chwaer arall ydoedd Jane. Priododd

hi ag un David Jenkins, o Lanymddyfri, a hi ydoedd mam y Parch. Thomas W. Jenkin, LL. D., F. R. S., athraw y Coleg Annibynol yn Coward, Llundain. Mae Dr. Jenkin ar Iawn Crist, Gwaith yr Ysbryd, a Daeareg y Creigiau, yn adnabyddus i filoedd. Trodd tri o'r meibion allan i bregethu gyda y Bedyddwyr. Morris Morris, yr hynaf, ddechreuodd eglwysi yr enwad yn Cydweli a Glanyfferi, yr hwn a fu farw na wyddis pa fodd, pa le, na pha amser. Theophilus Morris a urddwyd yn Pontbrenareth, ac a fu farw yn 1838, yn 51 mlwydd oed; a Thomas Morris y mwyaf amlwg o'r tri. Eto gyda y pregethu yr oedd Morris yn saer melinau, Theophilus yn saer gwlad, Thomas yn saer capeli, a William, eu brawd, yn saer pob gwaith, ac felly yn genedl o saeri.

II. Efe a addurnwyd â gwedd gingar. Ac efe yn faban yn mantell ei chwaer Bridget, daeth Arglwyddes Dynefor heibio yn ei cherbyd, edrychodd arno, serchodd ynddo, ac aeth i dy ei dad i erfyn am dano, gan nad oedd plentyn iddi, a "mab y saer" wedi ei denu. Mabwysiadu y baban oedd bwriad y bendefiges burlan, a bu Thomas bach yn mhalasdy y Gelliaur am bythefnos. Eithr ei fam a welodd y dyddiau hyny yn hwy na llawer o flwyddi, a mynodd ei bachgen o'r palas i'r bwthyn, o'r digonedd i dlodi, ac o sylw pendefigion i breswylfa y seiri. Dywedodd efe yn aml wedi hyny, "Dyna un ddwl oedd fy mam, i beidio fy ngadael i yn mhalas Lord Dynefor, yn blentyn boneddwr, ac i sefyll siawns am swydd Seneddwr." A buasai yn Wilberforce i wylio, yn Russel i ddiwygio, ac yn Robert Peel i areithio yn y breninol dy. Arosodd gweddillion ei brydferthwch arno ar hyd ei oes, yn wr tal, aeliau mawrion, a gweddnodau pendefigol; ac ar ddydd Cymanfa nid oedd tri harddach ar y maes na James Edmunds, Caerphili; Timothy Thomas, Basaleg, a Thomas Morris, Casnewydd. Edmunds yn gyngorwr, Thomas yn floeddiwr, a Morris yn arabeddwr iach, yn bregethwr y bobl, a chenadwr cysuron i drigle y galar du.

III. Efe a arweiniwyd i ddilyn Iesu yn gynar. Deuddeg mlwydd oed oedd Manasseh yn derbyn ei goron, y Gwaredwr gyda y doethion, merch y synagogydd yn mhlith y marwolion, a Thomas Morris yn myned i afon Aroeth i gael ei fedyddio. Moses Williams, Llandyfaen, oedd y bedyddiwr, a dywedodd ar ei daith i fyny o'r dwfr, "Dyna fi heddyw wedi bedyddio un a fydd yn bedyddio llu ar ol fy marw i," ac felly y bu. Ar y parwydydd Bedyddiol yn Nghymru, y mae llun Thomas Morris yn bedyddio llu yn afon Ebwy, Park Tredegar yn orlawn o bobl, a boneddwr y palas a'i bendefiges yn talu parch i *Ambassador* y Brenin—y boreuol gynllun, a'r bedydd a drefnodd y Mawredd i'w ganlyn. Eithr yn fuan wedi ei fedyddio, ymranodd eglwys Llandyfaen yn y pla Sosiniaidd; Moses Williams yn blaenori eglwys Llangyndeyrn, a William Thomas yn gwyro, ac eglwys Pontbrenareth a gyfeiliornodd gyda hwy; ond daliodd eglwys Cwmifor o blaid y ffydd, ac ymunodd Thomas Morris â hi. Bu Evan Edmunds iddo yn gynorthwy, a phan yn ddeunaw oed dechreuodd bregethu. Dadleuon boreu bywyd a osododd arliw Galfinaidd iawn ar ei genadwri. Bu eglwys Hengoed yn llygadu arno, ond yn Penrhiwgoch y cafodd ei urddo, yn 1809. Darluniai y Mawredd yn mantoli y mynyddoedd, megys yr Hymalaya yn bwys o bilcorn, y Wyddfa yn wns o dê, a Grogan Hill yn ronyn o lwch. Trwy ei lafur ef y cychwynwyd eglwys y Bedyddwyr yn y Felinwen, y Felingwm, a'r Felinsawdde. Pan yn casglu un tro, taflodd un Mr. Shilling yn y gynulleidfa bunt iddo, a dywedodd, "Dyna Shilling wedi troi yn pound; ac ond i Mr. Pound droi yn Syr Ten Pound Note, bydd y capel yn rhydd."

Derbyniodd alwad i'r Casnewydd yn 1817, ac yno y bu yn boblogaidd iawn hyd 1833, pan y symudodd i Lundain. Aeth yn llenor mawr yno, a chawn lyfr o'r enw *London Spiritualized* ganddo; ac y mae y mwg a'r niwl, y tai a'r tân, yr heolydd a'r monwentyd, yn arwyddluniau o egwyddorion. Aeth o Lundain i Bristol, ac yn 1838 i Benygarn,

Digitized by Google

Pontypool, ac adeiladodd y Tabernacl mawr yn y dref hono, a bu â'i law ei hun yn naddu, yn llunio, ac yn lliwio yr addoldy anrhydeddus hwnw. Bu yn gweini i'r cynulleidfaoedd yn y Bontfaen ac yn y Pîl, yn Corntown ac yn Caersalem Newydd; ac yn mlynyddoedd diweddaf ei oes yr oedd yn dra aflonydd, a bu archgablwr gweinidogion Cymru yn ei alw yn "Twm y Deg Capel," ond gallasai Thomas Morris godi deg-a-deugain o gapeli yn rhwyddach nag y medrai y coblwr godi beudy buwch, cut llo, neu dwlc mochyn. Ataliwyd ef i gasglu yn Seion, Merthyr, un tro, yn herwydd deddf yn yr eglwys yn gwarafun, a dywedodd, "Mi a gadwaf eich deddf yn gyfan, a mynaf eich arian, canys yr oedd gan fy nhad bren afalau yn y berllan, ac archodd i ni blant i beidio tynu un afal oddiarno; ond aeth William fy mrawd a mi i ymofyn ysgol, a bwyta yr afal heb ei dynu. A bu ystori y goeden, yr ysgol, a'r dringo, yn foddion iddo gael punoedd o arian yno.

IV. Efe a anogwyd i ddychwelyd i'r ddinas hawddgar. Rhwng y blynyddoedd 1840 ac 1842 tybiai rhan bwysig o'r gynulleidfa yn Charles Street, Newport, Mynwy, y cynwysai y weinidogaeth yno fwy o'r dynol nag o'r dwyfol ddawn ynddi, a gwahoddwyd Thomas Morris i'r ddinas. Dechreuwyd eglwys arall yno, adeiladwyd capel mawr, galwyd ei enw, Y Deml, Casnewydd, a derbyniwyd y capel mawr, y bobl bur, a'r gweinidog dawnus, i Gymanfa Mynwy yn 1845, gyda llawenydd cyffredinol, adgofion cynes, a pharodrwydd brawdol a chymeradwy. Ac od oedd yno ambell un yn "tynu yn groes," yr oedd y mwyrif yn tynu yn mlaen, tynu yn gywir, a thynu yn alluog.

Aeth, yn haf 1846, am dro, i adweddau maboed, a bu yn pregethu ar brydnawn Sabboth yn Castellcynen, yn agos i'r Gelliaur, Twr Paxton, a thref Llandeilo, a bu y castell yn deml, y creigiau yn gantorion, a miloedd lawer oedd y gwrandawyr. Dechreuodd ddihoeni yn fuan wedi hyny, a gwaelu a wnaeth hyd Tachwedd, 1846, a marw yn esmwyth yn 66 mlwydd oed, ac a gladdwyd yn Basaleg, Mynwy. Er mwyn ambell un o'r gweddillion gadawedig, nodir mai chwaer iddo oedd Mrs. Davies, y "*Three Mariners*," Caerfyrddin, aelod blaenllaw yn y Tabernacl, a merch iddo yw Mrs. Miles, masnachwr yn y Bontfaen, ac aelod yn Ramoth yno; ac aeth ei fab David i Loegr i ddilyn celf y teulu, a bu yn llwyddianus ynddi. Meddwyf yr anrhydedd o berthyn i'r Bedyddiwr brwd, y bucheddwr glân, a'r efengylwr dewr, y Parch. Thomas Morris, Casnewydd.

---

## Y CYFIEITHIAD DIWYGIEDIG

SAESONAEG O'R TESTAMENT NEWYDD.

GAN Y PARCH. OWEN JAMES, M. A., HYDE PARK. PA.

MR. GOL.—Ar eich cais yr wyf yn ymgymeryd ag ysgrifenu rhes o lithiau ar y cyfieithiad uchod, yr hwn a orphenwyd ac a gyhoeddwyd flwyddyn yn ol. Oddiar ymddangosiad y cyfieithiad hyd yn bresenol, y mae wedi cael sylw helaeth a manwl yn y pwlpud ac yn y wasg Seisonig. Y mae wedi ei feirniadu yn ffafriol ac anffafriol, ac y mae ei feiau a'i ragoriaethau erbyn hyn yn bur adnabyddus. Er hyny dichon nad anfuddiol i lawer o dderbynwyr y WAWR fyddai cael cipdrem frysiog ar rai o'i brif nodweddion.

I. *Cyfieithiad Diwygiedig yn Angenrheidiol.*—Er mwyn dwyn y cwestiwn yn briodol ger bron y darllenydd, enwn, yn gyntaf, yr achosion oeddynt yn gwneyd cyfieithiad newydd yn angenrheidiol. Gellir dosbarthu yr achosion hyn i dri prif ddosbarth.

1. *Testyn Diwygiedig.*—Gwnawd y cyfieithiad awdurdodedig yn y flwyddyn 1611. Oddiar hyny y mae llawer o ddiwygiadau wedi cael eu gwneyd yn nhestyn y Testament Groeg; ac os diwygir y testyn, rhaid hefyd yw diwygio y cyfieithiad o hono. Y mae hyn yn gofyn am eglurhad. Gall y sawl na wyr yn wahanol ofyn yn eithaf naturiol, "Pa hawl sydd gan neb i newid testyn neu gynysgrif y Testament New-

Digitized by Google

ydd? Oni ysgrifenwyd ef gan yr Efengylwyr a'r Apostolion? ac onid ein dyledswydd ni yw ei gymeryd fel y mae, a rhoddi cyfieithiad cywir o hono?" Do, ysgrifenwyd ef gan yr Efengylwyr a'r Apostolion, a'n dyledswydd ni yw ei gymeryd ef fel y daeth o'u dwylaw hwy, a'i gyfieithu yn gywir. Ond yr anhawsder mawr yw cael gafael ynddo fel y daeth o ddwylaw yr ysgrifenwyr sanctaidd. Paham hyny? Ceis iwn ateb. Pan ysgrifenwyd y Testament Newydd nid oedd y gelfyddyd o argraffu wedi ei dyfeisio. Ni allai Matthew a Paul anfon copi o'u cynyrchion i'r argraffydd, a chael yn ol fil o gyfrolau cywir, i'w dosbarthu rhwng yr eglwysi. Pe gallent wneyd hyny byddai llygriad yn y testyn yn beth tra anhawdd, os nid yn anmhosibl. Ysgrifenodd Paul lythyr at y Corinthiaid, a gyrodd ef i ffwrdd mewn llawysgrifen, i gael ei ddarllen i'r eglwys yn Corinth, heb gadw, efallai, un copi at ei wasanaeth ei hun. Cymerodd rhyw frawd, o bosibl, y fath ddyddordeb yn y llythyr, fel yr ymgymerodd a gwneyd copi o hono â'i law ei hun. Cyn hir teimlodd amryw o'r brodyr yr un dyddordeb yn y llythyr. a gwnaethant gopïau o hono at eu gwasanaeth eu hunain. Yn mhen ychydig daeth yr alwad am gopiau mor fawr fel yr ymneillduodd dosbarth o'r bobl i'r gwaith o drawsysgrifio y llythyr. Erbyn hyn nid oeddynt yn gwneyd copïau o'r llythyr gwreiddiol, ond o gopïau o hono; ac yr oedd yn ddigon posibl i'r llythyr gwreiddiol fyned ar goll yn yr amser hwn. Y mae yr hyn sydd wir am un o lythyrau Paul, yn wir am holl ranau y Testament Newydd, ac yn wir hefyd am y Testament Newydd ei hun wedi i'w ranau gael eu casglu at eu gilydd. Eto yn y modd hwn yr amlhawyd copïau o'r Testament Groeg am bymtheg cant o flynyddau. Trawsysgrifiwyd ef â llaw ac ysgrif-bin, a chedwid ef mewn llawysgrifeniadau.

Ond yr oedd y dull hwn yn agored i gamgymeriadau, a thrwyddo daeth miloedd o wallau i mewn.

(*a*) Gwnaeth y copiwyr gamgymeriadau pur. Y gwaith anhawddaf yn y byd yw copio yn gywir. Y mae yn bosibl yn barhaus i lygad neu glust y copiwr gael eu camarwain. Gall fod ei hun yn esgeulus, yn anghymwys, neu yn flinderus. Gellir cymeryd gair neu lythyren yn lle gair neu lythyren arall. Dyna y geiriau *oikonomian* a *oikodomian*. Un lythyren sydd yn wahanol ynddynt. Ond y mae y cyntaf yn golygu goruchwyliaeth, a'r ail yn golygu adeiladaeth. Hawdd yw cymeryd y naill am y llall; ac yn wir felly y bu yn 1 Tim. 1 : 4.

Bydd dwy linell weithiau yn terfynu â'r un geiriau, ac y mae yn hawdd i lygad y copiwr gael ei arwain o un linell i'r llall yn ddiarwybod iddo, fel ag i adael allan y linell neu y llinellau cydrhyngol. Er engraifft, ar ddiwedd Mat. 12 : 46, y mae y gair *lalesai*. Ceir yr un gair hefyd ar ddiwedd yr adnod ddilynol. Wrth gopio bydd llygad yr ysgrifenydd ar y gair *lalesai* yn adnod 46. Yna efe a edrych ar ei bapyr, ac a esyd y gair i lawr; yna edrych eto ar y cyn-ysgrif o'i flaen, ond cwymp ei olwg yn awr ar y gair *lalesi* yn adnod 47. Ond nid yw efe wedi sylwi ar hyn, ac â yn mlaen i gopio adnod 48, gan adael allan yn hollol adnod 47. Y mae hyn wedi cymeryd lle lawer gwaith.

Ambell waith bydd geiriau o'r amlen yn treiglo i fewn yn ddiarwybod i gorph y testyn. Yn y fel yna y daeth y foleg i fewn sydd ar ddiwedd gweddi yr Arglwydd.

Brydiau eraill bydd meddwl y copiwr yn rhy fywiog, ac yn ychwanegu at yr hyn sydd o'i flaen. Yn lle ysgrifenu, "Tâl yr hyn sydd ddyledus arnat," yr oedd yn eithaf naturiol iddo i ychwanegu un gair, ac ysgrifenu, Tal *i mi* yr hyn sydd ddyledus arnat. Y mae amryw engreifftiau o'r fath yna.

(*b*) Gwnaeth y trawsysgrifwyr gyfnewidiadau bwriadol. Lle y ceid gair anarferol, brawddeg anystwyth, neu gyfansoddiad anghywir, cymerodd y copiwr ryddid i ddefnyddio gair cyffredin, brawddeg lyfn, a chyfansoddiad cywir. Wrth wneyd hyn yr oedd

bob amser yn llygru y testyn, ac yn aml yn newid yr ystyr.

Parodd y camgymeriadau a'r cyfnewidiadau hyn fod amrywiaeth mawr yn y llawysgrifau sydd genym o'r Testament Newydd. Yn yr holl lawysgrifau sydd ar gael heddyw y mae tua 150,000 o wahanol ddarlleniadau.—Gwaith cyntaf y myfyriwr Beiblaidd yw cael allan gyflwr y testyn cyntefig yn nghanol yr amrywiaeth mawr hwn. Y mae hyn yn waith anhawdd iawn—yn waith sydd yn gofyn llawer iawn o athrylith, o amynedd, ac o brofiad. Er hyny dygir y gwaith yn mlaen gyda mwy o lwyddiant ac o sicrwydd nag y meddyliai y darllenydd ar y dechreu. Nid oes eisiau yn y llythyr hwn i mi esbonio y moddion a arferir, na'r rheolau a fabwysiedir, gan y beirniaid testynol mwyaf blaenllaw.

Er cyrhaedd ein hamcan presenol digon yw dweyd fod purdeb y testyn yn ymddibynu ar ddau beth o leiaf, sef henafiaeth y llawysgrifau a gymherir wrth ei wneyd, a medr feirniadol ei awdwyr. Po henaf y llawysgrifau a ddefnyddir wrth wneyd y testyn, puraf oll y dysgwylir i'r testyn fod. Y mae llawer iawn hefyd yn ymddibynu ar athrylith, ar farn, ar amynedd, ac ar brofiad y personau fyddont yn gwneyd y testyn.

Gwel y darllenydd yn awr fel y mae yn bosibl ac yn angenrheidiol i ddiwygio testyn y Testament Newydd. Y mae y posiblrwydd a'r angenrheidrwydd yn cyfodi oddiar y ffaith fod llawysgrifau mwy henafol yn cael eu darganfod, ac fod dysgedigion yn barhaus yn ymberffeithio yn y gelfyddyd o feirniadu.

Wrth chwilio i hanes y testyn o ba un y gwnaed y cyfieithiad awdurdodedig, cawn ei fod wedi ei sylfaenu ar y testyn a wnaeth Beza, ac fod un Beza wedi ei sylfaenu ar yr un a wnaeth Stephens, ac un Stephens wedi ei sylfaenu ar yr un a wnaeth Erasmus. Yr oedd y tri hyn yn eu dydd yn ddynion medrus a dysgedig, ac yr ydym mewn llawer ystyr mewn rhwymau mawr iddynt. Eto yr oedd eu gwybodaeth am feirniadaeth destynol yn dra elfenol, a'u gwaith ar y cyfan yn dra anmherffaith. Heblaw hyny, yr oedd y llawysgrifau a ddefnyddid ganddynt yn ychydig mewn rhif, ac yn ddiweddar mewn dyddiad. Perthynent, o bosibl, i'r drydedd a'r bedwaredd ganrif ar ddeg. Yr oedd un llawysgrif yn cynwys yr Efengylau a'r Actau yn meddiant Beza, yr hon oedd yn perthyn i'r chweched ganrif. Ond ni wyddai efe am ei gwerth, ac ni wnaeth fawr ddefnydd o honi. Ond erbyn heddyw y mae pedair o lawysgrifau wedi eu darganfod yn perthyn i'r bedwaredd a'r bumed ganrif; y mae genym ganoedd o lawysgrifau mwy diweddar yn ychwanegol at y rhai a feddai y tri ysgolhaig uchod; ac y mae genym amryw o gyfieithiadau o'r Testament Newydd o'r ieithoedd Dwyreiniol a berthynent i'r ail a'r drydedd ganrif. Heblaw hyn, y mae y gelfyddyd o feirniadu y testyn wedi cyrhaedd yn agos i berffeithrwydd, ac y mae llafur medrus a diflino y fath ddynion a Mill, Bertley, Griesbach, Lachmann, Tischendorf, Tregelles, ac ysgolheigion mawrion eraill, wedi sicrhau i ni destyn o burdeb nas gellid breuddwydio am dano pan wnawd y cyfieithiad awdurdodedig. Y mae yn canlyn, ynte, os yw y testyn wedi ei ddiwygio, fod eisiau diwygio y cyfieithiad hefyd.

2. *Y mae yr angenrheidrwydd am gyfieithiad diwygiedig yn cyfodi oddiar ragorach dysgeidiaeth Roegaidd.*—Mae y dynion goreu yn dysgu rhywbeth mewn dau cant a haner o flynyddau. Ac nid yw mewn un modd yn drahaus i feddwl fod ysgolheigion ein dyddiau ni yn deall Groeg yn well na dysgedigion dyddiau Iago I. Felly, ynte, y mae genym ni nid yn unig burach testyn, ond hefyd wybodaeth burach o'i iaith a'i ramadeg. O herwydd hyn gellid dysgwyl cyfieithiad gwell. Cawn egluro hyn mewn llithiau dyfodol.

3. Y mae yr angenrheidrwydd am gyfieithiad newydd yn cyfodi oddiar y ffaith *fod cyfnewidiadau lawer wedi cymeryd lle yn yr iaith Saesonaeg* oddiar pan wnawd y cyfieithiad awdurdodedig. Y mae pob iaith fyw yn cyfnewid. Y mae rhai geiriau yn myned allan o ar-

Digitized by Google

feriad, a geiriau newyddion yn cymeryd eu lle. Y mae rhai geiriau yn colli eu hen ystyriaethau,. ac yn derbyn ystyriaethau newyddion. Unwaith yr oedd y gair *carriages* yn golygu *breichiau;* yn awr golyga gerbydau. O herwydd hyn yr oedd eisiau diwygio y cyfieithiad Seisonig drwy ddefnyddio geiriau diweddar ac arferedig.

Tuag at wneyd y cyfieithiad diwygiedig, apwyntiwyd yn y flwyddyn 1870 bwyllgor o ysgolheigion goreu Lloegr. Yr oedd ynddo, heblaw Eglwyswyr, Fedyddwyr, Annibynwyr, Wesleyaid, a Phresbyteriaid. Wedi hyny gofynwyd am gydweithrediad ysgolheigion America; a chafwyd y cydweithrediad hwn gan bwyllgor galluog o gynrychiolwyr mwyaf dysgedig y prif enwadau yn y wlad hon. Cymerodd un-mlynedd-arddeg i wneyd y gwaith, a chyhoeddwyd flwyddyn yn ol y cyfieithiad diwygiedig.

Mewn llithiau dyfodol galwaf sylw at y diwygiadau a wnawd yn y testyn, yn y cyfieithiad ac yn yr ieithwedd.

---

# Bwrdd y Golygydd.

## CREFYDDOLDER.

Y mae nai i Mr. Lazarus Mathias, Mineral Ridge, O., o'r enw John Saunders, wedi bod yn aros yn New York City yn nechreu y flwyddyn, am amryw fisoedd. Argraffydd ydyw wrth ei alwedigaeth, a daeth drosodd o Loegr i wneyd rhyw wasanaeth penodol dros gwmni yn Bath, Lloegr. Y mae yn ddyn yn ei fan goreu, yn 37 oed, yn Gymro rhagorol, yn Fedyddiwr selog, ac yn hynod grefyddol. Dyma ddyfyniad o lythyr a anfonodd at ei ewythr, Mr. Mathias, yn ddiweddar, o ddinas New York:—

"Cawsom gyfarfodydd bendigedig ddoe—amryw wedi troi eu gwynebau tua Seion. Frawd a chwaer anwyl, dyma'r peth pwysicaf o bobpeth. Ddaw pethau'r byd hwn ddim gyda ni yn mhellach nag angau. Mae pethau Iesu o dragywyddol bwys. Mae yn bleser mawr genyf fyned o dy i dy yn y ddinas fawr annuwiol hon, a gwahodd pechaduriaid i ddyfod i glywed am Iesu, a'r hyn a wnaeth er mwyn ein hachub.

Mae yma ganoedd o filoedd o bobl nad ydynt yn myned i un lle o addoliad. Mae yn anhawdd i chwi gredu maint y trueni a'r pechod wyf yn ganfod ar fy nhaith o gwmpas yma. Pe b'ai genyf fodd, gallwn wneyd llawer mwy o ddaioni, ond yr wyf yn gwneyd yr oll sydd yn fy ngallu—ac nid yw hyny ond bychan. Frawd anwyl, gweddiwch drosof. Yr Iesu mawr yw fy anwyl ffrynd, ac mae ef yn ddigon."

Yr oedd yn bleser genym ddarllen yr ymadroddion uchod. Onid yw y fath grefyddolder yn ardderchog, ac yn rhoddi allwedd dda i chwi i gymeriad y dyn. O! na byddai mwy yn debyg iddo. Yn wir, teimlem yn euog wrth ddarllen ei lythyr. O frodyr, mae eisiau i ni fod yn fwy crefyddol, yn fwy selog dros Iesu, ac yn fwy aiddgar dros iachawdwriaeth eneidiau. Efallai y dylem grybwyll yn mhellach fod y dyn ieuanc hwn wedi cyhoeddi llyfr amser yn ol o dan yr enw *Mynegfys*, pris deunaw ceiniog. Cynwysa amrywiaeth hynod ddyddorol ac adeiladol. Mae Mr. Saunders yn enedigol o Sir Benfro, ac y mae iddo frawd yn ddiacon yn eglwys y Bedyddwyr yn Llangloffau, ac yn bostfeistr yn y gymydogaeth.

## AMSEROEDD ENBYD.

Yr ydym yn byw mewn cyfnod rhyfedd ar gymdeithas. Y mae y cuddlofruddiaethau, y cudd-gymdeithasau, a'r bradwriaethau amryfath y clywir am danynt yn Ewrop ac America, yn brawfion diymwad ein bod yn byw ar adeg tra phwysig yn hanes y belen hon. Beth fydd diwedd y pethau hyn? I

Digitized by Google

ba le y mae y pethau hyn oll yn cyfeirio ac yn arwain? Engraifft neillduol o'r hyn y cyfeiriwn ato yw y terfysg yn yr Iwerddon. Mae Mr. Gladstone a'r Rhyddfrydwyr yn gwneyd hyd eithaf eu gallu dros y Gwyddelod, mewn ffordd o weinyddu cyfiawnder iddynt. Ac y mae Mr. Gladstone yn ddyn rhagorol! a dylai y Gwyddelod gusanu ei draed. Ond yn lle gwerthfawrogi yr hyn a wneir erddynt, ymderfysgu y maent hwy. Ac er na feiddiant gyfiawnhau y cwbl a gymer le, eto y mae y pethau gwaethaf a ddygwydd yn ffrwyth eu drygioni a'u terfysg. Y fath waith anfad oedd llofruddio y ddau swyddog yn Dublin! Oni ddylem ddiolch i'r Arglwydd nad ydym ni, y Cymry, fel y Gwyddelod.

## GOHEBIAETH O GYMRU.

Amser yn ol bu llawer o ysgrifenu a siarad yn y wlad hon ar bwnc ystadegaeth grefyddol. Dechreuodd y *St. James Gazette* yn Llundain, a'r *Daily Post* yn Lerpwl, a chyfrif nifer y rhai oeddynt bresenol yn 'yr holl addoldai ar Sabboth neillduol. Dilynwyd esiampl y papyrau hyn gan newyddiaduron eraill dros bron yr oll o'r deyrnas gyfunol, nes y gallesid meddwl fod y papyrau hyn o'r diwedd wedi dyfod i deimlo yn ddwys yn ngwyneb yr esgeulusdra a ddangosid gan y lluaws i foddion gras. Wrth gwrs, mater o ddyddordeb ac elw oedd i'r rhan luosocaf, beth bynag, o'r newyddiaduron, ond ar yr un pryd, gwnaethant wasanaeth pwysig. Yn y trefydd mawrion, yn enwedig, ceid fod esgeulusdra dychrynllyd yn bod, nes peri gofid calon i bob Cristion a dyngarwr. Mae gwahanol farnau o barthed i'r achos o'r diffyg, ac fel y gwahanieithir am natur yr afiechyd, gwahaniaethir, o angenrheidrwydd, am y feddyginiaeth a gynygir. Ar y cyfan mae y Bedyddwyr wedi dod allan o'r prawf ystadegol hwn cystal a neb, a hawdd yw profi fod nifer y gwrandawyr yn ein haddoldai ar gyfartaledd i nifer yr aelodau, yn fwy nag ydynt yn mhlith enwadau eraill. Credwyf mai camsyniad mawr yw tybio mai cael y bobl i'r addoldy rywfodd sydd eisiau. Mae y *Salvation Army* yn llwyddianus iawn i gael y bobl yn nghyd, mae yn wir eu bod yn gallu cyrhaedd y lluaws, ond cwestiwn arall ydyw a fydd y lluaws yn well o'u gweinidogaeth. Dyma yr unig enwad, hyd y gwn i, nad ydyw yn sylfaenedig ar unrhyw athrawiaeth. Ofnwyf nad yw yr ymborth ysbrydol sydd ganddynt fel rheol, yn werth galw pobl yn nghyd ato. Maent yn llygru chwaeth llawer at efengyl bur, yn ddiddadl, ac yn ceisio denu dynion trwy chwareu pob math o offerynau, yn hytrach na thrwy yr *ymadrodd am y groes*. Nid yw poblogrwydd bob amser yn brawf o wir lwyddiant, a gwir y dywedai Mr. Greenhough yn Undeb y Bedyddwyr yr wythnos hon, fod yr Arglwydd wedi gadael i'r anghredinwyr fyned ymaith oddiwrtho. Gofidiai am eu hymadawiad, ond nid oedd yn dewis eu cadw drwy foddion amheus. Da genyf fod amryw o'n heglwysi wedi derbyn ychwanegiadau lluosog drwy fedydd, yn neillduol yn siroedd Caerfyrddin a Chaerynarfon.

Mae y wasgfa fasnachol sydd yn blino ein gwlad wedi effeithio yn ddwys ar lawer o'n heglwysi. Mae dyled fel hunllef ar aml i gapel, y boblogaeth yn teneuo, a'r cyflog a enillir yn fychan. Araf iawn y mae y cwmwl du yn symud hefyd o ffurfafen trafnidiaeth y wlad. Yr oedd Mr. Gladstone, prif wleidyddwr yr oes, a chyfrifydd arianol heb ei fath, yn teimlo yn dra siomedig yn ei swydd o Ganghellydd y Trysorlys, wrth gyflwyno y Gyllideb yr wythnos hon, na buasai ganddo agwedd mwy calonogol i'w roddi, ac na allasai wneyd rhywbeth tuag at ostwng beichiau y trethdalwyr. Ond nis gall efe reoli amgylchiadau. Mae llywodraethu y Gwyddelod yn costio canoedd o filoedd mewn blwyddyn, ac nis gellir eu trin yn y diwedd. Da fyddai genym ni pe gallai eich gwlad fawr chwi lyncu y Gwyddelod i gyd, yna gallem ni sefydlu gwladychfa Gymreig yn yr Ynys Werdd. Hyfryd fyddai cynal cymanfa Gymreig ar lanau llynoedd Killarney. Mae

Digitized by Google

rhyw ysbryd o anesmwythyd yn y byd —rhyw flino ar bob peth hen, am ddim rheswm gwell na'i fod yn hen, ac y mae hyn yn cael ei deimlo mewn cylchoedd crefyddol.

Da genyf ddeall fod Mr. W. M. Evans yn cynyg Esboniad y Teulu a Geiriadur Mathetes am brisiau gostyngol, er mwyn clirio y *stock* sydd ar law, a gallu gorphen y ddau waith pwysig hyn. Credwyf fod gwerthiant da hefyd ar Esboniad Cynddelw ar y Testament Newydd. Bwriada y Parch. T. Lewis, Risca, gyhoeddi Hanes Bedyddwyr Mynwy cyn diwedd y flwyddyn hon. Mae ail argraffiad o lyfr ardderchog Dr. Jones, Llangollen, ar Fedydd, yn ymyl bod yn barod. Addewir cofiant Evans, Dowlais, hefyd ar fyrder, a chofiant Mathetes, gan Spinther, cyn hir. Yr eiddoch yn frysiog,

H. Cernyw Williams.

*Corwen, Ebrill 29, 1882.*

## GOFYNIAD.

Mr. Gol.—Gan fy mod yn dderbyniwr parhaus o'ch cyhoeddiad clodwiw, chwenychwn yn fawr weled yr hyn a ganlyn mewn rhyw gwr o hono. Gan fod gwybodaeth yn ymledaenu, chwaeth yr oes yn cyfnewid, a bod angen cyfarfod â diwylliant yr oes, a chan fod braidd ein holl weinidogion wedi cael manteision addysg, a chenym ninau fel Bedyddwyr Cymreig yn America ond un cyhoeddiad, trwy yr hwn y gallwn hyfforddi ein gilydd; carwn gael gwybod paham, ïe, paham na wnai y rhai hyny a fyddant yn cael eu nodi yn ein Cymanfaoedd i ddarllen papyr ar bwnc crefyddol, eglwysig, neu enwadol, ei anfon i'r Wawr, er lles cyffredinol. Pa le y mae y papyr ar "Gariad Brawdol" gan Thomas D. Evans, Bevier. Gobeithiaf y bydd pawb mor frawdol o hyn allan ag anfon ei bapyr i olygydd y Wawr, onide bydd genyf air ar ddyledswydd ein gweinidogion tuag atom fel pechaduriaid. Carwn yn fawr pe b'ai y Parch. H. C. Parry, D. D., hefyd yn anfon ysgrif ar Ddyngarwch.

*Delta.* William J. Thomas.

## MAN-LEWYRCHIADAU.

— Siomiant mawr i lawer fu gohiriad Cymanfa Palmyra, O., hyd amser anmhenodol.

— Mae y Parch. Daniel Bowen wedi gwella yn bur dda. Ni fydd yn alluog i wisgo *artificial foot* am beth amser, gan fod man y toriad yn rhy dyner.

— Mae arnom eisiau i'r Parch. D. Bowen ysgrifenu hanes prif ddygwyddiadau ei weinidogaeth—y llyfn a'r garw —y deheuig a'r chwithig, yn llyfr haner dolar, o dan y teitl, *Adgofion fy Ngweinidogaeth*. Bydded iddo roddi engreifftiau o bersonau yn dod yn afrosgo at grefydd, ac o eraill yn dod yn iawn.

— Nid ydym yn gwneyd sylw o unrhyw ymosodiadau o dan gysgod ffugenwau.

— Y mae Gwilym, brawd Ednyfed, wedi glanio yn ddiogel, ac yn pregethu yn boblogaidd.

— Onid yw Mr. Gladstone yn cael trafferth anghyffredin gyda y Gwyddelod—y creaduriaid cas.

# Barddoniaeth.

## CYWYDD ALLWYN.

[Cydymdeimlad â'r Parch. Meredith Evans, Dodgeville, Wis., ar farwolaeth ei anwyl ferch, yn dra annysgwyliadwy, o dwymyn yr ymenydd, yn niwedd y flwyddyn 1881.]

Dyma'r adwy, Meredydd,
Drallodus ar ddyrys ddydd—
Dydd eich prawf, duodd eich pryd,
Ar oedfa chwerw adfyd;
Colli eich merch oedd serchawg,
Afar oer i'w gofio rhawg;
* * * * *
Gwelwyd y teulu gwiwlon
Yn iach o bryd heb nych bron,
Heb dristwch wibio drostynt,
Ond siriol, hawddgarol, gynt;
Y tad a'r fam, ddinam ddau,
A'r anwyl blant, a'r enwau
Yn gyfrif ar y gofrestr,
Cyflawn rif cyflwynai'r rhestr;

Digitized by Google

O loewder y ser siriol,
Heb yr un wyneb ar ol;
Ond heddyw gwyw ceir gwedd
Yr unig bruddwawr anedd;
Eu pabell a fydd bellach
Yn nghysgod y beddrod bach,
Lle 'r huna eu lloer anwyl,
Hardd ei gwedd, a'i gruddiau gwyl;
I wylio yr awelon
Groesant fedd, man hedd mwyn hon,
A phelydr yr hoff haulwen,
A wna'i wawr fel Salmon wen;
Hulio'r lle a dail o'r llwyn,
Aneddu blodion addwyn;
Mint a rhos ac effros gwych,
Amryliw Mai areulwch;
Byth-wyrddion pob ceinion cu,
Ac addurn fyddo 'n gweddu
I daclu bedd anedd un
Anwylaf oedd yn eilun;
A gwylio'r gwlith, gloew-wawr glân,
O wythieni lwyth anian,
I ddisgyn ar edyn rhydd
Ar lenyrch y fro lonydd.

* * * * *

Na wylwch ddafnau heli
Gormodol ar ei hol hi;
Ond cofiwch nad yw ceufedd,
A'i draws raib, ond drws i'r hedd;
Daw'r saint glân yn gân i gyd
O grafanc ei lwgr hefyd;
Er dilyn deddf greddf i'r gro,
Tyr y natur hon eto
Ei blagur, mewn dadblygiad
Yn nelw Ion, dirion Dad.
Yn iach mwy cyfyd eich merch
I lawenydd nef lanerch,
I fod o'r anfarwol fyth
Yn ddelw anian ddilyth.

*Bevier, Mo.* CEFNI.

## ADGOF

Am MARTHA ANN HARRIES, Braceville, Ill., yr hon a hunodd yn yr angau Chwef. 23, 1882, yn 21 mlwydd oed.

Ar fin yr hwyr mewn dwfn ddystawrwydd prudd
Y safai rhiaint mewn andwyon erch,
A'r dagrau heilltion dreiglent dros bob grudd,
Tra'n marw 'roedd eu hanwyl anwyl ferch;
Yr haul ymsuddai yn y gorwel pell
Er rhoddi lle i'r siriol leuad wen,
Ond 'hedodd Martha fry i'r wlad sydd well
I fyw'n ddi-boen mewn hedd tu draw i'r llen.

Ei bywyd tra yma oedd lawn o rinweddau,
A phreswyl prydferthwch fel delaid ardd flodau;
Yma ni thyfodd un bigog ysgallen,
Fel rhagrith neu weniaeth neu chwerw genfigen,
Ond blodau tiriondeb oedd yma'n gwasgaru
Perarogl hyfryd i bawb oedd o'i deutu;
Hoff lili gwyleidd-dra oedd hefyd yn gwenu,
A gwridog rôs cariad o hyd yn persawri.
Caed uchel ganmoliaeth i Martha'n wastadol,
Fel teilwng athrawes i'r Ysgol Sabbothol;
Y plant dan ei gofal a gaent eu diwallu,
Ag hanes dyddorol y bachgen bach Iesu;
Ond er ei gweithgarwch a'i haml rinweddau,
Daeth angau iw symud drwy loesion a phoenau.
Ond yn y cyfyngder hi waeddai yn eon,
Fod Iesu yn gyfaill yn ymchwydd yr afon.
Gwag mwy fydd ei lle yn yr Ysgol Sabbothol,
A'i chwmni a gollwyd o'r cyrddau wythnosol;
Ei cholli o'r teulu drodd bobpeth yn chwerw,
A'i lle yma erys byth mwy heb ei lanw.
Machludodd haul bywyd cyn croesi'r cyhydedd
A Martha yn ieuanc gymerwyd i'r dyfnfedd;
Diangodd ei henaid o fyd y gofidiau,
I fyw yn dragwyddol yn y nefol ororau,
A'r rhiaint hiraethlon alarant yn gyson,
Tra Martha yn ddedwydd yn nghwmni'r angylion.

*Braceville, Ill.* ARIANFWYN.

## CYFAMOD GRASOL DUW.

Y Drindod sanctaidd wnaeth gyfamod.
Yn berffaith unol, tri mewn undod,
Yr hwn a bery yn ddi-ddarfod,
Am fod ei seiliau yn yr hanfod.

Duw y Tad yn Gyfamodwr,
Iesu Grist yn wir Gyfryngwr,
'R Ysbryd Sanctaidd yn goleuo,
Argyhoeddi a sancteiddio.

Yn ei gwymp aeth dyn yn elyn,
Ac yn wrthddrych gwae diderfyn;
Ond trwy ras cyfamod dwyfol,
Dygir ef i hedd tragwyddol.

*Given, Iowa.* DAVID JENKINS.

## Y Maes Cenadol.

GAN Y PARCH. W. F. DAVIES, NANTICOKE, PA.

Pan edrychom ar y byd paganaidd bedwar ugain mlynedd yn ol, pa fodd yr oedd Asia yn cael ei gorchuddio gan dywyllwch Aiphtaidd, a bywyd tramorwr yn y perygl mwyaf yn mhob man ynddi (oddigerth India Brydeinig); Affrica (oddigerth Cape Colony), yn wlad y tywyllwch a chysgod angau, heb drefn, a'i dorau yn gauedig yn erbyn pawb ond caeth-fasnachwyr; Australia ac ynysoedd y mor yn enwau ag oedd yn peri i waed llawer morwr bron

Digitized by Google

i rewi yn ei wythienau, am y posiblrwydd iddo trwy long-ddrylliad gael ei fwrw ar rai o honynt, a syrthio i afaelion eu preswylwyr creulon a di-ddynoliaeth; gwelwn fod cyfnewidiad mawr, a hyny er gwell, wedi cymeryd lle. Heddyw mae dorau fyrdd wedi eu hagor â chenad hedd, rhagflaenydd cynydd a gwareiddiad, wedi cyrhaedd calon oer a thywyll y cyfandir Affricanaidd, rhoddi goleuni gwell i ynysoedd y môr, a chyrhaedd braidd holl lwythau Asia, oddieithr y rhai sydd ar ucheldiroedd y Thibet, y rhai a ymddangosant yn awr fel y diweddaf o lwythau y ddaear i ddod a'u rhoddion i Fab y Brenin tragywyddol. Mae er dechreu y ganrif hon welliantau mawrion a symudiadau pwysig wedi cymeryd lle, sydd wedi effeithio yn ddirfawr er dwyn llwythau a chenedloedd pell y ddaear yn gymydogion agosach, ac yn gyfeillion gwell. Fel mae pob rhan o'r corph dynol trwy y giau yn cael eu dwyn ar unwaith i gydymdeimlo ag unrhyw ran o hono a niweidir, felly dyga y pellebyr heddyw wahanol lwythau y ddaear yr un adeg i feddianu yr un teimladau. Nid yw pellder yn cael son am dano fel y bu, ac nid yw o gymaint rhwystr. Trwy y gwelliantau diweddar, mae yr holl deulu dynol fel wedi eu dwyn o dan yr un gronglwyd; ac os dygwydd rhywbeth anarferol i un o aelodau y teulu yn y nos, bydd y lleill oll yn gwybod am dano yn y boreu. Mae y cyfnewidiadau pwysig sydd wedi bod ar fyd er dechreu y ganrif hon yn teilyngu ein sylw difrifolaf ni. Gyda y cyfryngau gwell hyn yn ein gafael, dylai mwy o waith dros Iesu gael ei gyflawni. Gwir fod mwy wedi ei gyflawni i ledaenu yr efengyl er dechreu y ganrif nag a wnaed yn yr holl ganrifoedd blaenorol i hyny; ond dysgwylia Duw, a hyny yn gyfiawn, i ni yn yr oes hon ragori ar ein tadau gymaint, a mwy, na'r hyn y rhagorodd ein tadau ar y rhai oedd wrth y gwaith o'u blaen hwy. Mae sêl a brwdfrydedd cenadol yn llawer mwy heddyw nag y bu, ond gall fyned ar gynydd eto.

Er cymaint sydd yn bleidiol i'r gwaith da, mae miloedd yn ein heglwysi hyd yma yn hollol ddifater, yn teimlo dim dyddordeb yn hanes y gwaith, na chyfranu dim at ei hyrwyddo yn mlaen. Pe delai holl aelodau ein heglwysi i deimlo y dyddordeb yn y gwaith, a chyfranu tuag ato yn ol fel mae Duw yn eu llwyddo, byddai Asia, Affrica ac America, yn fuan yn llawn o demlau i Arglwydd y lluoedd, pob craig yn adsain moliant y Gwaredwr, pob awel yn llwythog o beroriaeth ysbrydol, a phob pagan anwybodus wedi ei wneyd yn ddoeth i iachawdwriaeth.

Daw adeg, yn hwyr neu hwyrach, na fydd eisiau anfon cenadon o America a manau eraill, oblegid bydd y brodorion dychweledig yn alluog eu hunain i gario y gwaith yn mlaen. Mae agosrwydd neu bellder cyfnod o'r fath yn ymddibynu yn hollol ar yr ymdrech presenol. Darllenasom fwy nag unwaith mai un o'r nodweddion cyntaf yn mywyd ysbrydol y brodorion dychweledig i ddangos ei hun ydyw yr un genadol. Nid yn fynych y bydd eisiau dweyd wrth yr un o honynt, "Pan y'th droir, cadarnha dy frodyr." "Derbyniasoch yn rhad, rhoddwch yn rhad." Ond byddant braidd yn ddieithriad, fel Andreas yn myned i chwilio am ei frawd Simon, a dywedyd wrtho, "Cawsom y Messias." Wedi i Iesu gael Phylip, a dweyd wrtho, " Canlyn fi," aeth Phylip i chwilio am Nathanael. Mae hyn yn nodwedd o wir grefydd lle bynag y plenir hi. Un o'r gwersi cyntaf mae crefydd yn ddysgu i'r dyn yw dysgu iddo edrych allan o hono ei hun —rhoddi ei hun er mwyn eraill. Mae y paganiaid dychweledig, fel rheol, yn dangos y nodweddiad hwn; ymawyddant am ddwyn goleuni gwybodaeth yr iachawdwriaeth i'w brodyr.

Tair blynedd yn ol, daeth dyn ieuanc i'r Athrofa Dduwinyddol yn Rangoon, Kareniad o genedl, o'r enw Paw McLaw. Yn union wedi dod yno, hysbysodd yr athrawon mai nôd ei fywyd ydoedd myned yn genadwr. Nid oedd am fyned yn genadwr lle yr oedd rhyw genad yn llafurio yn barod, ond gofynai am fan lle nad oedd yr un cenad na phregethwr wedi bod erioed. Hefyd, yr oedd am fyned lle nad oedd

Digitized by Google

neb arall yn foddlon myned, os oedd y fath le i'w gael. Er bod yn alluog i fyned i'r fath le, yr oedd wedi penderfynu byw heb gymeryd gwraig. Wedi iddo orphen ei gwrs athrofaol, cafodd anogaeth i fyned yn genadwr at y Shaniaid; ond cyn cychwyn, yr oedd yn rhaid iddo gymeryd gwraig, yr hyn yr oedd ar y cyntaf yn dra anfoddlon ei wneyd. Modd bynag, credai fod ei gyngorwyr yn gwybod yn well nag ef, ac aeth i chwilio am un o'r un ysbryd ag ef ei hun, a chafodd hi. Ymadawsant o Rangoon, ac yn mhen mis yr oeddent wedi cyrhaedd Bhamo. Yn union wedi cyrhaedd, dechreuasant ar eu gwaith. Mae Paw M'Law yn chwareuwr da ar y *concertina*, ac yr oedd wedi myned a hwnw gydag ef. Y ffordd y casglai y gynulleidfa at eu gilydd oedd myned i mewn i dy a dechreu chwareu ar ei hoff offeryn, a buan y byddai ganddo dy llawn o wrandawyr. Ond er eu cael at eu gilydd, nid oedd yn cario dylanwad neillduol arnynt, am fod eu hiaith i raddau yn ddyeithr iddo. Cafodd le i agor ysgol yno, ac yn yr ysgol hono byddai yr athraw yn dysgu y plant, a rhai o'r plant weithiau yn dysgu yr athraw, a thrwy gymorth rhai o'i ysgolheigion meistrolodd yr iaith, a daeth yn alluog i bregethu yn rhwydd ynddi. Ysgrifenodd lythyr yn ol at ei frodyr yn Rangoon, yn eu hysbysu ei fod wrth fodd ei galon gyda'i waith. Gofidiai fod y fath boblogaeth yn Bhamo, a dim ond dau i bregethu y gair iddynt; eto penderfynodd na fuasai yr oll a allai ef wneyd ddim bod yn ol. Gan ei fod wedi hogi ei gleddyf, yr oedd yn benderfynol o'i ddefnyddio, hyd nes y byddai i Gadben mawr ei iachawdwriaeth ei alw oddiar y maes i'w orphwysfa.

Mae yn ddyddorol sylwi ar y modd mae Duw yn peri i wledydd pellenig gynorthwyo y naill y llall.

Yn y flwyddyn 1877, pan oedd Colman a Wheelock yn myned i Burmah, cafodd amryw o frodyr Swedaidd ag oedd ar y llong eu dychwelyd at Fab Duw, ac aethant a'r gwirionedd adref i'w brodyr. Ar ol hyn, aeth merch i genadwr yn Burmah i Sweden gyda'i gwr, yr hwn oedd yn frodor oddiyno, a gwasgarodd hithau beth o'r goleuni yno. Felly mae Sweden wedi derbyn ddwy waith fendithion ysbrydol o Burmah. Mae Sweden yn estyn ei dwylaw eto yn awr at Burmah, nid i dderbyn, ond yn awr i roddi. Yn ddiweddar, galwodd Moung Edwin, un o'r Pow Kareniaid, yr hwn fu yn y wlad hon am ddeuddeng mlynedd. Yr oedd yr ysgrifenydd ag yntau yn yr un dosbarth yn Crozer Seminary, yn Sweden, a chariodd ddylanwad mawr ar feddyliau y bobl, a chasglodd yno dros fil o *rupees* at y gwaith cenadol yn Burmah. Y rhai cyntaf i dderbyn o'r drysorfa hon yw Pow M'Law a'i wraig, yn Bhamo. Gwir ddywedodd yr Iesu, "Wele, yr wyf fi gyda chwi bob amser hyd ddiwedd y byd."

---

## HANESION CARTREFOL.

### Anghymeradwyo Awdurdodau Hyde Park, Pa.

I. Eu cymwysiad nas gellir ei ategu. Myn B. Hughes, yn y Wawr am Mai, 1882, mai "at eglwys y B. yn Hyde Park, a'i gweinidog presenol, yr oedd ysgrif y *Wasg*, Mawrth 18, yn cyfeirio yn uniongyrchol." Minau a dystiaf nad oedd yn cyfeirio yn uniongyrchol, yn anuniongyrchol, nac un cyrch arall, at yr eglwys hono. Tystiaf hyn i ddydd marwolaeth, dydd barn, a dydd dadleniad y dirgelion. Mwy fy manteision i na neb yn Athen i wybod hyn, a gwn y credir fy ngair i yn mhob llan a llys yn llawn cynted a'm gwrthwynebwr.

II. Eu cyhuddiad nas gellir ei brofi. Meddai B. H., "Ac yn gymaint a bod yn yr ysgrif gyfeiriadau angharedig at eglwys Fedyddiedig Hyde Park," &c. Dim gair am dani, B. H., nac am danoch chwi, na neb ynddi erioed nac yn dragywydd. "Ensyniadau fod yr eglwys hon wedi ymddwyn yn anweddaidd, yn anfoneddigaidd, ac anfrawdol, ato ef." Dim erioed, ond B. H. ei hun sydd yn cyfansoddi. Mentro yn mhell yw hyn, Mr. Hughes, ac ni

ddylech anghofio clorian cydwybod, llys y wlad, a rheithwyr teg, canys y mae cosb ar ddyn a godo ac a daeno anwiredd ar ei gyd-ddyn.

III. Eu condemniad nas gellir ei ddal i fyny. Am y gweinidogion heb eglwysi yn yr enwad y soniwyd am dano yn y *Wasg*, Mawrth 18, nis gwn i, ond cofnodais y nifer a roddwyd i mi. Eithr darllened B. H. a'i blaid gofnodion Cymanfa y B. yn Reading, Pa., Hydref 19, 1881, a gwelir yno fwy na chant o weinidogion y B. heb eglwysi yn Mhennsyvania ei.hun. Darllener y "Baptist Encyclopædia," ddiwedd 1881, ac o dan y gair Wisconsin y mae a ganlyn: "There are in this State scores of cities, towns and villages, without any Baptist Church, and one hundred of our ordained ministers without a field of labor." Ac nid cyfansoddi yw hyn, ond cofnodi manylion yr enwad am dano ei hun; ac os gwawdio a bychanu yw hyn, yna y mae gwirionedd yn wawd, a thegwch yn ddirmyg.

IV. Eu cyhoeddiad nas gellir ei gredu. Mynega B. Hughes am "yr eglwysi gweinion o ddechreuad diweddar, ac mewn lleoedd newyddion." Eithr oni wyr efe am lawer o gapeli a gauwyd, eraill a werthwyd am eu dyled, eraill heb fwy na dau aelod yno, ac eraill yn rhy dlawd i gael pregethu ond unwaith bob dau fis neu dri. Dechreuodd y rhai hyn, nid "yn ddiweddar, ac mewn lleoedd newyddion," ond deugain, ie, haner can' mlynedd yn ol. Amheued B. H. hyn, ac mi a'u nodaf iddo. "Yr anwir a ddaw i gywilyddio." Ac nid nid yw y Saeson yn y manau a nodir nemawr ddim yn rhagori, a hyn hefyd ga ei brofi.

V. Eu cyflogiad nas gellir ei gyferbynu. Mynega B. H. am danaf fi: "Tra y mae efe ei hun wedi cyrhaedd safle uwch, ac wedi, ac yn derbyn mwy o gyflog nag a dderbyniodd erioed yn yr Hen Wlad." Eithr mi a dderbyniais fwy o gyflog yno cyn i mi weled America erioed, nag wyf yn gael ynddi, a saif y gwir wedi i'r mynyddoedd adael eu sylfaeni. Traddodwyd yr anerchiad y dadleuwn am dano mewn Talaeth arall, i enwad gwahanol i'r Bedyddwyr, ac i eglwys nad oedd nemawr lwyddiant ynddi, ac felly nid gwir yr eiddigeddu y sonia B. H. am dano.

VI. Eu camweddiad nas geilir ei esgusodi. Miloedd eich darllenwyr a ymholant, pa le yn yr anerchiad yn y *Wasg*, Mawrth 18, 1882, y mae y gair Hyde, yr enw Park, neu awgrym i'r eglwys Fedyddiedig yno? Ac y mae ysgrif Benjamin Hughes yn y *Wasg*, Ebrill 29, ac yn y WAWR am Mai, 1882, yn gamgyhuddiad ofnadwy, ac yn syched mawr am waed ar allor dialedd. Ond nid yw fy ngwaed i yn rhagori ar y gwaed a glywir heddyw yn gwaeddi.

Yr eiddoch dros y cyfiawn,
D. W. MORRIS.

---

CYFARFOD YMADAWOL

*Y Parch. D. Rhoslyn Davies o Kingston i Pittsburgh, Pa.*

Yr oedd capel y Bedyddwyr yn Kingston, Pa, wedi ei lanw a chynulleidfa barchus iawn nos Iau, Mai 3, ar yr achlysur o ymadawiad y Parch. D. Rhoslyn Davies. Yr oedd yno bersonau anrhydeddus o Hyde Park, Taylorville, Parsons, Wilkesbarre, Nanticoke, Plymouth, &c., heblaw canoedd o drigolion Kingston, yn cynrychioli y gwahanol enwadau yn y lle, a phawb, gallasem feddwl, wedi rhoddi eu presenoldeb yno er mwyn dangos eu hedmygedd o'r hyfwyn weinidog oedd ar ymadael o'r gymydogaeth. Galwyd ar y Parch. T. M. Griffiths, diweddar o Gymru, i ddechreu yr oedfa, drwy ddarllen a gweddio, yr hyn a wnaeth yn effeithiol iawn; yna etholwyd yr hybarch J. P. Harris, Providence, yn Gadeirydd y cyfarfod, a'r Parch. D. S., Thomas, St. Clair, yn Ysgrifenydd. Darllenwyd llythyr oddiwrth y Parch. T. Cynonfardd Edwards. Kingston, wedi ei ysgrifenu yn Clifton Springs, N. Y. Canwyd gan barti M. J. Davies yn dda iawn. Dywedwyd ychydig yn effeithiol gan y Parch. W. F. Davies, Nanticoke. Yna cafwyd an-

Digitized by Google

erchiad gan y Parch. W. D. Thomas, Parsons, ac un arall gan y Parch B. W. Thomas, Hyde Park. Yn nesaf cafwyd anerchiad barddonol gan y cadeirydd. Siaradodd y brawd Jonah A. Davies, Ysgrifenydd eglwys Kingston, ychydig eiriau i'r pwrpas. Cyflwynodd ar ran yr eglwys a'r gynulleidfa oriawr ysblenydd i Mr. Davies, a cherfiad priodol arni. Diolchodd Mr. Davies am y teimlad a'r anrheg yn ddyladwy a phriodol iawn.

Yn nesaf darllenwyd gan y Parch. J. W. Williams, D. D., Hyde Park, ar gais y Llywydd, Dysteb y Gweinidogion i'r Parch. D. R. Davies, yr hon oedd fel y canlyn :

"*Anwyl Frawd*—Mae eich ymadawiad o'r gymydogaeth hon ar ol llafur diflino a llwyddianus am gymaint o flynyddau, i faes newydd ac eang yn y rhan orllewinol o'r Dalaeth, yn symudiad mor bwysig yn eich bywyd, ac yn gyfnewidiad mor annysgwyliadwy yn eich cylch gweinidogaethol, ag i roddi cyfleusdra i ni ddatgan ein gwerthfawrogrwydd o'r safle yr ydych wedi gyrhaedd yn ein plith. Mae deng mlynedd o fywyd yn unrhyw gylch o ddefnyddioldeb yn rhoddi manteision lawer i gydoeswyr a chydlafurwyr Duw i ffurfio barn o berthynas i'r elfenau a gyfansoddant ei gymeriad, yn neillduol felly pan mae yr elfenau hyn yn dyfod i gyffyrddiad a'r egwyddorion penaf, yn weithredol yn y safle uwchaf, ac yn cael eu hamgylchu gan y goleuni cryfaf sydd yn wybyddus i'r byd hwn. Mae eich bywyd chwi, yn ei wahanol agweddau, yn hollol adnabyddus i'r eglwysi Bedyddiedig, ac i'ch brodyr yn y weinidogaeth, yn y rhan hon o'r Dalaeth, yn ystod y tymor hwn, ac yr ydym gyda llawenydd, ar yr adeg hon, yn dymuno datgan a chofnodi ein barn uchel am danoch fel dyn, dinasydd, Cristion, a gweinidog da i Iesu Grist.

Bydd eich symudiad o'r ardal hon yn golled i eglwysi Crist, ac i'r Gymanfa o'r hon yr oeddych yn aelod ; ond yn enill ac yn gaffaeliad mawr i'r frawdoliaeth yn maes dyfodol eich defnyddioldeb.

Yr ydym o galon yn cydymdeimlo a'n brodyr yn Kingston yn eu colled, a deimlant wrth gael eu hymddifadu o wasanaeth bugail mor ofalus, a gweinidog mor ffyddlon ; ac yn llongyfarch ein cyfeillion yn Pittsburgh ar ddyfodiad i'w plith un sydd yn teilyngu y parch a'r ymddiriedaeth uchaf, ac un a fydd, ni a gredwn, yn foddion yn llaw Duw i godi yr achos da yno i safle uwch nag y gwelwyd ef erioed o'r blaen.

Wrth ddymuno i chwi, anwyl frawd, fywyd hir a llwyddianus yn eich maes newydd, da genym feddwl y byddwn yn parhau yn gydlafurwyr a chwi yn yr un winllan, ac i obeithio y cawn eto gwrdd, a hyny mewn gwlad well, ac mewn cymdeithas uwch a pharhaus.—Ydym, yr eiddoch yn rhwymau yr efengyl—J. P. Harris, Theophilus Jones, J. W. Williams, D. S. Thomas, W. F. Davies, W. D. Thomas, D. R. Jones.
J. R. PRICE.

*Kingston, Pa., Mai* 3."

Yna siaradodd Dr. Williams ychydig eiriau ar yr achlysur, yn dra phwrpasol. Yna cafwyd cân gan Mr. Evan Arthur, yn wir dda. Gwasanaethodd Mr. David S. Thomas, Kingston, fel organydd, yn dderbyniol iawn. Cafwyd sylwadau tarawiadol gan y Parchedigion D. S. Thomas, James Price, a Theophilus Jones. Yna cafwyd cân gan Mr. John T. Jones yn dra swynol, a diweddwyd y cyfarfod dyddorol, trist-llawen hwn drwy weddi gan y Llywydd. D. S. THOMAS.

*St. Clair, Pa.*

---

NEWBURGH, OHIO.

Nos Sabboth, Mai 21, cynaliodd Ysgol Sabbothol y Bedyddwyr yn y lle uchod, gyfarfod dyddorol a gwir adeiladol. Llywyddwyd yn fedrus gan Edward Rodway, a'r gweinidog, y Parch. J. F. Richards. Canwyd amryw ddarnau yn ardderchog gan gôr y plant, a dysgwyd ac arweiniwyd hwy gan y cyfaill ffyddlon, Proff. Daniel Rees. Yr organydd oedd y cyfaill ieuanc Mr. Cowles. Yr holwyddoreg i'r plant gan L. L. Williams, yn dangos llawer o

lafur. Yr oedd yr ymddyddan rhwng y Fam a'r Ferch yn ddoniol ac effeithiol, gan Wm. Rees a'i ferch. Cymerwyd rhan hefyd mewn adrodd a chanu gan Catherine Rees, W. Edwards, T. Edwards, Mary Davies, Mary Jane Rees, D. Rodway, Mary E. Jones, Mary Weaver, Mary Ann Vale, Lizzie Job, Marshall Rodway, Annie Wright, Mary Cowles, Sadie Davies, Mary Ann Davies, Willie Jones, Silas Edwards, Mr. David Parry, a Mrs. J. Richards. Y mae yr Ysgol Sabbothol yn cynyddu yn gyflym, a'i sefyllfa bresenol yn wir adlewyrchu anrhydedd ar ein Llywydd gweithgar, Mri. Edward Rodway, a'r Proff. D. Rees.—*Ioan.*

---

FROSTBURGH, MD.

*Mr. Gol.*—Mae yn dda genyf gael hysbysu am yr ychwanegiad at yr eglwys yn y lle hwn. Bedyddiwyd 4 dydd Sabboth Mai 22, a rhoddwyd deheulaw cymdeithas i ddeg i gyd—rhai wedi eu bedyddio o'r blaen, felly yr ydym wedi derbyn 14 i mewn i'r eglwys, oll wedi eu bedyddio ond un, sef chwaer yn dychwelyd o dir gwrthgiliad. Tua diwedd mis Ebrill y daeth y rhai cyntaf, fel yr hysbyswyd o'r blaen, ac yr ydym wedi cael amser hyfryd hyd yn hyn. Y mae 29 wedi eu hychwanegu at yr eglwys yn ystod y flwyddyn ddiweddaf. "Yr Arglwydd a wnaeth i ni bethau mawrion, am hyny yr ydym yn llawen."

Y mae y gweithiau yn y lle hwn yn sefyll er's dau fis, ac nid oes neb yn gweithio trwy yr holl ddyffryn.-*Brawd.*

---

EGLWYS WILKESBARRE, PA.

Dymunir hysbysu mai Mr. D. D. Roderick yw Ysgrifenydd eglwys Bedyddwyr Cymreig y lle uchod yn bresenol, fel y byddo gweinidogion yn gwybod at bwy i ysgrifenu. Yr eiddoch yn barchus—*D. D. Roderick.*

---

GALWAD I WEINIDOG.

Nos Sabboth, Ebrill 30, 1882, penderfynodd eglwys y Bedyddwyr yn Mahanoy City roi galwad i'r Parch. D. S. Thomas i ddyfod i'w bugeilio yn rhanog ag eglwys St. Clair; ond ofnir yn awr fod eglwysi Shenandoah, yr un Gymraeg a Saesoneg, drwy eu galwadau unfrydol, taer, a phrydlon, wedi cael y blaen ar Mahanoy, ac mai i Shenandoah yr ā y brawd. Deallwn ei fod wedi addaw dechreu yn Shenandoah dechreu Mehefin.

---

SHERMAN, OHIO.

Ebrill 12, 1882.—Cawsom ein breinio yma yn helaeth y Sabboth diweddaf trwy gael gwrandaw y Parch. D. C. Thomas (Christopher Bach), Niles, O. Pregethodd ddwywaith—y boreu yn Gymraeg, a'r hwyr yn Saesneg, a gallaf ddweyd yn ddibetrus, i ni gael gwledd i'r meddwl; a gallaf ddweyd hefyd fod drws agored yma i Christopher Bach bob amser, a da yw genym ei weled yn troi atom wrth fyned heibio. Da iawn genym ei weled yn edrych mor iach ac hardd ei wedd, tra ar yr un pryd mae olion galar yn ganfyddadwy arno, yn herwydd colli ei anwyl ferch yn mlodau ei dyddiau. Deallwyf fod y fam a chalon ddrylliog iawn, iawn. Duw o'i ras a gynorthwyo ein hanwyl frawd a chwaer i ddal y storm, ac i leddfu y galar, gan gofio fod yn aros ryw

"Gyfarfod hyfryd iawn."

EILIANYDD.

---

*BEDYDDIWYD—*

*Church Hill, O.*—Sabboth, Ebrill 9, 1882, oedd Sabboth a hir gofir gan eglwys Fedyddiedig y lle hwn. Ar y dydd uchod gwelwyd pedwar-ar-ddeg o bobl ieuainc ein Hysgol Sul yn talu gwarogaeth i'r ordinhad o fedydd, saith o ferched a saith o fechgyn. Nis gwelwyd erioed o'r blaen yn yr eglwys gynifer yn cael eu bedyddio ar yr un Sabboth. Nid oedd y tywydd yn ffafriol iawn, er hyny yr oedd torf fawr ar lan y dwfr. Aeth y bedydd yn mlaen yn anrhydeddus—pawb yn edrych ac yn gwrando gyda'r symlrwydd a'r dirifoldeb a weddai ar amgylchiad o'r fath.

Digitized by Google

Yr ydym ni fel eglwys yn teimlo mai braint fawr ydyw gweled cynifer o ddeiliaid yr Ysgol Sul yn dyfod yn ddeiliaid teyrnas nef. Dymunem o'n calon ras iddynt oll i ddal yn ffyddlon hyd y diwedd. Y mae yr Ysgol Sul yn dra blodeuog yn bresenol, o dan arolygiaeth y brawd gweithgar David Griffiths; rhifa dros gant bob Sabboth, ac y mae yn llawn bywyd a gweithgarwch. Yn wir y mae yr eglwys hon yn hynod o lewyrchus er pan y daeth y Parch. W. J. Williams yma yn weinidog. Yr ydym wedi gweled llawer o afradloniaid yn troi yn ol, ac y maent hwy yn ymaflyd yn y gwaith gyda mwy o yni Cristionogol nag y buont erioed o'r blaen. Y mae sefyllfa yr eglwys yn hynod o gysurus—pawb yn gytun, ymdrechol, a gweithgar, fel y mae pob cyfarfod yn lluosog, bywiog, ac adeiladol. Y mae y capel yn llawn o wrandawyr astud yn gwrando pregethiad yr efengyl, a llawer yn cloffi rhwng dau feddwl; y maent megys ar ddyfod i mewn atom. Ein gweddi yw, bydded i'r Arglwydd yn ei ras a'i drugaredd, ymweled â hwy yn fwy effeithiol, nes eu denu ar ei ol yn gyfan gwbl.

BRAWD.

---

## *GANWYD—*

Ebrill 12, 1882, yn Audenried, Pa., mab i'r Parch. T. D. Evans a'i briod. Gelwir ef yn Rhoslyn Evans.

Ebrill 16, 1882, yn Audenried, Pa., merch i William Hitchins a'i briod. Gelwir hi Mary Hitchins.

---

## *PRIODWYD—*

Ebrill 10, 1882, yn nhy mam y briodasferch, gan y Parch. D. R. Jones, Mr. John W. Johns, diweddar o Ty'rffil, Sir Fynwy, a Miss Elizabeth Jones, diweddar o Rhymni, o'r un Sir, ond yn bresenol o Plymouth, Pa.

Mai 13, 1882, yn nhy tad y briodasferch, gan y Parch. James R. Price, Mr. John Palmer a Miss Elizabeth Williams, y ddau o Kingston, Pa.

Mai 2, 1882, yn Hyde Park, gan y Parch. J. W. Williams, D. D., Mr. William Lewis a Miss Mary Lewis, y ddau o Hyde Park, Pa.

## *BU FARW—*

---

### MARW GOFFA.

#### MR. WM. WARLOW, MARY HALL, A BERTHA JONES RICHARDS.

Yn ystod wyth mlynedd o amser yn y weinidogaeth efengylaidd, mae yr ysgrifenydd wedi bod yn gweinyddu ar lan dros gant o feddau agored, yn y rhai y gosodid cyrph difywyd cynifer a hyny o drigolion Summit Hill a Lansford. Llawer gwaith y gorfu iddo wrthweithio ei deimladau i'r dyben o allu myned drwy y gwasanaeth angladdol yn deilwng o un yn credu yn adgyfodiad y meirw, ac yn y dystiolaeth ddwyfol fod "pob peth yn cydweithio er daioni i'r rhai sydd yn caru Duw." Er pan wyf wedi ymadael o hen faes fy llafur, mae amryw o'm ceraint wedi ymadael, a chyfeillion fyrdd wedi ffoi o'r anialwch "i'r beraidd baradwys i fyw." Claddwyd yr hyn oedd farwol o rai o honynt yn fy absenoldeb, am y methwn gyrhaedd yno yn brydlon. Ond gweinyddwyd yn Gristionogol gan fy olynydd, y Parch. Henry Thomas, a gwn y maddeua ei galon fawr i mi am linellu fel hyn i'r WAWR, goffadwriaeth tri a ddysgais i'w caru a'u parchu tra yn y fuchedd hon—tri yr erys eu henwau yn anwyl i mi tra yn cofio ymdaith yr anial.

WILLIAM WARLOW

yw y cyntaf. Yn nghymydogaeth Hwlffordd, Penfro, Mawrth 11, 1821, y ganwyd ef. Mary Jones oedd enw morwynig y ferch a gymerodd yn ymgeledd gymwys iddo, ac yn Merthyr Tydfil y priodasant. Ymfudasant i'r wlad hon tua 34 o flynyddoedd yn ol, a buont yn byw yn Cumbola, Brookfield, Tamaqua, Summit Hill, Danville, Fillmore, a manau ereill. Ond yn Summit Hill y treuliodd y rhan fwyaf o'i fywyd Americanaidd, ac yno y bu farw Chwefror 17, 1882, ac y claddwyd ef Chwef. 19. Gweinyddwyd yn y ty ac ar lan y bedd gan y Parch. Henry Thomas, a'r Odyddion. Gadawodd briod a mab a merch yn yr anial i alaru eu colled o briod gofalus a thad tyner. Mab iddo ef yw y Parch. Wm. Warlow, gweinidog gyda'r Bedyddwyr yn Munica Hill, N. J. Yn Summit Hill, Pa., yn y fl. 1854, y gwisgodd Grist am dano yn y bedydd—y Parch. D. Evans yn gweinyddu. Parhaodd y brawd Warlow yn ffyddlon hyd y diwedd. Yr oedd yn harddu ei broffes â bywyd moesol, gonest, fel dyn sobr, diwyd, a charedig; yr oedd yn foddlon gwneyd yr hyn a allai yn yr eglwys—defnyddio ei dalent neu dalentau. Yr oedd iddo barch ac ymddiriedaeth yn yr eglwys, fel y dangoswyd yn ei osodiad yn ddiacon ac ymddiriedolwr am lawer o flynyddau. A chymeryd holl fywyd crefyddol y brawd Warlow i ystyriaeth, diau ei fod mor ddifai a'r amlaf o broffeswyr crefydd. Yn ei farwolaeth collodd yr eglwys yn Summitt Hill aelod da. Mae

Digitized by Google

genym hyder cadarn, er fod y *miner's consumption* wedi dinystrio ei babell bridd, fod meddyginiaeth y groes wedi gwellhau ei enaid, a'i fod erbyn hyn yn y "ty, nid o waith llaw, tragywyddol yn y nefoedd." Dedwydd boed ei dragywyddoldeb, a gwenau Duw fyddo ar y galarwyr sydd ar ei ol.

MARY HALL.

Mae y chwaer anwyl hon hefyd wedi ein gadael. Ganwyd hithau yn nghymydogaeth Hwlffordd, yn y flwyddyn 1840. Merch ydoedd i William a Margaret Reymond. Ymddengys iddi golli ei thad yn afon angau pan nad oedd hi ond ieuanc. Bu hi a'i mam yn byw yn Merthyr Tydfil, D. C., ac oddiyno y daeth i'r wlad hon yn 1865. Priododd â Mr. James R. Hall, Builder, Lansford, yn Summit Hill, Pa., yn 1866—y Parch. A. J. Morton yn gwasanaethu, yr hwn hefyd a gafodd y pleser o'i chydgladdu gyda Christ yn y bedydd, a'i derbyn yn aelod o eglwys y Bedyddwyr yn Summit Hill, yn 1867. Ganwyd iddynt naw o blant, tri o ba rai sydd wedi marw, ac y mae chwech yn fyw yn ngofal eu tad yn Lansford. Ciliodd llawer o oleuni dydd ein brawd James R. Hall pan fu farw ei anwyl Fair, Tachwedd 12, 1881; a chladdwyd cryn lawer o'i obaith daearol a theuluol gyda hi, Tachwedd 15, pryd y gweinyddwyd gan y Parch. Henry Thomas, Lansford. Yr oedd Mary Hall yn wraig dda, yn fam dyner, yn gymydoges garedig, yn aelod eglwysig hardd, ac yn grefyddwraig selog. Yr oedd yn hynod o garedig i weinidog yr eglwys.

BERTHA JONES RICHARDS.

Dyma yr olaf o'r tri enw y cyfeiriaist atynt yn fy rhaglith. Merch ydoedd hon i'r ymadawedig David A. Jones (Tredegar), a fu farw Rhagfyr, 1880, yn Lansford, Pa. Nis gwn yn iawn pa le y ganwyd hi, ond credwyf mai yn Tamaqua Priodwyd hi â Mr. Lewis Richards yn Lansford, gan yr ysgrifenydd, Awst 1, 1876. Cafodd y teulu hwn dri o blant—dau yn awr yn fyw yn ngofal eu tad, a theulu eu mam, a'r llall wedi blaenu ei fam i fyd yr ysbrydoedd. Ni wnaeth Bertha ufuddhau yn gyhoeddus i Grist—ni ymunodd a'r eglwys weledig ar y ddaear; ond dywedai y Parch. Henry Thomas yn ei hangladd, ei bod wedi rhoddi tystiolaeth iddo ef ei bod yn credu yn Nghrist. A chlywais eraill yn dweyd iddi addef yn ei chystudd y carai pe bai wedi cael yr anrhydedd o gael ei bedyddio gan yr ysgrifenydd cyn iddo ef ymadael. Dyma rybudd i ieuenctyd i beidio oedi, eithr yn hytrach ufuddhau i Grist ar unwaith, cyn y byddo afiechyd yn rhwystro ewyllys i gael ei ffordd. Yr oedd pawb a adwaenai Bertha yn ei hoffi, a phawb yn rhoi gair da iddi fel merch, fel gwraig, fel mam, ac fel cymydoges a chyfeilles. Bu farw ar ol nychu am rai misoedd, heb wella ar ol rhoddi genedigaeth i faban, Ebrill 12, 1882, a chladdwyd hi yn Summit Hill, Ebrill 14, pryd y gweinyddwyd yn y ty ac ar lan y bedd gan y Parch. Henry Thomas a'r ysgrifenydd. Felly ar ol ymddangos a byw yn y byd hwn 26 mlynedd a 5 mis, aeth o'n golwg i'r wlad lle nad oes cyfrif blynyddoedd na misoedd yno. Dymunaf o'm calon drist, drom, nawdd y nef a gwenau rhagluniaeth i'r teuluoedd galarus ar ol yr anwyliaid uchod, a bydded iddynt hwy a ninau ymdrechu yn nerth gras i fod yn barod erbyn ein galwad i dragywyddoldeb mawr.

*St. Clairs, Pa.* D. S. THOMAS.

MR. EVAN EVANS.

Ebrill 19, 1882, yn Shenandoah, Pa., yn 53 mlwydd oed, bu farw y brawd anwyl Evan Evans. Brodor ydoedd yr ymadawedig o gymydogaeth Pontypool, D. C. Bedyddiwyd ef gan y diweddar Barch. Daniel Morgan, Blaenavon, yr hwn ar y pryd oedd yn gweinidogaethu yn Pontypool. A gallwn ddwyn tystiolaeth oddiwrth yr hyn a welsom ac a glywsom am dano, ei fod wedi ymdrechu, a hyny trwy lawer o anhawsderau, i fyw bywyd cyfatebol i'w broffes dda, a llwyddodd yn ei amcan clodwiw. Yr oedd wedi colli ei iechyd er's blynyddoedd, a daeth trosodd i America mewn gobaith y cai adferiad iechyd; ond truan o hono, methodd, fel llaweroedd o'i flaen ac ar ei ol, gael yr hyn y gadawodd ei gartref a'i wlad mewn ymchwiliad am dano. Dyoddefai oddiwrth ddolur y galon a'r afu; ac wedi i'r darfodedigaeth unwaith ddechreu yn y rhanau bywydol, waeth i ba le yr â y cyfryw un, na pha fath fyddo ei sefyllfa yn y byd, nid oes modd i'w orchfygu—angau ydyw.

Bu ei gystudd diweddaf yn un trwm a thra poenus. Yr oedd yn dra hyderus gyda golwg ar y dyfodol mawr. Teimlai fel y Salmydd gynt, fod yr Arglwydd yn dwr cadarn, ac yn ymlawenhau yn y gobaith o gael enaid pur, a chorph iach; a chredwn ei fod yn y meddiant o'r cyntaf, a bod yr olaf yn ei aros mewn addewid.

O! 'r anwyl Evan Evans,
  Rhaid dweyd, Yn iach, yn iach,
Cawn eto gwrdd a'n gilydd
  Yn mhen rhyw enyd bach.

Rho'w'd eto frawd i orwedd
  Yn nghell y beddrod du;
A'i enaid a ehedodd
  I'r wen Baradwys fry;
Mae hyn yn rhybudd eto
  I bawb sydd ar y llawr,
I geisio am barodrwydd
  I'r trag'wyddolfyd mawr.

M. JONES.

MRS. ALICE DAVIES.

Ebrill 24, 1882, yn Yorktown, Mrs. Alice Davies, priod Mr. Gideon Davies, crydd. Yr oedd yn gymydoges barchus, ac yn fam dyner a mwyn. Gadawodd bedwar o blant, un

Digitized by Google

newydd-anedig, a phriod i alaru ar ei hol Yr oedd yn 28ain mlwydd oed. Claddwyd hi yn Janesville, pryd y gweinyddwyd gan y Parch. T. D. Evans.

Hefyd claddwyd plentyn mabwysiedig i John Thomas a'i briod, o'r un lle, ac yn yr un fynwent, yn saith mis oed. Gweinyddwyd gan yr ysgrifenydd.

T. D. EVANS.

### MR. GEORGE DAVIES.

Ebrill 22, 1882, yn 72 mlwydd oed, bu farw ein hen gyfaill George Davies, crydd wrth ei alwedigaeth. Ymfudodd i'r wlad hon o Cwmaman, Sir Gaerfyrddin, tua deng-mlynedd-ar-hugain yn ol. Treuliodd ei flynyddoedd olaf yn Thomastown, Ohio, a symudodd yn ddiweddar i South Akron, yn yr hwn le y bu farw ar y dyddiad uchod. Y Sul canlynol, claddwyd ef yn mynwent East Akron, yn ymyl ei wraig gyntaf.

Ychydig dros flwyddyn yn ol, ymunodd mewn priodas â mam Mr. Thomas Jones, y gôf, South Akron, yr hon a fu ffyddlon iddo hyd ei fedd. Bu yn hynod dyner a gwyliadwrus o hono tra y bu yn glaf; felly hefyd ei anwyl ferch, Mrs. Rachel Evans, a Mr. Thomas Jones a'i deulu. Amlwg oedd gweled fod ein hen gyfaill yn fynwesol yn ngolwg llaweroedd, wrth y ffyddlondeb a'r cyfeillgarwch ddadblygwyd iddo yn ystod ei glefyd. Ar ddydd ei angladd, daeth tyrfa fawr yn nghyd o Thomastown a gwahanol fanau. Gadawodd briod tyner a phlant i alaru ar ei ol. Mab iddo ef ydyw y Parch. Esaiah Davies. Gweinyddwyd yn y ty ac ar lan y bedd, yn Gymraeg a Saesoneg, gan y Parch. T. Prosser Morgan, gweinidog y Bedyddwyr yn Thomastown, O. Yr Arglwydd a gysuro yr holl berthynasau galarus T. P. M.

### MRS. E. JONES, TAYLORVILLE, PA.

1. Marw un o'r gwragedd anwylaf. Enw arni yn ei dyddiau morwynol ydoedd Miss Elizabeth Morris. Magwyd hi yn Llandeilo-fawr, D. C. Mae ei thad eto yn fyw, a chanddi frodyr o fri yn Myrddin a Morganwg. Priododd â'r brawd doeth a phur William J. Jones. Daeth i fyw i Taylorville, ac yno y bu farw, Ebrill 17, 1882, yn 46 mlwydd oed. Awr yr esgoreddfa fu awr angeu iddi, a bu ei baban farw gyda hi.

2. Marw un o'r cymydogesau caredicaf. Ei nodweddion ydoedd tlysni corph, harddwch gwedd, hoewder cerddediad, callineb meddwl, a charedigrwydd dirfawr. Bu i'r dyeithr yn darian, i'r amddifad yn dirion, i'r weddw yn ddyddanwch, ac i'w chymydogion yn ail i Dorcas mewn haelioni.

3. Marw aelod crefyddol o'r fath buraf. Treuliodd y boreuddydd i addoli, y canolddydd yn ffyddlon, ac ar nawn ei dydd hunodd yn ddiofn, hwyliodd i'r deyrnas, a chododd haul arni yn y dyffryn garw a du. Aelod ydoedd gyda y Bedyddwyr, ac yr oedd defaid Iesu ar holl fynyddoedd Israel yn ei hoffi am y ddelw oedd arni

4. Marw un a gafodd angladd mawr. Dydd Mercher, Ebrill 19, daeth canoedd i'w chladdedigaeth. Wylodd y cwmwl gyda ei phriod, cwynodd yr awel gyda naw o blant am dani, a chydymdeimlodd y dyrfa â'r teulu caredig yn eu galar. Aeth y Parch. J. R. Jones (T. C.), drwy y gwasanaeth yn y ty, ac yn yr addoldy, ac ar lan y bedd gan y Parchn. T. G. Jones, Owen James, M. A., a D. W. Morris, a chladdwyd hi yn mynwent Taylorville, gyda llu mawr o gynfrodorion y fro. Traddodwyd y bregeth angladdol y nos Sabboth canlynol gan y gweinidog, oddiar Gen. 35—"Rahel yn marw, ei chladdu, a cholofn ar ei bedd hi."

Alonbacuth yw y gladdfa,
  Mae Deborah yn ei bedd;
Telyn Seion fawr a Salem
  Anadlo anthem fwyn o hedd.

Darfod wna blinderau Babel,
  Teulu Israel fyddant iach;
Trugaredd gadwo'm brawd a'i deulu,
  A gwelant hi mewn enyd bach.

D. W. MORRIS.

### DYFYNIADAU O BREGETH ANGLADDOL MRS. SWARTZS, MERCH Y PARCH. MEREDYDD EVANS, DODGEVILLE, WIS., GAN Y PARCH. SEM PHILLIPS.

Ganwyd y chwaer anwyl hon Awst 26, 1858. Derbyniwyd hi yn aelod o eglwys Caergybi yn niwedd Mehefin, 1874. Ymbriododd a Mr. William Swartzs Hydref 4, 1881. Bu farw Tachwedd 26, 1881, o'r *brain fever*. Claddwyd hi yn mynwent Dodgeville, Tachwedd 30. Gweinyddwyd ar yr achlysur gan y Parchn. W. Owens, J. T. Jones, J. O. Davies a Sem Phillips. Traddodwyd ei phregethau angladdol gan y Parch. J. T. Jones a'r ysgrifenydd, Rhagfyr 4, 1881.

Bu farw yn sydyn. Cymerwyd hi ymaith â dyrnod, yr hyn sydd yn dynodi sydynrwydd ei marwolaeth. Y mae y bywyd dynol weithiau yn cael ei gipio ymaith yn hollol annysgwyliadwy. Ond gobeithiwyf am ein hanwyl chwaer ymadawedig, er mor sydyn y bu hi farw, iddi farw yn yr Arglwydd. Bu yn aelod o eglwys Caergybi am saith mlynedd, ac y mae genym obaith cryf ei bod wedi myned o'r eglwys filwriaethus yma i'r eglwys orfoleddus fry.

Yr oedd ei phriod, yn ngwyneb ei marwolaeth, i ymwadu â'r boddhad o alaru ar ei hol; nid oedd i roddi ffordd i'w deimlad galarus trwy eiriau, na thrwy wylofain, na thrwy ddagrau. Yr oedd ymddygiad Ezeciel, trwy fod heb alaru am farwolaeth ei anwyl wraig, i fod yn arwydd i'r Iuddewon y buasai eu gofid yn ngwyneb dinystr Jerusalem tu hwnt i bob tristwch. Y mae graddau o dristwch tu hwnt i wylo, sef ffaelu wylo. Y mae ein Tad

Digitized by Google

nefol yn caniatau i ni alaru ac i dywallt dagrau ar ol ein cyfeillion a'n perthynasau ymadawedig, a bendith fawr yw medru wylo yn y cyfryw amgylchiad. Y. mae dagrau yn agor ffordd i deimlad galarus a hiraethus y galon i ddyfod allan, yr hyn sydd yn gymorth mawr i ddal yn yr amgylchiad heb ymollwng. Yr oedd y Parch. Joseph Harries, Abertawe, pan y cyfansoddodd farwnad i'w fab talentog a gobeithiol, yr hwn a fu farw yn ieuanc, yn gwybod am wasanaeth dagrau i'r galon alarus a thrallodus. Dywedai:

"Groesaw, gymwynasgar ddagrau,
Llifwch ffrydiau dros fy ngrudd;
Chwithau ddeg o ocheneidiau,
Rhwygwch ffordd o'm mynwes brudd;
Ffordd agored gwnewch i ofid
Dd'od o'm dybryd fynwes frau,
Chwelwch gaddug chwerw galar,
De'wch yn gynar i'm rhyddhau."

Y mae dagrau yn deyrnged dyledus i'r marw. Pan y mae y corph yn cael ei hau, gweddus yw iddo gael fel hyn ei ddyfrhau, medd yr enwog Matthew Henry. Y mae yn rhesymol iawn i alaru ac i alarnadu ar ol y meirw. Cyfansoddwyd galarnadau gan ddynion sanctaidd Duw dan arolygad Ysbryd Duw. Yr oedd y ddwy chwaer o Bethania, a'u cymydogion, yn galaru yn chwerw yn ngwyneb marwolaeth eu brawd Lazarus, a chymysgodd yr Arglwydd Iesu ei ddagrau â hwy.

MISS LEAH MORGAN.

Yn Mineral Ridge, O., yn 24 ml., a 4 mis oed, bu farw Miss Leah Morgan. Merch ydoedd i Mr. Daniel Morgan a'i briod. Mae ei thad yn ddiacon parchus yn yr eglwys Fedyddiedig yn y lle uchod er's blynyddau lawer. Bu farw y chwaer ieuanc anwyl hon Mai 13, a hyny i fesur yn ddisymwth. Nid oedd hyd yn nod ei pherthynasau yn meddwl fod y cyfnewidiad mor agos. Bu ein chwaer farw yn nhy ei brawd, Mr. Edmund Morgan; symudodd yno yn y gobaith y buasai newid awyr yn profi yn llesol iddi, ond yn lle hyny fel arall y trodd y rhod; o'r fan hono yr ehedodd ei henaid at ei Duw. Bu ei brawd a'i anwyl briod yn dyner iawn o honi, ac felly y bu ei thad a'i mam a'i hoffus chwaer, yn nghyda llu o ffryndiau eraill cynes galon. Cafodd bob ymgeledd yn ei chystudd blin; ond er pob ymdrech ffryndiau a meddygon, bu yr oll yn ofer.

Dechreuodd ei chystudd tua dwy flynedd yn ol, a pharhaodd i ddihoeni nes y bu farw. Yr oedd yn hynod ddirwgnach yn ei chystudd, a gellir dywedyd iddi huno mewn tangnefedd. Cafodd y fraint o arddel Crist ac ufuddhau i'r ordinhad o fedydd pan yn ieuanc. Bedyddiwyd hi gan yr ysgrifenydd o gylch naw mlynedd yn ol. Gwnaeth broffes dda, a daliodd ati hyd y diwedd.

Yr oedd hi o ran cymeriad yn ddiargyhoedd; yr oedd ei buchedd a'i hymarweddiad y fath fel y gorfodid pawb a'i hadwaenai i ddweyd yn dda am dani. Parchai ei Duw, ei grefydd, ei pherthynasau, a'i brodyr a'i chwiorydd yn yr eglwys, yr hon sydd mewn galar dwys o herwydd ei cholli hi. A sicr yw ei bod trwy y pethau yna ac eraill yn parchu ei hunan. Ni ddarfu i'r ysgrifenydd erioed adwaen un chwaer ieuanc yn feddianol ar fywyd mwy dichlynaidd na'r eiddo Leah Morgans. Blin iawn ganddo ydyw gorfod ysgrifenu byr-nodiad am dani. Ond ehedodd ymaith, a goddiweddodd lawenydd a hyfrydwch, a chystudd a galar a ffodd ymaith. Casgliad o wahanol bethau a achosodd ei marwolaeth.

Dydd Mawrth, yr 16eg, daeth tyrfa fawr yn nghyd i hebrwng ei gweddillion i'r gladdfa, ac yn eu plith y *Good Templars*, i'r rhai y perthynai hi. Collwyd miloedd o ddagrau yn ymyl y man cysegredig lle y tawel huna. Gweinyddwyd ar yr amgylchiad gan y Parchedigion Mercer (P.), Davies (A.), Locke (M. E.), a'r ysgrifenydd.

J. W. JAMES.

MRS. RACHEL THOMAS,

*Mam y Parch. B. W. Thomas, Jackson St., Hyde Park, Pa.*

Mae y chwaer anwyl uchod, ar ol cystudd trwm, a methiant yn herwydd henaint am amser maith, wedi huno yn yr Iesu. Nid yn aml y gwelir bywyd materol mor hir wedi ei gysegru er yn foreu i'r gwasanaeth uwchaf, yn terfynu mewn addfedrwydd mor berffaith i fywyd gwell mewn byd uwch. Bu am 62 o flynyddau yn aelod ffyddlon yn ein cyfundeb; ac o'r dydd y bedyddiwyd hi yn Awst 1819, gan yr hybarch

Digitized by Google

J. P. Davies, Penuel Rhymni, D. C., hyd ddydd ei hymadawiad, Mai 9, 1882, parhaodd ei gyrfa grefyddol heb un bwlch nac un tymor amheus gweledig ynddo. Iddi hi yr oedd crefydd yn gwneyd bywyd yn werth ei feddianu; llanwai ef â phethau ysbrydol a dwyfol. Yn ei blynyddau diweddaf cafodd bob rhwyddineb a chyfleusdra i wneyd hyn; oblegid oddiar ei dyfodiad i'r wlad hon ddeuddeg mlynedd yn ol, nid oedd trafferthion y byd hwn na'i ofalon tymorol yn cael ei blino, gan ei bod yn aros gyda ei mab, y Parch. B. W. Thomas. Gwyr y rhai oedd yn arfer cymdeithasu â hi yn ei dyddiau olaf, nad oedd yn meddwl fawr am y gweledig a'r tymorol tu allan i'r cylch teuluol.

Ei hyfrydwch penaf, a gwnai hyny bob amser pan yn cael cyfleusdra, ydoedd dwyn allan y trysorau gwerthfawr oedd hi wedi gasglu driugain a mwy o flynyddau yn ol, pan yn gwrando ar gewri yr oes hono yn traethu y gair. Soniai yn aml am sylwadau Christmas Evans, J. P. Davies, ac yn ddiweddarach, Mathetes, yn eu pregethau ar destynau oedd hi yn gofio. Adroddai hen emynau, rhai o honynt yn hollol ddyeithr i'r genedlaeth hon, ag oedd hi wedi ddysgu yn yr ysgol Sul pan yn blentyn. Mae y ddolen hon oedd yn ein cysylltu a'r oes wlithog hono, wedi ei thori; nis clywir ac nis gwelir mwy yn y byd hwn. Gadawodd dystiolaeth eglur aa ol, fod ganddi "dy nid o waith llaw, tragywyddol yn y nefoedd."

Dydd Iau, Mai 11, ymgasglodd tyrfa luosog yn nghyd i hebrwng ei rhan farwol i'r gladdfa ar Washburne street, ac yn eu plith yr oedd y gweinidogion canlynol: y Parchn. Theophilus Jones, Wilkesbarre; J. P. Harris, Providence; D. S. Thomas, Parsons; W. D. Davies, Nanticoke; Dr. Bevan, Owen James, Hyde Park, a'r ysgrifenydd. Cymerodd yr oll o'r brodyr hyn ran yn y gwasanaeth angladdol. Ychydig ddyddiau cyn ei marw rhoddodd yr ymadawedig destyn i bregethu arno yn ei hangladd; ond gan fod cynifer o frodyr o'r Sir yn bresenol, penderfynwyd i ohirio y bregeth angladdol hyd foreu'r Sul canlynol, er mwyn rhoddi cyfleusdra i'r brodyr oedd mor adnabyddus â hi, i siarad ar yr achlysur. Boreu y Sul canlynol pregethodd yr ysgrifenydd ar y testyn rhoddedig, sef, "Y mae gan hyny orphwysfa eto yn ol i bobl Dduw," i dyrfa luosog, a ymddangosai yn hiraethlawn a galarus ar ol chwaer mor anwyl, a Christion mor ddidwyll. Duw fyddo yn dirion i'w meibion a'i merched sydd mewn galar. J. W. WILLIAMS.

### MRS. MARY FARR.

Yr oedd y chwaer uchod yn aelod defnyddiol o eglwys y Bedyddwyr yn Mineral Ridge, Ohio. Ymadawodd a'r fuchedd bresenol Chwefror 17, 1882.

Ganwyd hi yn Cwm Iau, Sir Fynwy, D. C. Yno hefyd y tyfodd, ac y priododd â Mr. Edward Farr, yr hwn a fu yn wr ffyddlon iddi am flynyddoedd lawer, ond a'i blaenodd i'r byd mawr tragywyddol un-mlynedd-ar-ddeg. Bedyddiwyd hi gan yr anfarwol Samuel Williams, Nantyglo, D. C.

Ymfudodd y teulu i'r wlad hon yn y flwyddyn 1852, gan ymsefydlu am beth amser yn Summit Hill, Old Mines. Buont yn aros wedi hyny yn Tuscarora, Eckley, &c.; ond ar Mineral Ridge y terfynodd y ddau dduwiol a ffyddlon eu gyrfa ddaearol. Bu iddynt ddeuddeg o blant, naw o'r cyfryw sydd yn fyw yn bresenol—Edward a Thomas yn Pennsylvania, William, Richard a James ar y Ridge, Mrs. Richards, priod Mr. Evan Richards, yn Ohl's Town, Ohio; Mrs. Job Evans, Mrs. Brown (gweddw), Mrs. B. Davies, a Mrs. Evans, eu merched, yn trigianu ar y Ridge, O. Felly gadawodd ein hanwyl chwaer naw o blant yn fyw ar ol, 34 o wyrion, a 27 o orwyrion. Ffarweliodd â hwynt, gan ddweyd ei bod yn ymadael i wlad oedd well i fyw. Yr oedd yn hynod am ei ffyddlondeb gyda phob peth da, gofalus am ei lle yn eglwys Dduw, a rhyfedd oedd y galar ar ei hol gan fyd ac eglwys.

Claddwyd hi ar Mineral Ridge, O. Gweinyddwyd gan amryw o weinidogion ar y pryd, ac ar ddymuniad y plant,

Digitized by Google

pregethwyd ei phregeth angladdol yn nghapel y Bedyddwyr ar y Ridge, gan y Parch. D. C. Thomas, Mai 7fed, yn Gymraeg a Saesoneg, oddiar Job 3: 17.

CHRISTOPHER BACH.

MR. PHILIP DAVIES.

Mai 5, 1882, yn Parisville, Ohio, bu farw Philip Davies, yn 67 mlwydd oed. Bu yn aelod hardd o gyfundeb y Bedyddwyr er yn ieuanc. Bedyddiwyd ef yn Blaenffos, Penfro, gan yr enwog Philotheoros, a phan oedd Shon Morgan yn weinidog ar yr eglwys. Bu yn aelod diwyd a ffyddlon am amryw flynyddau cyn ei ddyfodiad i'r wlad hon. Daeth ef a'i deulu—gwraig a phedwar o blant, ac un ferch—drosodd i'r wlad hon yn y flwyddyn 1850, ac ymgartrefodd mewn ty log, heb fod yn mhell oddiwrth y Capel Ceryg; ond yn fuan symudodd oddiyno i Crab Creek, ac oddiyno drachefn i gylchoedd Weathersfield. Darfu iddo ef a'i deulu lafurio yn ddiwyd pan yn yr ardaloedd hyn, er sicrhau cartref yn y wlad, yn mhlith ei gydnabod a'i gyd-genedl, a gellir dweyd iddo lwyddo i raddau dymunol, canys efe yn mhen ychydig flynyddau wedi ei ddyfodiad i'r wlad a brynodd dyddyn bychan da, prydferth, yn agos i'r fangre y disgynasai ar y cyntaf, a bu farw yn yr un aneddle deuluaidd. Yr oedd ei wraig gyntaf (modryb i'w ail wraig) wedi ei flaenu er ys pump neu chwe' blynedd—ei blant oll wedi ei adael, ac ymsefydlu yn y byd; a daeth i'w galon feddwl nas gallasai wneyd dim yn well na phriodi nith ei wraig. Troes yr undeb allan yn hynod ffafriol iddo ef, ond yn awr mae yntau wedi cyrhaedd pen ei yrfa.

Yr oedd Philip Davies yn wr cadarn yn yr Ysgrythyrau, yn ddarllenwr rhagorol ar Air Duw, yn weddiwr grymus, yn siaradwr da, ac yn hynod ffyddlon yn nghyfarfodydd y saint. Anfynych y byddai ei le ef yn wag, ac yr oedd ei bresenoldeb bob amser yn deimladwy i eraill. Ca eglwys Paris golled fawr ar ei ol ef. Wythnos cyn iddo gael ei gymeryd yn glaf, bu yn angladd ei fab Jacob, yn Mineral Ridge, yr hwn a gwrddasai a'i angau yn y gwaith. Diwrnod oer, garw, oedd dydd claddedigaeth y mab hwn. Tybir i'r amgylchiad hwn adael argraff drom ar ei gorph a'i feddwl. Anwyd wedi troi yn enyniad yn ei ranau bywydol oedd achos uniongyrchol ei farwolaeth. Aeth y brawd hwn trwy gyfwng o boen a phoethder anarferol ac annyoddefol fawr am ysbaid 14 o ddyddiau, a hyny yn ddidor a diseibiant. Dywedai wrth frawd ei fod yn caru Iesu Grist, ac yn credu ynddo—ei fod wedi adeiladu ar y graig.

Bu farw nos Wener, y 5ed o Fai, a chladdwyd ef ar y 7fed. Yr oedd tyrfa fawr o bobl mwyaf parchus y fro yn ei hebrwng i dy ei hir gartref. Gweinyddwyd yn y ty ac ar lan y bedd gan y brodyr Morton, a Jenkins (A.). Efallai nad oes rhagorach Philip Davis yn mhob peth yn aros yn yr ardal.

Darllenasom yn yr hen Feibl mawr oedd ar y ford, nid mewn argraff, ond ysgrifen, yn nglyn a'i ddyfodiad yma, "Ni fwytasom fara neb yn rhad." Yr oedd y gwahanol gyfeillion yn son am wahanol ac amrywiol nodweddion da ein brawd pan ar y ffordd i'r gladdfa gysegredig, mynwent Capel Ceryg.

"Cist hir nos cauaist arno—a daw eto
O'i lesgedd i'w ail wisgo."

BRAWD MEWN TRALLOD.

---

— Mae yr anghenfil, y brenin Theebaw, o Burmah, wedi ail ddechreu cyflafanu y cyfryw o'i ddeiliaid nad ydynt wrth ei fodd. Y mae wedi rhoddi un o'i wragedd, dwy haner chwaer, canghellydd y trysorlys, a haner cant o'u perthynasau i farwolaeth. Mae hwn yn amgylchiad yn yr hwn y cyfiawnheid unrhyw genedl wareiddiedig am ymyryd i rwystro y fath gyflawniadau barbaraidd. Yr ydym yn darllen y cyfryw adroddiadau yn unig ag haner crediniaeth yn eu gwirionedd, ond mae y cadarnhad yn dod, ac yna ni welwn fod tywyll leoedd y ddaear, lle y ffyna paganiaeth, yn llawn o drigfanau creulondeb. Mae yr hysbysiad hwn o Burmah, yn swnio fel pe bai yn gamgymeriad, ac fel pe o ganolbarth Affrica y dylasai ddod. Ai hwn yw y tir lle y mae yr efengyl wedi bod mor llwyddianus er's llawer blwyddyn?

—Bu dyn o'r enw Allen J. Cumming farw yn New York mewn canlyniad i bigo ei fawd â drain rhosyn. Daeth *erysipelas*, a dilynodd gwenwyniad o'r gwaed. Bu farw mewn poen mawr.

Digitized by Google

## DYDDANION.

### *Deugain Mil o Ddoleri.*

Yn un o ddinasoedd mawrion y wlad hon, dygwyddodd i hen wr oedranus iawn fod ar un ochr i'r heol, ac yr oedd am fyned yn groes i'r ochr arall, ond nis gallai gan gymaint y fasnach oedd yn myned yn mlaen ar hyd yr heol. Gwelodd rhyw wr ieuanc benbleth yr hen wr, ac aeth yn mlaen ato. Wedi deall yr hyn oedd arno eisiau, cludodd ef yn groes, a gosododd ef yn ddiogel ar yr ochr arall i'r heol. Bu yr hen wr farw heb fod yn hir ar ol hyny, a gadawodd ddeugain mil o ddoleri i'r gwr ieuanc caredig hwn. Dywedir fod yr hen bobl wedi cael amser lled fywiog yn y ddinas hono am amser maith ar ol hyny, oblegid clywodd pobl ieuainc y lle am y tro uchod, a gwnaethant yn bwynt i edrych allan am hen bobl. Pan welai gwr ieuanc hen wr ar yr heol, elai ato, a chludai ef yn groes i'r ochr arall, pa un bynag a fyddai ef *am* fyned ai peidio; a chan gynted ag y gosodid ef ar lawr, gwelid ef gan ryw wr ieuanc arall, ac felly yn y blaen. Wrth gwrs, y deugain mil doleri oedd yr achos o'r mwstwr.

### *Cydymaith y Cerbyd.*

Beth sydd yn myned gyda'r cerbyd, yn aros gyda'r cerbyd—nid yw o un lles i'r cerbyd, ond nis gall y cerbyd fyned hebddo? Yr ateb yw, *ei swn.*

### *Y Ddwy Wraig.*

Dywedir i ddyn, ychydig dros ganol oed, a'i wallt yn dechreu britho, briodi dwy wraig, un yn ieuanc yn nghanol ei phrydferthwch, a'r llall yn hen, a'r pren almon yn blodeuo. Yn lled fuan ar ol hyn, gwelwyd y gwr yn myned oddiamgylch yn hollol foel. Fel hyn y bu, yr oedd y wraig *ieuanc*, bob tro y celai gyfle, yn pigo allan y gwallt *gwyn* oddiar ei ben, er mwyn ei gadw yn ieuengaidd yr olwg, fel hi ei hunan. Yr un modd, yr *henaf*, bob tro y celai gyfle, a bigai allan y gwallt *du*, er mwyn ei wneyd yn henaidd yr olwg, fel hi ei hunan.

### *Cordial y Pedler.*

Gwerthwr mân nwyddau, yr hwn a elai o dy i dy trwy y wlad, a'i siop mewn blwch ar ei gefn, a arferai wneyd fel hyn: Ar ol cludo'r blwch yn hir, byddai nerth y gwr yn treulio, nes achosi yr hyn yn anmhriodol a elwir, "y baich yn myned yn rhy drwm." Yn awr, codai gareg bwysig oddiar ochr y ffordd, a gosodai hi ar y blwch. Cludai y blwch a'r gareg arno am beth amser. Wedi hyn taflai y gareg i lawr, a theimlai ei faich yn ysgafnhau, a medrai gario y blwch am beth amser ar ol hyny yn ddiduchan.

## MANION.

Yn y dyddiau hyn, pan y mae cymaint o anonestrwydd yn dyfod i'r amlwg, y mae yn dda genym groniclo engraifft o onestrwydd fel y canlyn:—Pedair blynedd yn ol cynygiodd Mr. William Gowan, o Lawrence, Mass., setlo dyled o $50,000 drwy dalu 40c. ar y ddolar, yr hyn a dderbyniwyd gan ei ofynwyr; ond y mae yn awr wedi eu hysbysu ei fod yn barod ac yn foddlawn i dalu y gweddill o $30,000, gyda llog.

— Yn y pedwar mis cyntaf o'r flwyddyn hon adeiladwyd naw cant o dai yn ninas New York. Mewn geiriau eraill, mae digon o dai anedd a masnachdai wedi eu hadeiladu ar ynys Manhattan, yn yr amser byr o bedwar mis, i wneyd tref o faintioli cyfrifol mewn unrhyw barth o'r wlad. Maent yn werth yn agos i ugain miliwn o ddoleri.

— Mae y llywodraeth Brydeinig wedi penderfynu penodi dirprwyaeth ymerodrol, yn gynwysedig o un-ar-hugain o aelodau, yn cynrychioli gwahanol ranbarthau o India ac amrywiol ddosbarthiadau o'r bobl, i'r dyben o ddyfeisio moddion er lledaeniad bendithion addysg yn mhlith y werin yn y wlad hono. Mae y cymdeithasau cenadol i gael cynrychiolaeth gref yn y bwrdd.

—Cafodd Thomas Rogers ei ryddhau o garchar yn Philadelphia, lle yr oedd wedi bod am guro ei wraig. Aeth ar ei union adref, a saethodd ei wraig, gan ei chlwyfo yn farwol. Cymerwyd ef i fyny.

— Bu tri o enwogion y byd llenyddol feirw yn ddiweddar, sef Henry W. Longfellow, Ralph Waldo Emerson, a Charles Darwin.

—Mae cynllun M. de Lesseps i ddylifo anialwch Sahara, wedi cael ei gymeradwyo gan y Cyfringyngor Ffrengig.

Digitized by Google

… Y WAWR.

Cyf. VII.] GORPHENAF, 1882. [Rhif. 4.

## CLODDIO AT, NID O DAN, Y SYLFEINI.

GAN SYLWEDYDD.

Mae gwyddoniaeth, sydd mor uchel ei rwysg a'i fost yn yr oes hon, i droi yn y man yn fanteisiol iawn i Gristionogaeth. Tybia rhai fod perygl—rhai gweiniaid yn Seion. Ofna rhai am fywyd Cristionogaeth, a bod gwyddoniaeth yn myned i gloddio o dan sylfeini crefydd, ac mai y canlyniad fydd dymchwelfa fawr ddigyffelyb. Y mae enwau Huxley, Heckel, Spencer, Tyndall, Darwin, ac eraiil, fel enwau ellyllon iddynt, a hyny am y credant eu bod yn elynion i'r pethau mwyaf anwyl ganddynt, ac agos at eu calon. A thra na theimla llawer yr un graddau o atgasrwydd tuag at yr athronwyr crybwylledig, ychydig, fe ddichon, o Gristionogion gwirioneddol sydd nad yw enwau felly yn *swnio* ryw fodd yn gas iddynt. Ond nid oes eisiau i neb deimlo yn annymunol felly tuag at unrhyw wir athronwyr; y maent yn mhlith y cyfeillion goreu i achos y gwirionedd yn y pen draw; y maent yn rhagredegwyr yn parotoi ffordd yr Arglwydd. A chan nad beth am ddyben a dymuniad rhai athronwyr yr oes hon—gan nad beth am deimladau y cyffredin o honynt tuag at y Beibl a Christionogaeth—y mae pob gwirionedd a ddatguddir ganddynt yn sicr o fod yn fanteisiol i lwyddiant crefydd yn y diwedd. Awn can belled a dyweyd fod y fath ddosbarth o feddylwyr yn angenrheidiol ac yn fendithfawr (oddigerth y rhai cableddus, gwagsaw, gwatwarus—rhai gau) i'r byd; arloesant y ffordd, cloddiant at y sylfeini; cariant ddylanwad cyffelyb, ond mwy bendigedig ac arosol, i erlediaethau ofnadwy Rhufain Baganaidd a Phabaidd. Mae eisiau i grefydd gael ei phrofi; mae angen am nithio ymaith yr us. Mae eisiau tymestloedd yn yr awyrgylch; mae eisiau mynyddau tanllyd; mae eisiau daeargrynfâau; mae eisiau llanw a thrai. I beth? Mewn rhan helaeth i wastadhau pethau—adferu cydbwysedd yn yr elfenau—i glirio tawch a niwl—i gadarnhau a chaledu crystyn y ddaear—mewn gair, er mwyn cyfaddasu y belen hon yn drigfan dyn—ei alluogi i ddilyn ei orchwylion, a diogelu ei hapusrwydd; felly yn y byd crefyddol.

Ofni am fywyd Cristionogaeth, yn wir! Cofiwch y geiriau, "Ar y graig hon yr adeiladaf fy eglwys, a phyrth

Digitized by Google

uffern nis gorchfygant hi." Yn lle ofni yn wan felly, dylai fod genym fwy o sicrwydd bellach o werth hanfodol ein crefydd—dylem fod wedi cloddio ein hunain at y sylfeini, canys y mae gan wir grefydd ei sylfeini diysgog a thragywyddol, cadarnach na mynyddau y byd; ac oni bae fod iddi gadernid felly yn gorphwys ar y tragywyddol, rhwydd y gallesid rhydillio crefydd allan o'r byd. Heb ffeithiau diamheuol yn sylfeini crefydd, diflanai fel niwl y boreu o flaen goleuni a gwres yr haul. Sonia yr arwynebol a'r hunanol (y bach, ond y mawr yn ei feddwl ei hun) am ddiffyg o bethau sicr mewn cysylltiad â chrefydd. Druan o'r doethddyn! druan o'r athronydd dwfnddysg! Pethau penaf Cristionogaeth ydyw pethau mwyaf sicr bodolaeth. Y mae dysgeidiaeth Iesu o Nazareth yn sylfaenedig ar bethau yn y natur ddynol ac yn y byd tu allan, nad ydynt at ddewisiad un dyn i'w gwadu na'u credu. Nid rhyfedd i ryw un ddweyd, Ni *allwn* ni ddim yn erbyn y gwirionedd, ond dros y gwirionedd.

Credwn fod gwyddoniaeth i droi yn iachus a bendithiol i grefydd, mewn rhan, trwy wasgaru ysbryd a thuedd wyddonol i wersylloedd Seion. Mae llawer iawn o bethau wedi dod i mewn i rai gwersylloedd ydynt yn ddyeithr i grefydd bur. Yn nghwrs yr oesa mae llawer o draddodiadau wedi ymlusgo i mewn. Ni allodd cewri mawrion y Diwygiad Protestanaidd fflangellu ymaith o'r deml yr holl opiniynau a'r arferion annheilwng a ddarganfyddasent hwy ynddi. Ymlechodd llawer o Babyddiaeth yn y corneli. Ni allodd eu sêl hwy, er mor danllyd ydoedd, losgi ymaith bob gwair a sofl. Ar gefn afon fawr dygwyddiadau yr oesau mae llawer o draddodiadau paganaidd, pabyddol a damcaniaethol, wedi eu cario i lawr hyd atom. Mae myrddiynau o feibion dynion heddyw yn cymeryd y cyfryw ysbwrial fel gwerthfawr drysorau. Mae llawer yn cymeryd yr athrawiaethau—y cyfeiliornadau amryfath hyn—fel gwirioneddau diysgog. Yn wir, mae athrawon wrth y gwaith o berswadio dynion i gredu mai gwirioneddau—mai sylweddau ydynt—ond mawr eu cyfrifoldeb am y fath gamwri!! Yn y dull hwn mae Cristionogaeth wedi cael ei llygru; y mae wedi ei chlwyfo yn nhy ei charedigion. Nid yw peth fel hyn i barhau byth. Y mae goleuni dydd yn cynyddu. Mae gwyddoniaeth â'i holl egni yn ymdreiddio i lawr at ddechreuad pethau. Ni foddlonir ar honiadau. Rhaid cael prawfion. Rhaid darganfod, nid yn unig y *pa beth*, ond hefyd y *pa fodd*. Y mae yr ysbryd dwfn-ymchwiliadol hwn yn ymgymysgu â'r awyr; ymdreiddia trwy yr holl gymdeithas ddynol. Gadewch i ni gael y gwirionedd, fydd y llais cyffredinol—gadewch i ni gael eich rhesymau. Ymdreiddia yr ysbryd hwn i'r cylch crefyddol—i'r pwlpud, i'r seti, i blith aelodau a gwrandawyr; ymdreiddia i lenyddiaeth yn gyffredinol; ymchwydda dros ymylon llestri gwybodaeth fydol, nes llenwi costrelau y deml a'r cysegr. Bydd cwrs atdyniad y meddwl dynol yn dyfod yn gryfach yn barhaus yn y cyfeiriad hwn. Daw gwyddoniaeth yn grefyddol, a chrefydd yn wyddonol. Mae cyd-darawiad a chysondeb yn bodoli rhwng pob gwirionedd a'u gilydd. "Gwirionedd a dardda o'r ddaear, a chyfiawnder a edrych i lawr o'r nefoedd." O flaen yr ysbryd ymchwiliadol, athronyddol hwn, saif cyfeiliornadau ddim yn hwy. Rhaid i'r gau roddi y ffordd; rhaid i draddodiadau fyned gyda'r llif;

Digitized by Google

rhaid i'r tywyllwch gilio. "At y gair ac at y dystiolaeth" fydd yr arwyddair cyffredinol. O, brysied y dydd goleu hwn! Henffych well, efengyl anwyl! Llawer a ddymunodd ac a lafuriodd y tadau Bedyddiedig i weled dy ddydd. Dysgeidiaeth Crist a'r apostolion sydd i fod yn safon ffydd ac ymarferion saint y Goruchaf. Dyma Gristionogaeth y dyfodol. Ymaith a'r "plisg"—ymaith a'r ofergoelus—ymaith a'r masw—ymaith a phob peth fyddo yn groes i grefydd bur ein Harglwydd Iesu Grist.

---

## IESU GRIST A'I FARNWYR.

GAN Y PARCH. ALLEN J. MORTON, PARISVILLE, OHIO.

Nid ydym mewn un modd yn awgrymu mai at yr amgylchiad mawr byth-gofiadwy hwnw, Crist o flaen Pilat, y cyfeiriwn yn mhenawd y papyr hwn; na, na, mae y prawf hwnw wedi cymeryd lle—wedi terfynu—mae hanes y prawf, hanes y dyoddefydd, yn nghyda hanes y barnwr, genym. Ond eto y mae Iesu o flaen ei elynion—ei farnwyr—yn hunan-dderchafedig y tro hwn, fel y tro o'r blaen. Y mae person Iesu yn cael ei wadu gan Strauss; cymeriad Iesu yn cael ei amheu gan Renan; y mae Herbert Spencer mewn modd dystaw yn cau Iesu allan o safle a dylanwad; ydyw, y mae yr athronydd hwn, mewn cyngrair a Dr. John Tyndall a Huxley, Bastian a Darwin, wedi penderfynu na chaiff y "dyn ieuanc o Galilea" fod yn ddysgawdwr y bobl, yn esiampl i'r byd, ac yn awdurdod mewn meddwl a moes i feibion Adda. Ond yn nghanol yr awydd mawr hwn i ddiystyru cyfaill y tlawd, gwaredwr yr euog, a'r athraw mawr, ymlithra John Stuart Mill ar yr esgynlawr, ychydig bach o amser cyn ei fynediad ymaith i fyd mawr y sylwedd. Dywed, bron yn ngoleuni y farn, fod yn rhaid i'r byd dderbyn ei *ante mortem* dystiolaeth ef parth Iesu a'i hawliau. Ebai efe, "Y mae yn anhawddach credu fod nifer o ddynion anwybodus a chyffredin wedi gallu creu cymeriad, galw i fod weithredoedd, rhoddi yn ei enau eiriau newydd, parth ystyr, priodoli iddo amcanion na ddychymygasai dyn erioed o'r blaen hwynt, na chredu yn modolaeth Iesu ei hun. Y mae ef y cymeriad gyda ni; yr ydym yn gwrando y pregethau; yr ydym yn gweled y gweithredoedd newydd a nerthol; ac yr ydym yn teimlo ein hunain rywfodd yn hollol agored i'w ddylanwad."

Yn awr, y mae yma un o rengau y gelyn wedi newid ochr.

Pa elw a ellir ddychymygu a ddygwydd fel canlyniad i ddiswyddiad Iesu Grist o'r safle y mae ynddi fel athraw mawr, fel cyfaill calon, fel amddiffynydd yr euog? Gallem ddyfalu canlyniad diswyddiad athrawon moesol eraill y byd. Y mae y natur ddynol yn galw am ryw un da, rhyw un doeth, rhyw un caredig, fel Iesu; ac y mae yn rhaid i'r natur ddynol gael rhyw un tebyg iddo, neu ynte ei gadw ef ei hun.

Ni ddylem anghofio fod gan yr Iesu ei hun rywbeth i'w ddweyd ar y mater oll-bwysig hwn. Ar wahan i'w hawliau fel Mab Duw, y mae yn meddu hawl i'r swydd y mae ynddi, o herwydd ni chlybuwyd erioed, mewn unrhyw wlad nac oes, am un sydd haner y ffordd ato ef mewn cyfaddasder i fod yn Geidwad. Ei gyfeillion, ei weision ef, y rhai a'i haddolent ef, ac a roddent eu bywydau i lawr mewn ewyllysgarwch dros eu perthynas ag ef, ydynt, tu allan iddo ef, y dynion gor-

Digitized by Google

eu ag y ceir hanes am danynt; nid yw o un dyben yn y byd i ni feddwl y ceir neb yn gyfartal iddo yn y perffeithderau hyny ag sydd yn ei wneyd ef yn Iesu Grist. Sonir yn fynych am duedd y natur ddynol i ymberffeithio, &c., tan ddylanwad deddfau ac amgylchiadau eraill. Y mae y byd wedi cael pob mantais ag oedd i'w gael oddiwrth y pethau hyny, yn yr Aipht, Groeg, Rhufain, Babilon, a Ninefeh.

Dywedir nad oedd yn deall fferylliaeth; eto coffheir iddo droi y dwfr yn win. Dywedir nad oedd yn feddyg trwy drwydded a braint, eto gwelwyd llawer o gleifion wedi cael eu gwella ganddo. Nid oedd yn gyfoethog, mae hyn yn wir, eto yr oedd ei ddylanwad ar olud yn fawr, ac y mae wedi parhau felly hefyd. Cyhuddir ef o herwydd mai mewn ffordd awgrymiadol yr oedd yn esgyn i safle ei hawliau; a beiir ef am iddo gymeryd y dull hwn i alw sylw y byd ato ei hun. Tybiwn yn hytrach fod y dull hwn yn gydweddol a gostyngeiddrwydd, ac hefyd yn arddangos ymwybodolrwydd o'i allu, ei gymeriad, a'i sicrwydd ef o'r dyfodol. Ni raid i unrhyw fawredd fod mewn brys am gyhoeddusrwydd, nac ychwaith am gyrhaedd pen y daith mewn amser byr. Ffrydiau bychain sydd yn ymgolli yn nhywod yr anialwch; y mae afonydd mawrion yn byw ac yn ymchwyddo am filoedd o filldiroedd. Os nad yw Iesu Grist a'i efengyl yn ddigon o Geidwad a chrefydd i'r byd, truenus fydd, ac yw, tynged plant dynion.

Nid ydym yn ymfoddloni ar y ffaith fawr, a newydd ynddi ei hun, nad oes na bai na diffyg yn Iesu Grist; ond digonir ni byth ac yn dragywydd yn y ffaith fod yn Iesu wirionedd pur, newydd, mawr, i'r meddyliau mwyaf cyrhaeddbell. Digonir ni a'r ffaith na welwyd y fath engreifftiau o gariad, o ddaioni, o ymdrech fawr i wneyd bywyd dyn yn iach, yn lân, yn garedig, ag sydd mor amlwg yn Iesu Grist.

---

## DR. JUDSON A'R BACHGENYN BURMAIDD.

Adoniram Judson oedd Genadwr i'r Bedyddwyr, ac un o'r rhai mwyaf llafurus a duwiol a fu erioed yn ceisio arwain paganiaid at Fab Duw. Gadawodd America am India Ddwyreiniol yn y flwyddyn 1812. Edrychid arno fel dyn ieuanc o dalentau mor ryfeddol ddysglaer, fel y credid am dano y buasai yn alluog i wneyd ei ffortiwn yn fuan, pe yr ymgyflwynasai at ryw alwedigaeth fydol. Eto gan faint ei awydd i lafurio dros Iesu Grist, aberthodd bob rhagolygon a chysuron cartrefol, gan fyned i wlad baganaidd bellenig, afiachus ei hinsawdd, i ddysgu y trigolion yn ffordd bywyd tragywyddol.

Perthyn i enwad arall yr oedd efe pan gychwynodd o gartref, ond ar ei ffordd i India, wrth ddarllen y Testament Newydd, argyhoeddwyd ef mai daliadau y Bedyddwyr oeddynt iawn am ddull a deiliaid bedydd, ac oblegid hyny ni chollodd amser ar ol glanio cyn ymuno â'r Bedyddwyr, ac ymgyflwyno o dan eu Cymdeithas i fod yn genadwr mwyach iddynt. Ar ol treulio o gylch blwyddyn gyda chenadon y Bedyddwyr yn Serampore a Calcutta, aeth Mr. a Mrs. Judson i Rangoon, yn Burmah. Ar ol cyrhaedd yno, dechreuodd Mr. Judson, heb oedi, ar waith cenadol yn mhlith y bobl, gan ymgyflwyno yn frwdfrydig i gyfieithu y Beibl, parotoi Geiriaduron, a phregethu. Dyoddefodd amryw droion ei garcharu mewn hen gelloedd ffiaidd, a mwy nag

Digitized by Google

unwaith braidd y bu iddo ddianc a'i fywyd ganddo. Droion pan yn ngharchar, gwasanaethodd ei anwyl wraig iddo fel angel trugaredd—ei hunan heb ei chaethiwo—a thro ar ol tro hi a lwyddodd i'w gael yn rhydd. Pan mewn carchar unwaith, ysgrifenodd y wraig ar deisen wastad ag oedd yn orchuddiedig mewn cwpanaid o *rice*, ac ysgrifenodd y gwr atebiad ar briddfaen gwlyb, yr hwn wedi iddo sychu a ddadguddiai yr ysgrifen.

Maes llafur Dr. Judson yn fwyaf neillduol oedd yn Maulmain, ond llanwai efe amryw orsafoedd eraill, a chymerodd drafferth hefyd i gefnogi ei gydweithwyr, trwy gymeryd teithiau cenadol dros yr holl wlad. Bu ei ymdrechion yn rhyfeddol o lwyddianus.

Yn mhlith y moddion a ddefnyddiodd efe a'i gyd-lafurwyr, ydoedd agoryd Zayats, fel y mae y trigolion yn galw lleoedd cynulliadau cyhoeddus. Gan y cenadon yr oedd y lleoedd hyn weithiau yn adeiladau sylweddol, ond y rhan fynychaf math o bebyll oeddynt. Yr oeddynt bob amser, modd bynag, ar ochr heol; weithiau byddai ynddynt genadwr, ac weithiau bregethwr brodorol. Yn y rhai hyn byddai yr Ysgrythyr Lân yn yr iaith frodorol yn cael ei darllen yn uchel, a charid yn mlaen ymddyddan gyda phersonau a ddewisent droi i mewn i'r dyben hwnw. Gellir cael syniad da am waith Dr. Judson yn y Zayat, oddiwrth yr hanes canlynol.

Boed i'r darllenydd dynu darlun iddo ei hun o'r lle pregethu ar ymyl y ffordd. Mae yr haul yn tywynu yn gryf ar yr adeilad. Yn nghanol yr adeilad, eisteddai y cenadwr mewn cadair, yn welw a lluddedig. Ar hyd y dydd yr oedd efe wedi bod yno yn drodd drosodd a throsodd, fel y caffai wrandawyr, y fath wirioneddau syml ag mae mamau yn arferol o ddysgu i fabanod ar eu gliniau; ac erbyn hyn mae ei ben yn ddolurus, a'i galon yn drom. Ymwelsai gwrandawyr ag ef, a rhai a ymddangosent yn hollol ddifater, ond dim un ymofynydd difrifol am y gwirionedd.. Yr oedd y matiau yn barhaus yn daenedig ar y llawr, yn gymelliadol i'r neb a ddewisai ddyfod yn mlaen; ond er fod personau o bob desgrifiad yn myned heibio yn barhaus, yr oedd pob un yn ymddangos a'i feddwl ar ei fusnes ei hun, ac yr oedd y cenadwr heb yr un gwrandawr. Meddyliai am fwrdd ei fyfyrgell gartref, am y llyfrau oedd ganddo i'w darllen, a'r llyfrau oedd ganddo i'w hysgrifenu. Yr oedd efe yn naturiol yn ddyn gweithgar, o dymer sydyn, wresog; ac oni buasai ystyriaeth o ddyledswydd, a'i fod yn awr a phryd arall yn darllen ychydig ar y llyfr crefyddol oedd ganddo, buasai yn achwyn ei fod fel hyn yn colli ei amser gwerthfawr. Rhoddodd ei lyfr bychan yn sydyn yn ei logell—teimlodd reidrwydd i dalu sylw i ddyledswydd bresenol, a dechreuodd ar unwaith ddarllen yn uchel draethodyn Burmaidd. Daeth i'w glyw swn dynes o wisgiad cyffredin a gariai ddwfr, a thynodd i lawr y llestr oddiar ei phen, ac eisteddodd i lawr bron o fewn cysgod bargodion yr adeilad. Llawer, modd bynag, oedd yn prysuro i fyned heibio. O'r diwedd, mae yr henaidd ddwfr-gariedydd, gydag arwydd o wawdiaith, yn myned ymaith hefyd, gan furmur fel yr elai, "Iesu Grist! *Na nigban!* Ah, ah, ah!" Yr oedd y cenadwr wedi gweled a chlywed peth fel hyn o'r blaen; ond, ryw fodd, yr oedd efe heddyw yn neillduol o isel ei feddwl a digalon, ac yr oedd ar fin rhoddi y llyfr i lawr.

Digitized by Google

Ond syrthiai cysgod person arall elai heibio ar y llwybr, a pharhaodd i ddarllen. Yn fuan gwelai ddyn tal, o ymddangosiad mawreddus, gan dywys yn ei law fachgenyn prydferth, llygaid dysglaer yr hwn oeddynt mewn perffaith gydgordiad â symudiadau dawnsyddol ei draed bychain. Y boneddwr —canys boneddwr yn ol pob ymddangosiad ydoedd—oedd o ymddygiad sobr, arafaidd, gyda phen-dorch o fychander pendefigaidd, sandalau yn troi i fyny yn ymyl y bodiau, mantell sidanawg gyda lliwiau heb fod yn gryfion, a hugan mor wyned a'r eira, o hyd ffasiynol, ac o ddefnydd main. "'Nhad, 'nhad!" ebai y bachgenyn, gyda llam grechwenol, "gwelwch, gwelwch! dyna ddyn Iesu Grist. Amai! mor aruthrol wyn!" "Dyn Iesu Grist" a gyfododd ei olygon oddiar y llyfr, yr hwn a allai ddarllen lawn cystal heb ei lygaid arno a chyda hwynt, a gwenodd yn y modd mwyaf siriol ar y bachgenyn, bron yn yr adeg pan yr oedd ef a'i dad yn myned heibio cornel y Zayat, ond nid yn rhy ddiweddar iddo ddangos ei gydnabyddiaeth foddhaus a gwylaidd. Ni ddarfu y tad siarad, na throi ei ben; ond aeth llewyrchyn o haulbelydr i lawr i galon y cenadwr, a theimlodd ryw fodd nad oedd ei ddarllen y diwrnod hwnw wedi bod yn ofer.

Yr oedd efe wedi sylwi ar y dyn hwn o'r blaen, ac wedi ymdrechu tynu ei sylw, ond yn aflwyddianus. Yn awr, bob dydd, yr oedd y boneddwr tal hwn yn myned heibio y Zayat, gyda ei blentyn. Cariai efe yr un gwyneb annghyffroadwy; ond bob dydd gwnai y bachgenyn agosâd dystaw tuag at gyfeillgarwch y cenadwr, plygai ei ben haner-eilliedig, a chodai ei law at ei dalcen, a gwenai nes oedd ei wyneb oll yn blethiadau.

Un diwrnod, fel y delai y ddau i'r golwg, amneidiodd y cenadwr â'i law, a'r plentyn gan gymeryd naid a ddaeth at ei liniau. "*Moung Moung!*" gwaeddai y tad, gyda thôn o syndod yn gymysgedig â digter. Ond yr oedd y plentyn yn ol eto mewn eiliad, gyda chadach Madras o liw siriol o amgylch ei ben, a'i wefusau hawddgar yn sefyll ar wahan, ei lygaid yn gwreichioni ac yn dawnsio mewn llawenydd, a'i holl wyneb yn dorchau o weniadau; ymddangosai yn un o'r creaduriaid mwyaf deniadol ar y ddaear. "*Tai hlath-the!*" ("Hynod brydferth!") ebai y plentyn, yn cyffwrdd ei ben-dorch newydd, ac yn edrych i wyneb cymylog ei dad gydag eofndra un wedi ei or-ffafrio. "*Tai hlath-the,*" ychwanegai y tad yn ddifeddwl. Y plentyn a dybia i efe.

"Y mae genych fachgen dymunol iawn, syr," ebai y cenadwr, mewn tôn a fwriedid i fod yn heddychol.

Troai y boneddwr draw gyda chyfarchiad plygadwy. Ymddangosai fel rhwng dau feddwl am foment, fel yn ymdrechu rhwng ei foes brodorol a'i ddymuniad i ochelyd adnabyddiaeth gyda y proselytiwr tramor. Yna, gan ymaflyd yn llaw ei fachgen, prysurodd ymaith.

"Nid wyf yn meddwl fod y Zayat yna yn lle da iawn i fyned iddo, Moung Moung," ebai y tad yn ddifrifol, pan oeddynt yn ddigon pell o'r clyw. Atebodd y bachgen mewn edrychiad ymofynol, yn rhyfeddol o ddifrifol i wyneb fel yr eiddo ef.

"Mae y tramoriaid gwynion"—ni ddywedodd efe beth, ond ysgydwodd ei ben gydag ystyr ddyeithr. "Gadawaf chwi gartref yfory, i'ch cadw oddiwrth y swynwyr hyn."

"'Nhad, meddyliwyf na wna un lles

Digitized by Google

fy ngadael gartref, canys mae y tramorwyr wedi gwneyd rhywbeth i mi."

"Pwy?—y Kalah-byoo?"

"Nid wyf yn meddwl iddo fy niweidio fi, 'nhad; ond ni allaf—gadw—ymaith—na fedraf, na fedraf."

"Beth ydych yn ei feddwl, Moung Moung?"

"Mae y swynwr wedi gwneyd rhywbeth i mi; rhoddodd ei lygad prydferth arnaf fi; 'rwyf yn ei weled yn awr,"—a llawenychai llygaid y bachgenyn gan ddysgleirdeb dyeithr a chyffrous. "Mai, Mai, y fath fachgen! Nid yw efe yn swynwr; dim ond dyn blinderus iawn. Ei lygaid—whish—nid yw ddim i fy Moung Moung bychan. Nid oeddwn ond cellwair; ond byddwn wedi darfod ag ef. Ni chewch fyned yno ddim yn ychwaneg."

"Os gallaf helpio hyny, 'nhad."

"Helpio hyny! clywch y plentyn ffol! y fath dybiau dyeithr!"

"Na fyddwch ddigofus, 'nhad."

"Yn ddigofus!" Y wên dyner ar y gwyneb garw, barfog, hwnw, oedd atebiad digonol.

"A ydyw yn wir i—fy mam"—

"Tewch, Moung Moung!"

"A ydyw yn wir iddi hi 'shikoed' at yr Arglwydd Iesu Grist?"

"Pwy a feiddia ddweyd wrthych chwi felly?"

"Rhaid i mi beidio dweyd; yr un a'm hysbysodd i a ddywedodd ei fod gymaint ag yw gwerth bywyd i siarad am y fath beth wrth *eich* mab. A wnaeth hi, fy nhad?"

"Y mae hyna yn 'goung-boung' prydferth a roes y tramorddyn i chwi."

"A ddarfu hi?"

"Ac yn gwneyd eich llygaid yn ddysgleiriach nag erioed."

"A ddarfu i fy mam 'shiko' at yr Arglwydd Iesu Grist?"

"Dyna, dyna; yr ydych wedi siarad digon, fy machgen," ebai y tad yn bruddaidd; ac aeth y ddau yn mlaen eu ffordd mewn dystawrwydd.

Mewn ychydig fynydau daeth un o oruchwylwyr brodorol y genadaeth i mewn i'r Zayat, gyda ei sachell, yr hwn oedd yn agos i lawn o lyfrau.

"A sylwasoch chwi ar y dyn tal sydd newydd basio, yn arwain bachgenyn bychan?" gofynai y cenadwr.

"Gwelais ef," atebai y goruchwyliwr, "beth ydych yn ei wybod am dano ef?"

"Mae yn Ysgrifenydd dan y Llywodraeth; dyn hynod gyfrifol, uchelfrydig, dystaw, ydyw."

"A pheth arall?"

"Mae'n casâu Cristionogion, syr."

"Mae efe yn benboeth-ddyn, ynte?"

"Na, y mae efe yn fwy fel ymneillduwr nag ydyw o Buddhiad. Er ei fod yn sobr, y mae efe yn ymddwyn tuag at bethau cysegredig weithiau yn chwarëus, bob amser yn ddiofal. Ond a ydyw yr athraw yn cofio—gall fod yn dair, pedair—ni allaf ddweyd faint o flynyddau yn ol—i ddynes ieuanc ddyfod i geisio *medicine*"—

Gwenodd y cenadwr. Buasai genyf ryw gof rhyfeddol, Shsway-bay, pe cofiwn am yr holl rai sydd yn dyfod ataf i geisio meddyginiaeth."

"Ond nid oedd yr un hon yr un fath a merched eraill. Yr oedd ganddi hi wyneb angel, a'i llais—rhaid fod yr athraw yn cofio ei llais—yr oedd yn debyg i seiniau arianaidd clychau y pagoda ganol nos. Hon oedd gwraig y Sah-ya hwn, a'r bachgen bychan hwn, ei hunig blentyn, oedd yn glaf iawn."

Ac aeth y Burmead yn mlaen i ddyweyd fod y moddion wedi gwella y plentyn, a bod Efengyl Matthew, a roddasai y cenadwr yn nwylaw y fam,

Digitized by Google

wedi profi yn feddyginiaeth iddi *hi*. Hi a'i darllenai yn y dirgel, ac yn y nos, ond ei gwr, yr hwn oedd yn erlidiwr garw, a ddarganfyddodd y llyfr, ac a'i llosgodd. Yr oedd hi yn greadures dyner, ac ni allai oddef ei edrychiad; ac mor fuan ag yr aeth y plentyn o berygl, cymerodd hi y dwymyn."

"A bu farw?"

"Nid ar unwaith. Yr oedd arni hi eisiau i'w gwr anfon am y cenadwr; ond ni fynai efe. Ac felly hi a fu farw, gan siarad hyd y fynyd ddiweddaf am yr Arglwydd Iesu Grist, ac yn galw ar bawb o'i chwmpas i'w garu Ef, ac i addoli neb ond Efe. Nid yw ei gwr yn ddyn calon-galed; ac yr oedd hi yn fwy na bywyd nac enaid iddo ef. Hwn ydyw ei bachgen, ei hunig blentyn, ac mae ei dad yn ymhyfrydu ynddo oblegid ei fam. Mae yn fachgenyn rhyfeddol, syr. Mae yn rhaid ei fod wedi derbyn rhywbeth oddiwrth wyneb ei fam y mynydau cyn iddi gael ei chymeryd i fyny i'r wlad euraidd."

Aeth amryw ddyddiau heibio, a sylwodd y cenadwr fod y Sah-ya yn myned heibio ar yr ochr arall i'r ffordd, ac heb y bachgen bychan. Dechreuodd anobeithio; ond ar ol ychydig ddyddiau, pan yr oedd y plentyn yn cael lle mawr yn ei feddwl, dyma y bachgenyn yn neidio i fyny ar hyd grisiau y Zayat, yn cael ei ddilyn gan ei dad. Er syndod mawr i Dr. Judson, dywedodd y tad, "Eisteddwch i lawr, Moung Moung, eisteddwch i lawr;" a chan gyfarch y cenadwr, sylwodd, "Y chwi ydyw yr offeiriad tramor?" I'r hyn y gwnaed yr atebiad, "Cenadwr ydwyf fi,"—a chymerodd ymddyddan hir a dyddorol le, yn nghwrs yr hwn dymunodd y boneddwr ar y cenadwr i ddysgu y plentyn yn nghylch Iesu Grist; ar yr un pryd yn proffesu ei hunan yn addolwr cywir a ffyddlon Arglwydd Guatama. "Ond," ychwanegai, "ni áll dim niweidio Moung Moung bychan, syr." Yn y man llamodd y plentyn yn mlaen, a dywedodd,

"'Nhad, nhad, gadewch i ni ei glywed ef; gadewch i ni ein dau garu yr Arglwydd Iesu Grist. Yr oedd fy mam yn ei garu ef; ac yn ngwlad euraidd y gwynfydedigion y mae yn dysgwyl am danom."

"Rhaid i mi fyned," ebai y Sah-ya, yn arw.

"Gadewch i ni weddio," ebai y cenadwr, a phlygodd y plentyn yn addolgar wrth ochr yr athraw, tra yr ail-eisteddodd y tad yn barchusol ar y *mat*, ac edrychodd arnynt. Byth ar ol hyny cyfarchai y Sah-ya y cenadwr yn foneddigaidd fel yr elai heibio; a'r bachgen, gyda serch tyner ac ymddiriedol, a edrychai i mewn at y Zayat am air caredig neu ddau, neu edrychiad. Cyn hir yr oedd y colera, ffrewyll dychrynllyd y Dwyrain, wedi gwneyd ei ymddangosiad. Yr oedd y Zayat wedi ei chau o eisiau ymwelwyr, ac yr oedd y cenadwr a'i gynorthwywyr yn treulio eu hamser yn brysur mewn gofalu am y cleifion a rhai oeddynt yn meirw.

Un noson yn nghylch haner nos, hysbysodd y cynorthwywr y cenadwr, fod ei eisiau yn nhy y Sah-ya, a hwythau aethant gyda eu gilydd; y Burmead yn aros tu allan, er mwyn diogelwch, o dan gysgod gwrych bamboo. Nid ymddangosai neb o fod yn sylwi ar y tramorddyn, a dilynai efe lais gwyllt ac wylofus, oddiwrth yr hwn y deallai fod marwolaeth yno yn barod, a daeth yn mlaen nes y safai wrth gorph bachgenyn bychan. Yna efe a safodd mewn teimlad dwfn. "Mae efe wedi myned i'r wlad euraidd i flodeuo byth yn mhlith lili breninol paradwys," mur-

Digitized by Google

murai llais yn agos i'w glust. Yr oedd hyn wedi ei gyffroi; a chan droi, gwelai mai menyw ganol oed oedd yr unig berson yn agos ato. Dysgybl dirgelaidd oedd hi, ac wedi bod yn *nurse* i fam y bachgenyn oedd wedi marw. Dywedodd wrth y gweinidog na feiddiasai ei meistr losgi y llyfr cysegredig. Yn wir, yr oedd wedi ei ddarllen yn aml. Yr oedd hi wedi ei ddarllen drosodd a throsodd i'r plentyn, yr hwn oedd wedi marw yn llawn o lawenydd Cristionogol. Aeth Judson yn mlaen i ystafell arall, a chanfyddodd yno berson ardderchog y Sah-ya yn gorwedd ar esmwythfainc yn ngraddfa olaf yr afiechyd dychrynllyd. Mewn ffordd o brofi ei ymwybodolrwydd, sibrydodd wrth y dyoddefydd, "Mae yn ddrwg genyf eich cael yn y modd hwn, fy nghyfaill." Symudai ei wefusau ychydig, y rhai oeddynt yn prysur rewi yn yr angau, ond ni allent gyfleu yr un swn; yna gwnaeth ymdrech i gyfeirio at rywbeth, ond ni allai. O'r diwedd llwyddodd i roddi ei ddwylaw yn nghyd, ac a'u cyfododd at ei dalcen. Yr oedd y cenadwr yn ansicr i bwy yr oedd y weithred addolgar yn cael ei bwriadu, a gofynodd, "A ydych yn ymddiried yn Arglwydd Guatama mewn adeg fel hon? Yr oedd rhyw gryniad sydyn i'w weled yn yr amrantau cauedig, ac edrychodd y Sah-ya tlawd ar ei ymwelydd gyda golwg o siomedigaeth a phoen, a'r cenadwr a weddiodd, "Arglwydd Iesu, derbyn ei ysbryd!" 'Hedodd gwên siriol a llawen ar draws gwynebpryd y dyn oedd yn marw, cyfeiriodd at i fyny, a chydag anadliad tebyg i ochenaid, ei fynwes arwyddai wasgfa, ac yr oedd efe wedi myned i uno â'r rhai anwyl ag oeddynt wedi ymadael o'i flaen ef. Nid oedd yr had da oedd wedi ei hau, hyd yn nod ar fin y ffordd, wedi bod heb ffrwyth.—*O'r "Day of Rest," Llundain.*

---

## Y SYMUDOL A'R ANSYMUDOL.

Cwympa'r dail, ond pery natur,
  Ar ei gyrfa'n mlaen o hyd—
Cwympa'r saint, ond pery'r eglwys,
  Tra bo'i heisiau yn y byd;
Os gall angeu ladd aelodau
  Mwya'u gwerth yn eglwys Dduw,
Pery hi yn anorchfygol,
  Tra bo'i Brenin mawr yn fyw.

Purion gwledd i wrach brophwydi,
  Sydd ar fin goroesi eu clod,
Yw darogan myrdd o ddrygau,
  A dymuno iddynt ddod;
Ond mae'r Ysbryd eto'n ngweddill,
  Gan yr hwn sy'n rhoi pob dawn,
Fe ddiwalla'n hareithfaoedd
  A phregethwyr nerthol iawn.

Os yw'r cedyrn wedi cwympo,
  Y mae'r Cadarn eto'n fyw;
Ni thry'n tristwch yn anobaith
  Nes b'om wedi colli'n Duw;
Pan fydd eisiau agor moroedd,
  Bydd rhyw Foses yn gyfleus—
Ni cha'r nefoedd un Elias
  Heb i'r byd gael Eliseus.

—*Emrys.*

---

## BEDYDD BABANOD YN DIFLANU.

GAN Y PARCH. WM JONES, WISCONSIN.

*Mr. Gol.*—Yn fy ysgrif ddiweddaf dangosais gynydd graddol a hir-barhaol y ddefod newydd, sef bedydd babanod, am tua 1300 o flynyddoedd, nes cyrhaedd ei binacl uchaf, pan y pleidleisiwyd allan fedydd Iesu Grist, ac y cafodd defod ddynol yr orsedd yn ei le, yn Nghymanfa Bresbyteraidd Westminster, yn y flwyddyn 1643. Ystyriwyf mai dyma oedd ei *glimax* uchaf, o herwydd pan gollodd y llywodraeth Bresbyteraidd yn Lloegr, ac yr adferwyd yr Eglwys Sefydledig i'w hawdurdod yn ol, adferwyd hefyd fedydd y

Digitized by Google

Testament Newydd i'w awdurdod fel cynt, a thaflwyd y tywalltiad i'r *back ground*, i gael ei ddefnyddio mewn achosion o wendid neu afiechyd, yr hyn yw y rheol yn y *Common Prayer* hyd heddyw (os na chyfnewidiwyd hi yn ddiweddar); nid oes cymaint a son am daenelliad yn y rheol o gwbl; tywalltiad ydyw y *substitute*, yn lle y trochiad gwreiddiol. Ond er mai trochi a thywallt ydyw rheol yr eglwys, eto taenellu sydd wedi bod yn cael ei arfer am amser maith. Ond yn y dyddiau diweddaf hyn, mae yn diflanu yn gyflym. Onid yw taenelliad yn cael ei esgeuluso mor gyffredinol yn y wlad hon, nes mae wedi tynu sylw tosturiol y Pab, mewn achwyniad yn erbyn y Methodistiaid Esgobawl, o herwydd yr esgeulusdra a ddangosir ganddynt o fedyddio babanod. Y mae eglwysi mawrion yn ei esgeuluso i'r fath raddau fel nad oes cyfrif ganddynt am gymaint ag un baban yn cael ei fedyddio mewn corph blwyddyn o amser. Cawn hanes hefyd am eglwysi eraill, y'nghyd a'u gweinidogion, yn ymwrthod yn llwyr ag ef, a chael eu derbyn at y Bedyddwyr. Gwelais hanes am Dr. Talmage, ei fod wedi cael bedyddfan yn ei eglwys, ac wedi bedyddio deunaw ar yr un pryd yn ol trefn y Beibl. Cawn hanes am G. F. Pentecost, un o weinidogion mwyaf poblogaidd yr Independiaid, wedi trochi haner cant y flwyddyn ddiweddaf; a thystiai ar yr un pryd, "mai cysegru plant oedd eu harferiad hwy, ac nid eu taenellu." Yr Independiaid, gan gyfeirio at eglwys Gynulleidfaol oedd wedi rhoddi heibio yn ffurfiol fedydd babanod, yn cysuro ei hun trwy ddweyd "nad oedd bedydd babanod ond defod ar y goreu, ac nad oedd defodau ond o ychydig bwys." Gwel *Baptist Weekly*, Ebrill 29, 1880. Esgob Tuttle, Montana, yn ei anerchiad blynyddol i'w weinidogion, a wahardda iddynt daenellu—dim ond trochi a thywallt. Mae Bushnell, Hines, Nevin, yn cyfaddef fod lluaws o brif ddynion yr enwadau taenellyddol yn haner Bedyddwyr, o'r hyn lleiaf yn y wlad hon. Mae cynydd rhyfeddol yr enwad yn yr America yn neillduol, yn profi adfeiliad bedydd babanod. Yn y deuddeng mlynedd diweddaf, y mae'r Bedyddwyr wedi cynyddu yn y wlad hon yn agos i naw can' mil, sef 883,757. Mae hyn yn rhif nad oes un enwad Protestanaidd wedi ei gyrhaedd, oddieithr un, sef y Methodistiaid Esgobawl, er fod llawer o honynt wedi dechreu er's dau cant a haner o flynyddoedd. Yr oedd cynydd yr enwad yn 1880 yn 163,223. Mae eu cynydd wedi bod yn ddiweddar, drwy wahanol wledydd Ewrop ac India, yn fawr. Dywedodd Cardinal Hossius, Fod y Bedyddwyr yn cynyddu yn gyflymach nag un enwad arall, oni bae fod cyllell erledigaeth yn eu naddu ymaith. Yn awr mae y gyllell hono wedi ei rhoddi yn y wain, braidd yn llwyr, dros wledydd y byd—(gwelais yn ddiweddar fod un o'r cenadon yn Norway yn cael ei erlid yn y dyddiau hyn)—ond fel rheol gyffredin mae gwahanol deyrnasoedd y ddaear wedi dyfod i ddeall eu busnes yn well. Naturiol gan hyny yw dysgwyl, dan fendith Duw, ar gynydd rhyfeddol ar yr enwad yn y dyfodol.

Mor briodol yn y fan hon y daw tystioiaeth Chevalier Bunsen ar "Hypholytus a'i Amserau," i mewn. "Yn awr," meddai, "can lleied y gall eglwysi gwladol yr eilfed ganrif ar bymtheg ddal yn ngwyneb ymosodiad y Bedyddwyr mewn gwledydd lle mae symudiadau mawrion a rhydd yn bodoli, a brofir drwy y ffaith, mai yn mysg Cristionogion yr hiliogaeth Seisnig yn yr Unol Dalaethau, y Bedyddwyr, neu bregethwyr Cynulleidfaol, sydd ar gynydd yn gyflymach nag un enwad arall, fel y maent yn ffurfio yn barod y cyfundeb mwyaf lluosog a llwyddianus." Cyf. iii., tu dal. 209. Mor naturiol ydyw meddwl fod ei gwymp i gyd-gymeryd lle â'r dyn yn Rhufain, yr hwn sydd wedi bod yn brif amddiffynwr iddo drwy yr holl ganrifoedd sydd wedi pasio, ac achosi i gymaint o waed diniwed gael ei golli am beidio ei barchu ef a'i ddynol ddefodau. Cryf yw gwirionedd, a threchaf.

—

Bydd yr ysgrif nesaf ar ddrygedd bedydd babanod.

Digitized by Google

# PREGETH.

## CREFYDD BERSONOL.

GAN Y PARCH. JOHN DAVIES BOOTLE, LIVERPOOL.

"A hon yw y dystiolaeth, roddi o Dduw i ni fywyd tragywyddol, a'r bywyd hwn sydd yn ei Fab ef. Yr hwn y mae y Mab ganddo, y mae bywyd ganddo, a'r hwn nid yw ganddo Fab Duw, nid oes ganddo fywyd."—1 IOAN v. 11—12.

Llawer o beth ydyw gwybod ein bod yn credu â'n holl galon yn Mab Duw; ac yn meddu ar dystiolaeth fewnol yn ein mynwesau ein hunain ein bod ni yn blant i Dduw. Os nad ydym yn credu â'n holl galon yn y Mab, y mae ein cyflwr moesol yn druenus, ein tlodi ysbrydol yn fawr, a'n tynged ddyfodol yn ofnadwy. Ac os nad ydym yn feddianol ar dystiolaeth fewnol yn ein mynwesau ein hunain ein bod ni yn blant i Dduw, y mae yn rhaid fod ein profiadau crefyddol yn isel iawn, ac yn ddiffygiol anghyffredin hefyd. Nid oes dim gan hyny mor bwysig i ni fel deiliaid byd arall, a bod yn feddianol ar grefydd bersonol, ac ar adnabyddiaeth brofiadol o hyny yn ein mynwesau ein hunain; canys ar hyny mae ein holl gysur a'n dedwyddwch crefyddol presenol a dyfodol yn ymddibynu. Os nad ydym yn blant i Dduw, ac yn meddu ar grefydd bersonol, ni chawn etifeddu bywyd tragywyddol, mwynhau pleserau a digrifwch paradwys Duw, na theyrnasu mewn gogoniant gyda'r Iesu yn nhy ei Dad. Etifeddion crefydd bersonol yn unig a gaiff hyn, ac a ddyrchefir i'r fath anrhydedd mawr. Gwyr plant Duw i gyd rywbeth drwy brofiad am y grefydd ragorol hon, ac hefyd am ei dylanwadau dymunol ar eu meddyliau a'u serchiadau. Gall pob credadyn ddweyd yn hyderus a chyda'r hyfrydwch mwyaf, "Mi a wn i bwy y credais," &c. A gall holl etifeddion crefydd bersonol ddweyd yn ddifloesgni, "Yr ydym ni yn ei garu ef am iddo ef yn gyntaf ein caru ni." "Ac ni a wyddom os ein daearol dy o'r babell hon a ddatodir, fod i ni adeilad gan Dduw, sef ty nid o waith llaw, tragywyddol yn y nefoedd." Ond er y gallwn ni ddweyd mor hyderus a hyna, eto rhaid i ni addef, mai gorchwyl anhawdd iawn ydyw rhoddi darnodiad priodol, manwl a chynwysfawr o grefydd bersonol, a dweyd mewn ychydig eiriau pa beth ydyw yn ei holl agweddau a'i chysylltiadau mawrion a gogoneddus. Nis gwyddom am un adnod unigol o fewn corph y Llyfr sanctaidd ag sydd yn cynwys darluniad cyflawn o honi. Gwyddom am lawer o adnodau sydd yn *bearo* arni; ond rhaid darllen yr holl Lyfr er cael golwg berffaith arni. Dywed Iago, mai "crefydd bur a dihalogedig ger bron Duw a'r Tad yw hyn, ymweled a'r amddifaid a'r gwragedd gweddwon yn eu hadfyd, a'i gadw ei hun yn ddifrycheulyd oddiwrth y byd." Dyna grefydd bersonol yn ei gwasanaeth, a'r gwasanaeth hwnw yn cael ei gyflawni gyda'r purdeb a'r sancteiddrwydd mwyaf trylwyr. Dywed Pedr, mai sancteiddrwydd ac ofn duwiol ydyw egwyddorion crefydd bersonol; a dengys ef ei bod yn anhebgorol angenrheidiol i ni i fyw ac ymarweddu yn sanctaidd er bod yn gymeradwy gyda Duw. "Eithr megys y mae y neb a'ch galwodd chwi yn sanctaidd, byddwch chwithau hefyd sanctaidd yn mhob ymarweddiad." Dywed Ioan, mai rhodio fel y rhodiodd Iesu ydyw byw ac ymarweddu yn iawn fel crefyddwyr. Dyna grefydd bersonol yn gweithio allan yn y fuchedd, a'r fuchedd hono yn ymdebygoli i eiddo Mab Duw. Os ymgynghorwn a'r Efengylwyr, ni a gawn fod crefydd bersonol yn cynwys purdeb calon, hunan-ymwadiad, codi y groes, a chanlyn Crist. Dywed Luc mai rhan dda ydyw, yr hon ni ddygir oddiarnom. Geilw y Salmydd hi yn wirionedd oddi mewn; a dywed Job mai "gwreiddyn y mater" a gaed ynddo ydyw hi. Nid oes dadl yn fy meddwl i, nad yw yr holl bethau yna, a llawer mwy, yn gynwysedig ynddi. Ond fe allai mai y gair cynwysfawr "duwioldeb" sydd yn ei darlunio oreu. Mae rhywbeth anwyl yn y gair ardderchog hwn, *duwioldeb!*—arwyddo bod yn debyg i Dduw, bod o'r un an-

Digitized by Google

ian a meddwl. "Anwylyd," meddai yr Apostol, "yr awr hon meibion i Dduw ydym, ac nid amlygwyd eto beth a fyddwn, eithr ni a wyddom pan ymddangoso efe y byddwn gyffelyb iddo, oblegid ni a gawn ei weled ef megys ag y mae. Ac y mae pob un sydd ganddo y gobaith hwn ynddo ef yn ei buro ei hun, megys ag y mae yntau yn bur." Bod yn sanctaidd fel yr Iesu, ac yn bur fel y Gwaredwr, ydyw egwyddor a dymuniad duwiolion pob oes o'r byd. "Ac ni a wyddom nad yw y neb a aned o Dduw yn pechu (o leiaf o'i fodd), ac nis gall efe bechu am ei eni ef o Dduw." A gwaith mawr efengyl gogoniant y bendigedig Dduw yw dysgu dynion "i wadu annuwioleb a chwantau bydol," &c. Ond edrychwn yn awr ar grefydd bersonol yn ei natur a'i dylanwad—yn ei heisteddle — yn yr angenrheidrwydd o honi — ac yn y pwysigrwydd mawr o'i meddu.

I. *Yn ei natur a'i dylanwad.*—Pa beth ydyw, a pha beth yw ei dylanwad? Un bur ac ysbrydol ydyw o ran ei natur, ac un sanctaidd o ran ei dylanwad. Cynwysa hunan-lywodraeth feddyliol, cyflawniad o ddyledswyddau crefyddol a chyffredinol, oddiar amcanion sanctaidd a chywir. Ond nid ydym yn meddwl wrth hyny ei bod yn wahanol o ran ei natur a'i dylanwadau i grefydd deuluol, cymdeithasol, a chynulleidfaol, fel pe b'ai bosibl i ni fod yn grefyddol mewn un man, ac yn anghrefyddol mewn man arall. Credwn mai yr un peth ydyw o ran ei natur a'i dylanwadau yn mhob man, ac yn mhob amgylchiad, er o dan wahanol enwau. Dywed un awdwr enwog. "Gellir cyffelybu crefydd i'r môr mawr llydan, ag sydd yn amgylchu y ddaear. Nid oes amryw fathau o foroedd—un corph mawr o ddwfr ydyw y môr. Ond mae yn myned dan wahanol enwau, fel y mae yn golchi ar lanau gwahanol wledydd; felly y mae gyda golwg ar grefydd bur y Gwaredwr. Un egwyddor fawr ydyw; ond y mae iddi wahanol enwau, yn ymddibynu ar ei gwahanol gysylltiadau a'i pherthynasau; ond yr un ydyw o ran ei natur a'i dylanwad, gartref ac oddi cartref, ac yn mhob man. Addefwn fod rhagrithwyr, ond nid oes ganddynt hwy grefydd. *Sham* yw y cwbl. Ond gan etifeddion crefydd bersonol y mae sylweddolrwydd; nis gallant hwy ragrithio—mae gras yn eu calonau, Ysbryd Duw yn trigo yn eu heneidiau, a Christ yn teyrnasu yn eu calonau trwy ei ysbryd. Cynorthwyed Duw ni i fyw a gweithredu sancteiddrwydd, fel y caffom yn y diwedd derfynu ein gyrfa gydag anwyliaid y Gwaredwr bendigedig.

II. *Ar grefydd bersonol yn ei heisteddle.*—Mae yn cartrefu yn y galon—dyna ei lle hi. Os na fydd hi yno, ofer fydd edrych am dani yn y pen a'r ymddygiad. Y rhai "pur o galon" a welant Dduw. "Crea galon lân ynof," meddai y Salmydd. Nis gallwn garu Crist yn iawn, na pharchu Duw yn briodol heb grefydd yn ein heneidiau. Ychydig iawn o lewyrch a fydd arnom fel crefyddwyr os na fydd sancteiddrwydd yn cartrefu yn y fynwes—rhyw lusgo, a rhyw lawr a fyny, weithiau yn frwd ac weithiau yn oer, a fyddir. Megys nas gall peiriant weithio heb agerdd ynddo, felly nis gallwn ninau grefydda heb ras yn ein calonau. Ni wna llai na hyn y tro, canys "heb sancteiddrwydd ni chaiff neb weled yr Arglwydd." Wel, dyna eisteddle neu fangre crefydd bersonol—y galon neu y meddwl.

III. *Yr angenrheidrwydd am grefydd bersonol.*—Mae rheswm, cydwybod, ac efengyl, yn dangos yn eglur i ni na allwn ni ddim crefydda dros ein gilydd, a'i bod yn anhebgorol angenrheidiol i ni feddu crefydd bersonol er bod yn gymeradwy gyda Duw. Canfyddwn hyn yn eglur os ystyriwn,

1. Fod genym waith personol i'w wneuthur er sicrhau ein hiachawdwriaeth dragywyddol, ac er gwneuthur ein galwedigaeth a'n hetholedigaeth yn sicr. Er engraifft: mae yn rhaid i ni gredu yn yr Iesu ein hunain—edifarhau am bechod ein hunain—gweddio am drugaredd ein hunain—a byw yn dduwiol ein hunain. Nis gall neb wneyd y pethau hyn drosom ni; mae yn rhaid i ni eu gwneyd ein hunain, neu ynte iddynt fod byth heb eu gwneyd

Digitized by Google

gyda golwg arnom ni. Byddaf yn synu wrth weled dynion yn gadael hyn heb eu gwneuthur, nes myned i wely angeu, ac yna yn gyrru am eraill i'w gwneuthur yn eu lle. Cofiwn mai gwaith personol yw crefydda, a bod yn rhaid ei wneyd yn bersonol hefyd, neu golli coron y bywyd yn y diwedd. Gan hyny, "beth bynag a ymafael dy law ynddo i'w wneuthur (yn yr ystyr yma), gwna a'th holl egni; canys nid oes na gwaith, na dychymyg, na gwybodaeth, na doethineb, yn y bedd, lle yr wyt ti yn myned."

2. Mae crefydd bersonol yn anhebgorol angenrheidiol i ni, yn neillduol fel preswylyddion dinasoedd a threfydd mawrion, lle y mae cymaint o demtasiynau a phechodau, er dal ein tir yn ddigwymp, a gorchfygu pob profedigaeth. Nis gallwn wrthsefyll ein gelynion, na dal yn ngwyneb profedigaethau, mwy nag y gall llong nofio heb *falast*, os na fydd genym wirionedd oddi mewn; gorchfygir ni gan demtasiynau, a theflir ni i lawr dan draed ein gelynion, os na fydd genym grefydd bersonol. Ond os yn feddianol arni, ni a orchfygwn bob gelyn, ac a fyddwn fwy na choncwerwyr ar ein holl elynion trwy yr hwn a'n carodd ni. "Canys y mae yn ddiogel genyf na all nac angau, nac einioes, nac angelion, na thywysogaethau, na meddianau, na phethau presenol, na phethau i ddyfod, nac uchder na dyfnder, nac un creadur arall, ein gwahanu ni oddiwrth gariad Duw, yr hwn sydd yn Nghrist Iesu ein Harglwydd," os byddwn yn meddu ar grefydd bersonol.

3. Mae y ffaith fawr a phwysig, fod Duw wedi ymddiried ei achos a gogoniant mynegol ei enw i ni fel ei bobl, yn dangos yn eglur ei bod yn anhebgorol angenrheidiol i ni ddefnyddio ein galluoedd a'n talentau yn bersonol, er gogoniant i'w enw mawr a dyrchafedig, ac hefyd er lledaeniad ei achos yn y byd, ac er dwyn ein cyd-ddynion i afael iachawdwriaeth. Nis gall neb arall wneyd hyn drosom ni; mae yn rhaid i ni ein hunain ei wneuthur.—"Dos, gweithia heddyw yn fy ngwinllan;" dyna iaith y Beibl. Nid gweithied rhywun arall, ond gweithia di, tydi yn bersonol. "Chwi yw halen y ddaear," &c. "Chwi yw goleuni y byd. Dinas a osodir ar fryn ni ellir ei chuddio. Llewyrched felly eich goleuni ger bron dynion," &c.

4. Mae y ffaith fawr a sobr na all neb ddim marw drosom, na rhoddi cyfrif i Dduw yn ein lle, yn dangos na wna dim llai na chrefydd bersonol y tro i ni ar gyfer yr amgylchiadau mawrion hyn. Nis gall neb roddi cyfrif i Dduw drosom ni, na derbyn ein gwobr na dyoddef ein cosb. "Pob un drosto ei hun a rydd gyfrif i Dduw." Gwneled Duw ni yn etifeddion o grefydd bersonol.

IV. *Ar y pwysigrwydd annhraethol o'i meddu er bod yn ddedwydd mewn amser a byth.*—Dim ond crefydd bersonol a all ein cysuro ar wely angau, ein dyddanu mewn cystudd, a'n cynorthwyo mewn trallodion. Lleinw hon ein mynwesau a thawelwch cydwybod, a heddwch tuag at Dduw; cysura hon ni ag addewidion mawr iawn a gwerthfawr, yn mhob tywydd ac yn mhob amgylchiad. Egyr ddorau anfarwoldeb o'n blaen, a dengys i ni ogoniant a dedwyddwch ar wely angau, ac wrth ffarwelio â'r fuchedd bresenol. Dwg goron y bywyd i'r golwg, a datguddia i ni orfoledd a llawenydd diddarfod. Dywed hon wrthym fod Iesu wedi myned adref i barotoi lle i ni yn nhy ei Dad, a sicrha i ni na chawn mo'n gadael i ni ein hunain yn nhaith yr anialwch; canys efe a ddywedodd, medd y Llyfr, "Ni'th roddaf i fyny, ac ni'th lwyr adawaf chwaith." "Nac ofna, canys yr ydwyf fi gyda thi; na lwfrha, canys myfi yw dy Dduw; cadarnhaf di, cynorthwyaf di hefyd, a chynaliaf di â deheulaw fy nghyfiawnder." "Pan elych trwy y dyfroedd, myfi a fyddaf gyda thi, a thrwy yr afonydd fel na lifont drosot; pan elych drwy y tân ni'th losgir, ac ni enyn y fflam arnat; canys myfi yw yr Arglwydd dy Dduw, sanct Israel dy waredydd." "Ni lwydda un offeryn a lunier i'th erbyn." "Y mynyddoedd a giliant, a'r bryniau a symudant, eithr fy nhrugaredd ni chilia oddi-

Digitized by Google

wrthyt, a chyfamod fy hedd ni syfl, medd yr Arglwydd sydd yn trugarhau wrthyt." "Na thralloder eich calon (ebai'r Iesu), yr ydych yn credu yn Nuw, credwch ynof finau hefyd. Yn nhy fy Nhad y mae llawer o drigfanau; a phe amgen mi a ddywedaswn i chwi. Yr wyf fi yn myned i barotoi lle i chwi; mi a ddeuaf drachefn, ac a'ch cymeraf chwi ataf fy hun, fel lle yr wyf fi y byddoch chwithau hefyd gyda mi." "Os dyoddefwn gydag ef, ni a deyrnaswn hefyd gydag ef; ac os byddwn feirw gydag ef, byw hefyd fyddwn gydag ef." O, ryfedd! y fath addewidion, a'r fath gysuron sydd gyda golwg ar etifeddion crefydd bersonol.

"'Tis religion that can give
Sweetest pleasure while we live,
'Tis religion can supply
Solid comfort when we die;
After death its joys will be
Lasting as eternity;
Be the living God my friend,
Then my bliss shall never end."

Oddiwrth yr hyn a ddywedasom gyda golwg ar grefydd bersonol, gwelwn,

1. Fod cyflwr y rhai nad ydynt yn feddianol arni yn druenus ac arswydus dros ben. "Yr hwn sydd yn credu yn y Mab, y mae ganddo fywyd tragywyddol, eithr yr hwn sydd heb gredu i'r Mab ni wel fywyd; eithr y mae digofaint Duw yn aros arno ef."

2. Na all neb ddim cyflawni dyledswyddau crefydd drosom ni; oblegid mai peth personol ydyw crefydd, a gwaith personol yw ei gwaith hi. Cwynir llawer mai ychydig o'n haelodau eglwysig sy'n ymdrechu gyda'r achos, ac yn cyfranu tuag ato; gadawant i eraill wneyd y cwbl, ac os na wnant hwy, caiff y cwrdd gweddi farw, a'r gyfeillach drengu, a'r gweinidog ddyoddef eisiau bwyd, o'u rhan hwy. Mae clywed dynion yn dweyd na allant hwy ddim dyfod i'r cyfarfodydd, na chyfranu at yr achos, yn un o'r pethau mwyaf gwrthun dan haul, yn ol fy meddwl i. yn neillduol pan yr ystyriom eu bod yn gallu myned i bob man arall, ac yn meddu digon o arian i wario ar bethau afreidiol. Ddynion anwyl, os nad ydym ni yn cyflawni dyledswyddau crefydd ein hunain, y mae yn anmhosibl ein bod yn meddu ar grefydd bersonol; ac nis gwn i pa hawl sydd gan eglwys Dduw i ganiatau aelodaeth i'r fath gymeriadau. "Na thwyller chwi, ni watwarir Duw, canys pa beth bynag a hauo dyn, hyny hefyd a fed efe."

3. Na allwn ni ddim crefydda, na chyflawni dyledswyddau crefyddol dros ac yn lle eraill; oblegid mai peth personol yw crefydd—ufudd-dod personol a gweithredoedd personol yw ei heiddo hi. Os yw hyna yn iawn, mae'n rhaid fod bedyddwyr babanod yn gyfeiliornus, am eu bod yn bedyddio eu plant ar sail eu ffydd eu hunain, ac nid ar sail ffydd eu plant. Dyna beth ydyw crefydda *by proxy*. Ond ni thâl hwna ddim, oblegid mae'n rhaid cael ffydd bersonol, ac ufudd-dod personol hefyd. Ffieiddiwn gan hyny bob dirprwyaeth grefyddol, a chofiwn ei fod yn groes i'r gwirionedd, ac nad oes dim ond crefydd bersonol yn gymeradwy gyda Duw. A chofiwn hefyd na fydd dim ond crefydd bersonol o werth i ni yn awr angau a dydd barn.

"O, am grefydd wirioneddol,
Ar y ffordd wrth fyn'd yn mlaen,
Wedi 'i phrofi yn y stormydd,
Wedi 'i phuro yn y tân;
Wedi 'i phwyso yn y glorian,
Wedi 'i mesur wrth y gair,
Wedi 'i selio â sel y Brenin
Welwyd gynt ar liniau Mair."

---

## ONID CAMSYNIAD?

---

*"Ond y mae ystadegau yn profi na fu oes dyn erioed yn fyrach nag ydyw hi hedddyw."*

Pan ddarllenais y frawddeg uchod yn mhregeth y Parch. John W. Williams, D. D., yn y WAWR am fis Mai, meddyliais ar y cyntaf fy mod yn camddarllen, neu fod y cysodydd wedi gwneyd camgymeriad. Ond ymddengys oddiwrth y rhan flaenorol o'r paragraph, fod y Doctor parchedig yn credu yr hyn a ddywed y geiriau.

Y mae ystadegau, pa fodd bynag, yn

Digitized by Google

profi yn hollol wahanol, sef mai hwyhau, ac nid byrhau, y mae oes dyn.

Y mae gan Macaulay, yn ei *History of England*, Vol. i., p. 125, y geiriau canlynol, pan y mae yn cymharu sefyllfa Lloegr yn amser Siarl II. â'i ddyddiau ef: "Some frightful diseases have been extirpated by science, and some have been banished by police. The term of human life has been lengthened over the whole kingdom, and especially in the towns. The year 1685 was not accounted sickly; yet in the year 1685 more than one in twenty-three of the inhabitants of the capital died. At present only one inhabitant of the capital in forty dies annually." Yr hyn o'i gyfieithu yw: "Y mae gwyddoniaeth wedi diwreiddio clefydau dychrynllyd, a rhai wedi eu halltudio gan wleidiadaeth. Y mae tymor bywyd dynol wedi ei hwyhau drwy yr holl deyrnas, ac yn neillduol yn y trefydd. Nid ystyrid y flwyddyn 1685 yn afiachus; eto yr oedd mwy nag un o bob tri-ar-hugain o drigolion y brif ddinas wedi marw yn 1685. Yn bresenol nid oes ond un o bob deugain o'r trigolion yn marw yn y brif ddinas yn flynyddol."

Rhaid cofio fod chwarter canrif wedi myned heibio er pan ysgrifenodd Macaulay, ac yn nghorph y cyfnod hwnw y mae mwy wedi ei wneyd gan wyddoniaeth i leddfu poenau dynoliaeth, i amlygu deddfau iechyd, a chynyddu mwyniant synwyrol a chymedrol, ac o ganlyniad estyn oes dynolryw, nag mewn un cyfeiriad arall. Mae y ffaith gref fod cymdeithasau bywyd-yswiriol yn codi llai yn raddol, er eu cychwyniad, am yswirio bywydau, yn cadarnhau y gwirionedd, fod bywyd dyn ar y ddaear yn estyn—nid yn cwtogi.

Efallai y gall Dr. Williams esbonio yn foddhaol sut y llithrodd honiad mor gam-arweiniol i mewn i'w bregeth.

AP P. A. MON.

---

# Bwrdd y Golygydd.

## ODDIWRTH Y PARCH. HUGH JONES, D. D., LLANGOLLEN.

[Mae y llythyr canlynol o eiddo Dr. Jones yn meddu dyddordeb cyffredinol, ac yn cynwys rhai pethau ag ydynt yn haeddu sylw neillduol eglwysi Bedyddwyr Cymreig America.—GOL.]

ATHROFA LLANGOLLEN, Mai 9, 1882.

AT Y PARCH. OWEN GRIFFITH—*Anwyl Frawd*—Wele i chwi, o'r diwedd, y *P.. O. O.* am y WAWR am 1882. Hyderaf eich bod yn cael cefnogaeth ddyladwy yn eich gwaith clodwiw o ddwyn y WAWR yn mlaen, i fod yn ffynonell goleuni, ac yn gyfrwng cyfnewidiad meddyliau, ac yn gofnodydd symudiadau, i'n brodyr anwyl yn America. Yr ydwyf fi, trwy gyfrwng y WAWR, a chyn hyny trwy gyfrwng y *Seren Orllewinol*, wedi dyfod yn lled gyfarwydd ag enwau eglwysi a gweinidogion Cymreig yn y wlad fawr yna, er yn ddyeithr iddynt o ran fy wyneb. Edmygwyf eu zel a'u gweithgarwch, eu cariad a'u hymroddiad, yn nheyrnas ac amynedd ein Harglwydd Iesu Grist.

Mae hi yn awr yn *vacation* gyda ni; y myfyrwyr allan er diwedd Mawrth yn casglu at y Coleg. Mae rhai o honynt yn dechreu dychwelyd. Byddwn yn ail-agor wythnos i heddyw, Mai 16. Cawsom fraw dirfawr flwyddyn i'r dyddiau hyn, pan oedd y myfyrwyr newydd ddychwelyd. Aeth amryw o honynt ar brydnawn poeth i ymdrochi yn y Ddyfrdwy, ac yn ebrwydd darfu i un o honynt gael ei gludo i drobwll, a'i sugno i lawr, a boddi! David Davies ydoedd ei enw, brodor o Blaen-y-ffos, Penfro; brawd hynaws, myfyriwr ymroddgar, a phregethwr addawol. Gwnaeth ei gyd-fyfyrwyr ymdrechion egniol, nes gosod eu hunain, rai o honynt, mewn dirfawr berygl, i'w achub, ond yn ofer!

Bydd y Coleg hwn yn 20 oed yn Awst nesaf. Dechreuodd ei yrfa yn "nydd y pethau bychain." Chwech oedd nifer y myfyrwyr ar y cyntaf;

Digitized by Google

cododd wed'yn i 9, ar ol hyny i 12, wedi hyny i 15, ac yn ddiweddar i 18 ac 20. Erbyn hyn mae 100 o fyfyrwyr wedi gadael y sefydliad, ac yn llafurio bron oll yn y weinidogaeth, a rhai wedi huno. Nid oes gan yr enwad heddyw weinidogion mwy parchus a llwyddianus na llawer o fyfyrwyr Llangollen. Y Llywydd cyntaf oedd Dr. John Prichard, un o Buritaniaid yr oes ddiweddaf hon, ac un o anrhegion arbenig yr Arglwydd i'r enwad yn y Gogledd. Llafuriodd ef yn ffyddlon am bedair blynedd gyda'r Athrofa, ac ysgrifenydd y llinellau hyn yn gyd-athraw ag ef. Wedi hyny bu yr ysgrifenydd yn unig athraw am bedair blynedd. Yn 1870, etholwyd Mr. Gethin Davies, B. A., Athrofa Bristol, yn athraw ieithyddol, ac apwyntiwyd yr ysgrifenydd yn Llywydd y sefydliad.

Deallwyf fod y Parch. B. James yn dychwelyd i'r America yr wythnos hon; a chlywais fod rhai o weinidogion Cymru yn myned yr un pryd ag ef "am dro i America." Hyderwyf y cânt well tywydd na Dr. Evans, ac y bydd nawdd Duw arnynt yn mhob man.

Yr ydych wedi cael amryw o Gymru yn ddiweddar. Mae fy hen gydfyfyriwr, Henry Thomas, wedi dyfod yna—brawd o ysbryd haelfrydig, calon gynes, ac yni anarferol; a'r Parch. J. W. Williams, Newtown, gweinidogaeth yr hwn a fu mor fendithiol yn y Newtown am y tymor byr y bu yno, a symudiad buan yr hwn a fu yn ofid a siomedigaeth i mi, ac i laweroedd. A phrofodd dychweliad Dr. Evans, er holl ymlyniad ei luoedd cyfeillion wrtho, fod America wedi enill ei galon. Duw yn rhwydd i'r brodyr anwyl hyn i gyd, ac i bob gweinidog da arall i Iesu Grist.

Bu tipyn o ymddyddan yn ein Cyfarfod Chwarterol yn Glynceiriog, yn mis Mawrth diweddaf, am gysylltiad Bedyddwyr Cymru â Bedyddwyr Cymreig America. Achlysurwyd hyny gan lythyr a roddasid i ryw frawd ar ei fynediad i America, ac a ddychwelasid drachefn cyn y Cwrdd Chwarter.—Barnai y Gynadledd fod eisiau mwy o ffyddlondeb, gonestrwydd a gochelgarwch yn yr ymgyfathrach rhwng Bedyddwyr y ddwy wlad. O herwydd prinder pregethwyr Cymreig yn America, o bosibl, derbynir gyda breichiau agored, unrhyw frawd o bregethwr neu weinidog o Gymru, heb fod yn ddigon hysbys o'i gymeriad yn y mynedol; a'r canlyniad fydd, cyn hir, cwymp, ymrafael a gwarth! Cofiwyf, flynyddau lawer yn ol, am frawd wedi methu yma, yn myned i America; dywedid ei fod yn methu cerdded i'r agerlong yn Lerpwl heb gymorth; ond yn y *Seren Orllewinol* y mis drachefn darllenais y ganmoliaeth uchelaf iddo yn mhob ystyr gan lu o weinidogion Cymreig yn yr Unol Dalaethau! Gwelais ar ol hyny hanes brawd wedi tirio yma, a fuasai yn yr Athrofa hon, meddid, am "bedair blynedd;" *dwy* flynedd fuasai gywiraf, gan nad beth am ei yrfa ar ol hyny.

Mabwysiadodd y Gynadledd benderfyniad, fel math o ddiogelwch i'w brodyr mewn gwlad bell, o ran ei sylwedd rywbeth fel a ganlyn:—"Nad yw yr Ysgrifenydd i roddi llythyr o ollyngdod i bregethwr na gweinidog ar ei fynediad i America, heb ganiatad y Cwrdd Chwarter neu y Gymanfa; a'n bod yn awgrymu i'r eglwysi Cymreig yn America, i ofalu fod cymeradwyaethau y rhai a ymfudant yno yn foddhaol, ac o ddyddiad diweddar."

Wrth gwrs, ni wna un dyn da ddyoddef oddiwrth benderfyniad o'r fath; bydd pob Cynadledd yn falch o gael cymeradwyo brodyr teilwng; ac am y rhai drwg—gwell iddynt aros gartref.

Credwyf fod sefyllfa yr enwad yn Nghymru, ar y cyfan, mewn cyflwr iachus a chefnogol. Mae ein Cyhoeddiadau yn dal eu tir, a'n Cymdeithasau yn llwyddo.

Dichon y goddefwch i mi gyfeirio at un peth ag sydd yn dwyn cysylltiad agos â mi yn bersonol. Cyfeiriwyf at yr ail-argraffiad o'r "Weithred o Fedydd." Yr oedd y llyfr allan o argraff er's deuddeng mlynedd, a galwad achlysurol am dano. Nid oedd hwnw yn ymwneyd ond yn unig â'r dull o fedyddio; yr oeddwn wedi ysgrifenu ychydig yn awr ac eilwaith ar Ddeiliaid Bedydd, yn enwedig yn y ddarlith a

Digitized by Google

gyhoeddais ryw ugain mlynedd yn ol; a chyngorwyd fi i wneyd y llyfr yn fwy cyflawn ar y pwnc, trwy ddarparu rhan ar Ddeiliaid Bedydd hefyd ag a fyddai yn ymwneyd â'r pwnc yn ei agweddau Duwinyddol, Hanesyddol, a Beirniadol, gan ateb y gwrthddadleuon. Cydsyniais â hyn, gan draethu hefyd yn helaeth ar Ddyben Bedydd. Wele ei gynwysiad:

RHAN I. Nodiadau Rhagarweiniol. Pen. I. Dwyfoldeb Bedydd. Pen. II. Parhad Bedydd. Pen. III. Gorchymynion Moesol a Phendant. RHAN II. Y Weithred o Fedyddio. *Dosran I. Y Profion.* Pen I. Bapto yn yr Ysgrifau Clasurol a Chysegredig. Pen. II. Baptizo yn yr Ysgrifau Clasurol, y LXX., a Josephus. Pen. III. Baptizo yn yr Efengylau. Pen. IV. Baptizo yn yr Actau. Pen. V. Baptizo yn yr Epistolau. Pen. VI. Hanesiaeth Gweinyddiad Bedydd. Pen. VII. Hen Fedyddfanau (*Ancient Baptisteries*). RHAN. II. Y Weithred o Fedyddio. *Dosran II. Y Gwrthddadleuon.* I. Y Geiriau, "Dyfroedd Lawer" (Ioan iii. 23). II. Hanes Bedyddiad Paul. III. Bedydd yr Ysbryd Glan. IV. Y defnydd a wneir o Bapto yn yr Ysgrythyrau Groegaidd. V. Yr Wrthddadl Americanaidd Newydd a Therfynol. VI. Y Golchiadau Iuddewig. VII. Bedydd a Phuredigaeth yn gyfystyr. VIII. Gwyleidd-dra Gwragedd Dwyreiniol. IX. Justin Ferthyr ar y Diafol yn Dynwared Bedydd. X. Y gair Syriaeg am Fedyddio. RHAN III. Deiliaid Bedydd. *Dosran I.—Dysgeidiaeth y Testament Newydd ar y Deiliaid.* Pen. I. Ioan Fedyddiwr a'i Weinidogaeth. Pen. II. Mai Credinwyr yw unig Ddeiliaid Bedydd. RHAN III. Deiliaid Bedydd. *Dosran II. Y Gwrthddadleuon.* I. Y Gwrthddadleuon Duwinyddol. § I. Unrhywiaeth Eglwys Dduw yn Mhob Oes. § II. Bedydd wedi dyfod yn lle Enwaediad. § III. Cyfamod Abraham. § IV. Crist yn Bendithio Plant Bychain. § V. Bedyddiad Teuluoedd. § VI. Y Plant yn Sanctaidd. § VII. Plant yn yr Eglwysi Apostolaidd. § VIII. Cymundeb Gwragedd. II. Y Gwrthddadleuon Hanesyddol. § I. Hanesyddiaeth Eglwysig a Hynafiaeth Bedydd Babanod—Tystiolaeth Justin Ferthyr—Irenæus—Clement o Alexandria—Tertulian—Origen—Cyprian. § II. Tystiolaeth y Catacombs i Hynafiaeth Bedydd Babanod. RHAN IV. Dyben a Phwysigrwydd Bedydd. Attodiad. I. Alexander Campbell ar Ddyben Bedydd. II. Bedydd a Chymundeb. III. Ystadegau ar Leihad Bedydd Babanod yn America. Taflen o Ysgrythyrau. Dangoseg. Darluniau—Bedyddfa o fewn Catacomb St. Pontianus—Mur-ddarlun (*fresco*) o Fedydd Crist, Canrif V.—Bedydd yn Lloegr yn Canrif XIV.—Bedydd-dy Pisa—Bedydd-dy Florence—Bedydd Crist, Canrif XIV.

Bydd tua 300 tudalen, yr un blyg a'r "*Act of Baptism,*" a'i bris tua 3 swllt. Mae yr argraffydd yn brysur ar y *form* ddiweddaf. Mor fuan ag y daw o law y llyfr-rwymydd, anfonaf gopi i chwi i'w adolygu yn y WAWR. Yr wyf wedi gwerthu y gweddill copiau, a *copyright* yr "*Act of Baptism,*" i'r *Baptist Tract Society*, Llundain.

Mae y deyrnas oll yn y cyffroad mwyaf y dyddiau hyn mewn canlyniad i lofruddiaeth Lord Frederick Cavendish, Prif Ysgrifenydd y Llywodraeth yn yr Iwerddon, a'r Is-Ysgrifenydd, nos Sadwrn diweddaf, yn Phœnix Park, Dublin. Y diwrnod hwnw yr oedd Lord Cavendish wedi cyrhaedd Dublin. Mae llawer o'r Gwyddelod yn ymddwyn fel haid o ellyllon wedi eu gollwng yn rhydd. Mae cyflwr yr Iwerddon yn achosi cyfyng-gyngor dwys i bob dyngarwr. Y Duw Hollalluog a gyfarwyddo ein Seneddwyr!

Cofion serchog atoch. Yr eiddoch yn gywir, HUGH JONES.

CYWIRIAD.—Ar y tu dalen blaenorol, yn niwedd y paragraph cyntaf o'r ail golofn, darllener "Gwelais ar ol hyny hanes brawd wedi tirio *yna* (yn lle *yma*), a fuasai yn yr athrofa hon, meddid am 'bedair blynedd;'" &c.

---

## "HANES Y BEDYDDWYR YN MHLITH Y CYMRY."

GAN Y DIWEDDAR JOSHUA THOMAS.

---

*At Olygydd y Wawr:* Syr—Llawer o son a fu yn yr ugain mlynedd diweddaf am gael Hanes y Bedyddwyr. Bu enwogion yn llafurio yn y cyfeiriad hwn am flynyddau lawer; ïe, am eu hoes; ond y mae yn ffaith sobr, na ddygwyd y gorchwyl i ben. O'r tu arall, bu yr enwog Joshua Thomas, yr hanesydd goreu fu yn Nghymru erioed, yn llwyddianus i ysgrifenu cyfrol hanesyddol yn Saesneg; ond bu yntau farw cyn dwyn y gwaith drwy y wasg. Ond cadwyd y gyfrol yn ofalus yn Athrofa Bristol, Lloegr. Cafodd er hyny orwedd yn farw heb i neb feddwl am ei chyhoeddi, am fwy na phedwar ugain mlynedd.

Digitized by Google

Gan fod cymaint o ymdrechion ofer wedi bod, a Chymru eto heb Hanes y Bedyddwyr, er fod enwadau eraill wedi cyhoeddi eu hanes; a chenyf finau gopi o ysgrif-lyfr Saesneg Joshua Thomas, penderfynais ei gyfieithu a'i gyhoeddi. Ac y mae prif ddynion y Bedyddwyr, yn nghyda haneswyr perthynol i enwadau eraill, wedi rhoddi eu cymeradwyaeth uchelaf i'r gwaith, a'n cymanfaoedd wedi pasio penderfyniadau cymeradwyol i'r anturiaeth. Gwnaed yr un peth hefyd gan Undeb Bedyddwyr Cymru yn eu cyfarfod blynyddol. Ac y mae y ffaith fod y fath enwogion a D. Lloyd Isaac (offeiriad), a Proffeswr Peters o'r Bala, (Annibynwr), yn mysg y derbynwyr, yn siarad yn uchel am y llyfr fel *standard work*.

Mae cysylltiad neillduol rhwng y gyfrol hon ag America. Yn un peth, llyfr eglwys Ilston, Abertawe, oedd sylfaen yr hanesydd gyda golwg ar hanes yr hen eglwysi Cymreig. Yn America y cafwyd gafael ar y llyfr hwn. Dygasid ef yno gyda John Myles pan y ffodd o afael yr erledigaeth yn Nghymru yn amser Charles II., ac y sefydlodd yn ngwlad y Gorllewin. Y mae Cymru, ac America hefyd, dan rwymau arbenig i John Myles, sylfaenydd y Bedyddwyr digymysg, am ysgrifenu y fath lyfr cynwysfawr; ac i Joshua Thomas hefyd, am wneyd y defnydd priodol o'r hen *Ilston Records* i gynyrchu Hanes y Bedyddwyr, yr hwn lyfr, meddai D. Ll. Isaac, (offeiriad) a fydd yn llyfr sylfaenol, yn cael ei ddarllen o oes i oes.

Gallem nodi hefyd fod yma hanes yr hen wroniaid a erlidiwyd o Gymru i gael nodded yn ngwlad y Gorllewin. Ac y mae miloedd Bedyddwyr America heddyw yn ffrwyth llafur a gwaed yr hen Gymry enwog hyn o siroedd Penfro, Caerfyrddin, Maesyfed, a Morganwg. Yma ceir hanes rhai eglwysi cyfain a gawsant eu corphori yn Nghymru i fyned dros y môr i'r Gorllewin, megys eglwys Penypec a'i gweinidog. Diameu y teimla Cymry America ddyddordeb neillduol yn y gwaith.

Mae canoedd lawer yno yn barod wedi derbyn y rhanau cyntaf o'r gwaith yn Nghymru, a byddant ddiolchgar am gyfle i gael y gweddill. Nid oes ond eisiau cynllun i'w ddwyn i sylw. Diolch i chwi, Mr. Gol., am addaw eich cynorthwy. Mae genyf hefyd nodyn oddiwrth y brawd R. Edwards, Pottsville, yn addaw derbyn enwau ato, ac amryw lythyrau oddiwrth y brawd Davies, Girardville, yn addaw pob cynorthwy. Yr wyf yn teimlo yn dra hyderus fod yna lawer eraill o weinidogion Cymreig a wnant eu goreu er lledaenu y gwaith trwy y wlad, a galw sylw eu cynulleidfaoedd ato, gan nad oes genym fel Bedyddwyr ond un hanes yn safon gydnabyddedig gan haneswyr enwog pob enwad. Nid gweddus i mi ddweyd dim gyda golwg ar y cyfieithiad a'r nodiadau ychwanegol. Ond y mae cymeradwyaethau enwogion fel Dr. Thomas, Pontypool; Dr. Jones, Llangollen; Rufus, Cynddelw, Llwyd Isaac, yn ngyda'r hyn ymddangosodd yn *Seren Cymru* a'r *Greal*, yn ddigon ar hyny. Anfonaf y rhai hyn i chwi, Mr. Gol.; fe allai y byddwch mor garedig a rhoddi goleuni iddynt yn y WAWR.

Yr eiddoch yn ffyddlon,

B. DAVIES.

*Pontypridd, D. C., Rhag.* 5, 1881.

---

## EGLURHAD YSGRYTHYROL.

GAN MR. W. T. DAVIES, PITTSBURGH, PA.

MR. GOL.—Nid wyf yn unfarn ag esbonwyr yn gyffredin mewn perthynas i'r geiriau hyny yn y bedwaredd benod o'r Hebreaid, sef, "Bywiol yw gair Duw, a nerthol, a llymach nag un cleddyf dau-finiog," &c. Credwyf fod yr ymadroddion yna yn cyfeirio at Iesu Grist, ac nid at ddim na neb arall. Mae yr Apostol trwy y llythyr hwn yn dangos rhagoriaeth yr Arch-offeiriad mawr, sef y "Gair a wnaethpwyd yn gnawd," ar yr offeiriad Iuddewig, ac yn y fan hon fel barnwr ar yr aberthau a gynygir ger bron gorsedd gras, ac yn eu rhybuddio o herwydd gallu yr arch-offeiriad i farnu yr aberth. Dengys anallu yr arch-offeiriad Iuddewig i farnu heb gyn-

Digitized by Google

orthwy y cleddyf dau-finiog i hollti yr aberth trwy asgwrn ei gefn, i weled a oedd yr aberth yn berffaith a dinam. Ond y *Gair* yn gallu cyrhaedd hyd wahaniad yr enaid a'r ysbryd, y cymalau a'r mer, ac yn barnu meddyliau a bwriadau y galon. Mae pob peth yn noeth ac yn agored yn ei lygaid ef, ac nid oes greadur anamlwg yn ei olwg ef, am yr hwn yr ydym yn son.

Am bwy yr wyt ti yn son, Paul? "Onid am Arch-offeiriad mawr ei ncyffes ni." Diau fod y cwbl yn cyfeirio at y Gair a wnaethpwyd yn gnawd, ac nid at yr efengyl.

## Y GWERSI CYDGENEDLAETHOL.

Yr ydym ni yma wedi ymgymeryd â'r gwersi cydgenedlaethol yn yr Ysgol Sabbothol, ac y maent yn gwneyd llawer o les. Onid oes modd cael adran o'r WAWR i'r perwyl hyn? Byddai darnau bychain yn taflu goleuni ar y gwersi hyn yn sicr o fod yn werthfawr gan lawer. Beth pe gofynem i bersonau medrus, megys Dr. Cefni, Ieuan Ddu, Allen J. Morton, C. Jones, M. A., i ysgrifenu darnau eglurhaol yn fisol i'r WAWR ar y gwersi hyny.

Yr eiddoch yn gywir,

*Brookfield, O.* WALTER JAMES.

[Da fyddai genym pe bae y brodyr a nodir yn cydsynio â'r cais.—GOL.]

## CYDNABYDDIAETH O DEILYNGDOD.

Y mae Madison University wedi anrhydeddu ei hun, ddiwedd y mis diweddaf, trwy roddi i'r brawd hoff, y Parch. John Evans, Westerly, R. I., (brawd Ednyfed), y gradd o Athraw Celfyddydol, (M. A.) Y mae fod gweinidogion o Gymry, a lafuriant yn mhlith y Saeson, yn cael eu gweled, a'u hanrhydeddu fel hyn, yn destyn llawenydd i'r Cymry oll, ac yn neillduol i'r Bedyddwyr Cymreig. Da iawn, frodyr anwyl, ewch yn mlaen. Llawer eto fyddo yn eich dilyn.

## MARWOLAETH GARIBALDI.

—Bu farw y gwladgarwr Italaidd, a'r gelyn anghymodlawn i ormes yn ei holl ffurfiau ac yn mhob man, Garibaldi, yn Caprera, ddydd Gwener, yr ail o'r mis diweddaf. Yr oedd ei yrfa yn un hynod. Ganwyd ef yn 1807, yn Nice (pan yr oedd Nice, fel y mae yn awr drachefn, yn rhan o Ffrainc). Cysegrodd ei hun pan yn ieuanc, i geisio rhyddid i Itali; ac er na sylweddolodd erioed ei obeithion coleddedig o'i gweled yn Weriniaeth rydd, dangosodd ei ddoethineb trwy ei gwneyd mor rhydd ag y gallai, ac i raddau helaeth trwy ei ymdrechion ef daeth yn Itali Unedig, dan Victor Emmanuel, gan daflu ymaith o'r diwedd iau y Pab o Rufain, a gwneyd Rhufain ei phrif ddinas. Yn mhlith dygwyddiadau rhamantus ei fywyd oedd ei ymdaith yn y wlad hon, lle y cynaliodd ei hun trwy wneyd canwyllau ar Staten Island, N. Y. Nid oedd heb ei feiau, a chyflawnodd gamgymeriadau, ond yr oedd ganddo enaid mawr, a bydd ei enw byw mewn hanesyddiaeth mor hir ag y pery hanesyddiaeth. Derbyniwyd y newyddion o'i farwolaeth gyda'r galar mwyaf yn Rhufain, gan y Llywodraeth yn gystal a'r werin, gwisgwyd y prif adeiladau mewn du, rhoddwyd llumanau ar haner *mast*, ac amlygwyd parch mawr i'w goffadwriaeth yn mhob modd. Tuebodd y Parliament fod cof-golofn gyhoeddus i gael ei rhoddi iddo yn Rhufain.

## YR AIPHT.

—Torodd terfysgoedd difrifol allan yn Alexandria, yn yr Aipht, yr 11eg o'r mis diweddaf, rhwng y brodorion gelynol a'r Ewropiaid, a dywedir i 67 o'r olaf gael eu lladd, a chlwyfwyd llawer. Dinystriwyd nifer o dai hefyd. Saethwyd y trafnoddydd Seisonig, gan ei glwyfo yn dost. Parhaodd yr ymladdfa am bum' awr. Mae llawer o Ewropiaid wedi ffoi o'r wlad. Mae sefyllfa wleidyddol yr Aipht ar hyn o bryd yn dra therfysglyd.

Dywed newyddion diweddarach fod nifer y lladdedigion yn 250. Mae Lloegr a'r Talaethau Unedig wedi danfon cadlongau i Alexandria.

## AWSTRIA.

—Fel yr oedd y Cyngrair Efengylaidd yn y Talaethau Unedig yn parotoi deiseb ar ran Protestaniaid Awstria, daeth y newydd canlynol oddiyno: "Mae y *lawsuit* bwysig wedi dyfod i derfyniad ffafriol i honiadau rhyddid crefyddol. Y pwnc i'w benderfynu ydoedd, A oddefid i rieni a adawsant yr eglwys Babyddol er mwyn cydwybod, i ddwyn eu plant i fyny yn ol eu hargyhoeddiadau crefyddol eu

Digitized by Google

hunain ai peidio. Yr oedd y Llywodraeth wedi penderfynu yn nacaol, ac wedi gorchymyn, dan boen gorfodaeth, fod i'r cyfryw blant gael eu dwyn at yr offeiriad Pabaidd i gael eu bedyddio ac i dderbyn addysg. Y mae Uchaflys y gyfraith wedi dirymu gorchymyn y Llywodraeth, yr hyn sydd yn achosi llawenydd mawr i lawer drwy y wlad.

## MAN-LEWYRCHIADAU.

—Bu bron i Mr. George Powell Perry, mab i'r Parch. Owen F. Perry, Bordwell, N. Y., enill gwobr bwysig trwy draddodi araeth ar *The American Soldier*, yn y *Commencement*, yn Madison, y mis o'r blaen. Barnai llawer o wyr galluog, mai efe, ac nid un arall, ddylasai gael y wobr. Mae y dyn ieuanc hwn, meddir, yn dringo i fyny yn gyflym mewn dysgeidiaeth a gallu pregethwrol.

—Daeth "Adgofion am yr Eidal" i law yn rhy ddiweddar i'r rhifyn hwn. Ymddengys yn ein nesaf. Da genym fod y gyfres hon o ysgrifau gan Dr. Williams, Hyde Park, mor dderbyniol gan ein darllenwyr.

—Diolchwn i'n cyfaill parchus, y Parch. John Davies, Bootle, Lerpwl, am ei bregeth ragorol a welir yn y rhifyn hwn. Darllener hi yn ofalus, a gwna les i'r enaid.

—Gwrthododd Ty y Cyffredin Lloegr, trwy fwyafrif o 208 yn erbyn 83, gynygiad Mr. George Howard, i agor y *museums* cenedlaethol a'r orielau ar y Sabboth. Yr oedd Mr. Gladstone yn mhlith y rhai cyntaf i duebu yn erbyn y cynygiad. Mae y mwyafrif mawr o blaid parchu dydd yr Arglwydd yn dra arwyddocaol, a dylai galonogi cyfeillion y Sabboth yn y wlad hon i sefyll yn wrol yn erbyn halogiad y diwrnod cysegredig.

—Mae amser yn dwyn cyfnewidiadau mawrion oddiamgylch. Cyfyngwyd John Bunyan i garchar Bedford am ddeuddeng mlynedd am weithrediadau eglwys-rwygol, &c., gan awdurdodau yr Eglwys Sefydledig; ond anrhydeddir ef yn awr â ffenestr goffadwriaethol yn eglwys Elston. Fel hyn mae y merthyron yn dyfod yn seintiau.

—Gwnaed 3,203 o filldiroedd o reilffyrdd yn y wlad hon o ddechreu y flwyddyn hon hyd ddechreu Mehefin.

# Barddoniaeth.

## BYDD DYNER WRTH Y PLENTYN BACH.

Bydd dyner wrth y plentyn bach,
Fel tôn ar dyner dant;
'Does dim ond cariad Iesu Grist
Yn fwy na chariad plant.

Bydd dyner wrth y gwan a'r gwael,
Ac hefyd wrth y cawr;
'Does dim ond geiriau melus mwyn
Yn gwneyd dybenion mawr.

Bydd dyner wrth dy dad a'th fam,
Rho'th galon arnynt hwy;
Mae'r byd yn ddigon chwerw heb
I ti ei chwerwi'n fwy.

Gofala hau a thi a gei
Gynhauaf yn ddi-feth;
I gael trugaredd dyner Duw,
Bydd dyner wrth bob peth.

—*Lledgyfieithiad.*

## LLINELLAU

Cyflwynedig i Ferch Fechan Mr. David Davies a'i Briod, Audenried, Pa., o'r enw Elizabeth Anne, ar derfyn ei blwyddyn gyntaf o'i hoedran.

Fel rhed y lwys afonig lân
O hyd i'r môr gan furmur cân,
'R un fath mae rhywbeth ynom ni
O hyd yn rhedeg atoch chwi;
Er fod y weilgi eang, maith,
A'i donau mawrion, dyfnion, llaith,
Yn codi fry, gan wasgar braw
Rhwng Cymru ac Americ daw;
Ha! bloeddiwn uwch y dyfnder erch,
Rhy fach yw ef i foddi serch!
Ac uwch ei donau llawn o frad,
Iach hwylia cariad mam a thad.
Ac yma'n fyw mae hen adgofion cynes,
A fyddant anwyl byth gan lawer mynwes.

Wel, dyma'r anwyl 'Liza Ann,
Fel nefol rodd a ddaeth i'ch rhan,
Trwy hyfryd wenau heulwen llwydd,
Yn gweled gwawriad pen ei blwydd.
O! mae rhyw swyn nefolaidd iach,
Yn mlwyddyn gyntaf plentyn bach.

Yn awr mae'r fechan hardd, ddi-nam,
Dan edyn tyner gofal mam,
Rhwng cysegredig furiau'r cryd,
Fel un o flodau arall fyd;
A chwerwon amgylchiadau'r llawr
Yn mhell o'i golwg hi yn awr.

Digitized by Google

O! bydded ei dyfodol
Yn ddysglaer a dilen;
A siriol ser dedwyddwch
Fo'n gwenu uwch ei phen;
Na wywed oer awelon
Rosynau heirdd eu gwedd,
A llawer, llawer blwyddyn
Fo rhwng ei chryd a'i bedd.

Ar draethell fach ei chalon
Na thored garw don;
Na rodded llaw yr estron
Un saeth o dan ei bron;
Ond bydded fel y byddo,
Ni fydd y plentyn iach
Yn well na'r dymuniadau
Esgynant o Gwmbach.

A myrdd ar fyrdd o engyl cân
Fydd byth yn gwylio 'Liza Anne.

T. E. Ap Telynog.

*Cwmbach, Aberdare, D. C.*

## PENILLION

I'W CANU AR Y PEDWERYDD O ORPHENAF.
GAN WM. C. WALTERS.

Dydd rhyfeddol yw'r Pedwerydd,
Dydd a berchir yma'n fawr,
Dydd caethgludwyd hen gaethiwed,
Dydd o bwys i ddaear lawr;
Dydd yn llesol i filiynau,
Dydd i wneyd calonau 'n llon;
Dydd cyhoeddiad Annibyniaeth,
Dydd dyrchafiad Washington.

Dydd a gedwir trwy yr oesau
Gyda pharch a hoffder mawr,
Dydd y codir ein banerau
Yn mhorthladdoedd daear lawr;
Dydd yn ateb idd ei enw,
Dydd am dano hyfryd son,
Dydd adgoffa buddugoliaeth,
Dydd o barch i Washington.

Cyn y dydd gwnaed llawer cynyg,
Wedi'r dydd bu llawer *skill;*
Ond o'r diwedd trodd y fantol,
Do, yn llwyr ar Bunker Hill.
Fe orch'mynwyd i'r swyddogion,
Ac i'r milwyr, rhyfedd son,
I ymadael o'r gororau,
Trwy awdurdod Washington.

Gwlad Americ yw yr oreu
O holl wledydd daear lawr,
Rhyddid gwladol a chrefyddol
Ynddi geir, a'r breintiau mawr;
Gwlad y Puritaniaid dewrion,
Gwlad a wna y trist yn llon,
Gwlad yn nawddle i filiynau,
Pwy na chofia Washington?

Mae can' mlynedd wedi pasio,
Ac ychwaneg gyda hwy,
Er pan fu y dewrion filwyr
Yn dyoddef llawer clwy';
Yr oedd Prydain falch yn teimlo,
Ac heddyw nid yw'n hoffi son;
Ond Americ sydd yn llawen
Yn dyrchafu Washington.

## SATAN YN GWYLIO JOB.

Ar gorn oer y lloer uwch llaw,
A hagr drem saif y gwr drwg,
Gan edrych mewn drych o draw,
Ar ei ael ef mae marwol wg.

—*Hiraethog.*

# Y Maes Cenadol.

GAN Y PARCH. W. F. DAVIES, NANTICOKE, PA.

Mae braidd yr oll o'n Cymdeithasau Cenadol wedi cynal eu cyfarfodydd blynyddol erbyn hyn. Wrth ddarllen mynegiadau y rhai hyn, cawn fod arian mawr wedi eu cyfranu yn ystod y flwyddyn, gan wahanol enwadau trwy y byd, yr hyn a ddengys yn dra amlwg fod y gwaith o efengyleiddio y byd wedi gafaelyd yn ddwfn yn nghalonau Cristionogion yr oes bresenol, ac yn cael sylw mwy cyffredinol heddyw nag erioed o'r blaen. Nid oes ond ychydig o wledydd ar wyneb ein planed ni nad ydynt yn cael sylw y naill neu y llall o'r Cymdeithasau Cenadol mewn rhyw fodd. Gwir ddigon fod llawer man yn mhell o gael y sylw a ddylai gael, a hyny am nad oes digon o arian wrth law, nac ychwaith weithwyr i'w gario yn mlaen. Ond credwn yn ddios y daw yr adeg y bydd arian a gweithwyr ddigon yn meddiant yr holl gymdeithasau i ofalu am y gwaith da hwn.

Bum yn meddwl unwaith rhoddi i'r darllenydd y tro hwn grynodeb byr o weithrediadau y gwahanol gymdeithasau sydd ar y maes, am y flwyddyn ddiweddaf, ond argyhoeddwyd fi mai anmhosibl gwneyd hyn o fewn cylch yr ychydig ofod sydd at ein gwasanaeth yn y Wawr. Felly rhaid gadael y

Digitized by Google

mynegiadau blynyddol i ti, ddarllenydd, i'w darllen dy hun. Gelli yn ddigon hawdd eu cael, ond danfon at yr hwn y danfonir yr arian Cenadol iddo.

Er y flwyddyn 1866, mae y China *Inland Mission* wedi derbyn uwchlaw $500,000 gan bersonau unigol at ei hyrwyddo i gario eu gwaith yn mlaen yn nghanolbarth China. Heblaw hyn, mae $75,000 wedi eu danfon yn uniongyrchol i China heb ddyfod trwy ddwylaw swyddogion y Gymdeithas o gwbl. Mae ganddi dros gant wedi myned i'r maes dan ei nodded, a'r rhai hyn wedi sefydlu 70 o orsafoedd i bregethu ynddynt yn nghalon y wlad fawr, ond tywyll hon; ac yn dâl am yr ymdrech a'r llafur mawr yno, mae dros fil wedi proffesu crediniaeth yn Mab Duw, a'u bedyddio ar sail eu ffydd yn ei enw. Syniad a goleddid yn bur gyffredin flynyddoedd yn ol oedd, nad oedd yn ddiogel i dramorwyr yn rhanau mewnol China; ond bellach, mae y cenadon hyn wedi dangos i'r byd yn wahanol. Dywedir fod rhanau gogleddol China yn fwy ffafriol i lwyddiant cenadol na'i rhanau deheuol hi. Paham, nis gwn. Dichon fod gan yr hinsawdd ddylanwad ar feddyliau y bobl i effeithio hyn.

Mae edrych yn ol ar China mor bell a'r flwyddyn 1853, a gweled y cynydd sydd ar grefydd yno, yn galw yn uchel arnom gydnabod Duw am ei ddaioni. Yn y flwyddyn a nodwyd, nid oedd yn China ond 361 yn gredinwyr yn yr Iesu. Yn 1863, cawn yno 1,974. Pum' mlynedd ar ol hyn, sef 1868, maent wedi cynyddu 5,743; ac yn 1881 mae nifer y Cristionogion yno yn 19,660. Mae y fath lwyddiant yn syndod nid bychan.

India.—Yn agos lle mae y Ganges yn ymarllwys i'r môr, mae ynys o gryn faintioli, a elwir y Sangar, ar yr hon y y cynelir rhyw fath o wledd grefyddol bob blwyddyn. Yr oedd y wledd y flwyddyn hon yn hynod yn ei hanes ar gyfrif rhyw beth, a dywedir fod tua phedair miliwn o bobl wedi ymgasglu yno ar un o'r prif ddyddiau. Un o'r pethau hynod yn nglyn a'r wledd grefyddol hon yw, fod yn rhaid i bob gwryw sydd yn dod iddi eillio pob blewyn o wallt ei ben, a myned adref a phen fel baban newydd eni. Yn Jalua, lle mae y Parch. Narayan Sheshadri yn genadwr, Bramin dychweledig a fu yn y wlad hon ychydig flynyddoedd yn ol, bedyddiwyd 70 yr un Sabboth, fis neu ddau yn ol. Mae dwy fil a phum' cant o orsafoedd cenadol yn India, ac mae dwy fil yn cael eu llywodraethu a gofalu am danynt gan Gristionogion brodorol yn unig. Mae nifer y credinwyr wedi cynyddu yn India yn ystod y deng mlynedd diweddaf fwy na chan' mil. Mae yno dros 650 o genadon yn wasgaredig dros wahanol ranau o honi; ond dylai fod yno fwy na phedair mil, ac yna ni fyddai ond un cenadwr ar gyfer pob haner can' mil o'r boblogaeth sydd yno. Symudwyd y delwau o deml baganaidd yn India yn ddiweddar, a theimla rhai o'r trigolion yn aruthr am eu colli. Penderfynasant gasglu er ei ail feddianu, ond ni chyrhaeddodd y casgliad ond tua 24 cents, yr hyn a ddengys yn dra amlwg nad oeddynt yn werthfawr iawn yn eu golwg.

Affrica.—Yn yr athrofa sydd yn Liberia, yr oedd nifer y myfyrwyr y flwyddyn ddiweddaf yn llawer lluosocach nag un flwyddyn flaenorol. Ar ochr orllewinol y cyfandir hwn, mae y Wesleyaid yn llafurio â'u holl egni. Cyfrifant fod 15,044 o aelodau yn eu gwahanol eglwysi yno. Mae y Genadaeth Francaidd yn mysg y Basutiaid yn hynod o lewyrchus yn bresenol. Gweithia y cenadon gydag egni a phenderfyniad, a choronir eu llafur a gradd helaeth o lwyddiant. Mae y Gymdeithas Feiblaidd Frytanaidd a Thramor newydd gyhoeddi y Beibl yn gyflawn yn iaith y Basutiaid, yr hwn a gostiodd $20,000. Rhydd hyn yr Ysgrythyr Lân yn gyflawn mewn naw o dafod-ieithoedd Affrica. Mae 40,000 yn aelodau yn y gwahanol eglwysi yn Neheubarth Affrica, a 45.000 o blant yn derbyn addysg yn yr ysgolion. Dysgwyliodd yr enwog Dr. Moffat yn ddyfal am flynyddoedd am un i gredu y genadwri a draddodai; ond cyn ei farw cafodd weled poblogaeth luosog wedi

Digitized by Google

ei dwyn yn wareiddiedig, ac yn myfyrio Gair y bywyd gyda chalon lawen.

Mae Ffrainc wedi penderfynu na cha un math o addysg grefyddol ei chyfranu yn ei hysgolion. Dichon mai hyn oedd y peth goreu dan yr amgylchiadau presenol ag mae Ffrainc yn myned trwyddynt. Yn ngwyneb hyn, mae y Protestaniaid yno wedi dyblu, os nad treblu, eu hymdrechiadau o blaid ysgolion Sabbothol, yr hyn wna ddiffyg yr ysgolion eraill i fyny.

Mae cynydd mawr wedi bod yn ddiweddar yn rhif myfyrwyr duwinyddol Germany. Yn y blynyddoedd blaenorol i 1880, nid oeddent ar gyfartaledd ond tua 1,536. Yn awr maent yn rhifo 2,384.

Mewn rhai manau o Sweden, mae brodyr i ni yn cael eu carcharu am bregethu gair Duw. Buasai un yn y carchar yn bresenol oni bae i olygydd papyr dalu y ddirwy yn ei le.

Dywedir nad oes llai na 70,000 o Gristionogion yn ymgynull yn Sabbothol i addoldai Madagascar.

Mae Polynesia, meddir, er maint ei thywyllwch unwaith, bron oll a dyfod yn Gristionogion.

Mae ynys o'r enw Hainan, yn gorwedd yn dde-ddwyreiniol i China, ag sydd yn 150 milldir o hyd, a 100 o led, ac yn meddu ar boblogaeth o tua 1,500,000. Yn ddiweddar, aeth boneddwr ag oedd yn arfer gwasanaethu y Llywodraeth Chineaidd yn Custom House Canton, ar ei gyfrifoldeb ei hun yno, gan ddechreu cario yn mlaen waith cenadol oreu y medrent, ac nid yw heb enill sylw yno. Mae yr ynys yn ffrwythlon iawn, ac yn debyg o ddyfod yn faes cenadol pwysig. Duw ofalo am Jeremiassen. Dyna enw y brawd da sydd yno.

## HANESION CARTREFOL.

### Nanticoke, Pa.

Yr ydym fel eglwys yn y lle hwn ar ein huchelfanau o herwydd y swm da o arian gawsom yn ddiweddar oddiwrth *festival* a gynaliwyd yma ar gyfer adeiladu ein capel newydd. Cawsom elw clir o $1,230.00. Felly nid oes ynom y petrusder lleiaf yn awr na fydd i'r gwaith fyned yn y blaen. Yr oedd eisiau capel mwy arnom, ac mewn man mwy canolog, a chyn hir byddwn wedi ei gael. Mae *lot* wedi ei phrynu, a thalu am dani, mewn man prydferth a chanolog. Mae hefyd ffurff a maint y capel newydd wedi penderfynu arno. Bydd yn 60 troeddfedd o hyd, a 36 o led; a *vestry* tu cefn iddo, at wasanaeth plant yr ysgol, a chyfarfodydd yr wythnos, yn mesur 18x30. Y mae y gwaith wedi ei ddechreu, ac y mae y *contract* yn galw am ei orpheniad erbyn y cyntaf o fis Medi. Gwneir pob ymdrech i'w gael yn barod wythnos neu ddwy yn gynt, er gallu myned â'r Gymanfa iddo, yr hon sydd i'w chynal yma y Sul diweddaf yn Awst. Yr ydym, fel eglwys a gweinidog, yn teimlo yn dra diolchgar i bawb a gyfranodd y swm lleiaf at ein cynorthwyo yn amser y *festival*, ac i'r rhai lafuriodd mor galed gyda casglu, ac yn neillduol felly y rhai oedd yn casglu drosom oddi cartref, megys yn Taylorville, Scranton, a Drifton. Gwnaeth pawb ei oreu yn ddiddadl, a theimlwn yn ddiolchgar iawn am y fath gydymdeimlad ac ewyllys da. W. F. Davies.

### Cymanfa Bedyddwyr Cymreig Wisconsin.

Cynaliwyd y Gymanfa hon eleni yn Braidwood a Braceville, Ill, Mai 27, 28, 29, 1882.

Boreu dydd Sadwrn am 10, dechreuwyd y gynadledd trwy ddarllen a gweddio gan y brawd David James, Salem, ger Oshkosh. Etholwyd y Parch. John Thomas, gweinidog y lle, yn Llywydd y Gymanfa; y Parch. J. T. Jones, Dodgeville, yn Ysgrifenydd; a'r brawd D. M. Powell, Salem y Coed, yn Drysorydd. Yna galwyd am y llythyrau oddiwrth yr eglwysi; ac wedi eu darllen, cafwyd testynau i fod yn ddiolchgar, a chymeryd cysur.

Pasiwyd y penderfyniadau canlynol gan y Gymanfa:

1. Derbyniwyd y brawd Joseph T.

Digitized by Google

Jones, diweddar o Johnstown, Pa., ar sail llythyr o gymeradwyaeth uchel oddiwrth Gymanfa Ohio a Gorllewinbarth Pennsylvania, ar ei ymsefydliad fel gweinidog ar eglwysi Dodgeville a Salem y Coed, Wis., lle y llafuria gyda chymeradwyaeth cyffredinol.

2. Fod llythyr o ollyngdod o'r Gymanfa hon i'w roddi i'r brawd H. C. Parry, D. D., ar ei ymsefydliad yn Bevier a New Cambria, Mo., fel gweinidog yr eglwysi uchod; dymuna y Gymanfa hon ddatgan ei hiraeth ar ol brawd mor dda a galluog, gan obeithio am ei ddychweliad eto i'r Gymanfa hon, lle mae calonau y gweinidogion a'r eglwysi yn ei garu a'i werthfawrogi yn fawr.

3. Fod y Gymanfa hon yn teimlo galar dwys o herwydd symudiad ein hanwyl frawd Thomas Thomas, Berlin, trwy angau, o gylch ei lafur a'i ddefnyddioldeb fel brawd haelionus, caredig a gwerthfawr, ac yn dymuno datgan cydymdeimlad â'i weddw oedranus, a'i blant galarus. Tad yr amddifaid a Barnwr y gweddwon yn ei breswylfa sanctaidd a'u noddo ac a'u dyddano yn eu galar a'u tristwch mawr.

4. Fod y Gymanfa hon yn anog yr eglwysi i ymdrechu derbyn y WAWR, a thalu am dani yn brydlon.

5. Fod y Gymanfa hon hefyd yn dymuno datgan ei diolchgarwch i Mr. John Ormond, Goruchwyliwr y lle, ac eraill o'r cyfeillion serchog, am eu caredigrwydd a'u haelionusrwydd yn cyfranu arian a darparu lluniaeth ac ymgeledd, er cynorthwyo yr eglwys yn y lle i ddwyn y Gymanfa yn mlaen mor anrhydeddus. Yr Arglwydd Ior a'u bendithio.

6. Fod y Gymanfa nesaf i fod yn Berlin—yr amser i gael ei nodi eto.

Treuliwyd cwrdd y prydnawn mewn cyngorion, cymelliadau ac anogaethau i fyned rhagom at berffeithrwydd, ac i gynyddu mewn pob gras, ac yn ngwybodaeth ein Harglwydd a'n Hachubwr Iesu Grist, oblegid tir lawer iawn sydd eto i'w feddianu.

Dechreuwyd cyfarfod 2 o'r gloch trwy ddarllen a gweddio gan y brawd John O. Williams, Bevier. Yna cafwyd anerchiadau gan y Llywydd, John O. Williams, D. Lloyd, John Price, y Parchn. R. D. Evans, H. C. Parry, D. D.; D. James, D. M. Powell, Joseph T. Jones, Mr. Bowen, W. Jones, La Crosse; John Evans a D. Roberts. Yr oeddem un ac oll yn barod i ddweyd, Da yw i ni fod yma. Cafwyd cyfeillach fendigedig, oblegid fod

"Pawb o'r brodyr yno'n un,
Heb neb yn tynu'n groes," &c.

Y CYFARFODYDD CYHOEDDUS.

Nos Wener, yn Braidwood, pregethodd y Parch. J. T. Jones, Dodgeville, Wis.; ac yn Braceville, y Parch. H. C. Parry, D. D.

Nos Sadwrn, yn Braidwood, pregethodd y Parch. R. D. Evans, Springwater, a W. Jones, La Crosse.

Boreu Sabboth, am 10. y Parchn. J. T. Jones a Dr. Parry.

Am 2, y Parchn. D. M. Powell, Salem y Coed, yn Gymraeg, a William Jones, La Crosse, yn Saesoneg.

Am 6, y Parchn. J. T. Jones a Dr. Parry.

Ar yr un awr, yn Braceville, pregethodd y Parchn. R. D. Evans a Wm. Jones.

Boreu Llun, pregethodd yr hybarch frawd W. Jones, La Crosse.

Am 2, y Parchn. R. D. Evans, Springwater, a J. T. Jones, Dodgeville.

Nos Fawrth, drachefn, am 7 o'r gloch, pregethodd y Parchn. Joseph T. Jones a Dr. Parry.

Yna terfynodd un o'r Cymanfaoedd goreu yn mhob ystyr y buom ynddi erioed. Yr oedd yr hin yn ddymunol, y Nefoedd yn gwenu, pechaduriaid yn teimlo, Seion yn gwledda, a Duw yn cael ei ogoneddu. Hyderwn y bydd i'r had a hauwyd gael dyfnder daear, ac y bydd ffrwythau addas i edifeirwch yn ganfyddadwy yn y dyfodol.

"O to grace how great a debtor!"

YR YSTADEGAU.

Saif ystadegau yr eglwys am y mynedol a'r gorphenol fel y canlyn:

Sardis, Dodgeville—Gweinidog, Jo-Joseph T. Jones, Post Swyddfa, Dodge-

Digitized by Google

ville; derbyniwyd trwy lythyrau, 3; rhif yr aelodau, 32; Ysg. Sab., 12.

Bethania—Post Swyddfa Jennieton, Wis.—Gollyngwyd trwy lythyrau, 2; rhif yr aelodau, 43; Ysg. Sab., 25.

Salem y Coed—Gweinidog, Joseph T. Jones, Post Swyddfa, Dodgeville; derbyniwyd trwy lythyr, 1; gollygwyd trwy lythyrau, 2; rhif yr aelodau, 17; Ysg. Sab., 18.

Braidwood—Gweinidog, John Thomas; Post Swyddfa, Braidwood, Ill.; derbyniwyd trwy lythyrau, 8; gollyngwyd trwy lythyrau, 8; rhif yr aelodau, 14; Ysg. Sab., 40.

Braceville—Gweinidog, John Thomas; Post Swyddfa, Braceville, Ill.; derbyniwyd trwy lythyrau, 3; gollyngwyd trwy lythyr, 1; diarddelwyd, 1; adferwyd, 2; rhif yr aelodau, 17; Ysg. Sab., 45.

Salem, Oshkosh; Post Swyddfa, Oshkosh—Gollyngwyd trwy lythyrau, 3; derbyniwyd trwy lythyr, 1; adferwyd, 5; rhif yr aelodau, 41; Ysg. Sab., 35.

Ebenezer, Springwater—Gweinidog, R. D. Evans; Post Swyddfa, Springwater—rhif yr aelodau, 10; Ysg. Sabbothol, 16.

Aurora, Berlin—Gweinidog, R. D. Evans—Gollyngwyd trwy lythyrau, 4; bu farw, 1; rhif yr aelodau, 25; Ysg. Sab., 35.

Picatonica—Gweinidog, H. Hughes; Post Swyddfa, Mineral Point—Dim llythyr.

Gweinidogion heb ofal eglwysi ydynt, y Parchedigion Meredith Evans, Dodgeville, a William Jones, La Crosse.

Pregethwr cynorthwyol, D. M. Powell, Salem y Coed.

JOSEPH T. JONES, *Ysg.*

---

## CYMANFA Y BEDYDDWR CYMREIG

### *Gorllewinol i'r Mississippi.*

Cynaliwyd y Gymanfa uchod eleni gydag eglwys barchus Dawn. Livingston Co., Mo., Mai 19--21, 1882. Gwasanaethwyd ar yr achlysur gan y brodyr canlynol: D. V. Thomas, Rulo, Neb.; J. W. Jones, Clay Co., Iowa; T. D. Evans, Bevier, Mo.; Dr. Parry (Cefni), Bevier, Mo., a'r Parch. D. Rhoslyn Davies, Pittsburgh, Pa.—yr olaf wedi ei wahodd gan yr eglwys yn Dawn i wasanaethu.

Nos Wener, y 19eg, darllenwyd a gweddiwyd gan T. D. Evans, Bevier, a phregethodd y brodyr D. V. Thomas a D. Rhoslyn Davies.

Boreu Sadwrn, agorwyd y gynadledd trwy ddarllen a gweddio. Yna dygwyd gweithrediadau y gynadledd yn mlaen yn y drefn ganlynol: Penderfynwyd,

1. Fod y Parch. R. M. Richardson, Dawn, Mo., i fod yn Gymedrolwr am y flwyddyn ddyfodol.

2. Fod y Parch. T. D. Evans, Bevier, Mo., i barhau yn ei swydd fel Ysgrifenydd.

3. Fod Mr. Thomas Evans, Sioux Rapids, Buena Vista Co., Iowa, i barhau yn ei swydd fel Trysorydd y Gymanfa.

4. Darllen llythyrau oddiwrth y gwahanol eglwysi, y rhai a ddangosent fod gwedd ddymunol, a graddau o lwyddiant trwy holl gylch y Gymanfa. Penderfynwyd,

5. Ein bod yn rhoddi croesawiad gwresog i'r Parch. D. Rhoslyn Davies i'n plith, ac yn ei anog i gymeryd rhan yn ngweithrediadau y Gynadledd.

6. Ein bod yn derbyn y Parch. H. C. Parry yn aelod cyflawn o'r Gymanfa hon.

7. Fod pwyllgor o bump yn cael ei benodi yn y cyfarfod hwn i ymdrin ag achos eglwys Aspinwall, Neb., sef y brodyr R. M. Richardson, Dr. Parry, D. V. Thomas, Thomas Evans, Iowa, a Joseph Lewis, Dawn.

8. Fod cais eglwys New Cambria, Mo., am y Gymanfa y flwyddyn nesaf yn cael ei ganiatau.

9. Fod dysgwyliad i bob aelod o fewn cylch y Gymanfa i gyfranu 25 c. yn flynyddol tuag at ddwyn y treulion.

Cafwyd cynadledd heddychol a thawel, arwyddion amlwg fod teimladau Cristionogol yn meddianu pawb ag oedd yn bresenol, yr hyn sydd anhebgorol angenrheidiol er cysur a llwyddiant yr achos goreu.

Gohiriwyd i gyfarfod nesaf gyda'r

Digitized by Google

eglwys yn New Cambria, Mo. Terfynwyd trwy weddi.

Prydnawn Sadwrn, am 2 o'r gloch, cafwyd cyfeillach gyffredinol, yr hwn oedd yn gyfarfod lluosog a bywiog iawn, llawn o deimladau da, a phrofiadau melus. Gallesid dweyd yn briodol, "Wele mor ddaionus ac mor hyfryd yw trigo o frodyr yn nghyd." Ar ddiwedd y cyfarfod hwn cafwyd adroddiad y pwyllgor ar achos eglwys Aspinwall, Neb., yr hwn sydd fel y canlyn:

"Fod y pwyllgor hwn, yn enw yr enwad, yn ymgymeryd ag adffurfio eglwys Fedyddiedig Gymreig Aspinwall, Neb.; ac fod yr eglwys newydd i dalu y ddyled wreiddiol o $134 i J. T. James ar dderbyniad gweithred wedi ei harwyddo yn briodol. Ac yn mhellach, ein bod yn cymeradwyo i'r Parchn. R. M. Richardson a Dr. Parry i fyned yno i'w cynorthwyo i gael pethau i'w lle."

Rhyddhawyd y pwyllgor, ac ni a hyderwn y ceir gweled eglwys flodeuog a llwyddianus gan ein henwad yn fuan yn Aspinwall, ac yr aiff "y fechan yn fil, a'r wael yn genedl gref" ync.

Nos Sadwrn, am 6 o'r gloch, dechreuwyd trwy ddarllen a gweddio gan y Parch. D. V. Thomas, a phregethodd y Parchn. J. W. Jones a Dr. Parry (Cefni).

Boreu Sabboth, am 10 o'r gloch, dechreuwyd trwy ddarllen a gweddio gan y Parch. D. Rhoslyn Davies, a phregethodd D. T. Evans a Dr. Parry.

Am 2 o'r gloch, dechreuwyd trwy ddarllen a gweddio gan Dr. Parry, a phregethodd J. W. Jones a D. Rhoslyn Davies.

Am 6 o'r gloch, dechreuwyd gan T. D. Evans, trwy ddarllen a gweddio, a phregethodd D. Rhoslyn Davies a Dr. Parry.

Deallwn i'r Parch. D. Rhoslyn Davies bregethu y nos Lun ganlynol, wedi i ni fyned gartref, a hyny er boddlonrwydd cyffredinol. Dymunwn lwyddiant i'r brawd anwyl a serchog hwn, yn ei faes newydd yn Pittsburgh, Pa.

Cawsom Gymanfa ragorol, o'r dechreu i'r diwedd, pregethau grymus, gwrandawiad astud, a gwenau yr Arglwydd ar yr holl gyfarfodydd. Gobeithiwn y bydd y Gymanfa hon yn fendith i'r eglwys yn Dawn, ac i'r ardal yn gyffredinol, yn gystal ag i bawb a gafodd y fraint o fod yn bresenol.

Dangoswyd caredigrwydd neillduol gan yr holl ardalyddion o bob enwad tuag at ddyeithriaid. Taled yr Arglwydd iddynt yn helaeth am eu haelioni.

R. M. Richardson, *Cym.*
Thos. D. Evans, *Ysg.*

---

YSTADEGAU Y GYMANFA.

*Dawn, Mo.*—Gweinidog, R. M. Richardson. Derbyniwyd trwy lythyrau, 2; adferwyd 1; bu farw 1; gollyngwyd trwy lythyr 2; rhif presenol, 92.

*New Cambria, Mo.*—Gweinidog, Dr. Parry (Cefni). Derbyniwyd trwy lythyr, 2; gollyngwyd trwy lythyr, 5; bu farw, 1; rhif presenol, 21.

*Bevier, Mo.*—Gweinidog, Dr. Parry (Cefni). Bedyddiwyd, 1; derbyniwyd trwy lythyrau, 10; adferwyd, 5; gollyngwyd trwy lythyrau, 2; rhif presenol, 51. Gweinidog cynorthwyol, T. D. Evans.

*Hiawatha, Kas.*—Gweinidog, D. V. Thomas. Derbyniwyd trwy lythyr, 1; rhif presenol, 13.

*Clay Co., Iowa.*—Gweinidog, J. W. Jones. Bedyddiwyd, 4; adferwyd, 5; derbyniwyd trwy lythyrau, 2; bu farw, 1; rhif presenol, 38.

Casglwyd yn ystod y flwyddyn, tuag at y Gymanfa: Bevier, Mo., $5; New Cambria, $5; Clay Co., $5; Hiawawatha, $5.

R. M. Richardson, *Cym.*
T. D. Evans, *Ysg.*

---

CYMANFA BEDYDDWYR DWYREINBARTH PENNSYLVANA.

Cynelir y Gymanfa hon eleni gyda'r eglwys yn Nanticoke, ar y 26, 27 a'r 28ain o fis Awst, sef y Sadwrn, Sul a Llun olaf yn y mis (dewisiad yr eglwys, o herwydd amgylchiadau lleol. iddi gael ei chynal ar yr amser crybwylledig).

Digitized by Google

Bydd y gynadledd yn dechreu am 10 o'r gloch boreu dydd Sadwrn. Dysgwylir i'r gweinidogion a'r cenadon fod yno yn brydlawn.

Gofaler fod llythyron yr eglwysi at y Gymanfa yn cynwys yr oll o'r cyfnewidiadau sydd wedi cymeryd lle ynddynt yn ystod y flwyddyn gymanfaol, er cael cywirdeb yn yr ystadegau.

Danfoner arian y treulion, fel arfer, gyda'r cenadon, neu mewn *registered letter* i'r Ysgrifenydd. Cyfeiriad—J. P. Harris, Nanticoke, Luzerne Co., Pa.

D. S.—Mae trysorfa y Gymdeithas Artrefol Gymreig wedi ei dihysbyddu. Byddai yn dda i'r eglwysi ystyried hyn, gan y bydd galwad eleni oddiwrth eglwysi gweiniaid, ac o leoedd newyddion, am help. Pa fodd y mae i ni gyfarfod â'r angen hwn? Y mae amryw frodyr wedi anfon atom i ofyn, paham na ellir defnyddio gweddill (*surplus*) traul y Gymanfa sydd yn awr yn llaw y Trysorydd er cyfarfod a'r angen? Gadawn y mater i ystyriaeth yr eglwysi; bydded iddynt amlygu eu barn yn y gynadledd drwy y cenadon.

J. P. Harris, *Ysg.*

---

### Arnot, Pa.

Mae yr achos da yn dra llewyrchus yn ein plith—amryw o flaen yr eglwys yn aros am fedydd, ac afradloniaid yn dychwelyd yn ol i dy eu Tad; yr ysgol Sabbothol yn llewyrchus iawn o dan arolygiaeth y brawd parchus John Williams. Nid oes genym weinidogaeth sefydlog; y mae yn drueni mawr na bae rhyw frawd yn y weinidogaeth yn byw yn nes atom, er rhoddi ychydig o adgyfnerthion i ni fel eglwys i fyned ag arch Duw tua'i gwlad. Ein gweddi yw ar fod i'r Arglwydd ein llwyddo nes ein gwneuthur yn alluog i gynal gweinidog ein hunain. Y mae ein diaconiaid â'u holl egni yn y gwaith, ac undeb yn mhlith yr holl frawdoliaeth, ac yn ymdrechu â'u holl allu i ddal breichiau ein parchus swyddogion i fyny. Gweddiwch drosom ar fod i'r Arglwydd ein nerthu a'n llwyddo ninau yma.—*Henry S. Jones.*

### Galwad i Weinidog.

Hysbysir fod eglwys y Bedyddwyr yn Ridgeway, Wis., wedi rhoddi galwad unfrydol i'r Parch. J. Thomas, Braidwood a Braceville, Ill., a'i fod yntau wedi ei hateb yn gadarnhaol, ac yn bwriadu dechreu ar ei weinidogaeth yno y Sabboth cyntaf yn Awst nesaf. Bydd yn golled fawr i'r eglwysi yn Illinois ar ei ol.—*Brawd.*

---

### South Chicago, Ill.

Hyd yn ddiweddar yr oedd yn y lle hwn eglwys Gymreig gymysg. Tua diwedd y flwyddyn ddiweddaf gwelid arwyddion dadfeiliad buan arni; a rhoddid y bai ar y Bedyddwyr oedd yn eu plith. Y canlyniad fu sefydlu eglwys i'r Bedyddwyr Seisnig, gan nad oedd digon o Fedyddwyr Cymreig i wneyd eglwys. Bu Mr. Bassett, o Palmyra, O., yn llafurio yma am beth amser. Yr oedd mawr angen am gapel i'r Bedyddwyr yn y lle. Erbyn hyn mae yr eglwys fechan yn ymgryfhau, ac yn parotoi i godi capel, a dyn ieuanc wedi ei ddewis yn weinidog. Drwg genym ddweyd fod gwrthwynebiad nid bychan wedi ei ddangos tuag at "y sect hon;" ond llwyddo y maent. Mae hyn oll wedi ei wneyd trwy wasanaethgarwch Cymry. Llwyddiant i'r gwirionedd.—*Ed. Jermyn Jones.*

---

### Audenried, Pa.

Y mae yr achos yn dra llewyrchus yn y lle hwn ar hyn o bryd. Mae y cynulleidfaoedd yn fwy nag y gwelwyd yma erioed o'r blaen, ac y mae arwyddion cyffro yn y gwersyll.—*Gohebydd.*

---

### Olyphant, Pa.

Mehefin 2.—Bu y Parch. J. P. Harris yn talu ymweliad â ni, ac yn ein gwasanaethu yn yr Arglwydd. Cafwyd amser dymunol yn y gwaith, ac yn arbenig yn ngweinyddiad ordinhadau y ty. Bedyddiwyd un ferch ieuanc ar broffes o'i ffydd yn Mab Duw, yn y Lackawanna, am 2 o'r gloch. Hyder-

Digitized by Google

wn mai blaenffrwyth tyrfa fawr ydoedd. Amen.—*Un oedd yno.*

---

PARISVILLE, O.

Mae yr eglwys Fedyddiedig yn y lle hwn yn dra llewyrchus ar yr adeg bresenol. Y mae amryw wedi eu bedyddio er pan mae ein gweinidog parchus Mr. Morton yn ein plith. Mae y gynulleidfa wedi cynyddu llawer, a golwg iachus ar yr achos. Llwyddiant i'r gwirionedd.—*Brawd.*

---

NANTICOKE, PA.

Cymerodd damwain alaethus le yn y lle uchod Ionawr 22, 1882, pryd y mygwyd tri o bersonau: Mr. William Hughes, gan adael priod a phlentyn; Mr. Samuel Morris, gan adael priod a thri o blant; a Mr. John Davies, gweddw, dyn ieuanc ugain oed.

Beth yw'r olwg brudd, alarus,
  Gwedd ofidus gan bob dyn?
Trwm och'neidiau sydd o'r galon,
  Pawb yn llwfr, trist a blin;
Och! mae tri o Gymry siriol
  Wedi eu lladd mewn tanchwa erch,
Yn y lofa danddaearol,
  Gan adael holl wrthddrychau serch.

Aeth y tri o'u cartref hapus
  Yn y boreu gyda'r wawr,
At eu gorchwyl, gwaith peryglus,
  Yn farw 'roeddynt cyn pen awr;
Creulawn ydyw dyrnod angau,
  Nid yw 'n gwrandaw gweddi brudd,
Parod neu anmharod fyddwn,
  Myn y bywyd pan ddaw'r dydd.

---

HYDE PARK, PA.

Mr. Gol. a lluosog ddarllenwyr y WAWR—Gwn eich bod yn caru cael gair o'n hanes. Credwyf fod sylw y byd Cymreig Americanaidd, yn wladol a chrefyddol, ar y lle hwn. Mae achos Iesu Grist yn y rhan Fedyddiedig o hono yn parhau i wisgo agwedd ddymunol iawn—Penn Avenue, capel y Parch. D. Spencer, wedi cael ei helaethu, a'i drwsio a'i drefnu yn hynod o dda. Cafwyd cyfarfod dyddorol yno nos Lun, Meh. 12, yn fath o *jubilee.* Traddododd Dr. Bevan ei ddarlith ddyddorol ar "Haner can' mlynedd yn y Weinidogaeth." Cafwyd hefyd anerchiadau gan y Parchn. J. D. Williams, D. D.; Owen James, A. M.; B. D. Thomas, D. Spencer, &c. Cyflwynwyd i'r Dr. $50 mewn aur gan ei gyfeillion.

Mae eglwys Chestnut Street, o dan weinidogaeth yr ysgolhaig, y pregethwr galluog a'r bugail gofalus, Owen James, yn gwneyd yn dda—yr Ysgol Sul yn cynyddu yn gyflym, y gwrandawyr yn amlhau, a llawer yn troi at yr Arglwydd.

Nid yw eglwys Jackson Street ddim cystal, hwyrach, am fod yn mryd Mr. Thomas i ymadael. Y mae ef wedi bod yn llwyddianus iawn am lawer o flynyddoedd. Daeth hon yn gydmarol o ddim yn eglwys dda, a chanddynt gapel hardd.

Ond o honynt oll, yr achos Cymreig, o dan weinidogaeth Dr. Williams, sydd fwyaf blodeuog. Y mis hwn (Mehefin), derbyniwyd i'r eglwys, trwy fedydd, o dir gwrthgiliad, a thrwy lythyrau, 31, ac mae cymaint a hyny eto o flaen yr eglwys yn ymgeiswyr. Y mae ei bregethau yn nerthol a grymus, a'i apeliadau yn hynod o effeithiol. Nid yw yn cynyg at yr athronol a'r duwinyddol, ond yr ymarferol. Y mae ei aelwyd mor boeth, dalia y fath dân, fel y mae yn gallu taflu pob peth yn wreichion byw eiriasboeth. Y mae yn feistr y gynulleidfa, y mae yn weithiwr difefl, ac yn fugail gofalus. Yr wythnos hon bydd yn cychwyn am y Gymanfa tuag Utica, Steuben, &c.; a'n dymuniad yw, ar i'r Arglwydd ei arddel ef a Dr. Evans, a'r oll o honynt.

Talwyd ymweliadau â ni gan bregethwyr o Gymru yn ystod mis Mehefin. Y Parch. Gwilym Evans, brawd y Parchn. John a Fred. Evans, sydd yn debyg ambell waith i John, bryd arall i Fred., a phryd arall nid yw yn debyg i'r un o honynt. Rhwng y cyfan y mae yn ddyn ieuanc gobeithiol. Rhoddodd foddlonrwydd cyffredinol yma. Yr Arglwydd a'i cynalio ac a'i bendithio.

Y Parch. Morlais Evans, Hirwaen, sydd ddyn o gorph gwanllyd, ond o feddwl cawraidd—rhy fawr yw y pres-

Digitized by Google

wylydd i'r ty lle y preswylia. Da genym ei fod yn gwella. Bu yma gyda ni yn pregethu, ac yn siarad mewn gwahanol gyfarfodydd. Meddylia yr Atheniaid yn uchel am dano. Credwn, os yn ol i Gymru yr a, y dychwela cyn hir. Dywedir ei fod ef a phobl Providence yn hoff o'u gilydd. Byddai yn gaffaeliad i'r Gymanfa hon allu ei gael yn aelod. EBENEZER LLOYD.

## *BEDYDDIWYD—*

*Drifton, Pa.*—Ar Sabboth y 21ain o Mai, yr oedd tyrfa wedi ymgasglu ar lan y dwfr, yn edrych ar weinyddiad yr ordinhad o fedydd. Wedi gwasanaeth byr a phwrpasol yn yr iaith Gymraeg gan yr hybarch Theophilus Jones, gwnaeth chwech o bersonau broffes gyhoeddus o Fab Duw yn y bedydd—un chwaer ag sydd wedi gweled llawer o ddyddiau ar y ddaear, ac wedi bod yn aelod ffyddlawn am flynyddau gyda y T. C., a phump o chwiorydd ieuainc. A bu yr Arglwydd trwy ei wenau yn amlwg ar hyd y dydd, yn cynorthwyo ac yn bendithio llafur ei was, ac yn ateb gweddiau ei blant; ac er prawf o hyny, pan y tynwyd y rhwyd i'r lan yn yr hwyr, fe ddaliwyd un newydd. Ac y mae tri o flaen yr eglwys yn aros am gael eu claddu i'r hen ddyn pechod, a'u hadgyfodi yn ddynion newydd yn Nghrist Iesu ein Harglwydd. Moes eto, Arglwydd, yw gweddi yr ysgrifenydd. Amen.—*Un o'r Brodyr.*

*Dennison, O.*—Dydd Sul, Mehefin y 4ydd, 1882, cawsom y fraint o weled pedair lodes ieuanc brydferth yn canlyn yr Iesu drwy'r dyfrllyd fedd. Am 3 o'r gloch y prydnawn yr oedd tyrfa fawr o bobl wedi ymgasglu i lan y dwfr, i fod yn llygad-dystion o'r ufudd-dod i'r ordinhad hon. Gwnawd ychydig sylwadau pwrpasol a tharawiadol iawn ar yr ordinhad gan "Giraldus," ac yna gweinyddwyd hi gan ein gweinidog parchus mewn modd deheuig, ac aeth drwy y gwaith yn ogonedd-us. Y mae llafur ein parchus frawd Iago W. James wedi bod, ac yn parhau o dan fendith Duw i droi llawer o'n gwrandawyr i ymofyn am le yn nhy Dduw, ac enw yn mhlith ei bobl. Cawsom ddwy bregeth ragorol gan yr athrylithgar "Giraldus." Nid ydyw iechyd ein hanwyl weinidog eto wedi ei adferyd; ond gobeithiwn a dymunwn iddo gael yn fuan adferiad llwyr. —*R. D. H.*

## *PRIODWYD—*

Mehefin 15, yn Nanticoke, Pa., gan y Parch. J. P. Harris, William L. Williams a Mary Hughes, ill dau o Nanticoke.

Mai 29, 1882, yn Mahanoy City, Pa., gan y Parch. D. S. Thomas, Shenandoah, Mr. John Stride, o Mahanoy City, a Miss Levina Newman, o Shamokin, Pa.

Mehefin 17, 1882, yn Mahanoy City, Pa., gan y Parch. D. S. Thomas, Shenandoah, Mr. Joseph Richards a Miss Bella Williams, y ddau o Mahanoy City.

Mehefin 18, 1882, yn Shenandoah, gan y Parch. D. S. Thomas, Mr. Wm. Horrox a Miss Ellie Parcell, Mahanoy City, Pa.

Mehefin 20, 1882, yn Drifton, Pa., gan y Parch. D. S. Thomas, Shenandoah, Mr. Matthew Morris (mab y Parch. John Morris), Shenandoah, a Miss Mary J. Snook, Drifton.

Mai 21, 1882, yn Wiconisco, Pa., gan y Parch. B. E. Jones, Mr. Alfred Watkins a Miss Leah Mary Jenkins, diweddar o Bont-y-pool, D. C.

## *BU FARW—*

Yn Swydd Clay, Iowa, Ebrill 6, 1882, yn 7 mlwydd, 2 fis, ac 28 o ddyddiau, bu farw, o'r frech goch, Roger Williams Powell, mab i Theophilus ac Ann Powell. Symudodd y brawd Powell a'i deulu (wyth mewn nifer) o ardal Aspinwall, Neb., i'r lle hwn Hydref diweddaf, a phrynodd 240 erwau o dir. Am nad oedd ty ar ei dir cymerodd dy bychan i fyw ynddo hyd nes yr adeiladai dy ar ei ffarm. Yn y gauaf daeth y frech goch i'r wlad, gan ymdaenu fel haint braidd i bob teulu trwy yr ardal, a daeth i deulu Mr. Powell—bu pump o honynt yn glaf yr un amser. Gan fod y ty yn fychan, a'r tywydd yn gyfnewidiol, cafodd tri o honynt anwyd, a buont yn annhebyg o fyw. Adferwyd dau, ond bu Roger bach farw, ar y 6ed o Ebrill, a chladdwyd ef dranoeth yn barchus yn mynwent y Bedyddwyr. Gweinyddwyd yn y ty ac ar lan y bedd gan y Parch. John W. Jones.

Chwanegwyd at dristwch y teulu trwy i Mrs. Powell gael ei chymeryd yn sal ar enedigaeth plentyn boreu dydd yr angladd, a phan

yn cymeryd corph Roger bach allan o'r ty ganwyd merch, a hono yn farw pan ei ganwyd. Yn hwyr yr un dydd claddwyd yr un fechan yn ymyl ei brawd.

O, am Roger y mae wylo—hiraeth
O herwydd ei briddo;
Aeth o'i ymdaith i'w amdo,
Och! awr drist a chwerw dro.

Ei fam am Roger a wyla—a'i dad
Di-odid hiraetha;
Galar trwm fel plwm yw'r pla
Alaethus a'u gorletha.

O, ymgeisiwch am gysur—mae Roger
Yn moli uwch trymgur,
Gyda'r Oen, o'i boen yn bur,
A'i delyn heb un dolur.

—

Maes yw y bedd i Roger bach—i godi,
Yn eginyn tecach;
O dwfn oer, daw ef yn iach,
I gynydd byd amgenach.

Ar ei ol ef na wylwch—yn dawel
I drefn Duw boddlonwch;
Daw i'r llys hyfryd o'r llwch,
Yn seraph. Ymgysurwch.

*Sioux Rapids.* THOMAS EVANS.

MR. DAVID MOSES.

Yn Arvonia, Kansas, Ebrill 29, 1882, bu farw o'r *typhoid fever*, Mr. David Moses. Bu yn glaf dair wythnos gartref, yna aeth i ymweled a'i frawd William i Emporia. Wedi aros yno bedwar diwrnod aeth i Rosedale, Kansas, i ymweled â'i frawd James. Yn mhen tridiau ar ol iddo gyrhaedd yno, ail gydiodd y dolur ynddo, ac er gofal, a meddygon goreu Kansas City, ni ellid ei achub. Y mae yn fawr gysur i'w rieni iddo ddyweyd ar ei wely angeu, "nad oedd yn ofni marw." Hefyd dywedodd wrth ei fam, "Mam, yr wyf yn myned gartref heddyw." Ei oed oedd 23 mlwydd a thri mis. Ganwyd ef yn Glyn Ebbwy, Sir Fynwy. Claddwyd ef yn cemetery Arvonia, Mai 2. Y mae rhieni yr ymadawedig, sef Mr. a Mrs. Moses, yn Fedyddwyr selog, yn bobl gyfrifol iawn yn y gymydogaeth, ac yn fawr eu parch gan bawb a'u hadwaenant. Y mae eu galar yn fawr ar ol eu hanwyl fab David. Yr Arglwydd a'u dyddano.

MRS. WILLIAMS, PRIOD Y PARCH. O. M. WILLIAMS, CENTRAL CITY, COLORADO.

Ebrill 12, 1882, hunodd yn yr Iesu, yr hawddgar Mrs. Williams, priod y boneddwr Cristionogol uchod. Ei hafiechyd ydoedd y dyfrglwyf. Er ys talm buasai yn arferol o achwyn yn herwydd y tueddiad ynddi at yr anhwyldeb soniedig, ond nid digon i beri pryder am ei bywyd, fel pan ddaeth awr buddugoliaeth ei chlefyd arni, gorthrechwyd ei theulu anwyl gan hiraeth a galar annesgrifiadwy yn herwydd ei hymadawiad sydyn a'r fuchedd hon.

Ganwyd gwrthddrych y nodiadau hyn yn ngoleudy South Stack, ger Caergybi. Merch ydoedd i'r diweddar John ac Ann Jones, ceidwad y goleudy uchod, a chwaer i John Jones yr hwn a laddwyd ar yr ynys ger Caergybi, yr un dydd ag y collwyd y *Royal Charter*. Yr oedd ei mam yn chwaer i'r diweddar gapteniaid Hugh a William Evans, gynt o Gaergybi. Ymgysylltodd yn aelod o gorph gwraig yr Oen yn y bedydd yn ieuanc, tua 15 oed. Gweinyddwyd y trochiad gan yr hybarch frawd. y diweddar Wm. Morgans, D. D., Caergybi; a pherarogl ei choffadwriaeth heddyw yw, na fu achos Beiblaidd, o'r amser hwnw hyd ddydd ei hymadawiad i gwsg y bedd, i dori ymaith yr aelod. Yn mlwyddyn gras 1851, ymunodd mewn priodas a'r Parch. O. M. Williams, mab y diweddar Richard Williams, cigydd, Menai Bridge. Yn 1854 ymfudasant tua'r wlad hon, a glaniasant yn Milwaukee. Yno y ganwyd eu hail ferch, yn awr priod Mr. Philip L. Roberts, Silver Plume, Colorado, yn nhy Mrs. Evans. Yn yr un flwyddyn symudasant i Dodgeville, Wis., lle y mae amryw, ni a gredwn, a fynwesant barch trylwyr i'w choffadwriaeth. Trigfanodd y teulu yn Dodgeville am naw mlynedd. Yn 1863 ymfudasant oddiyno i Central City, Colorado. Yn 1866 dychwelodd y teulu i Dodgeville, Wis., a buont fyw ar dyddyn o'r enw Rose Place. Yn 1874 dychwelasant drachefn i Central City, Col., ac ymunasant a'r eglwys Fedyddiedig Seisnig yn y lle. Claddwyd yr hyn a weddillwyd o honi gan angeu, yn nghladdfa yr Odyddion, yn Central City, Ebrill 13.

Cyn ymgymeryd, ar gais fy anwyl frawd Williams, ag ysgrifenu dim yn ei chylch, ymholais yn ei chylch â rhai Cymru a Saeson gonest a dibartiol, gyda golwg ar ei theithi meddyliol, a'i buchedd grefyddol; a chefais am dani yr hyn a'm llonodd yn fawr. Ymddengys ei bod yn bellwelydd a phwyllog iawn. Yn holl amgylchiadau y teulu yr oedd yn gymorth mawr i'w phriod, naill ai fel syllydd ar y *fore deck*, yn gwylied ei llwybr yn mlaen, neu fel rhan fawr o *balast* llestr y teulu. Fel aelod eglwysig ac fel cymydoges, yr oedd yn hynod heddychol. Elfen bwysig iawn yn nghymeriad gwraig gweinidog yn neillduol, yw tymer heddychol. Mae rhai o honynt yn cael profedigaethau tanllyd i fod yn wahanol yn aml; ond gwyn fyd y rhai a feddant y gras o hunan-feddiant yn nghanol y cwbl. Os yw bod yn lletygar a charedig iawn i bregethwyr ac eraill yn rhinwedd efengylaidd, diau iddi hi fod a "gras mawr" arni. Da y gwireddir hyn yn nheimladau lluoedd o'r gwyr da hyn yn Wisconsin a Colorado. Diau y cafodd ac y derbynia wobr am lawer "cwpanaid o ddwfr oer" a roddodd i "ddysgybl yn enw dysgybl." Nid oedd arni, mwy na'i hanwyl briod, gywilydd i gydnabod ei hun, nid yn

Digitized by Google

un o wyr y dw'r, ond yn un o bobl Iesu yn a thrwy y dw'r. Bedyddwraig oedd hi. Mae llawer yn ewyllysgar a gydnabyddant ei hunain yn "wyr y dw'r," na feddant ond ychydig os dim o ymwybodolrwydd o un berthynas fywiog â Christ yn herwydd y dw'r. "Canys cynifer o honoch ag a fedyddiwyd yn (i) Grist, a wisgasoch Grist" Ymdrechodd ein hanwyl chwaer hyd eithaf ei gallu i fyw hyd angeu i fyny ag athrawiaeth fendigedig y trochiad efengylaidd, fel y gwelir hi yn Rhuf. vi., a manau eraill yn yr Epistolau. Heddwch i'w llwch hyd y boreu braf.

[Dymuna Mr. Williams ar i'r nodion uchod gael ymddangos yn y *Greal.*]

I'r bedd hi aeth, o'r bedd hi ddaw,
Er gwaethaf gafael brenin braw;
Mae'r codiad fu i'r blaenffrwyth drud,
Yn profi cwyd yr had i gyd.

Mae'r gafael sydd gan angeu'n awr,
Wrth ganiatad y Brenin mawr;
Pan dynir hwn yn ol ryw ddydd,
Pob Cristion ga y corph a fydd.

LL. REES.

MRS. NELLIE S. WILLIAMS.

Yn Freedom, Swydd Cattaraugus, N. Y., Tach. 5, 1881, yn 25 mlwydd, 10 mis, a 10 diwrnod oed, Mrs. Nellie S Williams, merch hynaf Mrs. Samuel Williams, Pwll-y-cyw, ac anwyl briod Mr. John L. Williams. Cafodd yr ymadawedig y fraint anmhrisiadwy o ymuno ag achos Mab Duw yn moreu ei hoes, sef pan tua 13 oed, a pharhaodd i fyw yn deilwng o'i phroffes hyd ei hymadawiad a'r fuchedd bresenol. Bedyddiwyd hi ar broffes o'i ffydd, yn Pike, N. Y., gan y Parch. H. M. Calkins, a pharhaodd yn aelod ffyddlon, diwyd, a gweithgar o'r eglwys Fedyddiedig yno hyd y flwyddyn 1876, pryd yr ymaelododd gyda'r eglwys yn Freedom. Bu yn ymdrechol iawn gydag achos crefydd, yn enwedig cyfarfodydd y bobl ieuainc.

Er's ychydig dros ddwy flynedd yn ol, ymunodd mewn priodas gyda'r brawd ieuanc gwir grefyddol a dichlynaidd, Mr. J. L. Williams, mab Mr. John P. Williams, ac wyr i'r tra adnabyddus ddiacon, John Lewis. Cymerasant ffarm heb fod yn mhell oddiwrth y capel, ac ymddangosai pob peth yn addawol a dymunol yn mhob ystyr. Ond yn dra sydyn newidiodd agwedd pethau. Ganwyd i'n hanwyl chwaer eneth fechan dlos; a chyda hyny ymaflodd angeu â'i ddwylaw oerion yn ei chyfansoddiad gwanaidd, ac er pob ymdrech a gwasanaeth o eiddo perthynasau, cyfeillion a meddygon, enillodd marwolaeth y fuddugoliaeth. Cymerwyd y fam ymaith o'i phoenau corphorol, gan adael yr un fechan ar ol, yn dair wythnos oed. Ond y mae wedi cael mamaeth dyner a gofalus yn mherson ei mamgu, sef Mrs. John P. Williams. Dyoddefodd ein hanwyl chwaer rai wythnosau o gystudd trwm yn hynod dawel ac amyneddgar, fel y gall y Cristion cywir yn unig ei wneyd. Gwelodd bethau rhyfedd ychydig ddyddiau cyn marw. Tybiai ei bod yn y nefoedd, ac yno gwelodd ei mam, a pherthynasau eraill, yn nghyd a'r Arglwydd Iesu Grist, a thyrfa fawr o'r teulu gwaredigol. Cymellent hi i aros yno; ond dychwelodd eilwaith i gyflwr o ymwybyddiaeth. Efallai mai gwendid corphorol, awydd i ymddatod o rwymau y ddaear a dychymyg bywiog, a barodd hyn. Neu dichon fod y weledigaeth yn *real*, i'r wahanlen rhwng y ddau fyd fyned mor deneu, nes iddi gael cip-olwg ar y byd ysbrydol. Beth bynag am hyn, credwn ei bod gyda'r Iesu erbyn hyn, ac wedi gweled yn wirioneddol lawer o ryfeddodau y wlad well. Nid oedd arni yr ofn na'r pryder lleiaf yn nghylch canlyniadau marw, oblegid ei bod wedi rhoddi gofal ei henaid i orchfygwr angau a'r bedd. O! yr oedd yn ddymunol i ymddyddan â hi megys oddiar drothwy y byd tragywyddol.

Ddarllenwyr ieuainc y WAWR, mynwch fod yn gyfoethog tuag at Dduw yn moreu eich oes. Dyma y cyfoeth goreu i fyw ac i farw.

Ymgasglodd tyrfa fawr yn nghyd i dalu y gymwynas olaf i weddillion ein hanwyl chwaer. Claddwyd yr hyn oedd farwol o honi yn mynwent Ebenezer, capel y Bedyddwyr. Gweinyddwyd ar yr achlysur gan yr ysgrifenydd. Bydded i Lywydd mawr rhagluniaeth fod yn dirion a gofalus o'n hanwyl frawd ieuanc sydd yn galaru ar ol priod hoff, yn nghyd a'r plentyn bychan sydd wedi colli mam anwyl. A gweddiwn ar Dduw am lanw y bylchau a wneir gan angau yn rhengoedd y saint ar y ddaear, trwy gael genedigion newydd yn Seion.

W. M. EVANS.

## NODION CYFFREDINOL.

—Mae Llywodraeth y Talaethau Unedig wedi ymgynyg ar y gorchwyl o addysgu yr Indiaid—yn lle eu lladd. Mae yr ysgolion Indiaidd dan nawdd y Llywodraeth wedi bod yn dra llwyddianus yn eu hymdrechion can belled ag y perthyn i'r ysgolorion; ac nid oes genym un amheuaeth na bydd eu dylanwad ar y llwythau hefyd yr un mor ffafriol.

—Bu yn agos i 60,000 o blant yr Ysgolion Sabbothol yn gorymdeithio yn heolydd Brooklyn yn ddiweddar. Mae hyn yn arferiad blynyddol ganddynt yno, ac yr oedd y troad allan eleni yn adlewyrchu parch ar y swyddogion oedd a gofal yr wyl brydferth hon ganddynt, ac yn sirioli meddyliau cyfeillion yr Ysgol Sabbothol.

—Gwerthodd Mr. G. B. Gray, tyddynwr yn Anson, Me., y dydd o'r blaen, fil o fwsieli o gloron am fil o ddoleri. Cynyrchwyd y cnwd ar bum' erw o dir.

Digitized by Google

—Un boreu Sul yn ddiweddar, ymosodwyd ar ddyn diniwed ar yr heol yn agos i'r eglwys Babyddol ar Seventy-seventh Street, New York, gan dorf o ddyhirod, yn ddynion a benywod, a churwyd ef yn dost ar ei ben a'i gorff, a thaflwyd ef i'r gwter yn anafus a gwaedlyd. Bloeddiai y benywod, "Croeshoelier ef!" ac efallai y gwnelsai y dynion hyny pe buasai y moddion ganddynt wrth law. Yr achos o'r ymosodiad creulon hwn ydoedd, fod y dyn wedi bod yn gwasgaru traethodau nad oedd yr offeiriad Pabaidd yn eu cymeradwyo. Yr ydoedd yr offeiriad ei hun wedi dweyd wrth ei bobl, pan oedd efe ger yr allor, i losgi y traethodau, gan ychwanegu, "y gwyddent hwy y modd i ymddwyn tuag at y twyllwr." Y cyfryw yw Pabyddiaeth, heddyw, yn ninas New York.

—Cymerwyd dyn i fyny yn New York y dydd o'r blaen am weddio ar yr heol, a dirwywyd ef i $5 gan y Barnydd Patterson. Paham na chymerid i fyny y dynion ydynt yn tyngu ar yr heol? Mae tyngu mewn lleoedd cyhoeddus yn fwy o flin-beth (*nusiance*) na gweddio. Ni chyngorem un dyn i weddio yn uchel yn yr heolydd; ond y mae yn ddernyn o dra-arglwyddiaeth i gymeryd dyn i fyny a'i gosbi am yr hyn nad yw yn drosedd. Mae cabledd yn anghyfreithlon, ond y mae Ingersoll yn myned yn ddigosb.

—Yn ddiweddar torwyd tir i'r eglwys newydd Gristionogol, yn Washington, i gael ei hadeiladu yn goffaol am yr Arlywydd Garfield. Dechreuwyd y gwaith gyda seremoni brydferth. Trowyd i fyny y dywarchen gyntaf gan ddwy eneth pedair blwydd oed, un o honynt yn ferch i'r gweinidog, Power, a throliwyd hi ymaith gan fachgenyn o chwe' haf. Cymerodd pob un o'r gynulleidfa oedd yn bresenol y bâl am foment, yn ei dro, cyn rhoddi fyny y gorchwyl i'r gweithwyr. Dysgwylir y gosodir y gareg sylfaen gyda gwasanaeth priodol i'r achlysur.

—Golygfa resynus y dydd o'r blaen ydoedd gweled Franklin J. Moses, cyn-Lywodraethwr South Carolina, yn cael ei gymeryd i benydfa dinas New York am chwe' mis, am ladrad. Mae efe wedi bod yn New York am rai blynyddoedd, ac yn cynal ei hun trwy driciau anonest. Efe yw y dyn ydoedd mor ffyrnig am y rhyfel, fel y gofynodd am, ac y cafodd, "y fraint" o danio y gwn cyntaf ar Fort Sumter. Brodor o'r De ydyw, ond ni ddychwel yno yn fuan, o herwydd can gynted ag y gorphena y *term* hwn o garchariad caiff ei brofi ar gyhuddiadau eraill.

—Mae gorchymyn swyddogol wedi ei roddi allan yn Brooklyn, yn cyfarwyddo yr heddgeidwaid yno i gymeryd i fyny bob person yn y ddinas a geir yn cario arfau tân. Mae pob person a dania arfau tân o fewn terfynau y ddinas i gael ei gymeryd i fyny hefyd.

## DYDDANION.

—Yr oedd bachgen un tro mewn ysgol yn darllen yr adnod hono, "Caled yw i ti wingo yn erbyn y symbylau," fel y canlyn: "Caled yw i ti wincio yn erbyn y cymylau."

—Pan glywodd geneth fach ei mam yn son wrth gymydoges ei bod yn myned i haner mwrning, gofynodd, "Paham yr ydych yn myned i haner mwrning, mam; a oes rhai o'n perthynasau wedi haner marw?"

—Fel hyn yr esboniai pregethwr du y wyrth o borthi y pum' mil gyda pum' torth a dau bysgodyn: "Yr oedd yno bum' mil o dorthau a dwy fil o bysgod, a gorfu i'r deuddeg dysgybl fwyta y cwbl—a'r wyrth yw na fuasent yn hollti."

—"Oni ddarfu i chwi sylwi mor hynod o dduwiol yr edrycha y diacon Ruffam?" gofynai boneddiges i'w gwr yn New York. "Do, fy anwylyd; y mae y diacon yn dduwiol iawn. Y mae bob amser yn ymgrymu ei ben mewn gweddi hyd nes y bydd y *box* casglu wedi ei basio."

—"Fy mhlant anwyl," ebai areithiwr yn yr Ysgol Sul, "yr wyf yn eich caru gymaint, nes y gallwn siarad â chwi trwy y dydd; ond ni chaniata amser; ond yr wyf yn gobeithio cyfarfod â chwi yn y nefoedd, ac yna" ——. "Gobeithio na wnawn," ebai llanc bach o'r enw Daniel, "fe'n areithiai i farwolaeth yno, oni wnelai efe, Tom?"

—Aeth gweddw brydferth un tro at feddyg i ofyn ei gyngor er cael gwared oddiwrth ddau afiechyd poenus y blinid hi ganddynt. "Yn y lle cyntaf," meddai, "nid oes genyf ond ychydig, os dim, chwaeth at fwyd. Pa beth a gymeraf at wella hyny?" "Rhaid i chwi rodiana a mwynhau awyr iach," meddai y meddyg. "Hefyd, Doctor, yr wyf yn hynod frawychus yn ystod y nos, ac yn ofni aros fy hunan. Pa beth a gymeraf at hyny?" "Tuag at wella hyny, madam, nis gallaf ond yn unig eich cyngori i gymeryd gwr eto."

Digitized by Google

# Y WAWR.

CYF. VII.] AWST, 1882. [RHIF. 5.

## Y CYFIEITHIAD DIWYGIEDIG SAESONAEG O'R TESTAMENT NEWYDD.

GAN Y PARCH. OWEN JAMES, M. A., HYDE PARK, PA.

II.

Wedi sylwi mewn ysgrif flaenorol ar yr angenrheidrwydd am gyfieithiad diwygiedig, awn yn mlaen yn awr i sylwi ar y diwygiadau ydynt wedi eu gwneyd.

I. *Y Diwygiadau Testynol.*—Y mae yn anmhosibl mewn ysgrifau byrion fel y rhai hyn, nodi pob cyfnewidiad sydd wedi ei wneyd mewn sillafiaeth, aceniaeth, a lleoliad geiriau. Rhaid cyfyngu ein nodiadau i'r cyfnewidiadau hyny a wnant wahaniaeth amlwg yn y synwyr. Ceisiaf hefyd ddewis engreifftiau a roddant eglurhad ar yr egwyddorion a ddilynir, a'r dulliau a arferir mewn beirniadaeth destynol.

Yn Matthew 15: 8, darllena y testyn derbyniedig: "Y bobl hyn a nesânt ataf â'u genau, a'm hanrhydeddant â'u gwefusau; a'u calon sydd bell oddiwrthyf;" ond yn y testyn diwygiedig darllena: "Y bobl hyn a'm hanrhydeddant â'u gwefusau; a'u calon sydd bell oddiwrthyf."

Y mae y darlleniad byraf, sef yr un diwygiedig, yn cael ei ategu gan bump o'r llawysgrifau sydd mewn llythyrenau breision, sef y *Sinaitic* a'r *Vatican* o'r bedwaredd ganrif, a llawysgrifau a elwir D. a Tc. o'r chweched ganrif, ac L. o'r wythfed ganrif. Ategir ef hefyd gan ddwy law-ysgrifen mewn llythyrenau rhedegog, sef yr un a elwir 33 o'r unfed-ganrif ar-ddeg, a'r un a elwir 124, perthynol i'r ddeuddegfed ganrif; hefyd gan yr hen gyfieithiad Lladinaidd, gan y Vulgate; gan y cyfieithiadau Curetorian a Peshito Syriac, y Memphetic, yr Ethiopic, yr Armenian a'r Persic, a chan luaws mawr o ddyfyniadau o'r tadau perthynol i'r ail a'r drydedd ganrif.

O'r tu arall, y mae y darlleniad hiraf, sef yr un derbyniedig, i'w gael mewn pedair-ar-ddeg o lawysgrifau breision perthynol i'r bumed, yr wythfed, y nawfed a'r ddegfed canrifoedd, ac mewn rhai canoedd o lawysgrifau rhedegog perthynol i'r canrifoedd rhwng y ddegfed a'r unfed-ar-bymtheg. Y cwestiwn yn awr yw, pa fodd y mae penderfynu pa un a oedd y frawddeg mewn dadl yn perthyn i'r testyn gwreiddiol ai nad oedd? Os oedd yn perthyn

Digitized by Google

i'r testyn gwreiddiol, pa fodd y gadawid hi allan? Ac os nad oedd, pa fodd y daeth i fewn i gynifer o lawysgrifau? Y mae yn amlwg, yn y lle cyntaf, os yw y frawddeg yn ddilys ei bod wedi ei gadael allan yn fwriadol, neu yn anfwriadol. Ond nis gellir credu iddi gael ei gadael allan yn anfwriadol o awdurdodau mor lluosog, mor annibynol, ac mor bell y naill oddiwrth y llall, y rhai ydynt yn cynrychioli prif adranau y byd Cristionogol. Nis gellir credu hefyd iddi gael ei gadael allan yn fwriadol. Nid oes un rheswm dros hyny. Byddai hyny yn groes i arferion gwybyddus y trawsysgrifwyr. Anaml iawn y byddent hwn yn cymeryd y fath ryddid. Fel hyn y mae y prawfion mewnol yn erbyn dilysrwydd y frawddeg. Gorfodir ni i gredu nad oedd yn y testyn gwreiddiol. Pa fodd, ynte, y daeth i fewn i gynifer o lawysgrifau? Y mae yr eglurhad yn hawdd. Dalier sylw fod yr adnod yn cael ei dyfynu o'r Deg-a-thriugain. Yn awr, mewn perthynas i ddyfyniadau o'r Hen Destament a geir yn y Testament Newydd, mae hyn yn amlwg, sef eu bod yn cael eu gwneyd mewn ffordd rydd, ac yn aml yn cael eu byrhau. Yn awr, mewn achosion fel hyn yr oedd yn arferiad gan fyfyrwyr y llawysgrifau i nodi ar yr amlen y gwahaniaeth rhwng testyn y Deg-a-thriugain a'r testyn ger eu bron. Yr un modd hefyd pan oedd un efengylwr yn gwahaniaethu oddiwrth efengylwr arall yn ei adroddiad o eiriau Iesu Grist, yr oedd y myfyrwyr yn aml yn cyflenwi yr hyn a ystyrient hwy yn ddiffygiol drwy ysgrifenu y geiriau gwahaniaethol ar yr amlen, neu rhwng y llinellau. Hefyd, yr oedd eglurhad ar eiriau anhawdd yn cael ei osod ar yr amlen yn fynych. A phan ddarganfyddai y myfyrwyr fod y trawsysgrifiwr wedi dygwydd gadael gair neu linell allan, byddent hwy yn aml yn ysgrifenu y gair neu y linell hono ar yr amlen. Yn awr, pan ddeuai trawsysgrifiwr arall i gopio y llawysgrif hon sydd a chynifer o nodiadau ar yr amlen, yr oedd yn eithaf naturiol iddo ef wneyd camsyniad eto, a gosod rhai o'r nodiadau hyn yn nghorph y testyn. Yn y goleu hwn y mae yn hawdd deall pa fodd y daeth y frawddeg dan sylw i fewn i gorph y testyn mewn cynifer o lawysgrifau. Dyfynodd Iesu ran o'r Hen Destament mewn ffordd rydd, a gadawodd un frawddeg allan. Ysgrifenodd Matthew y dyfyniad yn yr un modd. Flynyddau ar ol hyn, ysgrifenodd rhyw un y frawddeg dan sylw ar amlen ei law-ysgrifen, ac o'r amlen, drwy gamsyniad rhyw un arall, daeth i fewn i gorph y testyn. Y mae y dybiaeth hon yn hawdd a syml. A chymeryd pob peth i ystyriaeth, yr ydym yn ei mabwysiadu, gan dderbyn y darlleniad byraf fel yr un dilys.

Yr un modd hefyd yn Luc 4: 18, 19, gadewir allan y geiriau, "I iachau y drylliedig o galon." Y mae yr adnod wedi ei dyfynu o Esaiah 61: 1; ond y mae yr adran uchod yn eisiau yn y llawysgrifau henaf a mwyaf pwysig, tra y maent i'w cael mewn nifer lluosog iawn o rai diweddarach a llai awdurdodol. Y mae yn anmhosibl esbonio pa fodd y gadawyd hwynt allan os oeddynt yn y testyn gwreiddiol; ond y mae yn hawdd esbonio pa fodd y llithrasant i fewn, os nad oeddynt yn y testyn cyntefig. Am hyny yr ydym yn casglu nad ydynt yn ddilys, a gadewir hwy allan o'r testyn diwygiedig.

Felly hefyd yn Matthew 2: 18, y mae y testyn diwygiedig yn gadael allan y gair "galar" o flaen "wylofain ac ochain mawr." Dyfyniad sydd yma

Digitized by Google

eto o Jeremiah 31: 15. Y mae y gair yn cael ei wrthod gan gyfuniad yr holl brawfion henafol, ac yn cael ei ategu gan rifedi lluosog o lawysgrifau diweddar. Yn awr, ar y dybiaeth ei fod yn y testyn gwreiddiol, y mae yn anmhosibl cyfrif am ei absenoldeb o'r hen lawysgrifau; tra ar y dybiaeth nad oedd yn y testyn gwreiddiol, y mae yn hawdd cyfrif am ei bresenoldeb mewn llawysgrifau mwy diweddar. Daeth i fewn o'r Deg-a-thriugain trwy yr amlen. Ar y dybiaeth hon gadewir ef allan o'r testyn diwygiedig.

Rhoddaf ger bron yn awr engreifftiau o'r modd y mae testyn un Efengyl wedi ei lygru drwy ychwanegu geiriau neu adranau oeddent yn perthyn i Efengyl arall. Yn Matthew 20: 22, y mae y testyn derbyniedig yn darllen—"A ellwch chwi yfed o'r cwpan yr wyf fi ar yfed o hono, (a'ch bedyddio â'r bedydd y bedyddir fi?)" Ac yn adnod 23, "Diau yr yfwch o'r cwpan, (ac y'ch bedyddir â'r bedydd y'm bedyddir ag ef.)" Ond mae y geiriau wyf fi wedi eu gosod rhwng cromfachau yn eisiau yn yr oll o'r llawysgrifau henaf a phwysicaf, yn y cyfieithiadau boreuaf yn ogystal ag yn y dyfyniadau o'r tadau mwyaf henafol, tra y maent i'w cael mewn rhif luosog iawn o'r llawysgrifau a'r cyfieithiadau diweddar. Pa fodd y mae i ni gyfrif am hyn? Os oeddynt yn y testyn yn ddechreuol, rhaid iddynt gael eu gadael allan yn fwriadol neu yn anfwriadol. Ond nis gellir meddwl iddynt gael eu gadael allan yn anfwriadol o awdurdodau mor lluosog, ac mor annibynol y naill oddiwrth y llall—awdurdodau yn cynrychioli, mor bell ag y gwyddom, yr oll o'r ail a'r drydedd ganrif. Mae yn anmhosibl hefyd gweled un rheswm dros, neu amcan wrth, adael allan yr adranau dan sylw yn fwriadol. Ond os nad oeddynt yn y testyn cyntefig, y mae yn hawdd cyfrif am eu dyfodiad i fewn i lawysgrifau diweddarach. Ond os troir i Marc 10: 38, 39, gwelir nad oes un llawysgrif nac un cyfieithiad yn eu gadael allan. Yn awr, y mae yn hawdd dirnad iddynt gael eu trosglwyddo o destyn Efengyl Marc i amlen testyn Matthew, ac oddiyno, trwy gamgymeriad, aethant i fewn i gorph testyn Matthew. Ein casgliad naturiol yw, nad oeddent yn perthyn i'r testyn gwreiddiol yn Matthew, a gadewir hwynt allan o'r testyn diwygiedig.

Y mae genym lawer o engreifftiau o'r natur hyn, lle y mae y testyn derbyniedig wedi derbyn ychwanegiadau y naill efengyl o'r llall er mwyn cysoni y rhanau cyfatebol. Yn y testyn diwygiedig y mae yr holl ychwanegiadau hyn yn cael eu gadael allan. Yn Matthew 1: 25, darllenir, "fab" yn lle "ei mab cyntaf-anedig." Y mae "ei" a "cyntaf-anedig" wedi eu trosglwyddo drwy yr amlen o Luc 2: 7, lle y ceir y darlleniad hwn yn yr holl lawysgrifau. Yn Matthew 5: 44, gadewir allan "Bendithiwch y rhai a'ch melldithiant, gwnewch dda i'r sawl a'ch casânt," ac hefyd y geiriau, "a wnel niwed i chwi ac," am eu bod wedi eu trosglwyddo yn yr un modd o Luc 6: 27, 28. Yn Matthew 8: 29, gadewir allan y gair "Iesu," yr hwn a drosglwyddwyd i'r adnod hon o Marc 5: 7, a Luc 8: 28. Yn Matthew 9: 13, a Marc 2: 17, gadewir allan y geiriau, "i edifeirwch," y rhai ydynt wedi eu trosglwyddo o Luc 5: 32. Yn Matthew 16: 3, gadewir allan, "O, ragrithwyr," am fod y geiriau hyn wedi eu cymeryd o Luc 12: 56. Yn Mat. 17: 21, gadewir allan yr holl adnod, oblegid y tebygolrwydd yw nad oedd

Digitized by Google

yn y testyn gwreiddiol, ond ei bod wedi ei chymeryd o Marc 9: 29. Gadewir allan hefyd yn yr un modd Matthew 18: 11, yr hon adnod yn debygol sydd wedi ei throsglwyddo o Luc 19: 10.

Y mae y darlleniad yn Matthew 19: 16, 17, yn parhau i fod yn bwnc llawer o ddadlu; yn y testyn diwygiedig gadewir allan y gair "da" ar ol "Athraw," ac yna darllenir, "Paham y gofyni i mi yn nghylch yr hyn sydd dda? Un sydd yr hwn sydd dda," yn lle, "Paham y gelwi fi yn dda? nid da neb ond un sef Duw." Y mae y darlleniad diwygiedig yn cael ei ategu gan y rhan bwysicaf o lawer o dystiolaethau mwyaf henafol y llawysgrifau, y cyfieithiadau, a'r tadau. Y cwestiwn yw, pa beth oedd darlleniad gwreiddiol testyn Matthew. Darllenai fel y mae yn y testyn derbyniedig, neu fel y mae yn y testyn diwygiedig. Os oedd fel y mae yn y testyn derbyniedig, paham y cyfnewidiwyd ef fel y mae yn darllen yn wahanol yn y rhif luosocaf o'r llawysgrifau, y cyfieithiadau, a'r tadau? Y mae yn anmhosibl meddwl i'r cyfnewidiad gymeryd lle yn ddamweiniol. Nis gallai damwain roddi y fath unffurfiaeth ag a geir yn y darlleniad hwn mewn cynifer o awdurdodau mor wahanol, mor annibynol, ac yn byw mor bell oddiwrth eu gilydd. Nis gellir meddwl ychwaith am un rheswm neu amcan a fyddai yn arwain neb i wneyd y cyfnewidiad yn fwriadol. Tybia rhai ei fod wedi ei wneyd er mwyn osgoi anhawsdra duwinyddol, oblegid tybiai llawer, unwaith, fod darlleniad y testyn derbyniedig yn milwrio yn erbyn yr athrawiaeth o Dduwdod Crist. Ond os cyfnewidiwyd y testyn am y rheswm hwn yn Matthew, paham na chyfnewidiwyd ef hefyd am yr un rheswm yn Marc a Luc? Nid oes yr amheuaeth leiaf am y darlleniad cywir yn yr Efengylau hyn. Ac os na chyfnewidiwyd y testyn i ddybenion duwinyddol, yna nis gellir credu i hyny gael ei wneyd yn Matthew. Gan ei bod yn anmhosibl i gyfrif am yr amrywiaeth darlleniadau ar y dybiaeth mai y testyn derbyniedig oedd yr un gwreiddiol, rhaid rhoddi y dybiaeth hon i fyny, a phenderfynu nad hwn oedd y testyn gwreiddiol. Yn awr, gan mai dim ond dau ddarlleniad gwahanol y sydd, y mae gwrthodiad un o honynt yn ein gorfodi i fabwysiadu yr un arall. Y darlleniad arall yn yr achos hwn yw yr un diwygiedig. Ond os tybir mai yr un diwygiedig oedd y gwreiddiol, pa fodd y cyfrifir am y cyfnewidiad a wnawd ynddo? h. y., pa fodd y mae cyfrif am fodolaeth y darlleniad derbyniedig yn Matthew? Yma eto fel o'r blaen, ac am yr un rheswm, nis gellir tybied ei fod wedi ei wneyd yn ddamweiniol. Ond y mae'n hawdd tybied iddo gael ei wneyd yn fwriadol. Sylwai y trawsysgrifwyr, fel y sylwa pob darllenydd o'r cyfieithiad diwygiedig, fod gwahaniaeth pwysig rhwng Matthew, Marc, a Luc, yn yr adnod hon. Yr oedd y gwahaniaeth hwn yn achosi anhawsdra mawr iddynt hwy, fel y mae i ni heddyw, wrth esbonio yr Efengylau. Barnodd rhywun yn y diwedd, mai camgymeriad yn y copi ydoedd, a chyfnewidiodd ef i ateb y dybiaeth hon drwy osod i fewn ddarlleniad Marc a Luc yn lle un Matthew. Fel hyn os mabwysiedir y darlleniad derbyniedig fel yr un gwreiddiol, mae yn anmhosibl cyfrif am fodolaeth y darlleniad diwygiedig; tra os mabwysiadir yr un diwygiedig fel yr un gwreiddiol, y mae yn hawdd cyfrif am fodolaeth yr un derbyniedig. Ar y tir hwn

Digitized by Google

y mae y testyn diwygiedig yn cael ei fabwysiadu gan fwyafrif mawr o'r beirniaid goreu, megys Mill, Bengel, Griesbach, Lachmann, Tischendorf, Tregelles, Alford, Green, Westcott a Hart, Porter, Davidson, Scrivener, DeWette, Meyer, Weiss, Kiel ac eraill.

Yn Matthew 19: 20, cymerwyd y geiriau "o'm hieuenctyd," o Marc 10: 20 a Luc 18: 21, a gadewir hwy allan o'r testyn diwygiedig. Y mae yr adnod, Matthew 23: 14, wedi ei throsglwyddo o Marc 12: 40 a Luc 20: 47, a gadewir hithau allan hefyd. Yr un modd Matthew 27: 35, a'r geiriau, "er cyflawni y peth," hyd ddiwedd yr adnod, a adewir allan am ei bod wedi ei throsglwyddo o Ioan 19: 24.

Yn Marc 3: 5 a Luc 6: 10, daw "iach fel y llall," o Matthew 12: 13. Yn Marc 6: 11 daw "yn wir, meddaf i chwi," hyd ddiwedd yr adnod, o Matthew 10: 15. Y mae Marc 11: 26 wedi ei chymeryd, efallai, o Matthew 6: 15, er ei bod yn hawdd cyfrif am absenoldeb yr adnod hon o gynifer o lawysgrifau drwy y ffaith ei bod yn terfynu â'r un gair a'r adnod flaenorol. Cymerwyd Marc 15: 28 o Luc 22: 37. Yn Luc 4: 2, "ar ol hyny;" 4, "ond ar bob gair Duw;" 8, "Dos ymaith, Satan, yn fy ol i, canys," ydynt eiriau wedi eu cymeryd o Matthew 4: 2, 4, 8, 10, a 16. Yn Luc 5: 38, "a'r ddau a gedwir," ydynt o Matthew 9: 17. Luc 8: 48, "Cymer gysur," sydd o Matthew 9: 22. Luc 8: 54, "a'u bwriodd hwynt allan, ac," sydd o Marc 5: 40. Gadewir yr holl eiriau a'r adnodau hyn allan o'r testyn diwygiedig. Yn Ngweddi yr Arglwydd, yn Luc 11: 2—4, benthycwyd yr holl eiriau canlynol o Matthew 6: 9, 10, 13, a gadewir hwy allan o'r testyn diwygiedig, sef, "Ein," "yr hwn wyt yn y nefoedd," "gwneler dy ewyllys megys yn y nef felly ar y ddaear hefyd," ac "eithr gwared ni oddiwrth y drwg." Y mae genym dystiolaeth bendant Origen, nad oedd y geiriau hyn yn llawysgrifau Efengyl Luc yn ei oes ef. Yn Ioan 6: 69, y gwir ddarlleniad, yn dra thebyg yw, "Tydi ydwyt Sanct Duw," ac nid "Tydi yw y Crist, Mab y Duw byw." Daeth y darlleniad hwn o Matthew 16: 16.

Yr wyf yn awr wedi rhoddi nifer luosog o engreifftiau o ddau ddosbarth o lygriadau yn y testyn derbyniedig. Nid yw y rhai hyn ond engreifftiau. Y mae yr holl nifer yn lluosog iawn. Mewn llithiau dyfodol rhoddaf engreifftiau o ddosbarthiadau gwahanol.

---

## LLINELLAU

CYDYMDEIMLADOL A'R PARCH. B. W. THOMAS, HYDE PARK, PA., AR FARWOLAETH EI ANWYL FAM.

GAN MYFYR EMLYN.

Yn fy nghell yn mis Mehefin,
  Pan darllenwn yn y WAWR,
Fod dy hoffus fam yn huno,
  Daeth i'm llygad ddeigryn mawr;
Teimlad wedi ymgnawdoli
  Oedd y deigryn pur, dinam,
Angel gwyn a'i cipiodd ymaith,
  I eneinio bedd dy fam.

Er yn hen a hollol addfed,
  O dan bwysau oed yn gam,
Er yn barod am y beddrod,
  Er hyn oll, hi oedd dy fam!
Mam! nid oes mor llawn o swynion
  Air yn y Gymraeg i gyd;
Nid oes flwch mor llawn o enaint
  Cariad, yn holl goffrau'r byd!

Digitized by Google

Dyma'r gair ddyferodd gyntaf
  Dros dy wefus ieuanc di,
A chysegrwyd ei barabliad
  A'i dihalog gusan hi.

Pan ar dro yr ai i'r fynwent,
  'N brudd dy fron o gam i gam,
Myrdd o gofion a'th ogleisiant
  Y pryd hyn uwch bedd dy fam:
Dyddiau maboed—dyddiau heulog,
  Dd'ont fel cymyl ar eu hynt,
Gan ddyferu gwlith ei chariad
  Tua glanau Rhymni gynt.

Teimli 'r hen gusanau swynol
  Yn dihuno, trwy dy loes,
Nefoedd o adgofion hyfryd
  Am baradwys boreu oes,
Pan y'th ddysgodd i barablu
  Enw'r Iesu'n Geidwad gaed,
Ac ar dônau ei gweddiau
  Nofiaist drosodd at ei draed.

Bu ei serch yn dyn am danat
  Trwy y daith o'r byd i'r bedd,
Ond ei gofal sydd yn dynach
  Heddyw fry mewn nefol hedd;
Gwawl ei gwynfyd a oreura
  'Th ddagrau dan gymylau braw,
Fel goreura haul y gwanwyn
  Ddyferynau'r gawod wlaw.

Troir dy gwynion i ganiadau,
  Wrth ei beddrod, a phaham?
Ah! hwy foddant yn y miwsig
  Ddaw o delyn aur dy fam!
Melus gofiaf ei chyfeillach
  Pan fum yna ar fy hynt,
Difyr oedd ei hymddyddanion
  Am hen ddoniau Cymru gynt.

Colofn oedd o ddyddiau eraill,
  Yn swn tonau'r afon gref;
Dim ond *thun* oedd ar y ddaear,
  'Roedd ei hanfod yn y nef;

Llosgi wnai'r hen dân gyneuwyd
  Yn y boreu megys fflam,
Ac er hirddydd a chroeswyntoedd,
  Ni ddiffoddodd tân dy fam!

Ar chwim edyn ei serchiadau
  Atat 'hedodd dros y lli';
Chwareu teg, 'th dro di ddaw nesaf
  I ehedeg ati hi.
Pwy fydd 'r ochr draw yn dysgwyl
  I'th roesawu dros y don
Ond dy fam? a all ymatal
  Rhag dy gwrdd yr ochr hon?

Na, mi gredaf, os ca genad,
  Dros y lli' rhydd hoew lam;
Mor naturiol fydd myn'd adref
  Megys gynt yn nghôl dy fam!
Perlyn dysglaer yn dy goron
  Oedd ei chadw hi rhag cam;
'Th nefol Dad a wna 'th ad-dalu
  Am ofalu am dy fam.

Paid, fy mrawd, am fynyd meddwl
  Mai yn anghof ydwyt ti;
Na, mae tant bach yn fy nhelyn
  Gwyna pan y cwyni di.

Duw dy fam a'th lwyr fendithio,
  Ac a'th gadwo mwy yn iach,
Dan ei aden fawr gysgodol,
  Bydded byth dy deulu bach!
Blwch fy serch fu'n hir yn croni,
  Heb ei dori—serch dinam—
Gweli'r achos, 'roedd yn nghadw
  Erbyn claddu 'th anwyl fam.

*Narberth, Meh. 19, 1882.*

---

—Wrth wrando ar rediad cyffredin rhai dynion da yn pregethu, gellir meddwl nad oes dim gwrandawyr annychweledig o fewn eu cynulleidfa, neu nad oes ganddynt hwy ddim a fynont â'u troedigaeth.—*J. A. James.*

Digitized by Google

# ADGOFION AM YR EIDAL.

GAN Y PARCH. JOHN W. WILLIAMS, D. D., HYDE PARK, PA.

RHIF III.

Y BEDDOGOFEYDD RHUFEINIG.

Mae y Beddogofeydd (*the Catacombs*) yn mhlith y gwrthddrychau mwyaf henafol a dyddorol yn Rhufain, a bydd pob ymwelydd a'r ddinas sydd yn ceisio ychwanegu at ei wybodaeth o hynafiaeth, yn sicr o dalu ymweliad ag un neu ddau o'r lleoedd hyn. Yn ol Gregory, yr oedd yr enw "*Ad Catacumbas*" yn wreiddiol yn cael ei ddefnyddio am yr ogof yn yr hon y gorweddai cyrph yr apostolion Pedr a Paul; yn ddiweddarach, cymwyswyd ef at holl ogofeydd y ddinas. Galwai Cristionogion y canrifoedd cyntaf eu claddfeydd wrth yr enw Groeg *Cemeteria*, cwsg-leoedd, yr hwn a ddefnyddir yn gyffredin yn yr oes hon.

Mae y beddogofeydd hyn yn ddyrysfa aruthrol o orielau, wedi eu cloddio allan yn mherfeddion y ddaear, ac yn gorwedd i fewn yn y bryniau oddiamgylch Rhufain; nid yn y saith bryn ar y rhai yr adeiladwyd y ddinas, ond yn y rhai cymydogaethol tu allan i'r muriau. Yr oedd hyn mewn ufudddod i'r ddeddf Rufeinig, yr hon a waharddai gladdu y meirw yr ochr fewn i gaerau y ddinas. Mae eu maintioli yn anferth; nid o ran helaethrwydd y tir ar yr hwn y gorweddant, oblegid mae braidd yr oll o honynt i'w cael rhwng y filldir gyntaf a'r drydedd i'r deheu a'r deheu-orllewin o'r ddinas, ond yn hyd yr orielau, y rhai sydd wedi eu cloddio allan yn y graig ar wahanol *piani*, neu *levels*, ac yn rhifo tair, pedair, ac weithiau bump, y naill uwchlaw y llall, ac yn cyrhaedd, pe yn un llinell barhaol, ddim llai na thri chant a haner o filldiroedd, ac yn cynwys tua chwe' miliwn ŏ feirw y ddinas. Mewn lled, mesurant o ddwy i bedair troedfedd, yn ol natur y graig yn yr hon y cloddiwyd hwynt. Ar ddwy ochr y mur y mae celloedd, neu *horizontal niches*, wedi eu cloddio allan, ac yn mesur o saith i wyth troedfedd o hyd; o ddwy i ddwy a haner o droedfeddi o uchder, a thua yr un faint o led. Yma, yn yr ogofeydd tanddaearol hyn, y bu eglwys Iesu Grist yn Rhufain am amryw ganrifoedd yn claddu eu meirw.

Dyddia y beddogofeydd hyn yn ol mor bell a'r oes apostolaidd, a honir gan Eglwys Rhufain fod amryw o'r apostolion wedi eu claddu ynddynt; a pharhausant i fod yn gladdfeydd y ffyddloniaid hyd y flwyddyn 410, pan y syrthiodd y ddinas o flaen Alaric. Yn y drydedd ganrif yr oedd pump ar hugain o honynt, yn cyfatebu i rif plwyfi, neu urddenwau yr Eglwys Rufeinig o fewn y ddinas; ac heblaw y rhai hyn mae tuag ugain eraill o faintioli llai, lle y claddwyd merthyron neillduedig, neu deuluoedd unigol. Yn wreiddiol yr oeddynt oll yn perthyn i deuluoedd neu unigolion, ac yn gloddiedig yn ngerddi y dinaswyr cyfrifol a chyfoethog byny oedd wedi cofleidio Cristionogaeth, a chysegru eu heiddo i wasanaeth eu Harglwydd. O ganlyniad, yr oedd eu henwau yn cael eu cymeryd oddiwrth enwau eu perchenogion gwreiddiol, llawer o ba rai sydd yn ar-

Digitized by Google

os hyd y dydd hwn. Lucina, er engraifft, yr hwn oedd yn byw yn nyddiau yr apostolion, ac eraill o'r un teulu, neu o leiaf o'r un enw, oeddent yn byw yn y ddwy ganrif gyntaf; Priscilla, un arall o gydoeswyr yr apostolion; Domitilla, nith Vespasian; Commodilla, eiddo yr hon oedd yn gorwedd ar y Via Ostieusis; Cyriaca, ar y Via Tiburtina; Pretextatus, ar y Via Appia; Pontiano, ar y Via Portuensis; Jordani, Maximus a Thrast, yr oll ar y Via Salaria Nova. Mae beddogofeydd eraill yn wybyddus wrth enwau y personau a fuont a'r llaw flaenaf yn eu ffurfiad, megys beddogof St. Calixtus, ar y Via Appia; St. Mark, ar Via Ardeatina; eraill ar ol y prif ferthyron a gladdwyd ynddynt, megys S. S. Hermes, Basilla, Protus, a Hyacinthus, ar y Via Salaria Vetus; ac eraill wrth ryw neillduolrwydd yn eu safle, megys *Ad Catacumbas*, ar y Via Appia, ac *Ad Duas Lauros*, ar y Via Labicana.

Mae dynion o ddysg, y rhai sydd wedi cael pob mantais i wneuthur ymchwiliad i'r celloedd tanddaearol hyn, yn cytuno eu bod yn cael eu defnyddio yn unig gan Gristionogion yr oesau hyny fel lleoedd i gynal gwasanaeth crefyddol, ac i gladdu eu meirw ynddynt. Heblaw hyn, mae adchwiliad diweddar yn profi tu hwnt i amheuaeth eu bod yn wreiddiol wedi eu ffurfio i'r perwyl hwn yn unig ac nid pyllau wedi eu cloddio allan er mwyn cael pozzolana—defnydd tywodlyd a ddefnyddiai y Rhufeiniaid y pryd hwnw fel *cement*, wedi eu mabwysiadu gan ganlynwyr Crist at addoli a chladdu oeddent.

Ar y cyntaf, yr oedd y gwaith o agor y beddogofeydd yn cael ei gario yn mlaen yn agored gan y Cristionogion; yr oedd y pyrth iddynt yn amlwg ac yn gyhoeddus ar y prif-ffordd, neu ar lechwedd y bryn, a'u horielau a'u hystafelloedd yn cael eu haddurno â lluniau o gymeriad cysegredig. Ond yn gynar yn y drydedd ganrif, bu yn angenrheidiol symud yr agoriadau iddynt mor bell ag oedd yn bosibl oddiwrth lygad y cyhoedd; gwnaethpwyd rhai newyddion a dirgelaidd, cyfyngwyd y wybodaeth am danynt i'r credinwyr, a gwaharddwyd yr anghredinwyr i ymweled a hwynt, rhag iddynt halogi a'u presenoldeb a'u hedrychiad yr hyn oedd gysegredig a sanctaidd.

Dichon mai y mwyaf dyddorol a phwysig o'r lleoedd hyn ydyw beddogof St. Calixtus, yr hon sydd ar y Via Appia, tua dwy filldir o Rufain. Mae y feddogof hon yn gynwysedig o amryw feddogofâu, unwaith ar wahan, ond yn awr wedi eu cysylltu. Yn eu plith yr oedd beddogof Sta Lucina, eiddo Anatolia, merch y *Consul* Æmilianus; ac eiddo Sta Soteris, "gwyryf o'r teulu i'r hwn y perthynai yr anfarwol Ambrose mewn cenedlaeth ddiweddarach," a'r hon a gladdwyd "in coemeteris suo," yn y flwyddyn 304.

Wedi i'r ymwelydd gael canwyll gan y monach (mae yr holl feddogofeydd Rhufeinig yn meddiant yr eglwys Babyddol), a'i goleuo, canlyna ef i lawr ar hyd y grisiau sydd wedi eu naddu allan yn y graig; ac ar eu terfyn, ar y llaw ddeheu, cyrhaedda ystafell hirgrwn, yr hon a elwir "Capel y Pabau," lle y claddwyd pedwar o esgobion a merthyron Rhufeinig yn y blynyddau A. D. 235, A. D. 236, A. D. 256, A. D. 275. Oddiyma â yn mlaen ar hyd mynedfa gul tua thair troedfedd o led, ac wyth troedfedd o uchder, ac mewn ychydig fynydau daw i ystafell arall a elwir *cubiculum*. Yma y gwel mewn *glass cases* ddau gorph sydd wedi eu tynu allan o gelloedd yr ystafell, er

Digitized by Google

mwyn gwneyd arddangosiad o honynt i'r ymwelyddion. Yr oedd y rhai hyn yn ferthyron, o leiaf, fel hyn y dywed y monach. Wrth edrych i fyny ffwrdd oddiwrth yr olygfa bruddaidd yna, mae y llygad yn aros ar lun y "Bugail Da," wedi ei baentio mewn lliwiau ag sydd yn beiddio yr oesau, ac yn awr yn berffaith fel y gorphenodd y lluniedydd ef yn y drydedd neu y bedwaredd ganrif. Ymddengys y "Bugail Da" mewn agwedd ymdeithiol, ei lwynau wedi eu gwregysu, a'i ffon yn ei law. Yn ei ymyl mae dwy ddafad, un o bob tu iddo, a'r trydydd yn cael ei dwyn ar ei ysgwyddau, yn awgrymu y geiriau, "Yr Arglwydd yw fy Mugail, ni bydd eisiau arnaf."

Yn agos i'r ystafell hon mae lluaws o baentiadau, rhai o honynt yn cyfeirio at yr Arglwydd Iesu yn awr yn ei gymeriad o fugail, yn gofalu am ei braidd ac yn eu casglu i'r gorlan nefol; pryd arall yn y cymeriad o fedelwr yn torri i lawr yr yd addfed, ac yn ei gasglu i'r ysgubor dragywyddol; eraill yn arwyddion o wahanol agweddau y bywyd crefyddol, rhagolygon a gobeithion yr eglwys, ac o nodweddion bywyd yr ymadawedig. Yn mhlith yr arwyddluniau hyn mae yr Angor i'w weled yn aml, yn dangos eu gobaith am fywyd uwch a gwlad well; y Golomen, yn arwydd o ryddhad yr ysbryd crediniol oddiwrth yr hyn sydd faterol a marwol; y Ddafad, yn arwydd o'r enaid yn crwydro yn nghanol porfeydd ac anialwch y bywyd presenol; y Penaig (*Phenix*), arwydd o'r adgyfodiad a thragywyddoldeb; y Pysgodyn, cysgodlun o Grist, o'r gair *ichthus*, y Groeg am bysgodyn, yr hwn sydd yn gyfansoddedig o lythyrenau cyntaf enwau y Gwaredwr.

Heblaw y rhai hyn cawn arwyddlun Llong, yn cynrychioli yr eglwys filwriaethus, weithiau yn cael ei dwyn ar gefn pysgodyn; a'r Bara, weithiau gyda y pysgodyn, yn y fan hon mewn basged ac ar ei gefn, fan arall gydag ef ar y bwrdd, mewn cyfeiriad, yn ddiamheu, at fendithio y bara a'r pysgod i'r torfeydd, y dyddiau gynt.

Hefyd, mae yno amryw arwyddluniau yn cyfeirio at hanesiaeth Feiblaidd, megys at y cwymp, aberthau Cain ac Abel, Noah yn yr arch, aberthu Isaac, y mynediad trwy y Môr Coch, Moses yn derbyn y gyfraith, Moses yn taro y graig, Elias yn esgyn i'r nefoedd mewn cerbyd o dân, y tri llanc yn y ffwrn dân, Daniel yn ffau y llewod, Jonah yn cael ei lyncu gan y morfil, genedigaeth Crist, yr ych a'r asyn yn penlinio, Crist yn troi y dwfr yn win, yn ymddyddan a'r wraig o Samaria, yn cyfodi Lazarus, yr hwn sydd yn ymddangos wrth ddrws y bedd yn ngwisg y meirw, tra mae yr Arglwydd yn sefyll o'i flaen a ffon yn ei law; Crist o flaen Pilat, Pedr yn cael ei gymeryd i garchar, &c., &c.

Heblaw yr arwyddluniau hyn, mae ar ddrysau y beddau, y rhai sydd o farmor, ac yn seiliedig, gerfiadau yn cynwys enw yr ymadawedig, ac yn aml farn ei gyfeillion am dano. Rhoddwn ychydig engreifftiau. Ar un marmor mae cerfiad yn dechreu fel y canlyn:

"Alexander mortuus non est sed vivit
Super astra et
Corpus in hoc tumulo quiescit."

(Nid yw Alexander farw, ond byw y mae
Uwch y ser, a'i
Gorph sydd yn gorphwys yn y bedd hwn.)

Ar un arall mae y canlynol:

"Eucaipia dormis in pace."

(Eucaipia, ti a gysgi mewn heddwch.)

Ac un arall:

"Lavinia melle dulcior

Digitized by Google

Quesc in pace."
(Lavinia, melusach na'r mêl,
A orphwys mewn heddwch.)

Yr oedd yn hen arferiad i osod ar y bedd ryw arwydd o alwedigaeth yr ymadawedig. Dyma engraifft o'r bedd-ogofeydd—"Locus adeo [d] ati." (Lle claddu Adeodatus.) Mae galwedigaeth y dyn da hwn yn cael ei dangos gan lun y gaib ar ddrws ei fedd, tra mae y gangen olewydden a'r golomen sydd yn weledig islaw iddi, yn cyfeirio at yr hyder ei fod yn gorphwys mewn heddwch.

Yn y canrifoedd cyntaf, yr oedd yn arferiad i osod yn y bedd wrthddrychau ag yr oedd yr ymadawedig wedi bod yn eu defnyddio yn aml yn ei fywyd. Mae yn amlwg fod y Cristionogion cyntaf wedi gweithredu yn ol yr arferiad hon. Mae yn amgueddfa y Vatican yn bresenol luaws o wrthddrychau a gafwyd yn y beddogofeydd ag sydd yn profi hyn; yn eu plith mae offerynau a fernir oeddynt yn cael eu defnyddio i arteithio y Cristionogion yn amser erledigaeth, megys gefail (*pincers*), i wasgu aelod o'r corph; fflangell i chwipio; cadwyn yn terfynu mewn pelau o haiarn, &c., &c.

Mae y gwrthddrychau arteithiol a'r cerfiadau cymysgfawr hyn, a ddarganfyddwyd yn mherfeddion y ddaear, yn dweyd yn eglur am gyflwr y byd Rhufeinig, am ddyoddefiadau ffyddloniaid yr eglwys, ac am ddigonolrwydd yr efengyl i ddyn o dan bob amgylchiad, hyd yn nod yn y cyfnod creulon a thywyll hwnw. Rhyfedd fel y mae yr Anweledig yn ysgrifenu hanes ei eglwys ar dudalenau y cread—weithiau yn cuddio cyfrolau mewn ogofeydd, ac yn eu selio mewn marmor am fil o flynyddau; wedi hyny yn datod y seliau, ac yn eu trosglwyddo i'r byd! Mae y Duw sydd wedi bod "yn gymorth hawdd ei gael" i'w blant yn yr oesau creulonaf, yn aros yr un, ac yn yr oes anffyddiog hon bob amser yn barod i gynorthwyo y rhai a ymddiriedant ynddo. Bydd i'r Hwn a roddodd oruchafiaeth a buddugoliaeth i'r crefyddwyr a ymgynullasant i'w addoli yn yr ogofeydd tanddaearol hyn ofalu am eu gweddillion marwol, sydd erbyn hyn wedi eu gwasgaru yn Rhufain a'r cylchoedd, ac yn niwedd amser eu gwisgo â harddwch ac anfarwoldeb. "A byddant eiddo fi, medd Arglwydd y lluoedd, y dydd y gwnelwyf briodoledd; arbedwyf hwynt hefyd fel yr arbed gwr ei fab sydd yn ei wasanaethu. Yna y dychwelwch, ac y gwelwch ragor rhwng y cyfiawn a'r drygionus, rhwng yr hwn a wasanaetho Dduw a'r hwn nis gwasanaetho ef."

---

## BLWYDDYN YN NGHYMRU.

GAN Y PARCH. FRED. EVANS, D. D. (EDNYFED).

Yn fy ysgrif ddiweddaf, ni wnes ond enwi *rhai* o'r brodyr da a lafuriasant yn Swydd Forganwg, a gadewais, ond nid yn fwriadol, amryw heb eu henwi. Mae genym rai brodyr yn Morganwg y rhai sydd wedi gweithio yn ddyfal y tu allan i'r pwlpud, yn ogystal ag ynddo, ac enwaf fel cynrychiolydd y rhai hyn, y Parch. W. Harris, Heol-y-felin. Mae Mr. Harris yn bregethwr da, yn feddyliwr grymus, ac nid oes neb yn perthyn i'n henwad wedi ymegnio i wella ein canu cynulleidfaol i'r graddau y mae ef. Mae genyf lawer o bethau yn erbyn canu cynulleidfaol Cymru, ond ymdawelaf ar hyn o bryd, gan ddiolch i fy hen gyfaill Harris am ei yni, ei sel, a'i allu. Gormod o lyfrau Hymnau sydd yn Nghymru ar hyn

Digitized by Google

o bryd; ond y goreu o ddigon ar lawer o ystyriaethau yw y Llawlyfr Moliant. Fel pob peth perthynol i'r bywyd hwn, medda y llyfr hwn ei ffaeleddau, ac y mae y rhwymiad mwyaf drudfawr yn druenus o wael, tra y mae y rhwymiad rhataf yn hynod o dda. Dyma anghysondeb.

Cefais y fraint o fod yn bresenol mewn rhai Cymanfaoedd Cerddorol. Cymer llawer *Jeckyn* arno arwain, a siarad y *nonsense* mwyaf noeth. Mae *machines* yn dda yn eu lle, ac yn hynod wasanaethgar, ond nid oes genyf fawr o olwg ar y *machines moli.* Tanymarian yw brenin yr arweinyddion. Mae ynddo fwy o'r "eneiniad hwnw" nag sydd yn y mwyafrif, ac nid yw yn ol yn ei allu. Siaredir yn y cyfarfodydd hyn gan bersonau heb unrhyw gymwysder, ac am hyny canu yw'r cwbl. Yn awr ac yn y man, unwaith mewn pum' mlynedd, ceir araeth gwerth ei gwrandaw. Mae y canu cynulleidfaol yn Morganwg yn dra uchel ei ben, ond nid fel y dylai fod. Dywedir fod cantorion yn groen-deneu iawn; nid wyf yn credu fod hyn yn wirionedd. Efallai eu bod ychydig yn annoeth parth eu hymddygiad tuag at arweinydd y canu. Yn mhlith y corau ceir llawer Saul a'r cythraul heb ei fwrw allan o hynynt, a'u prif waith yw beio Dafydd, yr arweinydd.

Peth mawr y Bedyddwyr yn Morganwg yw eu CYMANFA. Rhaid i mi gyfaddef fod Cymanfa Morganwg yn fawr yn mhob peth ond mewn trefn. Diffygiol iawn yw yn hyn. Nid ar y cymedrolwr y mae y bai, ond ar y gweinidogion. Yn nghorph y capel y mae amryw *groups* yn ddiwyd wrthi, a phob *group* a'u gwaith neillduol eu hunain, fel pan y bydd y cadeirydd yn gosod y cwestiwn priodol o flaen y gynadledd, gan alw am bleidleisiau, clywir un oddi yma, a'r llall oddi draw, yn bloeddio allan, "Beth yw y cwestiwn?" Efallai fod maint y Gymanfa yn cyfrif am beth o'u hannhrefn, neu efallai mai arferiad sydd i gyfrif am hyn, ac y mae rhagor rhwng cymedrolwr a chymedrolwr.

Creda llawer fod y Gymanfa yn ormod o faintioli, a gallem feddwl wrth adroddiad ambell i bwyllgor fod hyn yn wirionedd. Mae yn wir mai bychan yw Cymru benbaladr, eto y mae rhai pethau yn rhy fawr yno. Nid yw y pellder rhwng y ddwy eglwys bellaf yn Morganwg yn ddim o'i gydmaru a'r pellder sydd rhwng eglwys Freedom, Cattaraugus, ac eglwys Bordwell, yn Oneida; eto mae yno bellder mawr, a siarad yn ol *Geography* Gwalia fechan, rhwng y ddwy eglwys bellaf yn Morganwg. Mae yno fwriad yn mhlith rhai o'r brodyr i ranu yr un er ei gwneyd yn ddwy. Medda y brawd da a llafurus, Morgan, Dowlais, y law flaenaf yn y mudiad hwn; ac yr oedd yn ddrwg genyf weled rhyw un dan gysgod gwael ffugenw yn priodoli yn *Seren Cymru* ddybenion isel ac hunanol i Morgan. Mae yn gas gan fy enaid greadur llechwraidd, yr hwn na fedda ddigon o ddewrder i ysgrifenu yn foneddigaidd, ar aml i bwnc, dan ei enw priodol, neu dan ei ffugenw adnabyddus. Dylai golygwyr ein cylchgronau a'n newyddiaduron Cymreig wrthod gohebiaethau oddiwrth greaduriaid bradwrus a dienw. Dyn digymeriad yw y dyn dienw. Credwyf yn gydwybodol y byddai yn well i'r enwad yn Morganwg pe byddai ganddynt *ddwy* Gymanfa, ac nid *un.*

Gwelaf oddiwrth y Dyddiadur am y flwyddyn hon fod yn y Gymanfa dros gant a haner o eglwysi. Yr eglwys

Digitized by Google

henaf yw Hengoed, a'r ieuengaf yw Blaenafan. Trueni na chaem yn y Dyddiadur y flwyddyn y corphorwyd yr eglwysi, ac y sefydlwyd y gweinidogion. I mi y mae hyn yn ddiffyg mawr yn y Dyddiadur, a dywedaf hyn gyda phob parch i'r casglydd galluog, y Parch. O. Davies, Caernarfon. Rhifa rhai o'r eglwysi yn nerthol iawn; ond pan y meddyliom am eu cyfarfodydd gweddi, parod ydym i ofyn, "Pa le y mae y lleill?" Yn Nghymanfa Morganwg cawn bedair o eglwysi yn rhifo dros bum' cant yr un; tair dros bedwar cant yr; ugain dros ddau gant; saith-a-deugain dros gant yr un; un-ar-bymtheg-a-deugain, dan gant yr un. O'r rhai hyn cawn un-ar-hugain dan haner cant; tair-ar-ddeg dan ddeugain, a thua haner dwsin dan ugain yr un. Oddiwrth hyn, canfyddwn fod yn Morganwg yr eglwys gref iawn, a'r eglwys wanaidd iawn. Mae yno rai uwchben eu digon, ac eraill ar newynu, ac ni wn am Gymanfa lle y dylai Cenadaeth Gartrefol lewyrchus fod ynddi fel Cymanfa Morganwg. Yn y cynadleddau pasir pethau pwysig iawn heibio, a rhoddir gormod o amser a phwys i'r cyfarfodydd pregethu.

Dydd Jiwbili yw dydd Cymanfa Morganwg, a chyfarfod pwysicaf dydd y farn yw y cyfarfod deg o'r gloch. Dywedir fod yno lawer o *wire pulling* yn cymeryd lle cyn y dydd mawr. Yn yr hen amser, y *certificate* goreu i bregethwr, fel pregethwr mawr, oedd profi ei fod wedi pregethu am ddeg o'r gloch yn y Gymanfa. Yr oedd bod yn *stageman* Cymanfa yn drwydded i enwogrwydd bythol. Nid *pawb* a gelai yr anrhydedd i weddio am ddeg. Yr oedd yn rhaid i'r hwn a ddechreuai y cyfarfod deg o'r gloch feddu y cymwysderau canlynol—gallu i wneuthur stwr mawr, canu yn hwyliog, pregethu mwy na gweddio, a dweyd rhywbeth ar weddi oedd a thuedd ynddo i godi crechwen yn mhlith y dorf. Gelwid y fath weddiwr (?) yn *weddiwr doniol.* Mae y pregethu cymanfaol wedi gwneyd lles mawr yn Nghymru; ond credwyf ar hyn o bryd, yn ngwyneb y ffaith fod pregethu yn mhob llan a llanerch, yn mhob llecyn o'r wlad, nad oes galwad am gymaint o bregethu, ac y byddai yn well treulio mwy o amser mewn cynadleddau pwyllog a doeth, a dadleu mesurau a wnant les i'r enwad yn Nghymanfa Morganwg. Llwyddiant mawr i'r Gymanfa. Enilled mewn dylanwad, a chynydded mewn gwir allu, a deued yr amser bendigedig oddiamgylch pan bydd yr *eglwysi bychain* yn canmol y Gymanfa.

[Deallwn oddiwrth *Seren Cymru* fod y mater o ranu y Gymanfa yn ddwy wedi ei benderfynu, ond ei bod i aros fel y mae am un flwyddyn eto.—GOL.]

---

## CAIS

AT YSGRIFENYDDION EGLWYSI Y BEDYDDWYR CYMREIG, YN ENWEDIG EGLWYSI PERTHYNOL I GYMANFA BEDYDDWYR DWYREINBARTH PA.

---

FRODYR—Dymunaf eich sylw at y pethau canlynol, a diwygiad ynoch yn y dyfodol. Er pan wyf yn y weinidogaeth, mae llythyrau a phapyrau oddiwrth swyddogion y gwahanol Gymdeithasau Bedyddiedig yn y wlad hon yn dyfod i mi bob blwyddyn, yn cynwys awgrymiadau nad yw y Bedyddwyr Cymreig yn y wlad hon yn cyfranu yn ddyladwy at achosion yr enwad. Weithiau awgrymir y rhaid gwrthod derbyn myfyrwyr o'r eglwysi Cymreig i'r colegau, &c., &c. Cyhoeddir llyfryn blynyddol yn Pennsylvania, yn cyn-

Digitized by Google

wys ystadegau eglwysig y gwahanol Gymanfaoedd, ac yn mhlith eraill, ein Cymanfa ni. Yn yr ystadegau hyn gosodir i lawr gyfraniadau eglwysi unigol at y gwahanol Gymdeithasau; ac y mae darllen y rhai hyn wedi peri loes i'm calon lawer gwaith, wrth feddwl fod yr ystadegau hyn yn gosod yr eglwysi Cymreig mewn goleu anmhriodol ger bron y byd. Wrth edrych ar y rhai hyn, gellir meddwl nad yw yr eglwysi Cymreig yn gwneyd dim at y Genadaeth, yr Athrofeydd, na dim arall!

Wedi derbyn yr hysbysiad diweddaf, teimlais yn rhwymedig arnaf, fel Cymro Bedyddiedig, ac yn enwedig fel Cymedrolwr ein Cymanfa, i ysgrifenu gair o eglurhad ac amddiffyniad i'r Cymry i'r *National Baptist*. Barnwyd yn oreu ar y pryd i beidio cyhoeddi yr ysgrif, ac anfonwyd eglurhad i mi gan y swyddogion. Dywedent eu bod wedi ysgrifenu at Ysgrifenydd ein Cymanfa am y cyfrifon, ac na chawsant ddim ond yr hyn a gyhoeddwyd, ac felly honent nad arnynt hwy yr oedd y bai a'r diffyg yn yr ystadegaeth. Dymunent arnaf i sicrhau ystadegaeth gyflawn a chywir y flwyddyn hon. Yn awr, frodyr, ni ellir cael hyn ond drwy eich ffyddlondeb chwi. Ni all Ysgrifenydd y Gymanfa gyhoeddi ond yr hyn a anfonir iddo gan Ysgrifenwyr yr eglwysi. Os nad ydych am gael eich camddarlunio ger bron y byd Seisnig, os ydych am i'r eglwysi y perthynwch iddynt gael chwareu teg ar faes ystadegaeth, dymunwyf arnoch o hyn allan anfon yn eich llythyr blynyddol i'r Gymanfa gyfrifon manwl o'ch holl gasgliadau arianol at wasanaeth crefyddol ein henwad tu allan i'ch cartref, sef, casglwyd at

| | |
|---|---|
| Y Genadaeth Dramor . . . | $——— |
| Y Genadaeth Gartrefol Seisnig . . . . . . . . . . | $——— |
| Y Genadaeth Gartrefol Gymreig. . . . . . . . . . . | $——— |
| Y Baptist Publication Society . . . . . . . . . | $——— |
| Yr Educational Society . . | $——— |
| Y State Missions . . . . . | $——— |
| Y Gymanfa . . . . . . . . | $——— |
| Yr Ysgrifenydd. . . . . . | $——— |

Hefyd, eich casgliadau i gynorthwyo myfyrwyr pan ar ymweliad â chwi yn ystod eu *vacations*. Dylai ysgrifenydd pob eglwys gofnodi pob casgliad ar lyfr yr eglwys, yna byddai yn hawdd gwneyd yr ystadegaeth arianol i fyny yn gywir yn flynyddol i'r Gymanfa. Gobeithio y gwna pob ysgrifenydd ei oreu eleni gyda chynorthwyo y swyddogion eraill i anfon ystadegaeth arianol gyflawn i'r Gymanfa. Ac ond i Ysgrifenydd y Gymanfa ofalu cyhoeddi yr oll yn gyflawn yn un ystadegaeth o'r holl eglwysi, bydd i'r Saeson gael golwg well, fwy hael, arnom o hyn allan. Anfoner cyfrif o'r holl gasgliadau, mawr a bach, yn ddieithriad. Ein goreu mae Duw yn ofyn, dim llai, na dim mwy. Yr wyf fi yn meddwl fod hyn o waith yn perthyn i mi fel swyddog, ac y dylai swyddogion ein Cymanfaoedd edrych ar fod ein heglwysi yn cael chwareu teg ar faes hanesiaeth can belled ag y medront. Mae o bwys ar fod cofnodion ac ystadegau ein Cymanfaoedd yn gywir, gan eu bod yn ddefnyddiau hanesiaeth yr eglwysi, y Gymanfa, a'r enwad, yn y dyfodol.

Yr eiddoch yn frwdfrydig am gyfiawnder i'n heglwysi Cymreig, eich gwasanaethwr,

*Shenandoah, Pa.* D. S. Thomas.

## PARCH. PETER LLOYD,

### GYNT O COALPORT, O.

[Cyhoeddwyd y cofiant canlynol yn y *Cyfaill*, yn rhifyn Mehefin, 1872; ac ar ddymuniad rhai o berthynasau yr ymadawedig, yr ydym yn ei argraffu yn y WAWR, i fod ar gôf a chadw yn mhlith ein cofnodion. Yr oedd y Parch. Peter Lloyd yn weithiwr difefl, ac o gymeriad Cristionogol dilychwin, ac yn dra theilwng o gael ei efelychu. Mae Mrs. Lloyd, gweddw barchus yr ymadawedig, yn byw yn bresenol gerllaw Beacon, Iowa.—GOL.]

Ganwyd gwrthddrych ein cofiant yn Sir Ddinbych, G. C., yn y flwyddyn 1801. Mab ydoedd i Peter a Sarah Lloyd. Bu ei dad farw pan nad oedd y mab ond 8 mlwydd oed, felly cafodd ei adael i ofal Rhagluniaeth i ymdaro fel y gallai pan yn ieuanc. Pa mor foreu y gwnaeth broffes gyhoeddus o Fab Duw, nid ydym yn sicr. Cawn iddo briodi yn 1826, â Miss Margaret Prichard, yr hon a fu iddo yn ymgeledd gymwys trwy ei oes; ac y mae yn ddilys genym ei bod yn dwyn nodweddion gwraig gymwys i weinidog yr efengyl. Ac yn fuan wedi priodi, dechreuodd ar y gwaith o bregethu yr efengyl. Yn y flwyddyn 1833, ymfudodd ef a'i deulu i America, ac ymsefydlodd yn Pittsburgh, Pa., ac yno yr ordeiniwyd ef i gyflawn waith y weinidogaeth. Bu yno tua thair blynedd yn pregethu bron bob Sabboth yn Pipe Town. Wedi hyny symudodd i Coalport, Ohio. Nid oedd ar y pryd ond ychydig o Gymry yn y lle; modd bynag, yr oedd y brawd Lloyd yn barod i bregethu yr efengyl i bwy bynag a ddeuai i'w wrando. Pregethai o dy i dy am flynyddoedd, a byddai yr ychydig Gymry o wahanol enwadau yn un gynulleidfa yn cyd-addoli. O'r diwedd sefydlwyd eglwys o Feddyddwyr yno, ac yn y flwyddyn 1848 aethant at y gwaith o adeiladu capel, ac aeth y brawd Lloyd o amgylch o fewn terfynau y Gymanfa i gasglu, a bu yn llwyddianus yn y gorchwyl, nes cael teml i'r Arglwydd heb ddim dyled yn pwyso wrth ei godreu. Llafuriodd yn galed i enill tyddyn yn gartref iddo ei hun a'i deulu, yr hwn oedd yn lluosog, sef wyth o blant, un o ba rai sydd wedi marw. Trwy lafur ac ymdrech diflino y gwasanaethodd yr eglwys oedd dan ei ofal; gweithiai a'i ddwylaw y dydd, cerddai tua thair milldir o ffordd y Sabboth, ac amryw nosweithiau yr wythnos. Gwasanaethai nes peri tystiolaeth yn meddwl pawb fod ynddo gariad at y Meistr a'r gwaith. Nid oedd y gydnabyddiaeth am flynyddoedd ond rhy brin i dalu am yr esgidiau a dreuliai. Ond nid yw Duw yn anghyfiawn fel yr anghofio waith a llafurus gariad ei weision tuag at ei enw Ef.

Am ei grefydd, nid wyf yn tybied fod dau feddwl yn ei chylch; tystiai pawb ai hadwaenai ei fod yn ddyn duwiol; yr oedd yn dwyn nodweddion dyn Duw, yn llywodraethu ei dy ei hun yn dda; yr oedd yn dal ei blant mewn ufudd-dod, ac nid wyf yn meddwl fod un o honynt wedi rhoddi achos i'w benwyni ddisgyn i'r bedd mewn gofid.

Yn ei gymdeithas byddai yn sobr a difrifol, heb ddim o'r cellwair sydd yn hynodi llawer pregethwr. Prif destyn ei ymddyddanion fyddai, nid pa le i gael manteision ac enill cyfoeth, ond pethau sylweddol—dywediadau dynion da a hen bregethwyr ar wahanol faterion. Yr oedd ei weinidogaeth o duedd gymelliadol ac argyhoeddiadol, yn fwy nag yn athrawiaethol. Cyhoeddai oludoedd gras yn ffrydio o gariad Duw trwy angau'r groes, fel y cymellion cryfaf a mwyaf anogaethol i alw gwrthryfelwyr a gwrthgilwyr yn ol at Dduw. Taflai ffaglau bygythion deddf doredig, a chyfiawnder tramgwyddedig, i gau noddfeydd pechaduriaid gydag egni a difrifoldeb, a bydd ei wrandawyr pan ei cyfarfyddant yn y dydd mawr, heb un esgus am eu tynged, os yn annuwiol.

Wedi i'r eglwys ddewis gweinidog yn ei le, oedd ieuengach a chryfach i ddal pwys y gwaith, byddai yntau yn llafurio mewn manau ar gyrau y gymydogaeth, lleoedd anhygyrch ac yn mhell o gyrhaedd moddion; ac nid i'r Cymry yn unig y pregethai, ond i'r Saeson hefyd; ac weithiau byddai meibion Ham yn eistedd dan gysgod ei weinidogaeth, a'i ffrwyth oedd felus ganddynt.

Digitized by Google

Tua'r fl. 1866, symudodd ef a'i deulu i Iowa; ond yr oedd ei ddydd gwaith wedi darfod trwy afiechyd corphorol a llafur caled; yr oedd math o gydymollyngiad mewn corph a meddwl wedi cydgyfarfod ynddo. Medi 9, 1868, cafodd ei daro â'r parlys. Bu felly amryw ddyddiau, nes iddo huno yn yr angau heb allu siarad gair, felly nid oes genym dystiolaeth ei eiriau olaf; ond y mae genym gan mil mwy, sef bywyd difwlch o lafur a hunan-ymroddiad i wasanaethu Duw a llesâu eneidiau dynion. Nid oes eisiau beirdd i ganu ei glod, nac areithwyr i gyhoeddi ei rinweddau; cyfododd ei gof-golofn yn ei fywyd, ac yr oedd ganddo gymeradwyaeth y gwas da yn ei angau. Bellach rhaid i ni ei adael, gyda chyfeirio ei weddw a'i blant at elfenau cysur mewn galar, "Ystyr y perffaith ac edrych ar yr uniawn; diwedd y gwr hwnw fydd tangnefedd," "ffydd yr hwn dilynwch;" y mae efe "wedi marw yn llefaru eto."

JOHN T. WILLIAMS.

*New Cambria, Mo.*

---

## AI CAMSYNIAD?

"Y mae ystadegau, fodd bynag, yn profi yn hollol wahanol, sef mai hwyhau, ac nid byrhau, y mae oes dyn."

Yn y WAWR am Gorphenaf gwelais ychydig nodiadau gan yr adnabyddus Ap P. A. Mon, parth i frawddeg mewn pregeth o'm heiddo a ymddangosodd yn yr un cyhoeddiad am mis Mai diweddaf, yn y rhai y gwelais y frawddeg uchod. Y frawddeg, cywirdeb yr hon a amheuir, sydd fel y canlyn:

"Ond y mae ystadegau yn profi na fu oes dyn erioed yn fyrach nag ydyw hi heddyw."

Ysgrifenwyd y geiriau hyn heb gyfeiriad neillduol at unrhyw awdurdod ystadegol, ac o dan yr argraff nad ydyw yr ystadegau diweddaraf yn profi i foddlonrwydd fod oes dyn, ar y cyfan, wedi hwyhau yn ystod yr haner canrif diweddaf. Ac wedi ail ystyried y mater, a gwneyd ychydig ymchwiliad iddo, gan y cyfeiriem at fywyd y ddynoliaeth, ac nid at fywyd rhanau o honi sydd yn mwynhau breintiau iechyd a bywyd yn fwy na'r cyffredinolrwydd, tueddir ni i gredu yr un peth eto.

Mae gwyddoniaeth feddygol, yn ystod y ganrif hon, wedi gwneyd mwy, fe ddichon, nag yn un ganrif flaenorol, i leddfu poen ac achub bywyd, ac i gael allan yr hyn sydd yn achosi clefydau, a'r modd y gwasgerir heintiau. Mae awdurdodau iechyd yn y dinasoedd a'r trefydd mawrion yn gwneyd llawer, ac wedi llwyddo, trwy ddarparu *drainage* priodol a digonol, puro'r dwfr, a symud budreddi, i leihau marwoldeb yn amryw o'r lleoedd hyn. Ond, o'r ochr arall, mae bywyd yn treulio allan gyda chyflymdra ofnadwy yn yr oes hon. Ni bu cystadleuaeth mewn masnach, gwleidyddiaeth, llenyddiaeth a gwyddoniaeth, yn un cyfnod mor llym ag ydyw yn awr. Mae y *wear and tear* ar y peirianau dynol mor anferthol yn yr haner diweddaf o'r bedwaredd-ganrif-ar-bymtheg, fel y mae ugeiniau o filoedd o honynt yn ymddyrysu, neu yn treulio allan yn flynyddol. A'r canlyniad yw, fod yr hyn mae y ddynoliaeth yn enill mewn un ffordd i raddau helaeth yn cael ei golli mewn ffordd arall.

Er mwyn egluro hyn, edrychwn ar ychydig o ystadegau trefydd mawrion Lloegr, a gyhoeddwyd yn ddiweddar. O'r flwyddyn 1841 i 1870 lleihawyd y *death rate* yn Salisbury o 28 i 20 y fil; yn Coventry, o 27 i 21 y fil; ac yn Hull, o 31 i 26 y fil; ond yn ystod yr un amser, cynyddodd yn Manchester i 32.5, ac yn Liverpool i 38.6 y fil. Mae y genedl yn enill yn y tair tref flaenaf, ond yn colli yn y ddwy olaf.

Eto, cymharwn yr ystadegau am holl Loegr a Chymru, o'r flwyddyn 1821 i lawr hyd 1871, parth y nifer o hen bobl yn gan' mlwydd oed ac uchod, oedd yn y wlad yn y cyfnod hwn. Y maent fel y canlyn: Yn y flwyddyn 1821 yr oedd 216; yn 1841, 249; yn 1851, 215; yn 1861, 201; yn 1871, 160.

Mewn ysgrif yn y *Popular Encyclopedia*, a gyhoeddwyd gan Blackie a'i Fab, yn Llundain, dair blynedd yn ol, ar y pwnc hwn, mae y frawddeg gan-

Digitized by Google

lynol: "While the ages of all the patriarchs before the deluge extend almost uniformly to 800 or 900 years, there is in the subsequent chronologies a gradual but rapid diminution of the extreme age until it reaches almost the present limit."

Nid oes yn fy meddiant yn bresenol awdurdodau ystadegol ychwanegol, onide gwnawn ymchwiliad iddynt parth y pwnc hwn; ond os oes gan Ap P. A. Mon oleuni pellach neu wahanol i roddi arno, bydd yn hyfrydwch i mi ei gael trwy du dalenau y WAWR.

J. W. WILLIAMS.

# Fflachiadau Athrylith.

DETHOLEDIG GAN Y PARCH. D. RHOSLYN DAVIES, PITTSBURGH, PA.

## LLWYDDIANT Y GAIR

YN FFAITH, CAN SICRED AG YDYW LLWYDDIANT Y GWLAW A'R EIRA.

Mae llwyddiant y gwlaw a'r eira yn wystl o lwyddiant y gair. Mae Duw wedi arfer cefnogi ffydd ei weision trwy wystl. Wele i Moses ei ffon, ac i Aaron ei wialen. Wele i Pedr a'r dysgyblion y ddwy helfa bysgod. Wele i ninau y gwlaw a'r eira. Tra y byddo yr hedyn mwstard yn tyfu, a'r gwlaw a'r eira yn dylanwadu, y mae gan weinidogion y gair ac athrawon yr ysgol Sabbothol sicrwydd na fydd eu llafur yn ofer yn yr Arglwydd. Mae modd i'r credadyn weithiau ymollwng i wendid, nes ofni hyd yn nod yr hyn fyddo wedi ei fwriadu i wasanaethu er daioni. Yr ydym yn cofio Noah yn ofni y cymylau; Israel yn dychrynu wrth eiriau Duw ar Sinai; Joshua yn ofni y cadfridog a ymddangosai iddo wrth Jericho; y gwragedd yn ofni yr angylion wrth y bedd. Symudwyd ofn Noah drwy weinidogaeth, bwa prydferth yn cynwys saith o liwiau, yn cofleidio y cwmwl a'r ddaear, ac yn llunio cyfamod rhyngddynt. Beth bynag sydd gan y cwmwl i'w roddi, fe gaiff wasanaethu er rhoi had i'r hauwr, &c. Symudwyd dychrynfeydd Sinai yn ngweddiau ac aberth iawnol Calfaria. Tra byddo gwlaw ac eira, y mae gan weinidog y gair wystl gyda golwg ar ei lwyddiant.

Y mae Duw yn bwriadu gwneyd rhywbeth o'r dynion diffrwyth heblaw eu damnio. Yr oedd golwg ddigalon ar y ddaear pan esgynai prophwydi Baal ac Elias y Thesbiad i ben mynydd Carmel. Yr oedd yr hauwr yn gwelwi am had, &c. Ond cyn i Elias ddisgyn fe gafwyd arwydd bychan, fel cledr llaw gwr, fod gan Dduw rywbeth i'w wneyd â dynion diffrwyth heblaw eu dyfetha.—*Parch. James Rowe.*

## YR IESU WRTHO 'I HUN.

Os bu erioed gadwyni aur
Yn rhwymo edyn engyl nef,
Hon oedd yr adeg, pan oedd Mair
Yn wylo wrth ei weled ef;
Cyfiawnder goda'i fraich fawr gref,
A bolltai byrth y nef ddigryn,
A'i gleddyf gloew-lafn gydag ef,
Tra'r Iesu'n ymladd wrtho'i hun.

Wrth bwyo'r hoelion dur i'w gnawd,
Dirgrynai'r creigiau fel y dail;
Wrth daflu idd ei wyneb wawd,
Ymrwygent, holltent bob yn ail;
O, Ior! gad iddynt neidio'n awr
I ymgyrch Calfari bob un;
Na, rhwymir hwynt â'r gadwyn fawr,
Rhaid gadael Iesu wrtho'i hun.

—*Telynog.*

## GOGONIANT DUW YN CAEL EI WELED YN SEION.

Y mae gogoniant yr Arglwydd yn Seion yr amlygiad uchaf o'i ogoniant —"*ei ogoniant*"—yr hyn sydd yn wir

Digitized by Google

deilwng o'r enw. Y mae holl weithredoedd yr Arglwydd yn ogoneddus. Y mae gweithio, ac amlygu gogoniant, yn eiriau cyfystyr yn eu perthynas â Duw. Nis gall yr haul ddangos ei hun heb ddangos gogoniant; felly, lle bynag y daw Duw i'r golwg, fe ddaw gogoniant i'r golwg; os yn y nefoedd, bydd hono yn datgan ei ogoniant; os ar y ddaear, bydd ei enw yn ardderchog ar yr holl ddaear hefyd. Ond er bod pob amlygiad o Dduw yn ogoneddus, "y mae rhagor," medd yr Apostol, "rhwng seren a seren mewn gogoniant;" felly y mae rhagor rhwng gwahanol amlygiadau o ogoniant Duw. Y diweddaf y mae yn ei roddi ydyw y rhagoraf bob amser. Felly y bu hi yn chwe' diwrnod rhyfedd y greadigaeth, pa un bynag ai cyfnodau meithion oedd y rhai hyny, fel y tybia rhai, ai ynte dyddiau fel yr eiddom ni, yr oedd hyn yn wirionedd am danynt, fod yr ail ddydd yn rhagori mewn gogoniant ar y cyntaf; y trydydd ar yr ail, y pedwerydd ar y trydydd, y pumed ar y pedwerydd, a'r chweched arnynt oll. Gallu a ddaeth i'r golwg gyntaf; yr oedd hwnw yn allu gogoneddus. Doethineb a ddaeth i'r golwg wedi hyny, ac yr oedd hwnw yn ddoethineb gogoneddus. Yna daeth cyfoeth a daioni i'r golwg, ac yr oedd hwnw yn ddaioni gogoneddus. A phrydnawn y chweched dydd, pan orphwysodd y Gweithiwr dwyfol, yr oedd wedi cyrhaedd yr *ideal* oedd yn ei feddwl, ac yr oedd y weithred olaf a wnaeth yn llun a delw Duw. A phe buasai rhyw un yn myned i chwilio i garacter y Gweithiwr, buasai yn gadael y ffurfafen a'i bydoedd o'r naill du, ac yn myned heibio i ryfeddodau lluosog y ddaear, gan sefydlu ei olwg ar ryw ddernyn o waith yn nghanol yr ardd—yn hwnw y canfyddir gogoniant y Gweithiwr. A chwbl briodol a fuasai dywedyd bob dydd o'r wythnos, "Pan greo yr Arglwydd ddyn, y gwelir ef yn ei ogoniant." Colofn oedd y greadigaeth y bu Duw yn ei chodi am chwe' diwrnod. Yr oedd y gwaith yn barod, y golofn yn brydferth i edrych arni, ac yn enw i'r adeiladydd; ond pan roddwyd y gerfddelw i sefyll ar ei phen hi y daeth gogoniant y Gweithiwr i'r golwg. Yr hyn oedd dyn i'r ddaear, hyny ydyw Seion yn llywodraeth Duw. Codi colofn sydd yma hefyd. Ar y chweched dydd fe roddir Seion i sefyll arni; a phan dynir y gorchudd oddiar y ddelw, fe welir y Gweithiwr yn ei ogoniant; nid yn ogoneddus, ond yn ei ogoniant.—*Parch. Edward Morgan, Dyffryn.*

---

# Bwrdd y Golygydd.

## YR AIPHT.

Mae yr Aipht yn ferw gwyllt. Pan dân-belenwyd caerau Alexandria gan lynges Lloegr, y dechreuodd pethau wisgo y wedd bresenol. Achlysurwyd y terfysg fel hyn. Y mae yr Aipht yn talu teyrnged drom i Sultan Twrci, a llogau trymion i Loegr a Ffrainc, am arian a fenthycwyd flynyddau yn ol. Yn ddiweddar mae nifer o gynhyrfwyr, yn cael eu blaenori gan Arabi, y prif Gadfridog, yn anfoddloni talu yr arian a nodwyd i'r tair gwlad, ac am ymryddhau oddiwrth y rhwymedigaethau. Proffesant trwy hyn gynrychioli teimlad cyffredinol yr Aiphtiaid. Yn Mehefin diweddaf cynygiodd Arabi gollfarnu haner cant o swyddogion oeddynt yn gwrthod ei bleidio ef. Gwrthododd y Khedive, sef y Brenin, gadarnhau y dyfarniad hwnw, ac apeliodd at Lysgenadon Ewrop am amddiffyniad. Arweiniodd hyn i gythrwfl erchyll yn erbyn yr Ewropiaid, pryd y llofruddiwyd nifer lluosog. Parodd hyn i lyngesoedd gwahanol deyrnasoedd Ewrop ddyfod i borthladd Alexandria. Wedi hyn parodd Arabi i amddiffynfeydd Alexandria gael eu cadarnhau. Gwrthdystiodd Seymour, Prif-Lyngesydd cadlongau Lloegr, yn erbyn y gwaith bygythiol hwn; a chan na wrandawid arno, y canlyniad fu

Digitized by Google

tân-belenu y caerau yn chwilfriw mân mewn ychydig iawn o amser. Llosgwyd rhanau o'r ddinas, a bu dinystr mawr ar feddianau a bywydau. Diangodd Arabi a'i gefnogwyr ymaith mewn dichell, o dan faner heddwch. Yn bresenol mae y gwrthryfelwr hwn yn cadarnhau ei amddiffynfeydd. Yn y cyfamser mae Lloegr yn prysur barotoi i anfon byddinoedd yno i ddarostwng y gwrthryfel ac i wastadhau pethau. Proffesa Lloegr mai ei hunig amcan ydyw adferyd pethau fel o'r blaen, a chadarnhau y cytundebau blaenorol. Ofna llawer y gall y cythrwfl hwn arwain i bethau pwysig. Y farn gyffredinol yw, fod Prydain Fawr yn gwneyd yr hyn a ddylasai, a bod y gwaith a wneir ganddi yn sicr o fod yn llesol i'r Aipht, i Ewrop, ac i wareiddiad. Nid yw yn sicr eto a fydd i Ffrainc a Twrci uno yn y rhyfel.

## "Y FEIBL GYMDEITHAS A'R BEDYDDWYR."

Yn *Seren Gomer* am Ebrill, mae erthygl ddyddorol gan Dr. Jones, Llangollen, ar Hanes dechreuad a sefyllfa bresenol yr anghydwelediad rhwng y Feibl Gymdeithas a'r Bedyddwyr.

Dyma y cynwysiad:

Cyfieithiadau gan Genadon y Bedyddwyr. Achlysur Ffurfiad y Gymdeithas Gyfieithiadol. Ymdrechion y Bedyddwyr i ddwyn Pwyllgor y Feibl Gymdeithas i Ail-ystyried y Rheol. Y Feibl Gymdeithas a Lledaeniad Cyfieithiadau Pabaidd. Y Diweddar Dr. Phillips ar y Feibl Gymdeithas a Chyfieithiadau y Pabyddion a'r Bedyddwyr. Amddiffyniad i'r Gymdeithas Gyfieithiadol. Apeliad am fwy o Haelioni er Lledaenu y Beibl. Mae yr erthygl hon yn wir ddyddorol, yn neillduol i bob Bedyddiwr. Dengys yr erthygl mor ragfarnllyd ac annheg yr ymddyga blaenoriaid y Gymdeithas hono tuag at y Bedyddwyr.

Yn ddilynol i ymddangosiad yr erthygl hon gan Dr. Jones yn *Seren Gomer,* mae Pwyllgor y Gymdeithas Gyfieithiadol wedi ei chyhoeddi yn llyfryn trwy ganiatad yr awdwr. Cydnabyddir fel hyn deilyngdod diamheuol y gwaith. Yr ydym wedi meddwl cyhoeddi yr ysgrif yn y WAWR.

## CYNYDD RHYFEDDOL Y BEDYDDWYR YN MORGANWG.

Dyddiau Mawrth a Mercher diweddaf, yr oedd y Bedyddwyr yn Morganwg yn cynal eu Cymanfa yn Pontardulais. Dywedai Mr. L. Griffiths, argraffydd, Cwmafon, wrth roddi adroddiad o gyfrifon y cyfundeb, fod y Bedyddwyr wedi cynyddu yn y Sir, o 1801 i 1882, chwe' gwaith mwy nag oedd y boblogaeth wedi ei wneyd yn yr un amser. Yr oedd o 300 i 400 o weinidogion a chynrychiolwyr yn bresenol. Pregethid yn yr awyr agored ddydd Mercher.—*Baner ac Amserau Cymru, Mehefin 28.*—*Oddiwrth Ap P. A. Mon.*

## GOHEBIAETH O GWM RHONDDA.

Mewn llythyr atom, dywed Mr. W. P. Thomas (*Gwilym Rhondda*), Ystrad-fechan, Treorci, Morganwg: "Ar gais amryw frodyr o'r Amerig, yn nghyd a rhai sydd wedi dychwelyd oddiyno i'r lle hwn, bwriadaf ysgrifenu ychydig o hanes y Bedyddwyr yn y lle hwn (Jerusalem y Bedyddwyr ys dywed Dr. Fred. Evans) i'r WAWR, os bydd yn dderbyniol genych."

[Bydd yr ohebiaeth yn wir dderbyniol genym, ac ni gredwn, gan luaws o'n darllenwyr. Yr ydym yn derbyn y cynyg gyda diolchgarwch mawr. Deallwn fod Mr. Thomas yn ohebydd cyson i rai o brif bapyrau Seisonig y Dywysogaeth, ac yn llenor Cymreig rhagorol.]

## MR. THOMAS THOMAS, BERLIN, WIS.

Teimlasom yn ddwys pan glywsom am farwolaeth y gwr da uchod, yr hyn a gymerodd le Ebrill 3, 1882. Ar ein

Digitized by Google

hymweliad a'r lle ni byddai neb yn fwy croesawgar i ni nag ef; ac os byth y cawn fyned y ffordd hono eto, bydd yn chwith genym weled lle y brawd Thomas yn wag. Bydd yn chwith hefyd gan ei adnabyddion yn gyffredinol am ei ymadawiad ef. Un a chalon ddynol fawr oedd efe. Ai tybed fod y tô sydd yn codi yn dwyn delw yr hen bobl, dywedwch? Modd bynag, mae Mr. Thomas wedi gadael meibion rhagorol ar ei ol.

Yn y rhifyn nesaf o'r WAWR, bydd cofiant rhagorol o'r brawd Mr. Thomas, gan y Parch. William Jones, La Crosse. Yr Arglwydd fyddo yn nawdd i Mrs. Thomas, ei weddw alarus.

## BARN SEREN GOMER AM Y WAWR.

*Adolygiad Dr. Roberts, y Golygydd, yn Seren Gomer am Gorphenaf, 1882.*

Daeth y rhifynau am Chwefror, Mawrth, Ebrill, a Mai o'r Cyhoeddiad rhagorol hwn i'n llaw yn ddiweddar, sef y ddau rifyn olaf o Gyf. VI. a'r ddau gyntaf o Gyf. VII., ac yr ydym yn gwneyd brys i alw sylw ein darllenwyr atynt. Y mae bodolaeth y Cyhoeddiad hwn yn rhoddi pleser mawr i ni ar amryw ystyriaethau. Canfyddwn oddiwrtho fod ein cydgenedl yn America yn parhau i gadw eu hiaith, er eu bod yn mhell o'u gwlad ac yn gymysgedig a dynion o ieithoedd estronol. Boddhad mawr i ni yw eu bod yn parhau yn ddynion llengarol, ac yn hoffi cael llenyddiaeth yn yr iaith yn yr hon y ganwyd hwy. Mae iaith gwlad y Bryniau yn iaith sydd i barhau am dymhor eto. Os oes rhai o'i phlant yn ei diystyru yn eu gwlad eu hunain, myn ymfudwyr i wledydd ereill ei pharchu a'i chadw yn fyw. Ond mwy o lawer yw ein boddhad yn y ffaith fod ein hen gyfaill hoff Giraldus yn llwyddo i ddarparu llenyddiaeth mor iachus, buddiol, dyddorol ac amrywiol i Gymry America ag a geir yn y rhifynau o'r WAWR sydd ger ein bron.

Daethom i adnabyddiaeth a'r Golygydd pan ydoedd yn yr Athrofa yn Nghymru Wen; a chwrddasom ag ef droion pan oedd yn weinidog yn Sir Fynwy; a da genym fod brawd mor amryddawn, a chymhwys ag yw efe o ran coethder ac eangder ei wybodaeth, wedi argymeryd â golygyddiaeth cylchgrawn misol ein brodyr Americanaidd. Cynwysa y rhifynau bregethau, traethodau, a darnau hanesyddol o ansawdd uchel; hysbysiadau dyddorol o symudiadau yr Enwad Bedyddiedig yn yr Unol Dalaethau; Darnau Barddonol o deithi uchel, &c. Buasai yn dda genym roddi ysgrif o honynt ger bron ein darllenyddion, pe buasai ein gofod yn caniatau, a'n bwriad yw gwneyd hyny mewn rhifyn dyfodol. Os oes rhai o'n darllenwyr a garent ymgydnabyddu â hanes y Bedyddwyr Cymreig yn America,—a pha Fedyddiwr teyrngarol i'r Brenin Iesu na charai hyny?—cynghorwn hwy i fynu y WAWR.

## Y DIWEDDAR BARCH. MOSES WRIGHT.

MR. GOL.—Yn ddiweddar gwnaeth y Parch. Fred. Evans, D. D. (*Ednyfed*), apeliad taer yn y papyrau at gyfeillion yr anwylddyn uchod, tuag at gael cofgolofn uwch bedd ei weddillion a orweddant yn mynwent Shenandoah, Pa., er ys pum' mlynedd heb gymaint a "chareg arw a dwy lythyren" hyd yn nod i nodi "man bychan ei fedd."

Yn awr, Gymry Bedyddiedig, adnabyddus o Mr. Wright, ei safle anrhydeddus, ei gymeriad teilwng, a'r lles a wnaeth i laweroedd fel gweinidog da i Iesu Grist, dangoser cydymdeimlad yn yr anturiaeth i gael cofgolofn deilwng iddo. Pa le y mae hen aelodau eglwysi Bedford a Newburgh, O., fuont yn mwynhau eu hunain o dan ei weinidogaeth, a llawer o aelodau eglwys Jerusalem, Rhymni, sydd yn wasgaredig ar hyd y wlad yma, heb son am ei gyfeillion mynwesol sydd hyd heddyw mewn galar ar ei ol yn Hyde Park a'r cylchoedd? Oni wnewch chwi roddi

Digitized by Google

cymorth i'r mudiad, a hyny ar unwaith? Y mae Ednyfed yn ymgymeryd a'r swydd o fod yn ysgrifenydd, ac wedi dymuno arnaf finau fod yn drysorydd. O galon, yr wyf yn foddlon gwneuthur aberth i gyrhaedd yr amcan hwn i ben. Caiff unrhyw swm, o $1 i fyny, ei gydnabod yn wythnosol ar dudalenau y *Drych* a'r *Wasg*, ac hefyd yn fisol yn y Wawr, hyd nes y cesglir digon i gael beddfaen anrhydeddus teilwng o'r ymadawedig. Cyfeirier y tanysgrifiadau i D. Lloyd Jones, No. 11 Overhill Street, Pittsburgh, Pa., ac am unrhyw fanylion ysgrifener at Dr. Evans, Franklin, Pa. "Coffadwriaeth y cyfiawn sydd fendigedig."

*Pittsburgh, Pa.* D. Lloyd Jones.

## ADOLYGIAD Y WASG.

HANES Y BEDYDDWYR YN MHLITH Y CYMRY

*O amser yr Apostolion hyd y fl. 1795, gan y Diweddar Barch. Joshua Thomas, Llanllieni. Cyhoeddedig gan B. Davies, Pontypridd.*

Mae y gyfrol werthfawr hon yn awr yn y wasg, a bydd yn barod yn fuan i'w dosbarthu i'r tanysgrifwyr. Bydd yn tra rhagori ar yr hen gyfrol Gymreig, am ei bod yn helaethach, ac yn gywirach. Cyfieithiad o'r gyfrol Seisonig a gyhoeddodd Mr. Thomas ar ol yr un Omeraeg ydyw. Hefyd, mae manyldeb beirniadol y Golygydd profiadol a dysgedig hwn yn gwneyd y llyfr presenol yn fwy gwerthfawr gyda ei nodiadau eglurhaol.

Bydd o ddyddordeb neillduol i garwyr hanesiaeth yn America gael ar ddeall mai o Gymru y daeth yr had sydd yn dwyn cynhauaf mor doreithiog yn mhlith y Bedyddwyr yn yr Unol Dalaethau, yn nghyd a dylanwad yr egwyddorion ar ein sefydliadau rhyddfrydig. Mae y wlad dan rwymau i'n tadau ni mewn mwy nag un ystyr. Daeth eglwys gyfan gorphoredig drosodd i Pennsylvania, sef hen eglwys y Welsh Tract, ar lan y Delaware, yr hon a adnabyddid dros amser dan yr enw, "Yr eglwys Ymfudol," yr hon oedd yr ail Fedyddiedig yn Pennsylvania. A Chymry o Sir Faesyfed, gan amlaf, a gyfansoddai y flaenaf, sef hen eglwys Penipec, neu Lower Dublin, ger Philadelphia. Ymledasant eu hadenydd i'r Deheu drwy y ddwy Carolinas, ac i'r Dwyrain, nes cyfarfod ag olion hen eglwys Ilston, gyda ei gweinidog, yr anfarwol John Miles, yn Lloegr Newydd.

Dylai pob Bedyddiwr, modd bynag, fod yn feddianol ar y trysor henafol ac anmhrisiadwy hwn. Cynwysir yr oll mewn 20 o rifynau chwe' cheiniog yr un. Mae rhif. 18 yn awr ar ddyfod allan o'r wasg. Y Parch. B. James, yr hwn sydd newydd ddyfod drosodd yr ail waith, yw yr *agent* sydd wedi ei neillduo i'w werthu yn America. Ei *address* yw Arnot, Tioga Co., Pa.

J. P. Harris.

REPORT OF THE NORTH WALES PAPTIST COLLEGE FOR THE YEAR 1882.

Mae y mynegiad hwn ger ein bron, ac arddengys fod y Coleg mewn sefyllfa lwyddianus. Llefara yr arholwyr yn uchel am lafur y myfyrwyr. Mae y casgliadau a gofnodir yn dweyd yn dda am deimladau yr eglwysi tuag at y sefydliad. Dengys mynegiad y Trysorydd fod y treulion blynyddol yn £1407 10s. 10d.

Dwywaith o amgylch y byd; sef Hanes Teithiau yn Ewrop, Asia, Affrica, America, ac Australia, yn ystod pum' mlynedd o amser, gan W. O. Thomas, Gohebydd y *Drych*. Utica, N. Y.: Argraffwyd gan T. J. Griffiths. 1882.

Mae Mr. W. O. Thomas yn gwmpeini dyddan, ac felly ei lyfr. Darllenasom ei hanes gyda llawer iawn o bleser ac adeiladaeth. Barnwn yr adrodda ffeithiau a manylion yn ffyddlon a chywir. Nid ymddengys yn ymgolli mewn gorsyndod at y peth hwn a'r llall, neu orhoffder at un peth a rhagfarn at y llall. Y mae yr arddull yn ddirodres a thra darllenadwy. Wrth

ddilyn ei ymdeithiad y'mlaen ni theimlir awydd rhoddi y llyfr o'r neilldu, ond yn hytrach mae'r dyddordeb yn cynyddu. Yn sicr, y mae syniadau fel hyn yn cymell eu hunain i'r meddwl wrth ddilyn ei hanes mewn gwahanol wledydd, sef fod yn rhaid fod rhyw elfenau neillduol yn ei feddiant. Ymsynwn hefyd sut yr oedd yn cael digon o arian i weithio ei ffordd yn mlaen mor ddiatal.

---

THE BEREAN, OR MISCELLANEOUS WRITINGS OF REV. D. E. BOWEN, CARBONDALE, PA.

Pamphledyn Seisonig ydyw y Berean, yn cynwys ysgrifau dyddorol ac amrywiaethol. Y mae yr awdwr yn ffraeth a doniol, fel y ceir ef yn ei amserau goreu yn y pwlpud. Mae llyfr y brawd Bowen yn werth 25 cents da iawn.

---

## CYFREITHIWR RHAGOROL.

Y cyfreithiwr hwn ydyw Mr. S. B. Edwards, Pottsville, Pa., sef mab y Parch. Richard Edwards, hen gyhoeddwr y *Seren*. Mae y dyn ieuanc hwn yn foneddwr parchus, yn meddu teimladau Cymreig cynes, ac mor rhydd oddiwrth falchder a rhodres a phlentyn bach. Ac at y cwbl, mae yn cael y gair o fod yn gyfreithiwr gobeithiol anghyffredin. Ni all Cymry yr amgylchoedd fyddant mewn angen am help cyfreithiol, wneyd yn well na galw gyda Mr. Edwards. Rhif ei swyddfa yw, 114 S. Centre St., Pottsville, Pa.

---

## MAN-LEWYRCHIADAU.

—Bydd llawer o dderbynwyr y WAWR yn llawen wrth ddeall fod y *Judson University*, Arkansas, wedi gweled yn addas i anrhydeddu yr hybarch Benjamin Evans, Castellnedd, D. C., â'r teitl o D. D. Dyma barch lle mae parch yn ddyledus. Adnabyddir Mr. Evans er's blynyddau fel duwinydd dwfndreiddiol, a phregethwr rhagorol.

—Yr ydym o dan rwymau neillduol i'r brawd ffyddlawn John Hughes, Johhstown, Pa., am ddefnyddio ei ddylanwad gyda Mr. Morell, i danysgrifio am ddeg copi o'r WAWR yn flynyddol. Peth fel hyn yw gwir ffyddlondeb.

—Nid ydym yn anghofio ffyddlondeb y ddau frawd, David T. Price, British Columbia, ac E. T. Price, Camptonville, California. Ardderchog! Cofion cynes, frodyr anwyl.

—Yn niwedd y mis diweddaf, bu y Parch. John W. Williams, D. D., Hyde Park, yn treulio dwy wythnos ddifyr gyda y cyfeillion Bedyddiedig yn Freedom, Cattaraugus Co., N. Y. Lle campus—pobl ardderchog. Yr oedd y Dr. Williams yn haeddu gorphwysiant fel hyn ar ol llafur caled am amryw fisoedd.

—Diolchwn i'r Parch. B. Thomas, (Myfyr Emlyn), Narberth, D. C., am ei ddwy gân ragorol—un ar ol yr hen chwaer barchus Mrs. Thomas, mam y Parch. B. W. Thomas, Hyde Park, a'r llall fel Myfyrdod uwch ben bedd y diweddar Barch. John Roberts, yn mynwent Minersville. Gwelir y flaenaf yn y rhifyn hwn, a bydd yr olaf yn y rhifyn nesaf.

—Mae y Parch. Wm. Morlais Evans, diweddar o Gymru, wedi derbyn galwad oddiwrth eglwys Gymreig Utica, ac mae yntau wedi ateb yn gadarnhaol. Bydd yn dechreu ar ei weinidogaeth yn y lle y Sul cyntaf yn Awst.

—Galwn sylw at yr erthygl arweiniol, gan y Parch. Owen James, M. A. Credwn ei bod yn dda iawn, ac yn amserol. Mae Mr. James yn ysgolhaig addfed, ac yn alluog i drafod y mater yn deilwng. Y mae ychwaneg eto i ddilyn.

—Cofier am y Gymanfa yn Nanticoke. Cyneuer calonau aelodau gan sel gymanfaol. Dymunol fydd gweled diaconiaid a blaenoriaid yr eglwysi yn bresenol.

Digitized by Google

# Barddoniaeth.

## CAN YR HÊN BOBL.

Hen wr a hen wraig o'r un dullwedd,
Ar aelwyd oedd wledig yn Ngwynedd,
Fin nos wrth y tân
A unent mewn cân,
Wrth gofio mor agos eu diwedd.

O! pa'm rhaid i henaint ein clwyfo?
Nid oes yma ddim i'n dolurio:
Yn gwau y mae Gwen,
Gwnaf finau lwy bren—
Mor ddedwydd mae'r nos yn myn'd heibio.

Nid oedd genym ddim yn y dechreu,
Trwy drafferth daeth pobpeth o'r goreu—
Cydweithiem yn llon,
Ac ysgafn ein bron,
Mewn iechyd heb wasgfa nac eisiau.

Treuliasom ein bywyd yn foddlon,
Er pan ddaethom gynta'n gyfeillion;
Er ymladd â'r byd,
Mewn ffwdan o hyd,
Erioed ni rwgnachodd ein calon.

Ni roisom ein calon ar elwa,
Na rhodio ffordd galed cybydd-dra;
Ond cawsom heb ffael—
Beth rhagor sy' i'w gael?—
Ein gwala a'n gweddill hyd yma.

Er nas gallwn fostio'n haur melyn,
Mae genym ni ferched a bechgyn,
Y rhai sy'n eu bri
Yn anwyl i ni,
Uwch golud anwadal y cerlyn.

Ond gwelsom rai troion rhyfeddol
Yn ystod ein gyrfa ddaearol:
Newidiwyd rhai'n fawr,
Rhai fyny, rhai lawr,
Aeth llawer i'w cartref trag'wyddol.

Pa ddyben yw siarad am elwa?
Mae'n amlach gyfyngder a gwasgfa:
Buom ni yn o hir
Mewn prinder yn wir,
Er na buom eto'n cardota.

Yn ty hwn dechreusom gyd fydio,
A hir buom dad a mâm ynddo;
Gall ddal i ni'n mlaen,
Er nad yw'n waith maen,
Nes awn i wlad well i breswylio.

A phan ddaw yr awr i ymddatod,
Cawn huno mewn heddwch cydwybod,
A gorphwys mewn hedd
Yn nyfnder y bedd,
Heb deimlo na blinder na thrallod.

O! pa'm rhaid i henaint ein clwyfo?
A ninau heb ddim i'n gofidio!
Awn adre'n y man
I dderbyn ein rhan,
Ac eraill ddaw yma i breswylio.

—*Cynddelw.*

## IN MEMORY

Of the Young Respected Sister Miss MARGARET GIBBON, Daughter of Mr. David Gibbon and Wife, Drifton, Pa., who died March 9, 1882, Aged 18 years.

Margaret left earth while yet in spring of life,
But to the cross she clung through all the strife;
The years of her life, though in number few,
Were steps to glory, each step to bliss anew;
In gloom of death her sun did early set,
In heaven to reappear brighter yet;
In her adieu she sang with panting breath,
Until unheard, and lost in shades of death.

She was in conduct and virtue bright,
Than her comrades she took a higher flight;
Her pure life was such as to demand
That PURITY itself must be close at hand;
And what she profess'd she proved to all,
In Christian words and deeds which left no gall,
Margaret and "Mary" match on worthies' list,
Between the two much likeness did exist.

Memory recalls her dear image still,
While sorrow overwhelms the soul to fill.
Father and mother know the greatest grief,
And in their anguish cannot find relief;
But hark! if graves can hide from us our friends,
The soul redeem'd, to God and bliss ascends;
And as the morning dew, our tears would dry,
If we could only face the sun and sky.

Alive! Margaret shall be in tender love
Of parents, as also in heaven above;
Each time her name be uttered by a friend,
Tears o'er your cheeks shall roll, and downward tend,
And though we die, yet some things still remain,
Of our self behind us here, these we gain,
And Miss Gibbon in her character pure
In Drifton for many years shall endure.

O! blessed influence! endless and grand!
A monument forever firm shall stand;
Pillars of granite crumble to the ground,
But Margaret's monument shall outlast, sound.
Beautiful Spring, adorn her narrow bed
With choicest flowers thou canst spread,
And let the modest lily bend her head
Gently toward one so like her once—here dead.

*Translated by* ED.

Digitized by Google

## ENGLYN

A Gyfansoddwyd mewn Edmygedd o Febyn i Mr. VAUGHAN RICHARDS, Plymouth, Pa., a'i Briod. Gelwir ef ar enw y tad—Vaughan Richards.

Von Risiart—a fu un rhosyn—fyny
A Vaughan bach, eich plentyn?
Mae fy ffydd fod defnydd dyn
Iach, hygar, yn eich hogyn.

YMDEITHYDD.

## LLINELLAU

Coffadwriaethol am MRS. ANN HOPKINS, Doughton Station, gerllaw Coalburgh, Ohio, yr hon a fu farw Mai 9, 1881.

Trist yw gweled tyner riant
Dan ddyrnodion angau du,
Yn ei phoen yn graddol wywo,
Er pob ymdrech wneid o'i thu;
Plant anwylaf ydynt lwydion,
A'r tad, yntau, gwelw yw,
Felly gwelsom y chwaer Hopkins,
Pan oedd bron a methu byw.

Dystaw yw yr ymddyddanion
Ar fath adeg drist a hon,
Pan y bo'r teimladau dwysaf
Yn meddianu pob rhyw fron;
Y mae anadl marwol angau
Fel i'w deimlo yn y lle,
Ac edrychiad pawb yn bruddaidd,
Yn arwyddo ei ofn e'.

Wedi brwydro am flynyddau
Gyda chwrs helyntion byd,
Ac ymdrechu yn ol ei gallu
Dros ei theulu ar bob pryd,
Pan ar drothwy prydnawn einioes,
Pryd dysgwyliai egwyl gun,
Rhaid oedd myned a ffarwelio,
Dyna dynged bywyd dyn.

Eto gellid gweled rhagor
Wrth graff sylwi ar y chwaer,
Yn ei llais, a'i gwedd a'i siarad,
Yr oedd rhywbeth hynod glaer;
Effaith ydoedd fedd yr enaid,
Pan y mae yn ddeiliad gras,
A'r gwaith dwyfol bron ar orphen,
Cyn o'r babell fyn'd i ma's.

Dyma gysur i'r ffyddloniaid,
Tra b'ont yma'n ceisio byw,
Fod pob peth yn wir ddaioni
I bob un sy'n caru Duw;
Hwy gymwysir trwy y dyoddef
I ddal pwys gogoniant mawr,
Nad yw chwer'der y gofidiau
I'w gymharu fynyd awr.

BRAWD.

## EDWIN AC ANNIE,

Sef dau blentyn hawddgar i SAMUEL MORGAN, Ysw., a'i briod, Freedom, Cattaraugus Co., N. Y., i'r rhai y rhoed yr enwau uchod fel coffadwriaeth am frawd a chwaer bychain iddynt, a fuont feirw ar yr un adeg flynyddau yn ol, yn nghyd a Mary, geneth fechan, dirion, arall, er galar mawr i'w rhieni.

Edwin, Annie, enwau seinber
I hoff riaint hawddgar, cu.
A gollasant eu hanwyliaid,
Gan achosi galar du;
Er pob ymdrech wnaed ag angau,
Mynodd hwynt yn ddi-nacad;
Ond nis medrodd fyn'd a'u henwau
Hoff oddiar y fam a'r tad.

Brawd a chwaer a anwyd eilwaith
I'r hiraethus riaint cu,
Edwin, Annie, yw eu henwau,
Dyna glywir yn y ty;
Mae eu gwedd a'u llais soniarus
Yn lliniaru 'u trallod hwy,
Ar ol Edwin, Ann, a Mary,
Rhai na welir yma mwy.

Fel y mae arluniau prydferth,
Wneir yn fedrus ac yn wiw,
Yn ymddangos yn fwy swynol,
Os yn bod, ar ddu-len liw;
Felly Annie fach ac Edwin
A anwylir yn fwy cu,
Pan adgofir am rai eraill
Gladdwyd yn y dyffryn du.

Gwrando'n bruddaidd a wna Edwin,
Annie hefyd yr un wedd,
Ar bob gair a son a glywant
Am y rhai sydd yn y bedd;
Ail-ymholi wed'yn fynant
Yn eu cylch i'r tad a'r fam,
Gan awyddu gwybod 'chwaneg
Am eu gwedd a'u ffyrdd dinam.

Yna adrodd yn ofalus
Eu nodweddion iddynt wneir,
A diweddu gan awgrymu,
Yn eu hol hwy byth ni cheir;
A chan gymell Ann ac Edwin
I debygu iddynt hwy
Mewn hynawsedd a thiriondeb,
A phob dawn wrth ddod yn fwy.

CYFAILL.

## *BEDYDDIWYD—*

Yn Paris, Portage Co., O., Mai 21, bedyddiwyd 12 gan y brawd A. J. Morton. Ychwanegwyd trwy fedydd, ac o dir gwrthgiliad, 31 yn ystod y flwyddyn gymanfaol ddiweddaf. Mae achos Mab Duw yn llewyrchus yn yr ardal hon ar yr adeg bresenol.

Digitized by Google

# Y Maes Cenadol.

GAN Y PARCH. W. F. DAVIES, NANTICOKE, PA.

Y CHINEAID YN AMERICA.

Yr wyf wedi bwriadu er ys tro bellach i ysgrifenu gair ar y pwnc uchod, yr hwn, fel y gwyr y rhan fwyaf o ddarllenwyr y WAWR, sydd wedi tynu llawer o sylw y misoedd a aethant heibio. Dichon mai gwell yw na chariwyd y bwriad allan hyd yn bresenol. Gwyr darllenwyr y WAWR beth wnaeth y Talaethau Unedig yn ddiweddar mewn cysylltiad ag ymfudiad y bobl hyn yn y dyfodol, fel nad oes eisiau crybwyll hyny yn awr. Beiwyd yn y gorphenol, a beiïr yn awr eto ar y Chineaid, fod eu hymddygiadau tra yn America, sef eu gwaith yn gyru eu harian i gyd yn ol i China, gwrthod gosod dim o honynt mewn cylchrediad yma, &c., yn eu gwneyd yn annheilwng o'r gefnogaeth leiaf, os nad i drigo yn y wlad o gwbl. Mae'n werth i ni fel cenedl a elwir yn Gristionogol, cyn beio, i edrych rhag ofn fod ein hymddygiad ni tuag at y bobl hyn yn achos fod eu hymddygiadau hwy tra yn America fel y maent. Mae ymddygiad rhai manau o'r wlad hon at y Chineaid yn myned yn mhell iawn i brofi nad ydym yn hollol rydd o bob bai; a bod lle cryf i gasglu y byddai iddynt hwy ymddwyn yn well pe byddem ni wedi rhoddi iddynt well esiampl; ac nas gall America yn bresenol, heb golledi ei hun, fforddio bod heb y boblogaeth Chineaidd. Yn y flwyddyn 1870, yr oedd tua 50,000 o Chineaid yn California. Yn 1880 yr oedd dros 75,000 o honynt. Mae y rhan fwyaf o'r Chineaid sydd yn dyfod i'r wlad hon, yn dyfod o ddeheubarth China, ac yn perthyn i gwmnioedd gwahanol. Mae gan y cwmnioedd hyn eu tai penodol yn San Francisco, lle yr arosa y rhai sydd yn perthyn i'r cwmni tra yn y ddinas, fyddant ar eu ffordd o China neu yn dyfod am dro i'r ddinas o ryw ran o'r Dalaeth. Nid yn fynych y gwelir Chinead yn cardota, ac anaml bydd neb o honynt yn curo wrth ddôr yr un clafdy am dderbyniad. Mae y rhan fwyaf o honynt yn cael eu dwyn yma o dan gytundebau, ac y maent yn rhwym wrth y cytundebau hyny i weithio am amryw flynyddoedd am ychydig bach o arian; ond braidd yn ddieithriad cadwant at amodau y cytundeb. Y rhai o honynt sydd wedi ymryddhau o hyn, ac yn dyfod yn fasnachwyr, a ystyrir yn ddidwyll iawn, a gallant gael coel mor hawdd a neb pwy bynag. Yn y gweithiau mwn, y lleoedd gwaelaf fydd ganddynt yn gyffredin. Ni fyddant yn hir yn unman cyn cael teimlo fod yn well gan yr Americanwr eu lle na'u cwmni. Yn San Francisco mae y masnachwyr yn gyffredin yn gwmnioedd, o ddim llai na thri, a dim mwy na deg. Y pethau y masnachant ynddynt yn gyffredin ydynt sidan, te, rice, a physgod wedi eu sychu. Y ddau ddiweddaf fydd yn cyfansoddi y rhan fwyaf o ymborth holl Chineaid y Dalaeth. Anfynych iawn y prynant dorth o fara. Os bydd un o honynt a thipyn o gyfoeth ganddo, bydd ef yn cymeryd ambell bryd o gig moch, ac weithiau rywbeth gwell na hyny. Nid rhyw lawer o honynt sydd yn hoffi y llysiau sydd yn ein gerddi ni. Mae llawer o honynt yn golchi, ac yn byw yn gysurus wrth hyny. Gwlychant y dillad cyn eu smwddio, trwy godi llon'd eu genau o ddwfr, ac yna ei chwythu allan, a disgyna ar y dillad fel o ridyll. Yn lle haiarn smwddio, fel eiddo ein gwragedd ni, defnyddiant badell haiarn a gwaelod llyfn, ac wedi ei llanw â thân wedi ei wneyd o *charcoal.*

Yn araf mae y gwyr a'r gwragedd, y merched a'r bechgyn, yn dysgu Saesneg. Er wedi bod yma am bump neu chwe' blynedd, eto ni fyddant yn alluog i ddefnyddio ond ychydig o'r geiriau mwyaf arferedig yn yr iaith. Glynant yn ddiysgog wrth arferion eu cartref, er bod yma am flwyddi lawer. Nid oes côt i'w gweled ar gefn braidd yr un o honynt, ond rhywbeth ar ffurf *blouse*, yn cau yn dyn am y gwddf, ac wedi ei wneyd o gotwm glas. Bydd y cyfoethogion weithiau yn gwneyd y

Digitized by Google

dilledyn hwn o sidan, ac erbyn tywydd oer yn gosod rhywbeth trymach y tu mewn iddo. Eilliant eu penau oddigerth yn ol. Gadawant y rhan ol i dyfu yn hir, yna plethant hwnw, a chadwant ef yn dorch am y pen. Caniateir iddynt ddod yma trwy gytundeb a fodola rhwng China a'r wlad hon. Caniateir iddynt fyw a masnachu yma, ond dim breintiau dinasol. Amser yn ol yr oedd cyfraith California yn codi treth o $50 ar bob un o honynt oedd yn dyfod yno, a $4 y mis ar bob mwnwr Chineaidd trwy ei therfynau. Hefyd ni chaniateid i Chinead dystiolaethu mewn llys yn erbyn dyn gwyn. Ond erbyn heddyw mae fel arall yno. Mae teimlad cyffredinol California yn erbyn y Chineaid, ac nid oes un o bob cant o'r drygau a wneir iddynt yn cael eu cospi. Nid oes hawl ganddynt i bleidleisio, dim swyddogion i'w hethol; ni feddant ar un math o bapyr, ac felly maent yn hollol ddiamddiffyn.

Yr ydys wedi codi terfysgoedd fwy nag unwaith mewn gwahanol ranau o'r Dalaeth, er eu gyru o'u tai ac oddiwrth eu gwaith; ac yr oedd yn rhaid iddynt fyned neu golli eu bywyd lawer pryd. Yn fynych cynelid cyfarfodydd cyhoeddus yn y ddinas i chwythu y teimlad oedd yn mynwesau pobl yn eu herbyn yn fflam. Mwy nag unwaith y dywedodd areithwyr a feddent fwy o benboethni na synwyr, y dylid rhoddi yr agerfadau oedd yn eu dwyn o Canton i San Francisco, ar dân, &c. Hen Jesuit llygredig a ddywedai wrth ei gynulleidfa un Sabboth, yn San Francisco, "Os gadawn ni y Chineaid i ymsefydlu yn ein gwlad, bydd ein holafiaid mewn sefyllfa druenus i'r eithaf, a sefyllfa nid gwiw iddynt geisio ei gwella, oblegid ni fydd gallu ganddynt. Chwerw, ie, chwerw iawn fydd y wae a gyhoeddant arnom, am adael iddynt y fath etifeddiaeth."

Mae llawer man yn California nad yw yn ddiogel i Chineaid fyned yn agos iddo. Llawer i ddyn gwyn sydd wedi colli ei fywyd am hurio rhai o honynt. Mae gwerth miloedd lawer o ddoleri wedi ei roddi yn aberth i dân, yn unig am fod y perchenogion yn rhoddi gwaith ir bobl hyn. Cyflogir hwy yn gyffredin i weithio ar y rheilffyrdd, am fod llai o berygl iddynt hwy a'i meistri yn y fan hono.

Wrth feddwl am bethau fel hyn, a llawer mwy ellid nodi, nid rhyfedd eu bod am yru eu heiddo, a myned eu hunain, mor fuan ag sydd modd, allan o'r fath wlad. Nid ymddygiadau fel hyn mae crefydd y bendigedig Iesu yn ddysgu i neb. Bydd genym air yn mhellach ar hyn y tro nesaf.

---

I orphen, gosodwn yma ystadegau i ddangos faint o Fedyddwyr sydd gan y Bwrdd Cenadol Americanaidd wedi eu henill at y Gwaredwr, yn awr yn fyw; hefyd faint o genadon.

Yn Burmah, mae 20 o genadon, 68 o bregethwyr brodorol, 18 o eglwysi, 1567 o aelodau, a 183 wedi eu bedyddio yno y flwyddyn ddiweddaf.

Yn Karen, mae 34 o genadon, 384 o bregethwyr brodorol, 432 o eglwysi, 21,889 o aelodau, a 1,385 wedi eu bedyddio yn 1881.

Yn mysg y Shaniaid, mae 5 o genadon, 3 o bregethwyr brodorol, 1 eglwys, 27 o aelodau, a 5 wedi eu bedyddio yn 1881.

Yn Assam, mae 6 o genadon, 1 pregethwr brodorol, 16 o eglwysi, 919 o aelodau, a 126 wedi eu bedyddio.

Garo Hills, 3 o genadon, 10 o bregethwyr brodorol, 9 o eglwysi, 821 o aelodau, a 108 wedi eu bedyddio.

Naga—3 o genadon, 2 o bregethwyr brodorol, 1 eglwys, 25 o aelodau, a 5 wedi eu bedyddio.

Telugu—20 o genadon, 94 o bregethwyr brodorol, 39 o eglwysi, 18,992 o aelodau, a 2,163 wedi eu bedyddio yn 1881.

China—19 o genadon, 34 o bregethwyr brodorol, 40 o eglwysi, 1582 o aelodau, a 180 wedi eu bedyddio.

Japan—13 o genadon, 10 o bregethwyr brodorol, 18 o eglwysi, 185 o aelodau, a 76 wedi eu bedyddio.

Yn Ewrop—535 o weinidogion, 474 o eglwysi, 48,892 o aelodau, a 4,038 wedi eu bedyddio.

Ar yr holl faes mae 181 o genadon, 1,198 o bregethwyr brodorol, 1,061 o

Digitized by Google

eglwysi, 94,879 o aelodau, a 8,347 wedi eu bedyddio yn y flwyddyn ddiweddaf. Mae hyn yn gynydd ar y flwyddyn flaenorol o 11 o genadon, 92 o bregethwyr brodorol, 56 o eglwysi, a 5,607 o aelodau, tra nad yw rhif y bedyddiedigion yn dod i fyny â'r flwyddyn flaenorol o 796.

Mae y cyfrifon uchod, fel y maent, yn anogaeth gref i ni barhau yn "sicr a diymod, a helaethion yn ngwaith yr Arglwydd yn wastadol, a ni yn gwybod nad yw ein llafur yn ofer yn yr Arglwydd."

## HANESION CARTREFOL.

### Cymanfa y Bedyddwyr Cymreig yn Swydd Oneida, N. Y.

Fel yr hysbyswyd yn barod yn y *Drych*, dechreuwyd y gymanfa hon eleni yn Utica, Mehefin 24, 25, gan barhau yn Bordwell ar y 26 a'r 27, ac yn diweddu yn Remsen ar y 28, 29. Y brodyr fuont yn gwasanaethu oeddynt y Parchn John W. Williams, D.D., Hyde Park, Pa.; Fred. Evans, D.D., Franklin, Pa.; W. M. Evans, Freedom, Cattaraugus Co., N. Y.; a W. Morlais Evans, diweddar o Gymru. Traddododd y ddau flaenaf wyth o bregethau bob un yn y gwahanol fanau, ac amryw droion pregethasant yn olynol yn yr un cwrdd; weithiau byddai Dr. Evans ddiweddaf, a weithiau Dr. Williams. Cwyno yr oeddynt fod cymaint o bregethu yn ormod llafur. Yr oedd mwy o ddysgwyliad, efallai, nag arferol o flaen y gymanfa hon, yn gymaint a bod rhai enwogion yn cael eu dysgwyl na chlywsid mo honynt o'r blaen yn y parthau hyn, yn gystal ag am eraill tra adnabyddus, enwog a doniol. Pan fo dysgwyliadau yn uchel, nid peth anfynych ydyw siomedigaeth, ond gallwn sicrhau iddi ddygwydd fel arall y tro hwn. Ar ol y moddion, mynych y clywid cyfarchiadau yn cael eu gwneyd tebyg i hyn: "Wel, onid ydym yn cael cyfarfodydd ardderchog? Onid oedd Dr. Williams yn pregethu yn dda ac effeithiol? Onid oedd Fred. Evans yn ffraeth a doniol? Dyna bregeth werthfawr gawsom gan Mr. Evans, Cattaraugus. Yn wir mae y brawd bychan yna o Gymru—Morlais Evans—yn gwneyd yn rhagorol." Hyderwn y gallwn ddweyd hefyd fod Duw y gweision yn cael ei weled a'i deimlo yn y gymanfa, yr hyn oedd fwyaf pwysig. Barnwn fod pregethau da, efengylaidd, grymus a gwresog fel a gafwyd y tro hwn, yn gwneyd mawr ddaioni i bawb a ddaw o fewn cylch eu dylanwad. Pregethau fel hyn sydd wedi gwareiddio, crefyddoli a moesoli cenedl y Cymry, a rhyfedd fel mae yr efengyl yn parhau yn ei swyn i ni. Diau fod y Cymry yn y peth hwn yn sefyll ar benau eu hunain yn mhlith cenedloedd y ddaear, ac y mae yn goron ddysglaer iddynt.

> "Byth na 'mad oddiwrth dy bobl
> Nes yn ulw'r elo'r byd."

Y Gynadledd.—Cynaliwyd hon yn Remsen, prydnawn ddydd Mercher. Y gweithrediadau oeddynt fel y canlyn: Dechreuwyd trwy ddarllen a gweddio gan y brawd James Higgins, Freedom; yna etholwyd y swyddogion am y flwyddyn: Cadeirydd, y Parch. John Seth Jones; Ysgrifenydd, Owen Griffith (Giraldus); Trysorydd, Mr. John R. Ellis. Rhoddwyd gwahoddiad cynes ac unfrydol i'r brodyr dyeithr, set Dr. Williams, Dr. Evans, a'r Parch. Morlais Evans i gymeryd rhan yn ngweithrediadau y gynadledd. Galwyd am enwau cenadon yr eglwysi. Utica—John Owens, a John E. James; Bordwell—John R. Thomas a Owen F. Parry; Freedom—James Higgins a John Humphreys. Yn nesaf, darllenwyd llythyrau oddiwrth yr eglwysi, yn cynwys y cyfnewidiadau. Cyflwynodd y Parch. W. Morlais Evans ei lythyr o gymeradwyaeth, a rhoddwyd i'r brawd dderbyniad parchus. Daeth arian yr eglwysi i'r ysgrifenydd i law fel arfer. Penderfynwyd:

1. Ein bod fel cymanfa i ymdrechu ail gychwyn yr achos Cymreig yn ninas New York, a'n bod yn awdurdodi y Parch. John W. Williams, D. D., Hyde Park, i ddwyn y mater hwn ger bron

Digitized by Google

Cymanfa Pennsylvania yn Awst nesaf, er ceisio sicrhau cydweithrediad y gymanfa hono yn y peth hwn.

2. Ein bod yn awdurdodi yr ysgrifenydd i ohebu a Trustees capel New York mewn perthynas i'w sefyllfa arianol; hefyd fod eglwysi y gymanfa hon yn ymrwymo i wneyd casgliadau blynyddol er cyraedd yr amcan hwn o ail ddechreu yr achos yno, a'n bod hefyd yn awdurdodi yr ysgrifenydd i ohebu ag ysgrifenyddion cymanfaoedd eraill, gan anog cydweithrediad.

3. Ein bod fel cynadledd yn datgan ein diolchgarwch diffuant i'r Parch. Owen Griffith (Giraldus), am ddwyn allan y WAWR yn gyson a rheolaidd, ac am ei erthyglau dyddorol a galluog ei hun ynddi o fis i fis. Hefyd, yn cyflwyno y WAWR yn y modd mwyaf calonog i sylw yr eglwysi fel cyhoeddiad teilwng perthynol i'r enwad Bedyddiedig Cymreig yn y Talaethau Unedig.

4. Ein bod yn ail ethol y personau canlynol fel pwyllgor i ofalu am eiddo yr enwad, sef John R. Ellis, Owen F. Parry, a John R. Thomas.

5. Fod yr eglwysi yn cael eu cymell i arfer gwyliadwriaeth neillduol wrth dderbyn dyeithriaid o weinidogion ac eraill o Gymru, gan hawlio ganddynt lythyrau cymeradwyaeth credadwy oddiwrth eglwys a chymanfa.

6. Fod yr eglwysi i gadw y Sul cyntaf yn Awst i weddio am y dylanwadau dwyfol, ac am adfywiad cyffredinol yn ein plith gydag achos y Gwaredwr.

7. Fod yr eglwysi yn cael eu cymell i wneyd eu goreu i feithrin undeb, cydweithrediad ac ysbryd maddeugar yn eu plith, a bod y brawd John Seth Jones i ysgrifenu erthygl i'r WAWR yn fuan ar y mater hwn.

8. Fod yr eglwysi i ddefnyddio un gyfeillach grefyddol yn ystod y flwyddyn i ymgydnabyddu a'n hegwyddorion neillduol fel enwad.

9. Fod cais yr eglwys yn Freedom, Cattaraugus Co., am y gymanfa y flwyddyn nesaf yn cael ei dderbyn, yr amser i'w chynal i'w benodi eto. Gohiriwyd hyd y gymanfa nesaf.

Y Sabboth canlynol, Gorph. 2il, pregethodd y Parch. W. M. Evans, Freedom, yn Remsen, ddwywaith i gynulleidfaocdd mawrion; a medda "nhw," yr oedd yn gwella bob cynyg. Hefyd, pregethodd y Parch. Morlais Evans yr un pryd yn Bordwell foreu a hwyr yn gymeradwy iawn. Dylasem grybwyll i'r Parch. Fred. Evans (Ednyfed) fod yn darlithio yn Remsen ar "I Gymru ac yn ol," nos Wener, Mehefin 23ain, ac yn ol adroddiad y Parch. John Seth Jones, a'r son cyffredinol, cafwyd hwyl ddymunol. Wel, wel, ni ellir dysgwyl cyfarfodydd melus mewn cymanfa Fedyddiedig eto am ddwy flynedd o'r hyn lleiaf yn y cylchoedd hyn. Bydd llawer a wrandawsant y brodyr anwyl yn llefaru yn teimlo yn gynes tuag atynt, ac yn meddu dymuniad dwfn am eu clywed eto, ac mewn perthynas i mi fy hun gallaf ddweyd fel hyn:

Sain eich llafar clir perseiniol,
 Erys beunydd yn fy nghlyw,
Trem eich hwyneb hoffus welaf,
 O fy mlaen yn dremiad byw.
Cyffwrdd adsain gwych eich doniau
 Yn cyhoeddi Iesu Grist,
A thyneraf? dant fy nghalon,
 Nes fy ngwneyd yn llawen drist.

Arogl bendith roddo'r nefoedd
 Ar eich gwaith rhagorol gwiw,
Llawer fyddo yn adfywio
 Yn eu sêl dros enw Duw;
Pechaduriaid fyddo'n plygu
 Afradloniaid ddelo'n ol,
O cymered yr efengyl
 Lawer, lawer yn ei chol.

*Cyfnewidiadau yr Eglwysi.*

Eglwys Freedom—Bedyddiwyd 5, adferwyd 2, derbyniwyd trwy lythyr 1, diarddelwyd 1, gollyngwyd trwy lythyr 3, bu farw 3. Rhif presenol yr eglwys 192.

Eglwys Utica — Derbyniwyd trwy lythyr 2, gollyngwyd trwy lythyr 1, bu farw 2. Rhif presenol yr eglwys oddeutu 48.

Eglwys Remsen—Bu farw 5, derbyniwyd trwy lythyr 1, adferwyd, 1. Rhif presenol yr eglwys 84.

Eglwys Bordwell — Diarddelwyd 4. Rhif presenol yr eglwys 38. Rhif yr ysgol Sabbothol 25.

Digitized by Google

Eglwys Steuben—Rhif presenol yr eglwys 20. Dim cyfnewidiadau.

OWEN GRIFFITH, Ysg.

---

LLYTHYR CYMERADWYAETH.

Eglwys Iesu Grist o Fedyddwyr Neillduol, yn addoli Duw yn Ebenezer, Tregolwyn, Morganwg, a ddymuna hysbysu ein chwaer eglwys yn addoli Duw yn Houtzdale, America, Fod ein hanwyl frawd, y Parch. William M. Evans, wedi bod yn weinidog ffyddlawn yn yr Arglwydd am amryw flynyddau gyda ni yn Tregolwyn, ac yr ydym yn teimlo yn ofidus ei golli o'n plith, oblegid ein bod fel eglwys yn analluog i gynal gweinidog am fod cynifer wedi ymadael o'r lle. Gan hyny gwelwch yn dda ei dderbyn i'ch heglwys; a bydded i Dduw pob gras ei nerthu, a'i wneyd yn fendith, i droi llawer o bechaduriaid at Fab Duw.

Ydwyf, anwyl frodyr, dros yr eglwys,
DANIEL THOMAS, Diacon.

*Tregolwyn, Mai 21, 1882.*

---

MR. T. M. GRIFFITHS, DIWEDDAR O'R DARRENFELEN, MYNWY, D. C.

Daeth y bachgen uchod, yr hwn fu yn weinidog am ychydig amser ar yr eglwys Fedyddiedig yn Darrenfelen, Swydd Fynwy, D. C., i'r wlad hon. Trwy ffugio diniweidrwydd parth yr angenrheidrwydd o gael cred-lythyrau oddiwrth yr awdurdodau Cymanfaol yn Nghymru, llwyddodd am ychydig wythnosau i gael derbyniad calonog i blith yr eglwysi Bedyddiedig Cymreig yn Nwyreinbarth Pa.

Mewn canlyniad i sibrwd nad oedd wedi ymadael o Gymru o dan amgylchiadau dymunol, galwodd Ysgrifenydd Cymanfaol Dwyreinbarth Pa. bwyllgor yn nghyd, er gwneyd ymchwiliad i'r achos, yr hwn a gyfarfyddodd yn nghapel y Bedyddwyr Cymreig, Hyde Park, yn mis Mai diweddaf. Yr oedd yn wyddfodol y brawd Benjamin Hughes, Ysw., yn y gadair, a'r Parchedigion Theophilus Jones, Wilkesbarre; J. P. Harris, Providence; J. W. Williams, D. D., ac Owen James, M. A., Hyde Park; Mr. James Evans, Wilkesbarre, a'r cyhuddedig. Ar gais y pwyllgor, anfonodd y brawd J. P. Harris at Ysgrifenydd Cymanfa Mynwy, D. C., o'r hon yr oedd y dyn ieuanc soniedig yn aelod pan yn Nghymru, er cael allan y rheswm iddo ddyfod drosodd i'r wlad hon heb y llythyrau gofynol, neu a ydoedd yn teilyngu y cyfryw. Dygwyd yr achos o flaen Cymanfa Mynwy, a gynaliwyd yn Bargoed, Mehefin 16 a'r 17eg, a phenderfynwyd yno i neillduo pwyllgor o saith er gwneyd ymchwiliad i'r cyhuddiadau a ddygid yn ei erbyn. Cyfarfyddodd y pwyllgor hwn yn Brynmawr Mehefin 20fed, pryd y pasiwyd yn unfrydol y penderfyniad canlynol:

"Fod y pwyllgor hwn yn ystyried na ddylai Mr. Griffiths, gynt o'r Darrenfelen, gael gollyngdod o'r Gymanfa hon i Gymanfa Pennsylvania, America, o herwydd y ddyled afresymol y mae wedi myned iddi, a'r modd annheilwng yr ymadawodd â'r eglwys ac â'r wlad." WM. JONES,

*Ysgrifenydd Cymanfa Fedyddiedig Mynwy, D C.*

Penderfynodd y pwyllgor ar ei ail ymgynulliad yn Hyde Park, Mehefin 10, fod yr uchod i ymddangos yn y WAWR, y *Drych*, a'r *Wasg*, er cyfarwyddyd i'r eglwysi Bedyddiedig yn y Gorllewin, lle y deallir y triga y dyn ieuanc hwn yn bresenol.

B. HUGHES, *Llywydd.*
J. P. HARRIS, *Ysgrifenydd.*

*Hyde Park, Gorph. 10, 1882.*

---

PITTSBURGH, PA.

MR. GOL.—Ychydig o nodiadau yn fyr am sefyllfa yr eglwys Fedyddiedig yn y ddinas uchod. Yn mis Mawrth diweddaf, rhoddwyd galwad unfrydol i'r Parch. D. Rhoslyn Davies i ddyfod i'w bugeilio. Atebodd yr alwad yn gadarnhaol, a dechreuodd ar ei weinidogaeth yma y Sul cyntaf yn Mai. Cynaliwyd cyfarfod ei sefydliad dydd Sul, Mehefin 11. Pregethwyd yn ystod y cyfarfod gan y Parchn. Fred. Evans, D. D., Franklin; Theophilus Jones, Wilkesbarre, a W. Hildreth, D.

Digitized by Google

D., Pittsburgh (yr olaf yn Saesoneg). Cynulliad lluosog trwy y dydd, pregethu nerthol iawn, a gwenau y Nefoedd yn amlwg yn y gwahanol gyfarfodydd. Ni chlywsom Ednyfed erioed yn fwy dylanwadol, na'r hybarch Theophilus Jones yn fwy effeithiol; ac yr oedd Dr. Hildreth, er ei fod yn Americanwr pur, yn llawn o'r tân Cymreig, a gadawodd y cyfan argraff dda ar yr holl gynulleidfa.

Y mae Rhoslyn Davies yn dechreu ar ei weinidogaeth o dan amgylchiadau ffafriol. Nid yw yr ysgrifenydd yn cofio am yr eglwys mewn gwell cyflwr nag ydyw yn bresenol. Gweithiwr diwyd, dystaw, ydyw y gweinidog presenol, ac mewn canlyniad daw y gwrandawyr yn llu i'w wrandaw bob Sul; gwrthgilwyr bob yn ddau yn dyfod yn ol, a'r eglwys mewn teimlad dymunol a dedwydd yn rhoddi y gogoniant i Dduw. Hyderwn mai yma yr erys, hyd nes yr helaethir lle y babell ar Heol Chatham, ac yr estynir cortynau preswylfeydd y Goruchaf yn mhlith y Cymry Bedyddiedig yn Pittsburgh, a dyweded yr holl bobl Amen, ac Amen. D. LLOYD JONES.

---

## HYDE PARK, PA.

MR. GOL.—Y mae pethau yn parhau i fod yn llwyddianus yma o hyd. Cafodd yr Ysgol Sul wledd ar y 4ydd o Orphenaf, er fod yr hin yn anffafriol. Yr oedd darpariadau helaeth ar gyfer y goedwig, a phawb yn meddwl am gael un o'r *picnics* goreu a gawsom erioed, ac yn neillduol Dr. Williams, i gael ei un cyntaf yn America; ond bu raid ei gynal yn y capel, yr hwn le oedd yn rhy fach o lawer. Er hyny ymddangosai y plant, wrth fwyta bara a *ham*, *cakes* a *chandy*, cnau a *lemonade*, yn hynod foddhaol; ond cwynai y rhai mwyaf o honynt am nad oedd *swings*, a phump yn hongian yn y coed. Canwyd amryw ddarnau yn swynol gan y plant. Gofalwyd am y trefniadau gan E. J. Davies, Llywydd cyffredinol, Dr. Williams a Thomas D. Davies.

Nos Fawrth, Gorph. 12fed, cawsom weled saith o ferched ieuainc yr Ysgol Sul yn cael eu claddu trwy fedydd gan y Parch. J. W. Williams, D. D. Derbyniwyd i gymundeb y Sul canlynol—trwy fedydd, 7; o dir gwrthgiliad, 6; trwy lythyrau, 7. Mae eraill eto o flaen yr eglwys, a thorf yn y gynulleidfa wedi cael eu clwyfo gan saeth lem y weinidogaeth, a'u denu gan apeliadau taer yr "alwedigaeth nefol;" oblegid byddwn weithiau yn teimlo ein bod o dan odreu Sinai, a phryd arall yn nghymydogaeth ddystaw yr ardd, neu yn edrych ar y croeshoeliad. Y Duw a'i harddelodd yn y rhan sydd wedi myned heibio o'r flwyddyn hon a'i harddelo eto, nes cael yr holl wrthgilwyr sydd yma o bob parth o Gymru, a'r dorf fawr o wrandawyr, i gredu yn, ac arddel yr Iesu.

Nos Iau, Gorph. 13eg, cawsom y fraint o glywed y Parch. Fred. Evans, D. D., yn traddodi ei ddarlith odidog ar un o ferthyron America, sef y bythglodus, un ag y mae y byd gwareiddiedig cyfan yn wylo uwch man fechan ei fedd—James A. Garfield. Digon yw dweyd, cawsom ddarlith deilwng o Ednyfed ac o Garfield. Hoffwn y ddarlith fel cyfansoddiad rhyddiaethol a barddonol, ond hoffwn ei thuedd dda yn fwy na dim; byddai yn werth i ddynion ieuainc America yn mhob man ei chlywed. Llywydd y cyfarfod oedd y teilwng wr, Benjamin Hughes, Ysw. EBENEZER LLOYD.

*Gorph.* 16, 1882.

---

## ARNOT, PA.

Pan ar ymweliad â'r lle hwn pregethodd y Parch. Benjamin James, nos Iau, Mehefin 25, a chafwyd y fath flas ar y bregeth fel y cymellwyd ef i aros dros y Sabboth canlynol. Felly y bu. Pregethodd dair gwaith yn hwylus ac effeithiol iawn, a bedyddiodd chwech. Erbyn hyn da genyf eich hysbysu fod y brawd James wedi derbyn galwad oddiwrth yr eglwys hon, ac y mae efe wedi dechreu ar ei weinidogaeth Sabboth Gorphenaf 16, pryd y cafwyd cyrddau rhagorol. Y mae yr hen dad James yn parhau yn ei fedrusrwydd i ddefnyddio cleddyf yr Ysbryd. Mae

Digitized by Google

yr eglwys mewn teimladau da, ac arwyddion am ychwaneg o lwyddiant ar yr achos.—*H. H. Davies, Ysg.*

---

GWOBRWYO TEILYNGDOD YN PARSONS.

Gwobrwyodd eglwys Fedyddiedig Parsons, Pa., ei Hysgrifenydd, Thomas R. Thomas, yr hwn sydd wedi cyflawni y swydd am flynyddau. Cyflwynwyd i Mr. Thomas 15 cyfrol o *Chambers' Encyclopedia*, argraffiad Americanaidd, yn nghyd ag *ink-stand* ac ysgrifbin aur. Tystiolaeth y brodyr a'r chwiorydd, fel y bobl hyny gynt, oedd, "Yr oedd yn haeddu gwneuthur o honom hyn iddo."

Nid rhagrith ydyw'r dysteb hon,
Ond prawf o serch sydd dan ein bron;
Chwi haeddech gael mwy enwog rhodd,
Cael serch yn wraidd mwy wrth eich bodd.
Boed llwyddiant llawn i'n Thomas mad
I fyn'd yn uwch i sylw 'i wlad;
Ei enw 'n enwog ar y dda'r,
Yw dymuniadau IEUAN DAR.

---

UPPER LEHIGH.

*Mr. Gol.*—Dymunwn hysbysu trwy gyfrwng y WAWR, ein bod fel eglwys wedi penderfynu na wnawn dderbyn neb i bregethu yma os na fyddwn wedi anfon am danynt. Yr ydym yn cael ein blino gan amryw nad ydym am eu clywed. Mae eich lle chwi yn dda yma bob amser.—*David Gibbon.*

---

SHENANDOAH, PA.

Mae yn hysbys bellach i'r gwahanol eglwysi, fod y Parch. D. S. Thomas wedi ymgymeryd â'r gwaith o fugeilio y ddwy eglwys sydd yn y lle uchod, sef yr un Gymreig a'r un Seisonig. Dechreuodd ar ei weinidogaeth yn y lle y Sabboth cyntaf yn Mehefin. Dymunol genym hysbysu fod dyfodiad Mr. Thomas i'n plith wedi bod yn gaffaeliad i'r ddwy eglwys; y mae yr Arglwydd yn bendithio ei lafur eisoes, trwy ddwyn rhai o'r tywyllwch i'r goleuni, ac o feddiant Satan at Dduw. Mehefin 24, bedyddiwyd chwech o bersonau ar broffes o'u ffydd yn Mab Duw,—pedwar perthynol i'r eglwys Seisnig, a dau i'r eglwys Gymreig. Y mae rhagor eto o flaen yr eglwysi, yn ymgeiswyr, a rhai afradloniaid yn dychwelyd yn ol i dy eu Tad; fel ar y cyfan mae yr achos da yn llewyrchus a gobeithiol o dan weinidogaeth ein brawd. Ein dymuniad yw ar i'r Arglwydd arddel y weinidogaeth i fod yn foddion i ddymchwelyd annuwioldeb yn y dref, ac i adeiladu muriau merch Seion.—*Un o'r Brodyr.*

---

## *PRIODWYD—*

Mai 27, 1882, yn Audenried, Pa., yn nhy Mr. Davies, gan y Parch. T. D. Evans, William Jones, Yorktown, ac Anne Jones, Honey Brook.

Mai 16, 1882, gan y Parch. T. P. Morgan, yn ei dy ei hun, Mr. William Holvey a Miss Sarah A. Holvey, y ddau o Thomastown, O.

Mai 31, 1882, yn Paris, Portage Co., Ohio, gan y Parch. A. J. Morton, Mr. Rees R. Jones a Miss Jennie E. Davies.

Mehefin 28, 1882, yn Nanticoke, Pa., gan y Parch. J. P. Harris, William W. Morgans a Sarah Anne Evans, y ddau o Nanticoke.

Dedwydd fo'r pâr clodadwy—yn rymus
Bo'r rhwymyn cofiadwy—
Boed Sarah Ann a Morgan mwy
Yn fedrus yn myd y fodrwy.

Mehefin 29, 1882, yn Johnstown, Pa., gan y Parch. David Jones, Mr. Thomas J. Price a Mrs. Susannah Price, Chester, ger Philadelphia.

Ei gariad a ymgurai—am feinir,
Am fwyniant hiraethai;
Yn y ferch yr ymserchai,
Oreu fun, heb unrhyw fai.

I Domas addas iawn iddo—yn awr,
Yw bun i'w anwylo;
Yn llawn sêl, doed a ddelo,
Y fenyw ddel a fynodd o.

Boed gwlith y fendith hyd fedd—yn eiddo
Iddynt, a thangnefedd;
Morio wed'yn mewn mawredd,
A bod byth mewn byd o hedd.
CELYDDON.

---

## *BU FARW—*

MR. RICHARD D. HARRIES.

Mehefin 29, 1882, yn Cleveland, O., ein hanwyl frawd Richard D. Harries, o'r *septecamia*, yn 29 oed. Ganwyd ef yn Abercanaid,

Digitized by Google

ger Merthyr Tydfil, D. C. Mab oedd i deulu parchus o'r lle hwnw (Abercanaid). Nid wyf yn gwybod beth oedd enw rhoddedig ei dad. Claddwyd ef pan oedd Richard yn ieuanc iawn. Priododd ei fam yr ail waith, ac y maent yn byw yn bresenol yn Abercanaid, sef Thomas a Jane Davies. Bedyddiwyd ef pan yn 13 oed gan y Parch. John Evans, Abercanaid. Tyfodd i fyny mewn defnyddioldeb, a bu o wasanaeth nid bychan yn yr eglwys hono. Bu yn arweinydd y cor yn Abercanaid am flynyddau. Yn Mawrth, 1881, teimlodd awydd ymweled â'r wlad hon, ac i Hametown, O., y daeth at ei ewythr, sef y Parch. Iago W. James, a buan iawn wedi ei ddyfodiad y gwelodd yr eglwys Fedyddiedig fod dyn defnyddiol iawn wedi dod i'w plith. Yr oedd bob amser yn barod i wneyd yr hyn oedd yn ei allu gyda phob rhan o wasanaeth y cysegr. Yr oedd yn gyfaill hoff i'r ysgrifenydd, a dywed ai pawb yn dda am Richard Harries. Cwympodd yn rhyw fodd ychydig fisoedd yn ol, nes effeithio yn fawr yn fewnol; a thua dwy wythnos cyn ei farwolaeth aeth i Cleveland, i'r *Infirmary*, a bu farw ar y 29ain. Aeth ei ewythr ac eraill i Cleveland foreu y 30ain, a daethant a'r gweddillion i Hametown y dydd hwnw. Cymerodd yr angladd le dydd Sadwrn, i Wadsworth, O. Rhoddwyd yr arch yn y *vault*. Gallaf ddweyd na arbedwyd traul na thrafferth yn nglyn a'r amgylchiad. Nawdd y Nef fyddo dros ei rieni a'i berthynasau a'i gyfeillion yn y ddwy wlad.

Gweinyddwyd gan y Parch. T. P. Morgan, M.A., Thomastown, O., yn ddylanwadol iawn.

W. J. Davies.

Dymunir ar i'r "Gwladgarwr" godi yr uchod.

MRS. MARGARET THOMAS.

Bu farw, dydd Iau, Mehefin 22, 1882, Mrs. Margaret Thomas, priod Mr. Joseph Thomas. Ganwyd hi yn Pontrhydyfen, Sir Forganwg, D. C., Mawrth 19, 1841. Ymfudasant i'r wlad hon tua 22 mlynedd yn ol, a threuliasant y rhan fwyaf o'u hamser yn y lle uchod. Ganwyd iddynt bedwar ar ddeg o blant, deg o'r rhai sydd yn fyw.

Ymunodd â chrefydd gyda'r Bedyddwyr, a daliodd ei gafael yn yr addewidion hyd y fynyd olaf. Tystiolaeth uchel a roddir i'r chwaer ddawiol hon. Dymuniad ei henaid ydoedd gweled ei phlant yn ofni Duw a chadw ei orchymynion. Bu ein chwaer yn glaf, a hollol ddall, am hir amser; ond credir ei bod heddyw mewn gwlad lle nad oes un haint.

Aed a'i gweddillion i'r capel, lle y gweinyddwyd ar yr achlysur gan ein gweinidog a'r brawd T. H. Morris. Claddwyd hi yn East Akron. Gadawodd amryw berthynasau i alaru, ac yn eu plith briod a deg o blant. Duw a ddyddano ei phriod galarus a'r amddifaid.

T. P. Morgan.

TO THE MEMORY OF J. M. PHILLIPS, FREEDOM, CATTARAUGUS CO., N. Y., WHO DIED JANUARY 13, 1882.

Hush! 'tis the last lone resting place,
Where my dear partner sleeps a dreamless sleep;
Let silence o'er the sacred spot,
His sternest vigils keep,
Let balmy flowers in dewy bloom,
And cypress shadow veil his tomb.

Here solitude has laid the couch
Of his all silent holy rest,
The dirge of the high wind of heaven
Alone rolls o'er his breast;
Even here the ever ghastly king
Has spread his dark terrific wing.

The sweet, the loved, the beautiful,
Whose heart was gentle as the dove,
Whose placid smile was calm as heaven,
Whose radiant eyes were love;
Here rest in tranquil slumber now,
And darkness sits upon his brow.

The children o'er their father's grave
Shall lift their streaming eyes to heaven,
And think of him whose trusting ear
To ceaseless grief was riven;
And in their longing bosom bless
The father of the comfortless.

Sleep on, sleep on, thou sweet one, calmly sleep
Unbroken noiseless rest is thine;
Yet for the glowing realms of bliss,
Thy spirit all divine;
And pure spotless as at first,
The fetters of the grave shall burst.

A. R. P.

MRS. JOAN DAVIES.

Mehefin 27, 1882, yn Mineral Ridge, Ohio, bu farw Mrs. Joan Davies, gweddw y diweddar David T. O. Davies, yn 73 mlwydd ac 1 mis oed. Buont fel teulu yn cyfaneddu yn St. Clair, a Hyde Park, Pa., yn nghyd a lleoedd eraill yn y wlad hon.

Yr oedd hi yn enedigol o le a elwir Park Hensol, ger Hirwaen, Sir Forganwg, D. C. Yr oedd yn fam i wyth o blant—dau wedi eu claddu, a chwech yn fyw, tri mab a thair merch, yr oll mewn galar dwys o herwydd ei cholli. Gellir dweyd am dani, ddarfod iddi wneyd rhan mam a phriod dyner a gwir ofalus. Bu yn aelod yn Nghyfundeb y Bedyddwyr am y tymor hirfaith o dair a deugain o flynyddoedd, gan ymestyn yn ddyfal i ddilyn camrau yr Iesu. Bedyddiwyd hi yn Gomora, Rhymni, gan y diweddar Barch. Thomas Evans, Beulah. Dynes ydoedd o dymer rywiog, a hynod o onest mewn pethau crefyddol a bydol. Nid un a ddywedai fel hyn ac a weithredai fel arall; na, na, ni wnai hi gario rhyw

Digitized by Google

ddau neu ychwaneg o wynebau. Yr oedd gradd helaeth o gysondeb yn ei holl fywyd, fel y gellir dweyd am dani, "Er ei bod wedi marw, y mae hi yn llefaru eto." A phan ddaeth yr awr iddi ymadael â'r fuchedd hon, ymollyngodd yn hyderus i freichiau brenin y dychryniadau yn gwbl ddifraw. Dywedai pan ar geulan yr afon, "Y mae pob peth yn iawn." Diau genym yw, ei bod wedi ymheddychu â'i Duw er's amryw flynyddoedd.

Dyoddefodd lawer math o boenau dirdynol iawn, a hyny dros amryw flynyddoedd, yn hynod o ddirwgnach. Bu eu phlant, y sawl oedd yn agos ati (rhai o honynt yn mhell oddiwrthi) yn hynod o dyner iddi trwy ei holl gystudd blin a maith. Yr Arglwydd a'u bendithio un ac oll, ac a roddo iddynt ei wenau siriol yn nghanol eu galar mawr.

Daeth tyrfa luosog at eu gilydd ddydd ei hangladd, er gosod yr hyn oedd farwol o honi yn y beddrod. Claddwyd hi yn mynwent Keer, yn ymyl y Ridge, lle yr huna yn dawel hyd ganiad yr udgorn croch; pryd hwnw deffry ar ddelw Iesu. Huna, fy anwyl chwaer. Gwasanaethwyd ar yr amgylchiad gan y Parch. Mr. Mercer (P.) yn Saesoneg, a'r ysgrifenydd yn Gymraeg. J. W. JAMES.

MISS LIBBIE WILLIAMS.

Died, August 27, 1880, a daughter of Mr. and Mrs. Williams, of Orangeville, Wyoming Co., N. Y., being twenty years and two months old, after nearly seven months of painful and severe illness, which she bore very patiently.

The Monday following, a large number of people assembled to pay her their last tribute of respect, when the religious service was conducted very impressively in the house, and at the grave, by the Rev. Mr. Sheerer, of Warsaw. Her body was laid at rest by the side of her little brother and her two grandfathers and grandmother, namely, William and Elizabeth Williams, of "Coed," formerly from a place near Remsen, and Hugh Williams, the father of her mother.

Miss Libbie Williams was honored in more than one respect. She was remarkable at learning, and usually ahead of her comrades in this particular, and her greatest delight was to impart knowledge to others. She was a teacher for several terms in a district school, and was always patient, cheerful and gentle, loving everybody, and everybody loving her, and was estimated as a queen and mother to her scholars.

Miss Williams made a profession of Jesus Christ about three years previous to her decease, and was initiated by baptism to the Baptist Church at Warsaw, and it may be said that she lived up to her profession. Her conversation oftentimes touched on the delight and profit there is in the service of Jesus Christ. Through her long and protracted illness it was the consolation of that service, and a good hope through grace in a living Redeemer, and a Friend who sticketh closer than a brother, that enabled her to suffer quietly and without a murmur.

About a month previous to her death her uncle, Mr. William H. Williams, of Freedom, paid her a visit, and great was her delight in conversing with him about religion, and the necessity of possessing it in early life. She manifested a desire to live to do something for Jesus Christ in the world; yet if it was the Lord's will to take her to himself, she was willing to go then. She conversed about her departure with confidence and calmness, resting her soul on the Saviour; and when her uncle was going to leave, she said with a pleasant smile, "*Good bye, uncle; if we don't meet here we shall meet in heaven.*"

A short time before her death, she called for her father and mother, her brother and aunt, and advised them very seriously to live a pious life, and love Jesus Christ, that they might come to her; then she bid them farewell, saying, "*O, Heavenly Father, take me now; Jesus, receive me.*" Afterwards she asked her mother to be taken to her arms, and while her head was resting on her mother's bosom her soul took its flight to the bosom of Jesus.

It was no wonder that both old and young in the neighborhood came to the funeral, and that tears rolled profusely down almost every cheek. It was easy to see that a profound feeling of respect existed at the departure of this loving young Christian. The benificent influence of her Christian character in the neighborhood must be great; and I believe her memory will be cherished, and long continue to be as a sweet-smelling savor in the family and the vicinity generally. Dear parents, weep not and grieve not. "Children are the inheritance of the Lord."

O what tender bonds are broken
  When we lose a gem so dear!
With the mightiest force of friendship
  Loving hearts to them adhere,
In such whirlwind of soul-tempest
  All is sorrow, all is wail;
Greatest wealth and grand possessions
  Can be then of no avail.

But, dear parents, beyond the darkness
  You may see an object bright;
Yes, your dear daughter Libbie,
  Yonder in the land of light,
In white raiment; Oh! how glorious!
  Like the angels there she is
In the presence of her Saviour,
  Oh! how perfect is her bliss!

THEODORE ELLISON.

---

—Adroddir y bydd i John Bright ymweled â'r wlad hon cyn hir, a dysgwylir y bydd iddo draddodi darlithiau yn rhai o'r prif ddinasoedd.

Digitized by Google

# Y WAWR.

CYF. VII.] MEDI, 1882. [RHIF. 6.


## CYDWEITHGARWCH CREFYDDOL.*

GAN Y PARCH. W. M. EVANS, FREEDOM, CATTARAUGUS CO., N. Y.

"Canys yr oedd gan y bobl galon i weithio."—NEHEMIAH iv. 6.

Cydweithgarwch ydyw un o'r elfenau mwyaf pwysig a hanfodol angenrheidiol er sicrhau llwyddiant yn mhob anturiaeth. Y mae yn anmhosibl sylweddoli unrhyw amcan o werth heb lafur caled ac ymdrech di-ildio. Trwy lafur yr arloesir y tir, y plenir gwinllanoedd, y cesglir ffrwythau y ddaear, yr adeiledir aneddau, yr agorir rheilffyrdd, y gwneir peirianau amryfath, ac y dadblygir adnoddau amrywiol gwyddoniaeth a chelfyddyd. Y llafurwr caled yw y bod mwyaf gwerthfawr ac urddasol mewn cymdeithas. Y mae yn wir yr edrychir i lawr arno, ac y dirmygir ef gan ryw ddosbarth; ond eto, y mae yn ffaith, mai efe yw y brif olwyn yn mheiriant mawr cymdeithas. Efe a rydd fywyd ac ysgogiad i'r cwbl. Ychydig mewn cymhariaeth y mae dyn yn unigol yn alluog i'w wneuthur; ond y mae cyd-ymdrech y lluaws mewn un cyfeiriad yn medru cyrhaedd y dybenion mwyaf anhawdd, aruchel, a gogoneddus. Yn y testyn a'i gysylltiadau, gwelwn fod galluoedd bychain ac annghelfydd ynddynt eu hunain, trwy gael eu canolbwyntio mewn un gorchwyl arbenig, yn medru cyflawni y gorchestwaith mwyaf godidog. Codwyd muriau Jerusalem, ac adeiladwyd y deml trwy gydymdrech yr Iuddewon, er fod yr anhawsderau, a gwrthwynebiadau gelynion yn ymddangos yn fawr a herfeiddiol. Diflanodd y cwbl o flaen penderfyniad y bobl i gydweithio. "Felly nyni a adeiladasom y mur, a chyfanwyd yr holl fur hyd ei haner; canys yr oedd gan y bobl galon i weithio." Gwnawn y sylwadau canlynol oddiwrth y testyn a'i gysylltiadau.

I. FOD CYMELLION AMRYWIOL A LLUOSOG I GYDWEITHGARWCH CREFYDDOL. Canfyddwn hyn yn hanes y genedl yn codi muriau Caersalem, &c. Cyn y gellir dysgwyl cydymdrech y lluaws gydag unrhyw orchwyl, rhaid yn gyntaf fod y cymellion (*motives*) yn rymus ac argyhoeddiadol. Y mae lluaws, ysywaeth, yn cyflawni llawer o bethau heb eu bod yn cael eu cymell gan ddy-

* Traddodwyd y bregeth ragorol hon gan yr awdwr yn Nghymanfa Swydd Oneida, 1882. Cyhoeddir hi yma ar ddymuniad amryw a'i clywodd. Hyderwn y ca y sylw a deilynga.

Digitized by Google

benion daionus. Hunanoldeb, balchder, ac uchelgais sydd wrth wraidd llawer o gyflawniadau goreu dynion. Ond y mae yn wahanol gyda phethau dwyfol a chrefyddol. Mae crefydd y Beibl yn cynwys digon o gymellion teilwng ac argyhoeddiadol i dynu pob dyn rhesymol a diragfarn i gydymdrechu o blaid ei hegwyddorion.—Gwelir,

1. *Fod yr Iuddewon yn ymwybodol fod y gwaith yr ymaflent ynddo yn unol a meddwl a bwriad Duw.*—Mae nerth anorchfygol mewn dyben cywir. Mae y syniad o gywirdeb ac uniondeb bwriad, pa un a fydd felly mewn gwirionedd a'i peidio, yn gwisgo ei berchenog â gwroldeb dihafal. Y syniad hwn sydd yn gwneyd pob plaid grefyddol, paganaidd a Christionogol, mor selog a phenderfynol. Ond beth yw nerth y syniad hwn pan yn unol â gair Duw? Y mae y tân a'r ffagodau, a daeargelloedd a gwialenodiau, a phob cosp a fedrai uffern eu dychymygu, wedi methu ei orchfygu. Yr oedd amser caethiwed yr Iuddewon ar ben—y deng mlynedd a thriugain wedi eu treulio yn nhir y gaethglud, a Cyrus wedi ei godi i orsedd Babilon, yn ol bwriad yr Arglwydd, i ollwng plant Israel yn rhydd. "Y mae ein gwaith ni yn codi muriau dinas Jerusalem yn unol â meddwl yr Anfeidrol," ebai y bobl, "am hyny pwy a fedr ein rhwystro?—cydymosodwn ar y gwaith."

Felly y gallwn ninau, fel canlynwyr yr Arglwydd Iesu Grist, yn yr oes hon, ddyweyd, fod y gwaith sydd genym i'w gyflawni, o Dduw; ac fel y cyfryw, y mae yn hawlio cydymdrech y lluaws. Dylai pob aelod o'r eglwys fod yn y cwrdd gweddi, y gyfeillach, a'r ysgol Sul, yn gystal a'r cyfarfodydd pregethu. Cydweithwyr Duw ydym ni. Beth oedd yn cymell Apostol mawr y Cenedloedd i'r fath lafur caled a dyoddefiadau blin? Ai boddloni mympwy wag, neu ddangos ei hun? Na, eithr yr ystyriaeth ei fod yn genad dros Grist, ac yn gweithio allan fwriadau y Goruchaf. Beth a wnaeth i Wickliffe, apostol mawr y Diwygiad yn Lloegr, i fod mor wrol a phenderfynol yn erbyn y *mendicant friars*, ac i drosi gair Duw i iaith y werin? Onid y syniad o gywirdeb bwriad, a bod ei waith yn unol â meddwl Duw? Felly yr oedd gyda Luther, Calvin, a'r Puritaniaid. Dylai Cristionogion yr oes bresenol fod yn unol, gwrol, a phenderfynol yn eu hymdrech; oblegid y mae gan yr efengyl waith mawr i'w wneyd ar y byd er ei gael i'w le priodol. Gweithwyr, ac nid segurwyr, sydd yn cael eu galw i'r winllan; a gweithwyr gânt dderbyn y wobr yn y diwedd. Cofiwn mai llafurio dros achos Duw yr ydym. Bydd hyn i ni yn gymelliad parhaus i gydweithgarwch o blaid y ffydd a roddwyd unwaith i'r saint.

2. *Cymelliad arall ydyw fod llwyddiant yn sicr o ganlyn cydweithgarwch.* Nid gwneyd rhywbeth ar anturiaeth oedd yr Iuddewon wrth ymosod ar y gwaith o godi muriau eu hen ddinas enwog ac anwyl. Ymddiriedent yn y gallu dwyfol i'w cynorthwyo a'u hamddiffyn hyd orpheniad y gwaith. "Ein Duw ni a ymladd drosom," oedd eu harwyddair gwastadol. Yr oedd gallu amddiffynol yr Anfeidrol wedi bod yn amlwg drostynt yn y gorphenol. Yr oedd hyn yn gymorth i'w ffydd i ymaflyd yn yr un gallu amddiffynol yn awr. Yr un Duw ag oedd wedi eu gwaredu fel cenedl o gaethiwed yr Aipht, a'u harwain trwy gyfyngderau yr anialwch, a'u dwyn i wlad yr addewid, a'u diogelu yno am ganoedd o

Digitized by Google

flynyddoedd rhag y galluoedd gelynol oddiamgylch iddynt, oedd yn awr yn barod i ymladd drostynt. Yr oedd y gwaith yn fawr, ond yr oedd y *resources* dwyfol o'u tu. Nid oes yma un anturiaeth; y mae y llafur yn sicr o gael ei goroni â llwyddiant. Y mae llawer cwmpeini cryf a chyfoethog yn mhethau y ddaear wedi myned yn fethiant hollol yn eu hanturiaethau; ond nid yw y gair methiant yn ngeirlyfr pobl Dduw. Llwyddiant sicr a diamheuol sydd bob amser yn dilyn eu hymdrechion. Y fath *impulse* i gydweithgarwch yw y ffaith hon: "Am hyny, fy mrodyr anwyl, byddwch sicr a diymod, a helaethion yn ngwaith yr Arglwydd yn wastadol; a chwi yn gwybod nad yw eich llafur chwi yn ofer yn yr Arglwydd." 1 Cor. 15 : 58.

3. *Fod cenedlgarwch yn gymelliad i gydweithgarwch crefyddol.*—Nid yw yr egwyddor wladgarol a chenedlgarol ddim i'w gweled yn ymddadblygu yn fwy amlwg yn hanes unrhyw genedl na'r genedl Iuddewig. Daw i'r golwg yma yn eithafol. Diystyrent bob cenedl arall. Edrychai yr Iuddew yn ddirmygus ar bawb, a chyfrifai bob cenedl yn israddol i'r eiddo ei hun. Yr oedd amryw bethau yn tueddu gogwyddiad yr Iuddew i'r cyfeiriad hwn. Yr oeddynt hwy yn genedl etholedig gan Dduw o blith holl genedloedd y ddaear. Cadwai yr enwaediad hwynt ar wahan oddiwrth y dienwaededig. Trwyddynt hwy y dewisodd y Goruchaf ddatguddio ei feddwl a'i ewyllys i'r byd. "Iddynt hwy yr ymddiriedwyd am ymadroddion Duw." Ac ni allesid cael eu rhagorach. Mae y byd heddyw, i raddau pell iawn, yn ddyledus iddynt hwy am ei wareiddiad; a chredwn y bydd i'r hen genedl, eto, yn ei brwdfrydedd cynhenid, gymeryd rhan flaenllaw yn nychweliad y Cenedloedd at Grist, yn nghyda dygiad i fewn gyfnod euraidd y milflwyddiant. Peidier a'u diystyru. Mae llygad Duw arnynt mewn modd neillduol. O! mor anwyl ac agos at galon yr Iuddew, pan yn Babilon, oedd gwlad Canaan. Hoffent offrymu eu gweddiau tua'r nefoedd a'u gwynebau tua Jerusalem. Hanes Daniel. Adroddent wrth eu plant am odidawgrwydd eu gwlad, tegwch Jerusalem, a gogoniant eu teml. Ni allent ganu cerddi Seion mewn gwlad estronol. Yr oedd treigliad dyfroedd yr Euphrates yn swnio fel galarnad wylofus yn eu clustiau hwy. Yr oedd eu telynau yn hongiedig ar yr helyg. Ond dyna awr eu hymwared o'r caethiwed yn dod, a dacw hwythau gyda chân a llawenydd mawr yn dychwelyd i'w gwlad; ac fel y dynesent at safle dinas y Brenin Mawr, a chartrefle Dafydd a Solomon gynt, y fath olygfa dorcalonus a gawsant ar yr hen fangre hyfryd! Yn lle y ddinas fawreddog, y tyrau dyrchafedig, y palasau gorwych, y gerddi heirdd a dymunol, a'r deml, gogoniant y gwledydd, a chartref y Shecinah dwyfol, wele yr oll yn un pentwr adfeiliedig, ac yn gydwastad â'r llawr! Pa beth sydd i wneyd? Ai eistedd i lawr mewn galar a wylofain? Na, meddai gwladgarwch a chenedlgarwch yn nghalon yr Iuddew, rhaid codi y muriau, rhaid adeiladu y deml, a rhaid adferyd y ddinas i'w thegwch cyntefig. Dacw bob un yn ymaflyd yn ei waith; "Canys yr oedd gan y bobl galon i weithio." Mae eisiau mwy o'r egwyddor hon yn ein plith ni fel cenedl y Cymry yn y wlad hon. Dengys ein hanes ei bod unwaith wedi bod yn nerthol yn ein plith. Yr oedd felly yn amser Caswallon, Caradog, Owain Glyndwr, a "Llewelyn ein llyw olaf;"

Digitized by Google

ond y mae lle i ofni ei bod yn gwanhau, yn enwedig ar ol dyfod drosodd i'r wlad eang hon, a dechreu ymgyfoethogi. Gwelir lluaws yn ymuno â chynulleidfaoedd y Saeson, am eu bod yn fawr a chyfoethog, gan adael i'r achos Cymreig farw o'u rhan hwy. Ac wrth wneyd hyn collant eu defnyddioldeb yn y byd crefyddol, oddieithr fel *money machines.* Nid ydynt yn ddim ond gwag-nodau (*cyphers*) yn yr eglwysi Seisnig, can belled ag y mae dylanwad eu gwasanaeth crefyddol yn myned. Pe ceid mwy o unoliaeth a chydweithrediad cenedlgarol a chrefyddol yn ein plith fel Bedyddwyr Cymreig yn y wlad yma, cyn hir byddai genym eglwysi cryfion a blodeuog mewn dinasoedd mawrion fel Efrog Newydd, Philadelphia, &c.; ac felly cedwid llawer o'n cydgenedl anwyl rhag myned gyda llifeiriant llygredigaeth yr oes i lynclyn gwae a dinystr tragywyddol. Ymdrechir i anfon yr efengyl i baganiaid y pegynau tra yr esgeulusir darpariaeth briodol i achub eneidiau hil Gomer; a hyny gan eu brodyr yn ol y cnawd. Cofiwn am sel Paul dros ei genedl, ac ymestynwn i efelychu yr Iuddewon mewn cenedlgarwch crefyddol. "Mewn undeb y mae nerth."

4. *Fod sel a brwdfrydedd crefyddol yn gymelliad i gydweithgarwch.*—Yr oedd pobl Israel yn enwog am hyn. Credent yn drwyadl mai gyda hwy yr oedd yr unig wir grefydd ar y ddaear, a pharod oeddynt i farw drosti. Nid oeddynt yn llai selog dros eu crefydd er eu caethgludo i ororau Babilon. Ni fedr ymfudiad i wlad estronol amddifadu dyn o'i grefydd. Cofier am y forwynig yn nhy Naaman y Syriad, a'r tri llanc yn ngwastadedd Dura, a Daniel yn ffau y llewod. Ymlynai yr Iuddewon yn dra unol yn eu crefydd yn ngwyneb pob gwrthwynebiad o du eu gelynion. Lle y byddo bywyd crefyddol yn yr enaid, y mae yn rhwym o ddangos eu hun mewn brwdfrydedd dros ogoniant Duw. Iaith y cyfryw sydd debyg i eiddo y Ceidwad: "Sêl dy dŷ di a'm hysodd i." Mae rhai yn ymddiried yn gwbl i egwyddorion crefydd; ond rhaid i egwyddorion gael traed i'w cario, a thafodau i'w datgan. Trwy offerynau y mae Duw yn cario ei waith yn mlaen yn y byd. Rhaid cael yr adeiladwyr i godi y muriau. Fe rydd y Goruchaf bob cymorth angenrheidiol i ddwyn y gwaith yn mlaen, ac fe daena ei aden amddiffynol dros yr adeiladwyr tra ar lwybr eu dyledswydd. Yr hyn yw yr haul i'r *solar system*, ac agerdd i'r peiriant, yw sêl a brwdfrydedd i undeb a chydweithgarwch crefyddol.

II. Nodwn rai o'r nodweddion perthynol i'r rhai sydd a chalon i weithio.

1. *Y maent yn mwynhau eu gwaith.* Nid oes raid eu symbylu yn barhaus cyn eu cael at eu gwaith. Mae mwy o boen gyda rhai na gwerth eu gwasanaeth. Mae lluaws yn debyg i rai asynod; ni wnant ddim heb eu symbylu. Y cymeriadau hyn yw y dosbarth mwyaf grwgnachlyd ac anhawddaf eu trin o bawb. Ni wnant ddim eu hunain, ac ni fedr neb arall wneuthur dim wrth eu bodd. Dylai y rhai hyn fyned i'r ysgol at y morgrugyn i ddysgu gwersi diwydrwydd. Ond am yr hwn sydd a chalon i weithio, y mae yn ddedwydd yn ei weithred. Dyma y rhai sydd yn llwyddianus yn eu gwaith, gan nad beth bynag ydyw. Nis gellir llwyddo fel amaethwr, masnachwr, celfyddydwr, na chrefftwr, heb yn gyntaf syrthio mewn cariad â'r gwaith. Arwydd da

Digitized by Google

yw gweled un yn gweithio dan ganu. Gweithiwr felly oedd y Salmydd: "Dy ddeddfau oedd fy nghân yn nhy fy mhererindod." Mae Duw yn hawlio yr holl galon at ei wasanaeth ef. Nid yw gwasanaeth hanerog yn gymeradwy ganddo ef. "Fy mab, moes i mi dy galon." Ni wna *rhan* o honi y tro. Rhaid i Dduw gael yr *holl* galon, neu ddim. Yr oedd addolwyr y lloi aur yn Dan a Bethel yn honi eu bod hefyd yn addoli Arglwydd y lluoedd; a cheisiai pobl Samaria wasanaethu eu gau dduwiau eu hunain, a thalu gwarogaeth i Dduw Jacob yr un pryd. A dichon fod lluaws yn bresenol yn meddwl y gallant addoli Duw a mammon; a boddloni eu huchelgais bydol a gwasanaethu Crist. Twyll, ffug, ac ynfydrwydd yw y fath wasanaeth yn nghyfrif y Bôd Sanctaidd. Gall y sawl sydd yn rhoddi eu holl galon yn ngwaith yr Arglwydd, ddweyd fod

"Mwy o bleser yn ei waith
Na dim a fêdd y ddaear faith."

2. *Y maent yn gorchfygu pob rhwystr.*—Yn ngwyneb gwawd a dirmyg gelynion, y mae y lluaws yn digaloni, ac yn rhoddi i fyny eu hymdrechion i gyrhaedd eu hamcanion; ond i'r sawl sydd a'u calon yn y gwaith, nid yw rhwystrau yn ddim ond cynhyrfiad adnewyddol iddynt i ymgyrhaedd at eu nôd. Gwnaeth Sanbalat a Thobïah, yr Ammoniad, eu goreu i atal y gwaith yn mlaen. Defnyddient y bratheiriau mwyaf llymdost (adn. 2, 3). Ond nid oedd hyn yn ddigon i foddloni eu digofaint. Nid yw llid yn cyrhaedd ei eithafnod (*crisis*) nes dyfod at fradwriaeth. "A hwynt oll a frad-fwriadasant yn nghyd i ddyfod i ymladd yn erbyn Jerusalem, ac i'w rhwystro." Y mae llawer Sanbalat a Thobïah i'w cael eto, fel y mae gwaethaf y modd; ymhyfrydant mewn rhwystro y gwaith da. Yr achos o'u heiddigedd oedd, am na chawsant fod yn rhanol yn y gwaith. Y mae llawer o'r ysbryd hwn yn bodoli yn bresenol yn y lle mwyaf cysegredig ar y ddaear. Nid yw cyflawniadau eraill, gan nad pa mor rinweddol bynag y gallant fod, yn werth dim gan rai personau. Rhaid iddynt hwy fod a'r llaw flaenaf yn mhob peth mewn trefn i osod gwerth arnynt. Mae iaith anffyddwyr hunanol ac ymffrostgar yr oes oleuedig hon, yn nghyd a gwawdwyr crefydd Mab Duw a'i ganlynwyr, yn lled debyg i eiddo Tobïah—"Er eu bod hwy yn adeiladu, eto ped elai lwynog i fyny, efe a fwriai i lawr eu mur ceryg hwy." Mae Cristionogaeth wedi ei sylfaenu ar Graig yr Oesoedd, ac er gwaethaf holl lwynogod, dreigiau, a llewod y fagddu fawr, myned i fyny y mae ei muriau, lledu y mae ei dylanwad, ac yn y man daw yr holl fyd i gofleidio ei hegwyddorion bendigaid. Mae gan y Bedyddwyr fwy o rwystrau i'w gorchfygu na neb arall, am eu bod yn dilyn ôl traed Crist a'r Apostolion yn fwy trylwyr. Ond os oes genym galon i weithio, diflanant oll o'n blaen fel y tarth o flaen pelydrau gordanbaid yr haul.

3. *Fod y rhai sydd a chalon i weithio yn myned i'r lle priodol i ymofyn cymorth.*—"Gwrando, O ein Duw," &c. Ymaflant trwy ffydd yn y fraich hollalluog. Dyma ddigon. Hebddo ef nis gallwn ni wneuthur dim; gydag ef gallwn wneyd pob peth. Ymddiriedwn ynddo.

4. *Fod pob un sydd a chalon i weithio yn foddlon llafurio yn ei gylch priodol ei hun.*—Gwelir hyn yn y benod flaenorol i'r testyn. Daw Cristionogaeth a'r byd i'w le—gesyd bob un yn ei le ei hun. Coronwyd eu cydymdrech â

Digitized by Google

llwyddiant. Gorphenwyd y gwaith. Sylweddolwyd yr amcan mewn golwg. Bydded i ninau gyfranogi o'r un ysbryd, a dilynwn yr un cynllun.

---

## ALEXANDRIA,

### UN O BRIF DDINASOEDD HENAFOL YR AIPHT.

---

Gan fod Alexandria yn meddu lle mor bwysig yn hanes y byd a'r eglwys, a phan y mae stormydd cynhyrfiadau rhyfel yn curo arni ac o'i chylch, dichon nad annyddorol gan ddarllenwyr y WAWR fydd cael crynodeb o'i hanes, yn benaf yn yr amser gynt.

Alexander Fawr a sylfaenodd y ddinas, yn y flwyddyn 332 cyn Crist, a galwyd hi am hyny ar ei enw. Yr ydoedd yn sefyll yn wreiddiol ar y llecyn hir o dir isel a wahana lyn Maneotis oddiwrth fôr y Canoldir, oddeutu pedair milldir ar ddeg o enau y Nile. Yr oedd ei maint gwreiddiol yn bedair milldir o hyd, ac yn bymtheg o amgylchedd. Defnyddid y rhan fwyaf o'r tir o dan y tai yn lle dwfrgistiau i gadw dwfr at wasanaeth y ddinas, y rhai oeddynt yn ddigon mawrion, meddir, i gynwys digon o ddwfr at wasanaeth y ddinas am flwyddyn gyfan. O'i sylfaeniad yn mlaen am ganrifoedd daeth Alexandria yn brif ddinas yr Aipht. Yr oedd ei phoblogaeth, yn amser ei llwyddiant, yn 300,000 o ddinasyddion; ac os cymerwn i mewn y caethion a dyeithriaid, rhaid fod y rhif hwnw yn ddwbl. Ar ol Alexander daeth y ddinas yn gartrefle y Ptolemiaid, y breninoedd Groegaidd.—Gwnaeth y rhai hyn hi y ddinas fwyaf gorwych, ac eithrio Rhufain ac Antiochia, a feddai yr hen amseroedd.

Cyrhaeddodd Alexandria ei safle uchelaf pan ddaeth i feddiant y Rhufeiniaid, oddeutu 30 mlynedd cyn Crist. O'r foment hono dechreuodd ei llwyddiant wywo—ar y cyntaf bron yn anweladwy, ond ar ol hyny yn fwy cyflym, mewn canlyniad i weithiau celfyddyd gael eu symud oddiyno i Rufain, llofruddiaethau Caracalla, difrodwaith Aurelian, gwarchaeaeth y ddinas gan Diocletian, ac yn ddiweddaf trwy lwyddiant a chynydd Caercystenyn.

Gwnaeth yr achosion hyn ddinystrio Alexandria mor gyflym, fel erbyn y bedwaredd ganrif, nid oedd un adeilad o bwys yn aros, heblaw teml Serapis. Parodd yr ymdrechfa rhwng Cristionogaeth a phaganiaeth gryn ddifrod yno. Ymosodwyd ar y Serapeion, eisteddle ddiweddaf duwinyddiaeth a dysgeidiaeth baganaidd, a chafodd ei throi i fod yn gapel Cristionogol. Rhoddodd hyn derfyn ar baganiaeth, a daeth Alexandria o hyn allan yn brif eisteddle duwinyddiaeth Gristionogol, a pharhaodd i fod felly hyd nes y cafodd ei chymeryd gan yr Arabiaid, yn Mehefin, 638 o. c. Gwnaeth goresgyniad y Tyrciaid, yn 808 o. c., orphen dinystriad y ddinas. Adnewyddodd, mae yn wir, i ryw raddau o dan y Caliphiaid Aiphtaidd, a pharhaodd trwy y canol oesau i fod yn brif farchnadle rhwng y Dwyrain a'r Gorllewin; ond gwnaeth darganfod America, a gwybod am forddaith-lwybr i India helbio i Benrhyn Gobaith Da, leihau llawer ar drafnidiaeth Alexandria; a gwnaeth arglwyddiaeth y Mamelukiaid, a goresgyniad Osmauli, ddifodi hyd yn nod yr ychydig oedd yr Arabiaid wedi adferyd. Y canlyniad fu, erbyn y flwyddyn 1778 o. c., nid oedd Alexandria yn cynwys dim mwy na 6,000 o boblogaeth. Ar ol gorchfygiad yr Aipht gan y Ffrancod, yn niwedd y ddeunawfed ganrif,

Digitized by Google

dechreuodd Alexandria unwaith eto adnewyddu; ac o dan Mehemet Ali, yr hwn a drigai ynddi ran o bob blwyddyn, llwyddodd i'r fath raddau fel y gellid ei rhestru yn un o'r lleoedd masnachol penaf ar lanau môr y Canoldir.

Ond i ddychwelyd yn ol eto er cael golwg fanylach ar y ddinas yn llenyddol a chrefyddol—canys yn yr ystyron hyny y mae Alexandria yn meddu y dyddordeb mwyaf i ni.

Gwnaeth y Ptolemiaid (y breninoedd Groegaidd) Alexandria yn ail Athen mewn dysgeidiaeth, yn ganolbwynt y byd Groegaidd, yn fan cyfarfyddiad y Dwyrain a'r Gorllewin mewn trafnidiaeth, mwy urddasol na'r hon a lenwai y llongbyrth a'r marchnadoedd â nwyddau pob môr a fordwyid gan longau y Groegiaid a'r Phœniciaid, a phob gwlad trwy ba rai y gallai eu gwageni fyned. Darfu clodydd amgueddfa a llyfrgell Alexandria yru ei gloddest a'i thrafnidiaeth i'r cysgodion. Pan yr awgrymir ei henw, nid ydym yn meddwl am y ddinas orwych, ond am y rhestr hir o fyfyrwyr di-ildio, mewn ysgolion a alwn Alexandraidd—am y rhagredegwyr mewn gwyddoniaeth, ac am ein dyled drom i'r llafurwyr boreuol hyny a ymdrechasant i'n llesoli; ac yr ydym yn cofio am y trysor hynafol mwyaf hwnw o lyfrau a gollwyd, am yr hyn y teimlwn yn barhaus yn ofidus, oblegid nid ydym yn gwybod am y rhan fwyaf o honynt ond trwy eu henwau, neu oddiwrth weddillion anmherffaith o honynt.

Yr oedd yni meddyliol Alexandria yn canolbwyntio yn yr amgueddfa a'r llyfrgell. Ymddadblygodd yr ysgolion Alexandraidd yn ac o gylch yr amgueddfa a'r llyfrgell. Gwnaeth y ddau frenin Groegaidd cyntaf Alexandria yn begwn dealltwriaethol y byd am saith gant o flynyddoedd. Rhoddodd yr amgueddfa ei henw i ddosbarth cyfan o ddilynyddion. Ond nid cronfa ydoedd o gerfluniau a darluniau; mewn temlau a phalasau yr oedd prif orchestion celfyddyd yn cael eu cadw y pryd hwnw. Prif athrofa oedd Teml yr Awenau (*museum*). Eto cynwysai yn ei chynteddau rai o elfenau gwir amgueddfa: ac fel hyn mae ei chynllun helaeth yn awgrymu y dylai *museum* fod yn Brif-athrofa, ac na ddichon y Brifathrofa fod yn gyflawn heb gronfeydd o gywrain-bethau.

Nid oedd dim yn Groeg ar gynllun yr amgueddfa yn Alexandria. Er fod gwyr ieuanc Athen yn cael dysgeidiaeth drwyadl, yr oedd man canolog i gyfranu addysg, ac hefyd i wneyd archwiliadau yn beth dyeithr iddynt hwy.

Mewn perthynas i faintioli y llyfrgell, un cyfrifiad yw 500,000 o gyfrolau. Ond nid yw rhif yn brawf cywir o werth pethau. Yr hyn sydd yn ychwanegu gofid ydyw ansawdd y llyfrau, pa rai a gostiodd i genedlaethau olynol o ysgolheigion i weithio ddydd a nos am eu hoes, i geisio adfer yn ol destynau llygredig i'r purdeb yr oeddynt ynddo yn y llyfrgell Alexandriaidd, neu fyfyrio yn anobeithiol ranau o lyfrau ag oeddynt yno yn llawn.

Dechreuwyd y casgliad hynodol hwn o lyfrau—y mwyaf yn y byd cyntefig—gan Ptolemi Soter. Yr oedd y rhan fwyaf o'r llyfrgell yma ag oedd yn cynwys casgliadau o lenyddiaeth Rhufeinig, Groeg, India, a'r Aipht, yn cael eu cadw yn yr amgueddfa. Yn ystod gwarchaead y ddinas gan Julius Cæsar, cafodd y rhan hon o'r llyfrgell ei dinystrio gan dân. Cafodd y rhan arall o'r llyfrgell, ag oedd yn cael ei chadw

Digitized by Google

yn nheml Jupiter Serapis, ddianc rhag y dinystr, a chafodd aros yn y lle hwnw hyd yr adeg y gorchymynodd yr ymerawdwr Rhufeinig i'r holl demlau paganaidd gael eu dinystrio yn y flwyddyn 391 o oed Crist, pryd y dinystriwyd y deml, ac mae yn debygol, y rhan fwyaf o'r llyfrgell.

Yn Alexandria y cafodd yr Hen Destament ei gyfieithu i'r iaith Roeg, oddeutu tri chant o flynyddau cyn Crist. Teimlodd Iuddewon Alexandria, wrth fyw mewn dinas Roegaidd, a siarad ei hiaith, angen yn fuan am gyfieithiad o'r Hen Destament yn yr iaith lafaredig. Mae traddodiad yn dweyd i'r gwaith hwn gael ei wneuthur gan yr ail Ptolemi, ond y mae yn fwy rhesymol barnu iddo gael ei wneyd o dan arolygiad y Sanhedrim Alexandraidd. O'r foment hono rhoddodd rhesymeg ac athroniaeth Roegaidd ffurf mwy manwl a sefydlog i syniadau Hebreig. Yn Alexandria hefyd yr ysgrifenwyd y copi hwnw o'r Ysgrythyrau Sanctaidd a elwir wrth yr enw *Alexandrian Codex.* Yr adeg yr ysgrifenwyd ef raid fod tua diwedd y chweched ganrif. Cynwysa, gydag ychydig o eithriadau, yr holl Feibl yn yr iaith Roeg. Daeth Alexandria yn ganolbwynt Cristionogaeth yn foreu. Yr oedd athronwyr Groegaidd ac Hebreig yn ei gwneyd yn fanteisiol i fod felly. Ni lwyddodd y grefydd newydd gymaint yn un man ag y gwnaeth yno. Ni dderbyniodd gymaint yn un man arall oddiwrth hen ffurfiau meddyliol. Gwelai y Platonydd mewn Cristionogaeth fwy o bethau yn tebygu i'w athroniaeth ef nag a welai mewn Iuddewiaeth; gwelai yr Hebrewr ynddi ymhelaethiad o'r ffydd Abrahamaidd, ac addewidion i'r holl hil ddynol; gwelai yr Aiphtwr ynddi yr athrawiaethau mawrion am undod Duw a sefyllfa ddyfodol dyn—credoau oeddynt newydd gael eu colli o'i grefydd ef trwy ddyfod i gysylltiad ag athroniaeth.

Yr oedd Cristionogaeth yn Alexandria hyd ddiwedd y ganrif gyntaf yn defnyddio ei nerth yn erbyn gwrthwynebiadau allanol, ac ar ol hyny daeth anghydfodau mewnol i mewn. Yn ystod y tymor cyntaf, pan oedd yr ymdrech allanol yn myned yn mlaen, y mae dau berson neillduol yn dod i'r golwg, sef Clement ac Origen. Yr oedd Clement yn hyddysg mewn athroniaeth, ac yn ddigon rhydd i dderbyn gwirionedd o bob cyfeiriad. Yr oedd Origen hefyd yn ddysgedig, ac yn feddyliwr rhy fawr i fod yn boblogaidd. Yr oedd y dynion hyn yn byw mewn oes pan oedd y llywodraeth a'r anwybodus yn erlid.

Pan ddechreuodd Cristionogaeth lwyddo, ymwahanodd y pedair ysgol—yr Hebreig, y Roegaidd, y Gristionogol a'r Aiphtaidd. Fel yr oedd Cristionogion yn myfyrio athroniaeth, ac yn esgeuluso yr elfen Hebreig, yr oedd y duedd Roegaidd yn cynyddu. Y canlyniad fu i ddadleuon gyfodi, a fuont yn rhwystrau mawrion i'r eglwys am yn agos i bump o ganrifoedd. Nid oedd y cwestiynau a gynhyrfant gredinwyr yn ein dyddiau ni, megys awdurdod yr eglwys, sefyllfa ddyfodol y meirw, a lluaws o rai eraill, y pryd hwnw yn peri un amheuaeth, os nad yn mhlith ychydig oeddynt yn byw o flaen eu hoes. Pan y meddyliwn am y dadleuon hyny, pan ddaw eu hanes o flaen ein sylw, teimlwn fel teithiwr yn dyfod yn ddisymwth i olwg llosgfynyddau wedi hir ddiffoddi. Nid oes un tebyg y cyneuant eto. Mewn parthau

Digitized by Google

eraill mae mynyddau yn llosgi ac yn goleuo, nes bygwth dinystrio ein meusydd a'n gwinllanoedd.

Yn yr amser hwn y mae Athanasius yn dod i'r golwg. Yr oedd yn adeg gyffrous, a symudiadau pwysig yn cymeryd lle, ac y mae y personau a flaenorasant yn ymddangos mor fawrion, fel na fedr pellder eu lleihau i'n golwg. Y penaf o honynt oedd Athanasius; yr oedd efe yn llawer uwch na neb a'i hamgylchynai, a dywedir gan awdurdodau pwysig ei fod y dyn mwyaf dylanwadol yn yr holl ymerodraeth Rufeinig, rhwng Julius Cæsar a Charlemagne. Amlygodd ei allu a'i ddylanwad yn fawr wrth wrthwynebu cyfeiliornadau Arius.

Gofod a ballai i ni fanylu, na dim ond crybwyll am rai o nodweddion tra phwysig eraill yn hanes Alexandria. Yma y tarddodd y bywyd meudwyaidd, yr hwn a ddaeth mor boblogaidd, ac a amddiffynid mor selog. Elfen Aiphtaidd oedd hon. Yr oedd yn ddyeithr i had Abraham; er fod bywyd ymneillduol am dymor wedi cael ei arferyd weithiau yn eu plith. Nid oeddynt feudwyaid, llawer llai yn meddu mynachdai. Yr oedd y gyfundrefn hon yn yr Aipht yn y drydedd ganrif yn ei llawn nerth, a pharhaodd yn mlaen trwy yr oesoedd yn boblogaidd, ac hyd y dydd hwn yn yr eglwys Babaidd.

Dylem hefyd grybwyll fod celfyddydau rhif a mesur mewn bri mawr yn Alexandria. Dechreuwyd y gangen hon o ddysgeidiaeth gan Euclid, ddau gant o flynyddau cyn Crist.

Saif Alexandria bresenol bron ar yr un tir a'r hen ddinas; nid oes ond ychydig o weddillion yr hen ddinas i'w gweled. Yr oedd y boblogaeth pan dorodd y rhyfel presenol allan yn rhifo oddeutu tri chant o filoedd. Mae y porthladd yn hynod gyfleus a diogel, ac yn meddu dociau rhagorol Nid yw y manylion wedi cyrhaedd pa gymaint o'r ddinas a'r prif adeiladau ydynt wedi eu dinystrio a'u niweidio gan y tânbelenaiad diweddar gan gad-longau ofnadwy Prydain. Mae y rhyfel sydd yn awr wedi dechreu yn debyg o esgor ar ganlyniadau pwysig i Alexandria, Ewrop, a'r byd.

---

## LLINELLAU

*A awgrymwyd ar Fedd y* PARCH. JOHN ROBERTS, *gynt o Dredegar, D. C., yn Monwent Minersville, Pa.*

GAN MYFYR EMLYN.

O, dystawed pob ryw gynhwrf,
Cadw draw, gyhuddwr câs;
Paid a'th awgrymiadau duon,
A'th ensynion bryntion, bâs;
Iesu, cyfaill gwael bechadur,
O, cysgoda fi a'th ddawn;
Na ddisgyned ar fy nghlustiau
Ddim ond murmur môr yr Iawn.

Tra y safaf uwch tywarchen
Un o feib athrylith gref,
Y bu Cymru lawer canwaith
'N nofio yn ei ddoniau ef,
Ar ei fedd tywalltaf ddeigryn,
Megys gwlith ar flodau iach,
Pwy ond Duw all lwyr amgyffred
Ddyfnder teimlad deigryn bach?

Bum yn wylo dan ei ddoniau,
Doniau megys engyl nen,
Ond Ow! heddyw'n wlyb fy ngruddiau,
Wylaf ddagrau uwch ei ben;
Ha! r hen gerub, ai'r fan yma
Wyt yn huno ar dy hynt?
Ti, fu megys corwynt nerthol,
'N siglo coedwig Cymru gynt!

Ar fwrdd llawn dy fawr athrylith
Y mwynheais lawer gwledd,
Er yn fud, y mae arabedd
Eto'n fyw ar ael dy fedd.

Digitized by Google

Os na wnaeth 'sgrifenydd medrus
  Gofiant mewn edmygol dân,
Os na ddarfu bardd i odli
  Ar dy ol un alar-gân,
Os na chodwyd ddrud gof-golofn
  I'th athrylith—ryfedd un,
Nid oedd eisiau—oesol golofn
  A gyfodaist ti dy hun.

Nis gall angeu'n llwyr dy lyncu,
  Nis gall bedd ddystewi'th lais;
Mewn calonau mae'n taranu
  A rhaiadru yn barhaus;
Creigiau Sinai sy'n dyspedain,
  Chwareu wna telynau'r nen,
Ac mae swn yr hen Niag'ra
  Fyth yn nghlustiau Cymru wen!

O, na allwn dy ddihuno
  Er areithio am ryw awr!
Mwy na thâl a fuasai hyny
  Am ddod dros y Werydd fawr!
Ofer hyn, mae'th lais yn ddystaw,
  Gwelw hefyd yw dy wedd,
Ac mae'n rhaid i mi foddloni
  Ar athrylith fud dy fedd.

Ffarwel 'nawr, hen blentyn cawraidd,
  A diniwed—nid difai,
Ond na llawer hir-wynebog
  'Roedd dy feiau'n llawer llai;
Mantell wen brawdgarol gariad
  Dynaf dros dy goffa di,
Tra y clywaf rad drugaredd
  'N sibrwd "maddeu," oddi fry.

Gorphwys yn dy fedd estronol
  Mwy dan nefol nodded Naf;
Minau âf i chwilio beddrod
  'Nol i Gymru wen, os caf,
Aed y balchaidd Pharisead
  Heibio'th fedd, gan ysgwyd pen,
Gwelaf ddwyfol gydymdeimlad
  Yn enfysu'r orsedd wen!

Clywaf y tylawd yn llefain,
  "Cladd fy meiau, nefol Dad,"
Gwelaf fynydd du yn suddo
  Dros ei ben yn môr y gwa'd;
Mae yr awen yn faddeugar,
  A chyfoethog yw ei 'stôr,
Ond nid rhyfedd, anhawdd ydyw
  Peidio maddeu uwch y môr!

Môr trugaredd Duw mewn dyndod—
  Môr y Duwdod—nid dafn dyn,
Môr na welodd neb ei waelod,
  A di-drai fel Duw ei hun;
Môr a ylch y rhai aflanaf
  Fel yr eira'n hyfryd lân,
Môr a wna hen fyd y galar
  Maes o law yn fyd y gân.

Beiau Alpaidd guddiwyd ynddo,
  Byth ni adgyfodant hwy;
Cariad dyn a guddia lawer,
  Cariad Duw, anfeidrol fwy!

Melus iti, hen bererin,
  Yn y bedd gael esmwyth hun,
Lle y paid annuwiol gyffro,
  Lle gorphwysa'r teithiwr blin.

Lle nas medr tafod enllib
  Frathu'n greulawn megys cledd;
I'r trallodus, man caredig,
  Bendigedig yw y bedd;
Lle mae lloches rhag cynllwynion,
  Byd, helbulon o bob rhyw,
Gwell yw'r ddaear na'i thrigolion,
  Ond na daear gwell yw Duw.

Disgyn eto a wna deigryn—
  Ffarwel ddeigryn dan ei bwn,
Ha! mi welaf galon Cymru,
  'N wylo yn y deigryn hwn.

*Narberth, Mehefin 21, 1882.*

---

## DRYGEDD TAENELLIAD BABANOD.

GAN Y PARCH. WM. JONES, WISCONSIN.

Mae y drygedd sydd yn perthyn i daenelliad babanod yn fawr ac amrywiol. Y cyntaf a enwaf o blith y lluaws ydyw, ei fod yn tywyllu yr Ysgrythyrau; ac os gallaf brofi ei fod yn gwneyd hyn, nid oes angen profi fod un drwg arall yn perthyn iddo mewn trefn i ddangos ei fod yn haeddu marw; oblegid un o gynlluniau y diafol ydyw "dallu meddyliau y rhai digred, fel na thywynai iddynt lewyrch gogoniant efengyl Duw yn wyneb Iesu Grist." Ond cael y tystion yw y peth nesaf:

Digitized by Google

"Yn y taenelliad mae meddwl arwyddocaol yr ordinhad yn cael ei gwbl golli."—Gwel *Rheinard's Ethics.*

"Mae trochiad mewn modd mwy effeithiol yn gosod allan farwolaeth, claddedigaeth ac adgyfodiad Crist, a ninau."—*Estius.*

Esgob Burnett, ar ol dweyd fod bedydd yn gosod allan Grist yn ei farw, a'i gladdu, &c., a ddywed, "O herwydd y rheswm hwn y daeth yr ymadroddion, Bedyddio i farwolaeth Crist; ein claddu gydag ef trwy fedydd i farwolaeth; ein cyfodi gyda Christ, gwisgo Crist; diosg yr hen ddyn, a gwisgo y dyn newydd."--Tu dal. 374.

Mae yr ymadroddion hyn yn edrych ar y soddiad a'r cyfodiad yn y bedydd, ac mae y soddiad a'r cyfodiad yn edrych ar yr ymadroddion; maent yn cyfateb i'w gilydd yn berffaith, fel mae pob rhan o osodiadau Duw.

Tholuck ar Rhuf. 6: 4, a sylwa—"Mewn trefn i ddeall defnydd ffigyrawl bedydd, mae yn rhaid i ni gadw yn ein meddwl y ffaith eglur, fod yr ymgeisydd yn yr eglwys gyntefig yn cael ei drochi mewn dwfr, a'i godi allan o hono drachefn."—Tu dal. 130.

Onid yw tystiolaethau y dynion galluog a dysgedig uchod yn dangos yn eglur mor naturiol ydyw ymadroddion y Testament Newydd i weinyddiad priodol o fedydd y Testament Newydd, fel ag mae newid y naill yn rhwym o daflu tywyllwch ar y llall?

Proff. Lange ar Fedydd Babanod, ar ol dweyd fod y Cristion yn ei fedydd yn gosod allan ei fod wedi cydfarw, cyd-gyfodi, &c., gyda Christ pan yn cael ei gladdu dan y dwfr, a sylwa: "Arwyddlun mwy tarawiadol nis gellid ei ddewis." Pa ryfedd fod yr "arwyddlun yn darawiadol," gan mai Duw unig ddoeth a'i dewisodd?

Ond mae y geiriau canlynol o eiddo Dean Stanley yn ddigon i synu angel yn y nefoedd—"The substitution of infant baptism for adult baptism, like the change from immersion to sprinkling, is thus a triumph of Christian charity."—*Stanley on Baptism, p. 27.* Yn ol y dystiolaeth uchod, mae mwy o *Christian charity* yn perthyn i'r Pab o Rufain nag un dyn arall, o herwydd mae wedi newid mwy ar sefydliadau Cristionogol nag un dyn arall yn y byd.

Eto, dywed yr un awdwr, "The change from immersion to sprinkling has set aside the larger part of the Apostolic language regarding baptism, and has altered the very meaning of the word."—*P. 23.*

Mae y dystiolaeth hon yn cynwys tri phechod yn erbyn taenelliad babanod: 1. Mae wedi cymeryd lle ordinhad yr Arglwydd Iesu Grist. 2. Mae wedi gosod o'r neilldu y rhan fwyaf o iaith yr Apostolion mewn perthynas i fedydd. 3. Mae wedi newid unig feddwl y gair. Yn awr, ddarllenydd hoff, onid yw y ddau gyhuddiad olaf yn dangos yn eglur ei fod yn euog o'r drwg wyf yn ei ddwyn yn ei erbyn, sef tywyllu yr Ysgrythyrau, yn enwedig y rhai sydd yn cyfeirio at fedydd?

Mae Conybeare a Howson, yn eu sylwadau ar Rhuf. 6: 4, yn dweyd, "Nis gellid deall yr adnodau hyn heb gadw yn y meddwl fod y bedydd cyntaf yn cael ei weinyddu trwy drochiad."

Dr. Hammond, yn sylwi ar yr un lle, a ddywed, "Mae yn beth ag y mae pob Cristion yn ei wybod, fod trochiad yn y bedydd yn gosod allan farwolaeth, claddedigaeth, ac adgyfodiad Crist." Mae y Dr. yn y sylw uchod

Digitized by Google

yn gwadu Cristionogaeth y rhai sydd yn ceisio gwadu nad yw Rhuf. 6 : 4 yn cyfeirio at y claddu a'r codi yn y bedydd; mae hyn yn lled galed ar y rhai sydd wedi llyncu dychymyg ffol Andover.

Esgob Headley ar yr un lle a sylwa, "Pe buasai bedydd yn cael ei gyflawni y pryd hwnw, fel y mae gyda ni, ni chlywsem byth son am y fath ymadroddion a marw, a chyfodi drachefn, yn yr ordinhad hon." Prawf y sylw uchod fod bedydd y Testament Newydd a'i ddysgeidiaeth yn edrych ar eu gilydd, gan esbonio y naill y llall; ond nid yw cyfeiriadau yr Ysgrythyrau yn gwybod dim am y defodau a ddaeth i mewn ar ol marw yr Apostolion.

Meddai Drs. Storrs a Flatt yn eu *Biblical History*, "Nis gallasai dysgyblion ein Harglwydd ddeall ei orchymyn mewn un dull arall ond yn golygu trochiad, a'u bod wedi ei ddeall felly a brofir mewn rhan drwy y rhanau hyny o'r Ysgrythyrau pa rai sydd yn amlwg gyfeirio at drochiad." Mae dynion doeth yr oes hon yn deall meddwl Crist mewn ffordd wahanol i'r Apostolion. Mae yr oes hon yn *age of progression*—yn gallu rhoddi gwelliant ar drefniadau dwyfol.

Mae Martin Luther yn sylwi ar Rhuf. 6: 4. Ar ol dweyd y dylai y rhai a fedyddir gael eu llwyr drochi, am fod y gair yn golygu hyny, yn gystal ag arwyddocad bedydd yn galw am hyny, dywed, "Dylai dull bedydd ateb i arwyddocad bedydd, fel y gosodo allan arwydd sydd yn sicr a llawn."—Cyf. I., tu dal. 72.

Pe buasai prophwydi yr Hen Destament, gyda Christ a'i Apostolion yn y Testament Newydd, yn darlunio dyoddefiadau y Messiah fel yn ddibwys ac ychydig, buasai y bedydd a'r swper yn ddarluniadau hollol anmhriodol ac annheilwng o ddoethineb eu sefydlwr; ond gan fod y dyoddefiadau yn cael eu darlunio mor annhraethol fawr, gellir dweyd yn iaith Lange, "Arwyddlun mwy tarawiadol nis gellid ei ddewis."

Mae y Parchedig T. Charles, o'r Bala, o dan y gair Bedydd, yn dweyd, fod "soddiad corph y bedyddiedig yn y dwfr, a'i gyfodiad o'r dwfr, yn gosod allan gladdedigaeth ac adgyfodiad Crist." Ac er ei fod yn dweyd fod taenelliad yn gwneyd hyny, nid yw yn ceisio dangos pa fodd; a'r rheswm paham ydyw, am nas gallasai.

Dr. Chalmers ar Rhuf. 6 : 4, a sylwa, ar ol dweyd fod y gair bedydd yn meddwl trochiad, a bod y trochiad yn cael ei arfer yn yr oes Apostolaidd: "Yr ydym yn cyfeirio at hyn er mwyn taflu goleuni ar y cyfatebolrwydd sydd wedi ei osod yn yr adnodau hyn. Iesu Grist, drwy farwolaeth, aeth o dan y fath hyn o fedydd, sef trochiad o dan arwyneb y ddaear, o ba le yn fuan yr adgyfododd. Ninau, drwy gael ein bedyddio i'w farwolaeth ef, ydym yn ymddangos fel wedi gwneyd symudiad cyffelyb yn y weithred o ddisgyn o dan ddwfr bedydd, ac ymwrthod â'r hen fuchedd." Syndod fod Chalmers yn gorfod cyfeirio at y trochiad yn y bedydd er mwyn rhoddi goleuni ar yr adnodau uchod. Os nas gallasai Chalmers egluro yr adnodau gyda ei fedydd ei hun, mae hyny yn profi dau beth: Yn gyntaf, nad oes un dyn dan haul a fedr wneyd; yn ail, fod ei fedydd ei hun yn tywyllu yr Ysgrythyrau.

Dywed Dr. Towerson, "Mai trochiad yw yr unig ddull cyfreithlawn o fedydd, am ei fod yr unig ddull a all ateb dyben y sefydliad, yn nghyd a'r pethau sydd i'w harwyddocau drwy-

Digitized by Google

ddo."—Rhan III., tu dal. 58. Os mai trochiad yw yr unig ddull cyfreithlawn o fedydd, rhaid fod pob dull arall yn anghyfreithlawn, ac os yn anghyfreithlawn, rhaid ei fod yn bechod, oblegid "anghyfraith yw pechod."

Dywed Dean Stanley—" The recollection of that original baptism helps us better to apply to ourselves the language of the Bible concerning it."—P. 12. Pa fodd y mae tystio yn fwy plaen fod bedydd babanod yn tywyllu yr Ysrythyrau nag y gwna y Dean yn y dyfyniad uchod? " It is a greater change, even than that which the Roman Catholic church has made in administering the sacrament of the Lord supper in the bread without the wine, for that was a change which did not affect the thing that was signified, whereas the change from immersion to sprinkling has set aside the larger part of the Apostolic language regarding baptism, and has altered the very meaning of the word."—P. 23. Dywed yr awdwr, "Er fod y cyfnewidiad yn fwy na'r cyfnewidiad a wnaed yn y swper, eto ei fod wedi ei ddwyn oddiamgylch braidd heb un gwrthwynebiad, tra yr achosodd y cyfnewidiad yn y swper ryfel yn Bohemia, ac wedi bod yn achwyniad parhaus gan y Protestaniaid yn erbyn y Catholics."

Mae y sylw uchod yn dangos gwirionedd y peth a ddywedais mewn un o'm hysgrifau o'r blaen, nad oes un dosbarth o ddynion dan haul, ond y Bedyddwyr, fedr sefyll yn erbyn ymosodiadau eglwys Rhufain.

Ar derfyn fy ysgrif hon, gofynaf, Os yw Duw y nefoedd wedi rhybuddio ei brophwydi i lefaru ei eiriau ef yn eglur wrth y bobl yr anfonwyd ef atynt, atolwg, dysgeidiaeth a defodau pa dduw yw y rhai hyny sydd yn tywyllu dysgeidiaeth cenadon y Nef yn y dyddiau diweddaf hyn? Ac os yw taenelliad babanod yn tywyllu yr Ysgrythyrau, nid oes angen profi ei fod yn euog o un pechod arall, i brofi y dylai gael ei alltudio tu hwnt i gyniweirfeydd meibion dynion i dir tragywyddol anghof.

## Y PARCH. DANIEL JONES, LIVERPOOL.

GAN Y PARCH. D. W. MORRIS, TAYLORVILLE.

I. Ardalydd o dudwedd arswynol. Dechreuodd anadlu yn y flwyddyn 1794, yn Sir Gaerfyrddin, yn mhlwyf Cilycwm, yn mwthyn y Llether, ac yn ymyl Cwmsarnddu. Dwy chwaer sydd yno yn awr yn cofio Daniel Jones yn y crwyn gwyrddion, yr eithin mân, y meillion têr, ac yn y rhedyn rhwydog. Mrs. Harris, Penybont, a Mrs. Thomas, Penygroes, yw y Rahel a'r Leah, wedi aros gyda ser Syria " hyd yr awr hon." Eglwys Cwmsarnddu a ffurfiwyd yn 1806; adeiladwyd yr addolfa yn 1814, ac yr oedd Timothy Thomas, o'r Maes, wedi bedyddio Daniel yn y flwyddyn 1818. Rhaglawiaid Cwmsarnddu yr adeg hono oeddent Jacob Jones, y Mount; Daniel Davies, Bryndare, a John Morgan, Ysw., y Talog. Yn 1817, yr oedd Mrs. Margaret Saunders, gwraig y Parch. David Saunders, Merthyr, yn myned ar gyfymweliad â'i rhieni, bu farw yn sydyn gerllaw Cwmsarnddu, yn 40 mlwydd oed, a chladdwyd hi yno. Ar y mur y mae maen ei bedd hi, ac arno yr englyn yma o gyfansoddiad ei phriod iddi:

"Cofiwn mor iach y cyfyd—i fwyniant
Nef anwyl a'i gwynfyd,
A hwylio mawl, hyfawl o hyd,
Yn helaeth i'w Hanwylyd "

Dyna y peth cyntaf a ganfyddwn ar fy mynediad i addolfa Cwmsarnddu y deuddeng mlynedd y bum yno yn gweinidogaethu. Derbyniais yno allu i anghofio y cyfan ond addoli. Bedyddiais yno ugeiniau, a gallwn wylo yn hawddach nag ysgrifenu y mwyniant a fu. Dechreuodd Daniel Jones breg-

Digitized by Google

ethu yn 1811, a bu yn ehedydd y cwmwl, eos y llwyn, ac yn delynorydd i gynulleidfa Cwmsarnddu lawer o flynyddoedd cyn fy ngeni i. Treuliodd adeg fer yn Athrofa Abergavenny. Priododd yn 1815 â Miss Jane Rowlands, Eryd, a chafodd ynddi angyles y cwm, a boneddiges y fro, a'r decaf o forwynion Albonia yn wraig iddo. Merched, gan mwyaf, oedd y teulu, a bu un yn wraig i "Nefydd fawr," un arall i John Thomas, llywydd gorsaf y Gwestdy Newydd; a ganwyd un mab yn Eryd, Ebrill, 1817. Enwyd ef gan ei rieni yn Ebenezer Rowland Jones, a bydd gair i gofnodi am dano cyn diweddu.

II. Ardalydd y ddinas bendefigol. Aeth Mr. Daniel Jones o Gwmsarnddu i Liverpool yn 1817, a gwelodd yno olion llaw Joshua Reynolds ar y meini; hyawdledd Chatham ar wefus y mynor, a thwrw mawr yn mhlith meibion y môr. Egwan oedd y Cymry pan aeth efe yno. Adeiladwyd addoldy Great Cross Hall Street ganddo; a bu y Parchn. Moses Fisher, Byrom Street; James Lister, Lime Street, a C. M. Birrel, Pembroke Street, yn noddwyr iddo. Efe a ymunodd â Chymanfa Bedyddwyr Gwynedd yn nyddiau cadernid Christmas Evans, canolddydd J. B. Roberts, a boreuddydd Dr. Ellis Evans, Cefnmawr, a Prichard, Llangollen; ac yn mhlith lleygwyr yr enwad yn yr adeg yr oedd P. A. Mon yn awenydd, Mr. Palmer, Amlwch, yn gwylio, a William Jones, Ysw., Pwllheli, yn gyfranwr rhwydd. Adeiladodd Mr. William Jones long genadol i'r Bedyddwyr, a galwodd hi *William Carey*, heb y D. D. iddi. Eiddwg garedigion i Daniel Jones yn mhlith enwadau y tu allan oeddent James Hughes, Llundain; Thomas Pierce, Liverpool; Caledfryn Williams, Caernarfon, a'r hen J. R., Llanbrynmair. Mor ddirfawr oedd ei swynion, ei synwyr a'i serch, fel mai annichonolrwydd peidio ei hoffi. Arferai Jonathan Jones, Cefnmawr, ddweyd, y bydd son am Daniel Jones yn Liverpool tra byddo ton yn treiglo yn afon Trugaredd. Rhwymwyd y mab, Ebenezer Rowland, yn argraffydd gyda Mr. Maples, yn Liverpool. Aeth y bachgen i bregethu; bu drwy Ddeheudir Cymru, ac yn boblogaidd iawn. Dychwelai yn y cwch ar afon Mersey o Birkenhead wedi oedfa y nos, cafodd anwyd mawr, a bu farw Gorphenaf, 1838, yn 21 ml. oed, a chladdwyd ei gorph wrth gapel Byrom Street. Mae awdl faith iddo gan y Parch. Thomas Pierce, gweinidog y Cynulleidfaolion yn Bethel, Liverpool; englynion gan Robert Ellis, Glynceiriog, ac eraill gan Daniel Jones ei hun, i'r mwyn fachgenyn a gollodd.

"Yn yr amdo er fy nhrymder—y mae
Fy mwyn fachgen tyner:
'Rwyf dan loes am fy oes fer,
O eisiau Ebenezer."

"Hynawsedd oedd Ebenzer—o'i ddoniau
A'i ddenawl felusder;
Bathu a wnai bethau Ner
I fyny ar ei faner."

III. Ardalydd i dref y cuneddion. Atebodd yr alwad i'r Bontfaen, yn mro Morganwg, yn 1842. Tref hir yw y Bontfaen, ac un heol iddi, tua haner ffordd rhwng Caerdydd ac Abertawe. Amgylchir hi gan Llantrisant a'r mynyddoedd, gan Llysfronydd a chan y môr. Yn 1820 bu Joseph Harris yn arwydd y Seiri Meini yn y Bontfaen, yn gweled peiriant anolo, ac yn *Seren Gomer* yn ei ddarlunio. Mwy oedd y son am dano nag am y trenebydd agerog, a'r trosglwyddebydd mwyaf melltenog gyda ni. Enwogion nodweddau y Bontfaen a fu Iolo Morganwg, Morgan Howells, a Shadrach Davies, y Maendy. Addoldy y Bedyddwyr yno a elwir Ramoth, ac yno y bu y diniwed John Howe yn canu, Thomas Hopkins, Tymawr, yn ffyddlawn, a Thomas Miles gyda hwy, ac eraill rhy aml i'w nodi.

Yn Ramoth, y Bontfaen, y bu y perdonydd John Roberts yn gweinyddu am flynyddoedd, a marw yn 1835, yn 49 mlwydd oed. Er ei gladdu yn monwent Ramoth, y mae enw John Roberts yn fyw ar ryferthwyon yr amseroedd. Daeth Daniel Jones o Liverpool wedi aros yno, a llwyddo yn fawr am fwy na 25 o flynyddoedd, ac yn y Bontfaen y disgynodd llinyn yr etifeddiaeth iddo. Ac yn y cyfnod

Digitized by Google

hwnw yr oedd Bedyddwyr y Bontfaen yn addoli gyda brwdfrydedd, y mellt, bywiogrwydd y môr, ac asbri adar y mynyddoedd. A phan y byddai Daniel Jones yn darlunio "yr eneiniad, y Sanctaidd hwnw yn ei roddi, a gwybod pob peth," i ganlyn, rhaid mai canu mawr yn Ramoth a fu, a wylofain yn Ramah a ddarfu.

IV. Ardalydd i drofa y dysgyrchion. Teimlai y caredigion yn Adulam, y Felinvoel, nad oedd neb ond yr angel penwyn a ddaethai o Liverpool, ac a ddisgynasai yn y Bonvaen, a wnai y tro i eglwys fawr Adulam. Rhoddwyd galwad gynes iddo yn 1845, ac yno y bu am wyth mlynedd, a "chyfododd Duw o flaen Ephraim, Benjamin, a Manasseh," a bu yno amseroedd hyfryd. Tra yno bu Mr. Jones yn offeryn i adeiladu capel Ebenezer yn Cross Inn. Cyhoeddodd lyfr emynawg i'r enwad, a gyrodd allan gyfrol o "Bregethau Byrion." Prynais hi ganddo yn 1846; y mae yn awr gyda mi, a gallaf ei galw yn Delyn Daniel; ond nid yw llais y canwr, na llaw y chwareuwr, na llesmair y traddodwr ynddi. Dyna yr adeg yr estynodd efe i mi gofiant ei fab Ebenezer Rowland Jones, wedi ei gyhoeddi yn gryno gan David Rhys Stephen, a'i gyflwyno idd ei rieni. Torodd Mrs. Jones allan i wylo am ei bachgen; wylodd y tad, ac wylais inau, am un na welswn erioed yn fy mro, ond eu gweled hwy mewn wylofain am dano. Tair blynedd cyn hyny, Mehefin, 1843, collaswn i fy mrawd Ebenezer trwy foddi, canys morwr oedd fy mrawd, a morwr ydwyf fi ar Werydd arwach na'r un y gwybu Ebenezer fy mrawd am dani. Rhwymais Gofiant E. R. Jones gydag *Analogy* Butler; ac y mae dwy bregeth o eiddo y gwr ieuanc ynddo, ar y "Dwyfol Garedigrwydd," a "Digonolrwydd y Llawenydd." Traddododd hono yn Mount Pleasant, Abertawe, rai misoedd cyn marw y pregethwr ei hun; a hynod yw, mai yn yr un addoldy yn fuan y traddododd Christmas Evans ei bregeth ddiweddaf cyn ei godi i *Oratorio* y perffeitholion. Rhaid peidio amgylchu beddau y marwolion yn hwy, ond ymrwyfo gyda Daniel Jones, a rhoi y pwnc o'r neilldu.

V. Ardalydd y dwynfa edmygol.—Aeth Daniel Jones o Adulam y Felinvoel, yn weinidog i Ainon, Tongwynlas, yn 1853. Mae trylainder Ffynon Taf, pinaclau Pentyrch, nythle y Nantgarw, gweithfa Melingriffith, y wenawg Wauntroda, a mordwyfa Caerdydd, yn gyfagos i Dongwynlas. Aethai Daniel Jones, fel Jesse y Bethlehemiad, "yn henafgwr yn mhlith y gwyr," ond yr oedd yn mhlith y plant yn blodeuo er penwynu a heneiddio. Bu yn alaw i Ainon, telyn i'r Ton, a dwsmel i dyrfa, hyd ei farw. Agosed ag y cofiwyf, mai yn 1865 y daeth angeu i'r babell i ymofyn y Parch. Daniel Jones i'r deml, ac efe o gwmpas 74 mlwydd oed. Efe a guddiwyd yn mynwent Ainon, Tongwynlas, a chymydogion iddo yn y Groeswen yw Griffith Hughes, Moses Rees, Caledfryn fawr, a Ieuan Gwynedd. Rhaid y rheda angelion yr adgyfodiad drwy siroedd y ser i wahodd y rhai hyn o'r gwely. Bu Mrs. Jones fyw rai blynyddoedd wedi claddu ei phriod; ond hithau hefyd a hunodd.

# Fflachiadau Athrylith.

DETHOLEDIG GAN Y PARCH. D. RHOSLYN DAVIES, PITTSBURGH, PA.

## Y DRAUL.

Beth bynag a fyddo y draul—os bydd eisiau i mi ddisgyn o'r nef i barthau isaf y ddaear, a dyfod fy hun i'r frwydr, a chymeryd dinas Bozra fy hunan, deffroaf fel cadarn, a diosgaf fraich fy sancteiddrwydd, a dangosaf i alluoedd uffern y llaw a'r cleddyf o dan fantell goch o ysgarlad, wrth fyned i Galfaria. Os costia i mi waed, myfi a'i rhoddaf; os rhaid cael anfeidrol gariad, a gras

Digitized by Google

anchwiliadwy o haeddiant dwyfol, a gallu annherfynol, yr wyf yn berchen arnynt, ac nid arbedaf hwynt yn y rhyfel hwn. Os bydd raid i mi adael palas fy Nhad, a bod mewn pabell o bridd ar faes y rhyfel am 33 o flynyddoedd, "wele fi yn dyfod—aeth y gair o'm genau. Cuddiwyd edifeirwch o'm golwg. Myfi a lanwaf leoedd â chelaneddau; archollaf ben llawer gwlad." Os bydd raid i mi yfed y cwpan marwol, caiff hyny ei gyflawni; os bydd raid fy nhrochi mewn goddefaint, nes y byddwyf yn goch fy ngwisg, parod ydwyf. Os bydd eisiau teyrnwialen aur trugaredd, a ffon haiarn barn, y maent genyf; ac y mae genyf fraich a fedr eu llywio. Cyfranaf o arfdy y Brenin arfogaeth ac arfau i'm holl fyddin; gwisgaf hwy â gwregys gwirionedd, dwyfroneg cyfiawnder, tarian y ffydd, cleddyf yr Ysbryd, esgidiau parotoad, a gweddi, gwyliadwriaeth a dyfal-barhad, a'r cwbl o'r fath ddefnydd anfarwol, fel nad ellir eu treulio. Ni arbedaf un draul; os rhaid fy nghrogi ar bren, a'm rhifo gyda'r troseddwyr, a'm claddu mewn amdo marwol, i enill buddugoliaeth, gwnaf hyny yn ewyllysgar, ac heb droi yn ol.—*Christmas Evans.*

## Y NEFOEDD.

Y nefoedd! mae'n ofer—i eiddilyn
Ddal y gorddysgleirder!
Marwol wyf—môr o leufer
Sydd ormod i'w nychdod, Ner!

Hyd yn hyn, da yw i ni—fod y nef
O dan niwl—fod lleni
Yn dyner iawn am dani,
Gwal uwch haul o'i hamgylch hi.

Gorlawenydd sydd yn soddi—'n meddwl
'Run modd a gorgyni
Rhaid aros, hir nos, i ni
Weled ein hanfarwoli.—*Islwyn.*

## "UN DALENT."

Gall y byd fyw heb y Niagara, dylifiad mawreddus a tharanau byddarol yr hwn a gyffroant edmygedd a rhyfeddod dynolryw; ond nis gall fforddio hebgor y mil rhydweliau dystaw ac anweledig a redant yn barhaus ar draws y ddaear, gan daenu bywyd a phrydferthwch lle bynag y tramwyant. Felly y gall yr eglwys fyw heb y dynion mawrion a nodedig eu galluoedd; ond nis gall fforddio hebgor y dynion a feddant eneidiau tyner, cariadus a dyoddefgar.—*Dr. D. Thomas.*

## CYMDEITHAS EI FAB EF.

Nid byw yn yr un wlad, nac yn yr un gymydogaeth, nac o hyd breichiau, y mae'r eglwys fawr a'i Fab Ef, ond byw yn yr agosrwydd tyneraf a gwresocaf. "A chwithau, y rhai oeddych gynt yn mhell, a wnaethpwyd yn agos drwy waed Crist." Rhyw air anwyl, a rhyw feddylddrych bendigedig, yw'r "gwneyd yn agos" yna. Mae symud dyn i'r pellder mawr, fel na byddo gobaith byth iddo weled ei wlad enedigol, ei hen gymydogaeth a'i dref, yn ddull o gosbi am bechod yn ein dyddiau ni. Beth yw alltudiaeth i ryw ynys tu draw i'r môr mawr ond hyny? A rhywbeth o'r natur hwn yw cyflwr "pell" pob euog ddyn. Ond yn ngwaed Crist fe gaed efengyl i'r cyflwr o alltudiaeth a'r pellder sydd yn sefyll rhwng dyn a gwenau y llywodraeth ddwyfol, modd i'w ddwyn i'r fath agosrwydd, fel mae'r ddeddf ag yntau yn cofleidio a chusanu, a chyfiawnder yn edrych arnynt gyda boddlonrwydd. Ond y mae'r gymdeithas hon yn golygu agosrwydd mwy cynes, a gwell na'r agosrwydd yna. Bod yn perthyn i'r teulu, a bod yn rhywle o dan y tô, oedd yr agosrwydd yna, yn lle bod yn estron ac yn ddyeithr-ddyn. Ond y mae agosrwydd y gymdeithas hon yn golygu, bod yn y parlwr, a'r ystafell oreu, lle mae'r gogoniant a'r mawreddau, a lle y mae ei Fab Ef, sef Priod yr eglwys, yn dal cymundeb â'i ddyweddi. Fe wyr yr angel am agosrwydd, ond agosrwydd gwr a gwraig sydd rhwng Seion a'i Fab Ef. Fe'i carodd hi, ac fe ddaeth i lawr i'w phriodi yn ei gwlad ei hun, ac yna bu farw drosti, i'w sancteiddio a'i gosod yn

Digitized by Google

ogoneddus iddo ei hun. Nid yw hi ddim i fod yn eiddo rhyw un arall, ond i fod yn ogoneddus iddo ei hun. Nid yw hi i ddal cymdeithas â neb arall, ond i gymdeithasu yn ogoneddus ag ef ei hun. Nid yw hi i fod yn forwyn fach, i edrych ar ol busnes isel, a *slop* y gegin, ond i fod gyda'i Phriod yn y parlwr, yn ogoneddus iddo ei hun. Dyma agosrwydd, a dyma anwylder na wyr yr angel nesaf at Dduw ddim am dano. —*J. Richards*.

## PERFFEITHIAD Y WEINIDOGAETH.

Dyma'r geiriau y dymunaf aros arnynt am ychydig amser—Goleuni, tân, ffydd, bywyd, cariad; gadewch i ni gael digon o honynt.

Yn gyntaf, *Goleuni.*—Pa faint bynag o oleuni allwn gael, pe bae ond goleuni dysgeidiaeth, y mae o werth mawr. Mynwch chwaneg o oleuni, ie, yn driphlyg o raddau mwy, ac o radd uwch, chwi sydd yn fyfyrwyr Gair Duw. Mynwch wybodaeth ar bob pwnc; ac yn wir, fe ddylem fod yn fwy gwybodus yn ol ein profiadau hefyd. Y mae rhai yn tyfu yn gyflym, am fod Duw yn eu fflangellu yn galed, neu y maent yn cael trallodau lawer, tra y mae eraill nad ydynt yn dysgu dim oddiwrth y cyffelyb bethau, ond pa fodd i greu chwaneg iddynt eu hunain a pha fodd i ddyfod yn fwy afresymol, pan y mae eu hafresymoldeb yn cael ei ddangos yn ein plith. Y mae gweddi yr hen Buritan yn werth i wneyd defnydd o honi yn y fan hon, yr hwn, yn ystod dadl a gymerodd le, a welwyd gan y presenolion yn ysgrifenu. Tybiasant mai cymeryd cofnodiad o araeth ei wrthwynebydd yr oedd, a chipiasant y papyr o'i law; a beth oedd arno ond y geiriau yma—"O Arglwydd, dyro ychwaneg o oleuni." Nid yn unig goleuni gwybodaeth, ond goleuni llawenydd a sirioldeb. Nid gwyneb trist, a rhyw lesmair ymddangosiadol, yn treiddio trwy yr oll o'n symudiadau, a wna y tro i gyflwyno Cristionogaeth i bechadur, yn enwedig i'r ieuanc. Peidiwch a choleddu y syniad y gwna difrifwch y tro heb wybodaeth, a pheidiwch dychymygu y gall eneidiau gael eu hachub heb eu dysgu yn ogystal a'u rhybuddio. Y math hwnw o dân nad oes ynddo oleuni, nid yw yn debyg y gwna fflamio. Cofiwch fod eneidiau yn cael eu hachub trwy gael agor eu dealltwriaeth. Y mae yn amheus genyf a yw yr Arglwydd yn y gwynt nerthol, ac yn y tân, fel yr oedd yn llais dystaw gwirionedd, pan yr anfonodd ei apostolion allan i bregethu, gan ddyweyd, "Ewch, a dysgwch yr holl genedloedd." Mae rhai pobl nad ydynt yn dysgu dim; meddyliant eu bod yn gwybod llawer, am eu bod yn eu rhoi allan mewn modd dyrys. Er fod y bobl yn tyfu, ac yn cynyddu, eto gellir dweyd fod y rhan fwyaf o'n cynulleidfaoedd mewn cyflwr o fabandod mewn perthynas i bethau Duw. Gan hyny, rhoddwch iddynt addysg. Darluniai Talleyrand athronydd fel person nodedig o gywrain, yn gallu tynu llinell ddu ar fan du. Yr oedd hyny yn iawn, ond dylasai fod yn hoffach o dynu llinell wen ar fan du, neu linell ddu ar fan gwyn. Yr ydych wedi clywed pregethau yn llawn o araethyddiaeth, a'r pregethwyr yn myned yn mlaen fel Blondin yn cerdded ar hyd y rhaff; ac wrth wrando arnynt, yr oeddych yn meddwl y buasent yn methu cyn myned drwy eu gwaith; ond rhywfodd, aethant drwyddi. Ond er gwrando, arnynt, yr oeddych yn teimlo fod angen heb ei ddiwallu wedi hyny. Ni wna araethyddiaeth ddiwallu angen neb; na, y mae yn rhaid cael bwyd ysbrydol i enaid. Y mae rhai yn araethyddol naturiol; felly; gadawer iddynt ddefnyddio y cyfryw rodd er clod i Dduw. Nid wyf yn credu y dylai y pregethwr naturiol ddawnus ddwyn ei lais i lawr i'r un swn a llais aderyn y tô. Ond os byth y bydd dawn ac araethyddiaeth yn myned ar ffordd goleuni, y mae hyny yn felldith yn lle bendith. Y mae angen mawr yn y dyddiau hyn am roi llawer o oleuni i'r bobl, pan y mae cymaint o ymosodiadau yn cael eu gwneyd at ei dywyllu a'i ddiffoddi. Cedwch y goleuni i oleuo yn yr eg-

Digitized by Google

lwys, yn y pwlpud, a deliwch ef yn ngwynebau eich cynulleidfaoedd. Os na wnewch; fe ddaw gauhudwyr oddiamgylch yn y nos, ac ant i ffwrdd a'r rhai sydd heb eu goleuo yn ein hegwyddorion. Y mae arnaf ofn fod gormod o edrych ar bregethau i effeithio ar y teimlad yn unig. Pa fodd bynag am hyny, rhoddwch ddigon o wybodaeth ynddynt; porthwch y bobl gyda gwybodaeth a dealltwriaeth.—*C. H. Spurgeon.*

---

# Bwrdd y Golygydd.

## SULTAN TWRCI A KHEDIVE YR AIPHT.

Mae y ddau yn llaw Lloegr. Druain o honynt. Ni fedrant wneyd dim fel y dewisont hwy. Prydain Fawr sydd ben. Maent yn ei gafael fel dau *baby doll* yn llaw plentyn. Ow! tybed? Ydynt, yn sicr i chwi. Yr oedd y Sultan yn cael ei orchymyn gan y Llew Prydeinig i gyhoeddi Arabi, sydd yn cadw mwstwr yn yr Aipht, yn *wrthryfelwr.* Nid oedd y Sultan yn foddlawn gwneyd hyny, a bu yn ceisio ymesgusodi ei oreu rhag gwneyd y fath beth. Yn cael ei orchymyn eilwaith—"'Rhoswch chwi," meddai yntau, "a fyddai ddim yn well i mi wneyd hyny ar ol i mi anfon milwyr yno, a'i gyhoeddi ef yn wrthryfelwr wed'yn, os na rydd arfau i lawr?" "Na," meddai *John Bull,* "mae yn rhaid i ti wneyd hyny cyn cychwyn cam o gartref—dyna sydd i fod, ac nid gwiw cynyg un drefn arall." Wel, yr oedd hyn yn myned at galon y Sultan, ac meddai efe wrtho ei hunan, "Mae hyn yn rhy ddrwg hefyd—dyma fi yn Ymerawdwr Twrci, a'r Aipht yn Dalaeth yn fy ymerodraeth, ac yn talu teyrnged dda i mi yn flynyddol, ac os felly, fi sydd ben yno ac yma; ond druan o honof, dyma Loegr yn dod ataf gyda llais awdurdodol, ac yn dweyd mai hi sydd ben, a bod yn rhaid i mi wneyd fel y dywed hi. Yn wir, onid yw hyn yn rhy ddrwg?" "Ydyw, Sultan bach, mae yn ymddangos yn rhy ddrwg, yn rhy hyf yn Lloegr i wneyd a thi fel yna; ond beth wnei di? Os tyni di Loegr yn dy ben, daw Rwssia fawr am dy ben wed'yn, ac aiff pob *esgus* llywodraeth oddiarnat. Gwell ymostwng o lawer i'r awdurdod Prydeinig, er mor galed ydyw."

Mae y Sultan yn gwneyd hyn eto. Ond gyda bod y cydsyniad hwnw wedi ei roddi, dyma orchymyn arall yn dod ato, yn cynwys y waharddeb hon—Os oedd ef, y Sultan, yn myned i anfon milwyr i'r Aipht, fod y cwbl i fod dan reolaeth y Cadfridog Prydeinig. Wel, wel, dyna hi. Druan o'r Sultan!! Wrth gwrs, os yw y Sultan yn cael ei wneyd yn degan fel yna, rhesymol iawn dysgwyl fod y Khedive yn fwy o degàn yn llaw yr un *gallu* mawr. Beth sydd oreu, tybed? Fel y mae, yn ddiau. Rhaid i wareiddiad gael ei ffordd; rhaid i dywyllwch ffoi o flaen goleuni, ac am hyny rhaid i'r Khedive a'r Sultan blygu i awdurdod Prydain Fawr.

---

## CYMDEITHAS I'R HEN WEINIDOGION.

Y mae Cymdeithas er Cynorthwyo Hen Weinidogion gan y Bedyddwyr Seisonig yn Lloegr, a chan ein brodyr yn Nghymru, ac y mae mawr les wedi, ac yn cael ei wneyd trwyddi. A fyddai dim modd i Fedyddwyr Cymreig America gael cymdeithas o'r un natur? Credu yr ydym y dylai un fod genym. Mae gweinidogion yn myned yn hen yma, fel yno; ac yn—yn—wel—beth ddywedwn? a gawn ni ddweyd, yn dlawd yma fel yno? Cawn, cawn, a chawn ddweyd y gwir hefyd, fel y mae gwaethaf modd, a ni yn America fawr ei breintiau—ydynt, druain bach, mae y gweinidogion Cymreig yn ddigon tlawd a llwm, a hyny, mewn llawer engraifft, wedi treulio llawer blwyddyn

Digitized by Google

yn ngwlad y rhyddid a'r llawnder. "Yn dlawd a llwm? Tewch a son?" Rhaid tewi a dweyd y gwir, ynte. *Os* felly y mae pethau, onid oes calonau a deimlent i'w cynorthwyo, pe ceid cymdeithas a thrysorfa. Yr ydym wedi bod yn siarad yn bersonol ar y mater hwn â rhai brodyr da, ac arwyddent ddymuniad cryf am gael rhywbeth o'r fath i gynorthwyo hen weinidogion methedig teilwng. Mae un brawd da, selog ac ymddiriedol, yn eglwys Parsons, Pa., wedi addaw rhoddi haner can' dolar i ddechreu. Pwy ddaw eto i bleidio y fath fudiad?

## LLYFRYN GWERTHFAWR.

Y llyfryn hwn ydyw papyr a ddarllenwyd gan y Parch. Wm. Edwards, B. A., Pontypwl, yn Nghyrddau Undeb Bedyddwyr Cymru, yn Nhreorci, Hydref, 1881, ar "Yr Angenrheidrwydd am Ddiwygiad yn y Cyfieithiad Cymraeg o'r Ysgrythyrau." Derbyniodd y papyr gymeradwyaeth wresog yr Undeb, ac erbyn hyn y mae wedi ei gyhoeddi yn llyfryn destlus ar gais Pwyllgor Gweithiol yr Undeb. Mewn adolygiad arno yn *Seren Cymru* am Gorphenaf 7fed, llefara y Parch. Abel Parry, Abertawe, yn gymeradwyol neillduol. Yn niwedd ei adolygiad dywed fel hyn:

"Gallwn yr un mor ddibetrus ei gymeradwyo i weinidogion a phregethwyr. Y mae yn orlawn o awgrymiadau hapus iawn iddynt hwy. Diau ei fod ef wedi gwneyd hafog dychrynllyd o lawer pregeth dda o eiddo brodyr; ond gallwn sicrhau y cyfryw a gawsant golled o'r natur hwn, y gwna i fyny yn odidog am hyny, drwy *supplyo* awgrymiadau cyfoethog iddynt tuag at wneyd pregethau newyddion. Yr ydym ni yn siarad oddiar brofiad personol o'i wasanaeth yn y mater hwn. Un dydd Sadwrn, ryw dair wythnos yn ol, dychwelem adref o daith bell yn y Gogledd, a cheisiem ddefnyddioli yr amser hirfaith yn y trên drwy ddarllen y llyfr dan sylw; ac wrth ddarllen nodiadau yr awdwr ar Mat. 6: 1, awgrymwyd pregeth odidog i ni erbyn boreu Sul. Traddodwyd hi, ac y mae y brodyr call heb ddarfod a'i chanmol hyd heddyw. Gwnaethom lawer pregeth erioed yn y trên, ond ni wnaethom erioed un well na'r un dan sylw. Oni bae dau beth, sef fod ein nodiadau wedi rhedeg yn mhell eisoes, ac fod arnom eisiau gwneyd defnydd pellach o'r bregeth, rhoddem yr amlinelliad o honi yma, fel y gallo y darllenydd farnu. Yr ydym yn gwneyd y nodiadau personol hyn er dangos i'r frawdoliaeth beth a allant gael yn llyfr Proffeswr Edwards. Hyderwn y gwerthir ef yn gyflym. Gwna pob un a'i pryno wasanaeth nid bychan iddo ei hun, a gwna ei ran i drosglwyddo i'r byd ffrydiau dwfr y bywyd yn bur a dilychwin."

## LLOEGR A'R AIPHT.

Mae fod Lloegr wedi myned i ryfel â'r Aipht o dan weinyddiaeth Mr. Gladstone yn ddigon o sicrwydd fod galwad am y rhyfel. Y mae y Prif Weinidog hwn yn ddeddfwrfa ynddo ei hun. Gwladyddwr blaenaf ei oes ydyw. Nid yw pobl ydynt yn rhoi can lleied o werth ar fywydau ag yw yr Aiphtiaid yn gymwys i gael hunan-lywodraeth. Ac heblaw hyny, mae gan Loegr y fath fantais fawr trwy y Suez Canal, fel na fyddai y dramwyfa hono yn ddiogel pe byddai at drugaredd yr Aiphtiaid; ac y mae rhwymedigaethau yr Aiphtiaid yn rhy fawr i Loegr adael iddynt hwy wneyd fel y byddont hwy yn dewis. Fel hyn y mae gwareiddiad yn helaethu ei derfynau. Mae rhai pobloedd yn analluog i ddyfod i fyny eu hunain—y maent heb elfenau ymddadblygiad. Rhaid eu himpio wrth bren a bywyd ynddo, onide maent yn syrthio ymaith megys cangen, ac yn gwywo. Ymddengys fod yr Aiphtiaid felly; ac yn lle bod fel plwm wrth odreu cenedloedd a ddringant fryn uchel gwareiddiad, gwell eu dwyn hwy o dan ddylanwad dyrchafol cenedloedd gwareiddiol. Mae y byd i gael ei gyd-ddyrchafu. Nid aiff yr un olwyn yn y cloc yn iawn

Digitized by Google

heb i'r holl olwynion fyned. Ni fydd yr un gyneddf yn y meddwl yn gweithredu yn rheolaidd, heb i'r holl gyneddfau weithredu yn rheolaidd. Mae dyn yn unigol i'w ddyrchafu i gyd, felly y byd hefyd.

## Y TERFYSG GWYDDELIG.

Mae cryn anesmwythder yn bodoli yn rhanau gweithfaol Mynwy a Morganwg gyda golwg ar y Gwyddelod, yn herwydd y terfysg diweddar yn Nhredegar. Cyfyd yr anesmwythder hwn yn benaf, fe allai, yn mhlith y Gwyddelod eu hunain, y rhai a ofnant ymosodiad arnynt gan y Cymry a'r Saeson. Cyfyd hefyd o'r diffyg ymddiriedaeth sydd gan y Cymry a'r Saeson yn y Gwyddelod, ac o'r wybodaeth am eu hysbryd cwerylgar ac ymddialgar. Nid oes yr un terfysg wedi cymeryd lle eto ar ol un Tredegar, ac nid oes perygl mawr i'r un gymeryd lle. Mae yr awdurdodau yn effro i'w gwaith, ac i bwysigrwydd y cyfwng. Ymddyged y Gwyddelod yn ddoeth a heddychol, ac aiff y cyfwng presenol heibio yn fuan heb ragor o derfysg; ond os ymddyga y Gwyddelod fel arall, ni ellir ateb am y canlyniadau. Dyledswydd pob dyn yw arfer ei ddylanwad er symud yr anealltwriaeth presenol rhwng y Cymry, y Saeson a'r Gwyddelod, yn Neheudir Cymru. Y mae yn dda genym weled fod hyn yn cael ei wneyd gan weinidogion, offeiriaid a lleygwyr y rhanau gweithfaol, a chyfarfodydd cyhoeddus i'r perwyl yn cael eu cynal. Mae amryw o'r terfysgwyr mewn dalfa gan yr awdurdodau; ond mor bell ag y gwelsom ni, nid oes yr un Gwyddel mewn dalfa. Sut na ddaliesid rhai o'r Gwyddelod neu y Gwyddelesau a ymosodasan. ar "Fyddin yr Iachawdwriaeth" yn Tredegar? Sut na ddaliwyd y Gwyddel a dorodd drwyn y Cymro Evans yn Tredegar â phladur? Mae y wlad yn gwylio heddgeidwaid ac awdurdodau Tredegar, ac y mae yn dysgwyl am atebion boddhaol i'r cwestiynau hyn.—*Seren Cymru.*

## ANGHYSONDERAU LLYWIAETH EGLWYSI CYMREIG Y BEDYDDWYR.

Rai misoedd yn ol ysgrifenais lythyr i'r WAWR, amcan yr hwn oedd dangos mai rhyw fath o groes rhwng Annibyniaeth a Henaduriaeth ydyw llywiaeth eglwysig y Bedyddwyr Cymreig. Nid yw yn un o'r uchod, ac ymddengys fod y *cross* rhyngddynt yn fwy tebyg i *mob law* ambell dro nag i drefnusrwydd gweddaidd Cristionogaeth. Os wyf yn deall yn iawn, rhaid i weinidog pan yn symud o un Gymanfa i un arall, gael nid yn unig lythyr gollyngdod oddiwrth yr eglwys, ond hefyd oddiwrth swyddogion y Gymanfa. Os amcan y drefn yna yw cadw math o wyliadwriaeth dros eglwys unigol, am na ellir ymddiried ynddi i ymddwyn yn onest yn ei gollyngiaeth o weinidog, pob peth yn dda, a gadawer i'r cyhoedd wybod fod yr eglwysi a gyfansoddant y Gymanfa yn rhoddi iddi hawl *detective agency* dros yr eglwys, mor bell ag mae a fyno perthynas yr eglwys â'i gweinidog. Ond mae i unrhyw Gymanfa i ymwthio i awdurdodi dros gymeriad personol gweinidog, yn ymyriad anghyfreithlon âg annibyniaeth yr eglwys o'r hon mae y gweinidog yn aelod, ac yn ymosodiad ar iawnderau y gweinidog ei hunan; canys nid yw y gweinidog yn aelod o un Gymanfa. Cyfansoddir Cymanfa o *eglwysi*, ac nid o weinidogion; a henaduriaeth ddigymysg yw ymyriad y Gymanfa. Os bydd gweinidog ar ei ymadawiad yn dewis cael llythyr o gymeradwyaeth oddiwrth y Gymanfa, pob peth yn dda; ac hefyd oddiwrth Mr. Gladstone, ac oddiwrth weinidogion adnabyddus yn mhlith enwadau eraill, a hefyd oddiwrth athrawon ein colegau. Mae y naill mor briodol a'r llall; ac yn gyffredin pethau cwbl ddiniwed yw y llythyrau canmoliaethol hyn. Gall unrhyw ddyn ysgrifenu dwsin o honynt, ac os bydd o ryw werth yn ei gymeriad, gall gael deg o danysgrifwyr yn *endorsers* i bob un o honynt.

Yn awr, er fod y drefn i Gymanfa ymyraeth â safon y gweinidog, yn wrth-

Digitized by Google

annibynol, ac yn taro at wraidd annibyniaeth yr eglwys, eto cyfaddefir yn rhwydd fod yr arferiad wedi bod yn ffortunus yn ngwyneb ffeithiau adnabyddus. Mae engreifftiau wrth law pan yr oedd gan weinidog annheilwng ddigon o blaid mewn eglwys fechan i gael llythyr gollyngdod anrhydeddus, ac yntau yn cael myned yn rhydd fel blaidd ar gorlanau eraill; ac yr oedd *veto power* y Gymanfa, er yn afreolus, yn fendith i'r enwad. Ond gwendid y Bedyddwyr Cymreig ydyw nad yw Cymanfaoedd eraill a'u heglwysi yn talu sylw i awdurdod Cymanfa y'mhob amgylchiad. Mae engraifft neillduol o hyn o'm blaen y dyddiau presenol; ac wrth gyfeirio ati nid wyf yn ymgymeryd y gronyn lleiaf i farnu teilyngdod y gweinidog dan sylw. Dymunwyf o galon ei lwyddiant mewn eglwys y bum i ac ychydig frodyr a chwiorydd yn offerynol yn ei ffurfio, a gweithiais yn ffyddlon i gasglu arian i adeiladu ty addoli iddi. Mae genyf deimladau anwyl ac agos at yr eglwys, a gobeithiwyf y derbynia les oddiwrth weinidogaeth ei gweinidog. A threfn y Bedyddwyr yn eu Cymanfaoedd mae a fynwyf, a chymerwyf yr amgylchiad canlynol fel esiampl:

Yn Nghymanfa y Bedyddwyr a gynaliwyd yn Wisconsin (yn Dodgeville a'r cylchoedd), yn 1879, penderfynwyd "nad oedd un cysylltiad yn bodoli mwyach rhwng y brawd hwn a'r Bedyddwyr Neillduol yn Wisconsin."

[Ymddengys i mi nad oedd gan y Gymanfa yr un hawl i basio y fath benderfyniad. Nid oedd Mr. Evans yn aelod o honi, ac nid oedd a fynai y Gymanfa a derbyn na gwrthod unrhyw berson, canys âg *eglwysi* mae a fyno Cymanfa, ac nid â *phersonau.*]

Heblaw hyn, diarddelwyd y gweinidog o'r eglwys lle yr oedd yn aelod; yr hyn oedd yn rheolaidd mor bell ag yr oedd hawl yr eglwys yn myned. Parthed teilyngdod yr achos nid wyf yn dweyd dim, ond fod y Gymanfa wedi cymeradwyo gweithrediadau yr eglwys. Yn mhen ychydig fisoedd ar ol i Gymanfa Wisconsin "ymwrthod" â'r gweinidog dan sylw, aeth trwy y Talaethau, a'r newydd cyntaf a groniclir yn ei gylch, oedd, ei fod yn pregethu yn eglwys luosocaf yr enwad yn America! Nid yw yn ymddangos fod y Gymanfa yn Pennsylvania o'r hon mae yr eglwys yn aelod, wedi gweinyddu yr un cerydd arni am ei gwaith yn diystyru gweithrediadau Cymanfa Wisconsin! Mor bell ag mae rheolau annibyniaeth eglwysig yn myned, nid oedd yr eglwys dan sylw yn tori un ddeddf na rheol wrth agor ei phwlpud, ond yr oedd yn taflu i'r gwynt y rheolau sydd yn llywodraethu yn eglwysi Cymreig y Talaethau parthed gallu ac awdurdod y Gymanfa.

Yn ngwyneb y ffaith fod yr *eglwys* o'r hon yr oedd y gweinidog yn aelod, wedi ei ddiarddel, mae lliw arall yn cael ei roddi ar ymddygiad chwaer eglwys yn ei anrhydeddu â lle yn ei phwlpud. Ond nid a hyn mae a fynwyf. A'r egwyddor sydd yn gorwedd dan yr holl anghysonderau a'r afreoleiddiwch hwn mae a fynwyf.

Os yw eglwysi Cymreig yn cydnabod awdurdod y Gymanfa i dderbyn, gollwng, ac ymwrthod â gweinidog, dylent barchu gweithrediadau eu gilydd fel Cymanfaoedd.

Ond nid yw y mater yn terfynu gyda hyn. Aeth y gweinidog dan sylw i'r Hen Wlad; a chofier mai trefn wedi ei *himportio* o Gymru yw yr hon sydd yn rhoddi i Gymynfa hawl i ymyraeth â gweinidog; a'r peth cyntaf a glywwn o'r Hen Wlad am y brawd hwn oedd, ei fod wedi ei dderbyn yn aelod o eglwys yno, ac yn aelod (?) o'r Gymanfa! Nid wyf fi yn dal un cysylltiad a Chymanfa Gymreig Wisconsin, ond carwn ei rhoddi yn y *witness box* am ychydig fynydau, a gofynwn iddi y cwestiynau canlynol: Yn gymaint a bod y Cymanfaoedd Cymreig yn cydnabod ac yn proffesu awdurdod y Gymanfa dros y gweinidog, a wnaed cais gan y Gymanfa yn yr Hen Wlad arnoch chwi am ganiatad i adferyd y brawd hwn? Pa un ai ei adferyd a wnaed, neu ynte ei *godi* i'r weinidogaeth? Os ei adferyd, i bwy y proffesodd edifeirwch? Os yr eglwys yn yr Hen Wlad a'i cododd i'r weinidogaeth, a gymer-

Digitized by Google

odd yr eglwys hono ofal i gydweithredu mewn unrhyw wedd neu fodd gyda Chymanfa Wisconsin, neu yr eglwys yn Wisconsin yn yr hon yr oedd y diarddeledig yn aelod?

Frodyr—fel hyn yr ymddengys pethau i un y tu allan i'r cylch Cymreig: Mae yr eglwysi Bedyddiedig Cymreig yn rhoddi awdurdod i Gymanfa dros weinidogion ag ydynt yn gormesu ar annibyniaeth yr eglwys ac yn ymyryd â phersonau, tra nad yw personau yn aelodau o honi, ac felly nid oes ganddi hawl naturiol i'w codi i bregethu, na'u diarddel, na'u hadferyd, na'u derbyn, na'u gollwng.

Wedi i'r eglwysi dramgwyddo Annibyniaeth trwy y fath drefn ac arferiad, yna maent yn afreolaidd yn diystyru y drefn a'r rheol maent wedi eu gwneyd. Nid mater o deimlad dros, nac yn erbyn, unrhyw berson a ddylid ystyried yn yr amgylchiad hwn, ond cwestiynau fel a ganlyn: Yn mha le y mae terfynau hawliau cymanfaol? A oes a fynont â phersonau, byddent weinidogion neu aelodau cyffredin? Os cydnabyddir fod gan Gymanfa hawl i "dderbyn" neu "ymwrthod" â gweinidog, onid yw gwaith eglwys yn derbyn y cyfryw i'w phwlpud, yn afreolus? Os nad yw y cyfryw eglwys yn aelod o'r Gymanfa sydd wedi "ymwrthod," ac felly yn diystyru ei gweithrediadau, pa werth sydd mewn gwaith Cymanfa yn derbyn neu yn gwrthod unrhyw berson? Os "ymwrthodir" â gweinidog mewn un Gymanfa, a ydyw yn rheolaidd (a pheidio dweyd moesgar a boneddigaidd), i Gymanfa arall ei dderbyn heb ymgynghori â'r hon a'i gwrthododd? A ydyw Cymanfaoedd Cymru i'w dysgwyl i dalu rhyw faint o barch neu sylw i'w chwiorydd Cymanfaol yn America, ynte a ydyw yr holl barch a roddir i ddod o'r ochr yma?

A fydd brodyr fel y Parch. J. P. Harris, D. Jones (gynt o Abercarn), Cefni, neu olygydd y WAWR, mor garedig a goleuo ar y pethau hyn?

Yr eiddoch, &c.,

H. O. ROWLANDS.

*Oshkosh, Wis.*

## ADOLYGIAD Y WASG.

Y WEITHRED O FEDYDDIO, neu ymchwiliad i DDULL BEDYDD, gyda sylwadau ar ddeiliaid, hanesiaeth, a dyben Bedydd, gan y Parch. HUGH JONES, D. D., Llangollen. Argraffiad newydd gydag ychwanegiadau.

Gan mai newydd ddyfod i law yw y gyfrol newydd uchod, ni allwn y mis hwn ond bron grybwyll ei derbyniad. Mae golwg y gyfrol yn hardd a destlus. Ymddengys fod yr awdwr parchus wedi rhoddi llafur mawr ar y gwaith hwn. Y mae yr ychwanegiadau yn gyfryw fel y gellid galw y gwaith yn newydd hollol bron. Cynwysa y llyfr 288 o dudalenau.

## MAN-LEWYRCHIADAU.

—A fydd y sawl ydynt yn ysgrifenu erthyglau i *form* gyntaf y WAWR mor garedig a'u hanfon mor gynar yn y mis ag y gallont? Byddai hyny yn hwylusdod i'r argraffydd.

—Mae yr eglwys yn Providence, Pa., mewn cyflwr llewyrchus, y gynulleidfa yn lluosog, a son yn y gwersyll am gael gweinidog.

—Mae y Parch. J. P. Harris (*Ieuan Ddu*) wedi ymsefydlu yn Nanticoke, Pa., yn weinidog ar yr eglwys Seisnig.

—Nid oes gweinidog yn bresenol gan yr eglwys yn Kingston, Pa., ond y maent hwythau yn son am gael un.

—Bu y Parch. James Richards, Newburgh, O., yn pregethu am dri Sul yn Pittston, Pa., y mis diweddaf.

—Cyfeiriad y Parch. John Thomas, Braceville, Ill., gynt, yw Barneveld, Iowa Co., Wisconsin.

—Mae y Parch. B. D. Thomas, Philadelphia, Pa., wedi derbyn galwad oddiwrth eglwys Toronto. Hefyd, y mae wedi ei raddio a'r gradd o D. D. gan Athrofa Lewisburgh.

Digitized by Google

# Barddoniaeth.

## EIN HIAITH, EIN GWLAD, EIN CENEDL.

GAN TYDFYLYN.

Ein hiaith, ein gwlad, a'n cenedl,
  Gymroaidd driawd cain,
Ar glust pob Cymro gwladgar
  Gynyrcha beraidd sain:
Curiadau 'i galon gynes
  Dros Walia anwyl sydd;
Ar aeliau bryniau moelion
  Mae'n ddedwydd, iach, a rhydd.

Yn mhlith mwynianau Cymru,
  Ceir alaw bêr, a chân,
Ei fynwes a drydanir
  Gan sain y tannau mân;
Ei serch at wlad ei dadau
  Enyna'n fywiol fflam,
Os bradwr brwnt, neu estron,
  Gynygia iddi gam.

Gwlad hoff y Cymry ydyw
  Preswylfa'r Awen bêr,
Ei llais deniadol glywir
  Yn si yr awel dêr:
Fry, fry, yn mro cymylau
  Mae'r man i danio bardd,
Hyd yno drych y Cymro—
  Ar gopa'r Wyddfa chwardd.

Oddiyno cwyd ei olwg
  At lampau claer y nen,
Ac yn eu cylchau cenfydd
  Y Perydd mawr—ein Pen:
Disgyna i gysgod derwen,
  Ger ffrydlif glir ei gwawr,
Dygana odlig iddi,
  A mola'i Grewr mawr.

Ein nentydd a'n hafonydd
  Brysurant ar eu taith
I gynal peraidd gyngherdd
  Rhwng creigiau'r dyfnfor maith;
Ein bryniau uchel cribawg,
  Ein dolydd llydain, llawn,
A'n creigiau ban, ysgythrog,
  Y'nt enaid barddol ddawn.

O feirdd a pheroriaethwyr,
  Areithwyr mawr eu dawn,
Traethodwyr, hynafiaethwyr,
  Mae Gwalia gu yn llawn.
Teyrgarol yw ein cenedl,
  Heddychol a di-frad;
Fe ddylai Cymro deimlo
  Yn falch o'i anwyl wlad.

Hen wlad ein tadau fyddo,
  Mewn dysg, a dawn, a moes,
Fel huan yn goleuo
  Hyd hwyr ei holaf oes:
Llewyrched ei rhinweddau
  Yn ganaid a di-len—
Rhoed coron hardd fytholwyrdd
  O lawryf ar ei phen.

Dros iaith ein gwlad, a'n cenedl,
  Cyfodwn oll ein llef;
Ein hiaith, ein gwlad, a'n cenedl,
  A nodder gan y nef;
Ein hiaith, ein gwlad, a'n cenedl,
  Yw ein harwyddair ni;
Ein hiaith, ein gwlad, a'n cenedl,
  Barhaont byth mewn bri.

## FY YMADAWIAD.

Ymadael a wnaethum o fro'm genedigaeth,
  Yn mhell wyf yr awrhon o aelwyd fy mam;
Y "bara beunyddiol" osododd orfodaeth
  Im' gefnu ar geinder fy ardal ddinam;
Yn unig arosaf o gyrhaedd cyfeillion,
A gwenau fy ngheraint ni welaf yr awrhon,
Caf fedi fy hunan yn meusydd helbulon,
  Heb neb o'm cydnabod i'm gwared rhag cam.

Wrth gofio y bwthyn lle'm ganed, daw dagrau
  I d'wllu'm golygon—'does undyn a wyr
Pa faint yw 'm blinderau—arddangos wna 'm gruddiau
  Im' yfed y cwpan o ofid yn llwyr;
Hiraethu yr ydwyf am wedd fy nghyfoedion,
Ymboeni am nad oes im' yma gyfeillion,
Im' wrthynt gael adrodd rhyw ran o'r helbulon
  Sy'n toddi fy enaid fal ffwrnais y cwyr.

Fy Môn! mae 'th enwogrwydd yn para 'n ddi-lychwin,
  Tra minau yn rhodio mewn estronol wlad,
Cael yfed o'th iachus furmurol gysurwin
  A roddai i'm calon yr awrhon fwynhad;
Ond Ow! er fy ngalar yr awrhon nis gallaf,
Dan gloion bywioliaeth yn rhwym yr arosaf,
A Môn draw o 'nghyrhaedd, am hyn ocheneidiaf
  Yn ddyddiol—fel milwr a gwympodd o'r gâd.

Bryngwran! mae adgof yn tynu dy ddarlun,
  Mewn drych o ddychymyg 'rwy'n gweled dy wedd,
Ar obaith y pwysaf y caf yn dy briddyn
  Ychydig droedfeddi er cloddio im' fedd;
Mewn cwr o dy fynwent mae im' berthynasau,
Wrth gofio'u cyngorion fe dreigla fy nagrau;
Maent hwy wedi gadael y byd a'i flinderau,
  A minau yn grwydryn ar draethell ddihedd.

O! fyd didosturi, paham mae dy glustiau
  Yn cau rhag it' wrandaw fy mhoenusawl gri?
Ai rhaid ydyw i mi ddyoddef erch loesau,
  Ai ynte eu dewis o'm gwirfodd wnes i?

Digitized by Google

Ceir rhai o'th drigolion yn treulio eu bywyd
I'w derfyn yn sawyr cain ardal eu mebyd,
Tra eraill yn grwydriaid arosol mewn blinfyd,
Ac eto maent oll yn wir ddeiliaid i ti.

Dymuniad gwastadol fy enaid trallodus
Yw cael ail ddychweliad i'm hen Fona fad;
Mewn breuddwyd ar brydiau fe fydda'i 'n gysurus,
Yn gweled fy hunan yn nghanol fy ngwlad;
Ond wedi dihuno nid yno y byddaf,
O! na, yn nhir estron o'm cwsg y deffroaf;
Serch hyny, os bywyd a gaf, fe ddychwelaf,
A diolch a dalaf i'm nefolaf Dad.

*Tir Estron.* LLWYFO MON.

## CAN

YN GOSOD ALLAN DEIMLADAU TAD A MAM TUAG AT EU HANWYL BLANT, SEF MARTIN, EVAN AC EDMUND WILLIAMS, GYNT O PONT-Y-PRIDD, D. C., YN AWR YN AMERICA.

ALAW—"*Annie Lisle.*"

Er eich bod mewn gwlad bellenig
Adgof sydd yn dwyn
Rhyw laweroedd o fân droion
Wnaethoch er ein mwyn;
Ond er pelled ydych heddyw
O'ch anwylaf wlad,
Nid anghofus y'ch er hyny,
Gan eich mam a'ch tad.

CYDGAN.

Bydded i chwi fyw 'n rhinweddol
Yn mhob helynt croes,
Fel bo'ch enwau 'n perarogli
Tra parhao 'ch oes.

Blodau tyner oeddech unwaith,
Yn ymledu 'n bur,
Pan oddeutu 'r ty yn chwareu,
Heb un loes na chur;
Aelwyd tad a mam oedd i chwi
'N amddiffynfa gref,
Pan yr oeddech yn rhy egwan
Braidd i roddi llef.

Bydded i chwi fyw'n rhinweddol, &c.

Wedi i chwi lwysaidd dyfu,
A chryfhau mewn nerth,
Anwyl oeddech yn eich teulu,
A mawr iawn eich gwerth;
Chwythodd dryghin cyfnewidiad
Ar ein haelwyd glyd;
Wedi gadael llanerch mebyd,
Garw ydyw'r byd.

Bydded i chwi fyw'n rhinweddol, &c.

Mae 'ch delweddau byth yn aros
Ar ein llygaid ni,
Trwy y dydd a'r dywell hir-nos
Oeraidd yw ein cri;
Adgof wna i ni hiraethu
Am eich cwmni llon;
Dagrau dreiglant dros ein gruddiau,
Fel y treigla'r don.

Bydded i chwi fyw'n rhinweddol, &c.

Os na chawn ni gyd-gyfarfod
Naill y llall byth mwy.
Bydded i ni fod yn barod
Oll i'r wledd ddi-glwy',
Lle cawn gyd fyw heb un gofid,
Nac un math o boen,
Ond cyd-ganu'n iach a pheraidd
Fawl i'r addfwyn Oen.

Bydded i chwi fyw'n rhinweddol

EOS HAFOD.

## DAFNAU CYSUR.

Mewn anial 'ry'm yn trigo,
A'n gwyneb ar y wlad
Lle mae y "gwala a'r gweddill"
Yn aros plant eu Tad;
Os rhaid wrth ddyfroedd Marah,
'Mhen enyd fach fe ddaw
Yr alwad i gyd eistedd,
A gwledda 'r ochr draw.

Os yma rhaid wrth gysgod,
Neu 'chydig fod ein stôr,
Cyn hir ni gawn yr haulwen,
'N lle defnyn cawn y môr;
Er cwrddyd â gorthrymder,
A myn'd drwy lawer loes,
Mor sicr â'r llw Dwyfol,
Ceir coron yn lle croes.

Yn Iesu mae ein cysur,
Ar Iesu rho'wn ein pwys,
Yn ngoleu 'i Air ymdrechwn
Drwy'r maes wneyd uniawn gwys;
Mae'r addewidion Dwyfol
Yn Ie ac Amen,
A'r oll a sylweddolir
Yr ochr draw i'r llen.

*Parsons, Pa.* HUGH OWEN.

## DYBEN CRIST YN MARW.

Wel, dyma oedd ei amcan mawr,
Sef cadw torf o lwch y llawr,
Na ddichon neb eu rhifo hwy,
Na Satan eu cyhuddo mwy;
Gweddiwn ninau nos a dydd,
Wrth orsedd Duw am gywir ffydd,
Am gymorth gras trwy hyder gref,
I gyflawn ddilyn Brenin nef.

LLYWARCH.

Digitized by Google

# Y Maes Cenadol.

GAN Y PARCH. W. F. DAVIES, NANTICOKE, PA.

Gadawn yr ysgrif fwriadedig ar y Chineaid hyd ryw adeg eto, er rhoddi ger dy fron, ddarllenydd, ychydig o hanes gweithrediadau cenadol Cymdeithasau Cenadol perthynol i enwadau eraill yn America, ac hefyd yr enwad y perthynwn ni iddo, ond mewn gwledydd eraill. Nid pawb, fe allai, sydd yn gwybod nad yw De a Gogledd y wlad hon yn perthyn i'r un Gymdeithas Genadol. Yma mae Bwrdd Cenadol yn y Gogledd, un arall yn y Dehau, yn perthyn i'r Bedyddwyr Neillduol. Gweithrediadau yr un Ogleddol sydd wedi bod dan ein sylw ni fynychaf pan yn darparu i'r WAWR o fis i fis.

Nid yw y Bwrdd Deheuol mor gyfoethog a'r hwn y perthynwn ni iddo, ac nid yw ychwaith agos mor lluosog, eto mae yn llawn mor selog a gweithgar. Yr oedd y derbyniadau arianol y flwyddyn ddiweddaf yn $5000 yn fwy na'r un flwyddyn yn flaenorol. Mae ganddynt genadon yn China, Mexico, Brazil, Affrica, a rhanau o Ewrop. Bedyddiodd y cenadon perthynol i'r Bwrdd dan sylw y flwyddyn ddiweddaf yn China, 43, yr hyn oedd yn gwneyd rhif yr aelodau ar ddiwedd y flwyddyn yn 542. Mae ganddynt yn Mexico 52 o aelodau. Bedyddiwyd 10 yn ystod y flwyddyn yn Brazil, yr hyn a ychwanegodd eu heglwys yno i 53. Yn Affrica ymunodd 14 â'r eglwys trwy fedydd. Rhifa eu haelodau yno 97. Yn y gwahanol fanau y llafuria eu cenadon yn Ewrop, gwnaeth 35 broffesu ffydd yn yr Iesu, yr hyn wna rif yr aelodau ag sydd wedi eu casglu yno tua dau gant. Mae yn eu bwriad i gychwyn cenadaeth yn mhlith yr Iuddewon. Anfonasant 8 o genadon newyddion allan y flwyddyn ddiweddaf. Mae 6 yn bresenol o flaen y Bwrdd yn aros am eu danfon.

Mae ein brodyr yn Canada hefyd yn gweithio yn annibynol. Anfonodd y rhai sydd wrth lyw y llestr yno gais yn ddiweddar at Ysgolion Sul Ontario, Quebec a Manitoba, i ddyfod allan i sefydlu Athrofa Dduwinyddol yn Simulcotta, er mwyn y Teluguaid. Mwy na thebyg y gafaelir yn y gwaith ar unwaith.

*Y Presbyteriaid.*—Cyfrifir fod cenadon y Bwrdd hwn yn mis Mehefin wedi bod yn offerynol i ddychwelyd 78. Yr oedd 31 o'r nifer uchod wedi eu dychwelyd yn Sidon a'r cylchoedd. Pan feddyliom mor egniol mae y brodyr hyn, a braidd bob enwad, o ran hyny, yn gweithio yn y dyddiau hyn er efengyleiddio Canaan, rhaid credu mai nid barddoni yn unig yr oedd yr anfarwol Dewi Wyn, pan ddywedodd:

> "Daw mil myrdd o demlau mân
> O odrau Horeb draw i Haran."

Casglodd y brodyr hyn yn ystod y flwyddyn ddiweddaf $583,124.38, a gwariwyd ganddynt $591,639.88. Mae y chwiorydd yn y cyfundeb hwn yn gweithio yn rhagorol. Mae yn mhlith y gwahanol eglwysi 1,189 o fân gymdeithasau yn cael eu llywodraethu gan y chwiorydd. Sefydlasant driugain o honynt y flwyddyn ddiweddaf. Casglodd yr oll o'r rhai hyn yn ystod y flwyddyn $112,232.65, yr hyn oedd yn gwneyd holl gasgliadau y Bwrdd yn $695,357.03. Maent yn bwriadu y flwyddyn ddyfodol godi can' mil o ddoleri yn fwy nag a godwyd y flwyddyn ddiweddaf. Llwyddiant iddynt i hyny.

*Bedyddwyr Lloegr.*—Dychwelwyd 16 yn ddiweddar o'r Garos yn Assam, trwy offerynoliaeth y cenadwr enwog Mr. Bion. Mae achosion cenadol ein brodyr Seisonig yn Camaroont a Victoria, Gorllewinbarth Affrica, yn llwyddianus anarferol—llawer yn ymuno â'r Cristionogion, a thyrfaoedd mawrion a brwdfrydig yn dyfod yn barhaus i wrando y traddodiad o Air Duw. Y cyffelyb newyddion am y gwaith da a dderbyniwyd o Ynys Trinidad. Mae cyffro byw hefyd yn y gwersyll o amgylch Port of Spain. Dychwelant yn niferoedd mawrion gyda'u gilydd, gan addef Iesu yn Frenin ar eu calonau. Yr oedd casgliadau y brodyr Seisonig

Digitized by Google

y flwyddyn ddiweddaf yn cyrhaedd y swm o £52. 366s. 7d. Cawn fod y Gymdeithas ar hyn o bryd mewn dyled o dros fil o bunau. Ond bwriedir talu pob ceiniog o honi, a hyny mewn ychydig amser.

*Y Wesleyaid Seisonig.*—Casglodd y Gymdeithas uchod y llynedd £151,-797 14s. 7d. Mae sefyllfa y maesydd cenadol sydd gan yr enwad hwn yn galonogol iawn. Mae ganddynt genadon yn Ewrop, India, China, De a Gorllewinbarth Affrica, a'r India Orllewinol. Mae ganddynt mewn gwahanol fanau 542 o brif orsafoedd, 2,469 o leoedd neu fanau y pregethant ynddynt; 549 o genadon a chynorthwywyr; 2,275 o weithwyr a dderbyniant ryw gymaint o dal; 7,868 na dderbyniant ddim; 89,345 yn aelodau yn eu heglwysi, a 97,575 o blant yn eu gwahanol ysgolion.

*London Missionary Society.*— Hon ydyw un o'r Cymdeithasau Cenadol cryfaf a fedd y byd Cristionogol heddyw. Y mae yn cynyddu braidd bob blwyddyn, ac yn cydio gafael mewn meusydd newyddion yn barhaus, tra ar yr un pryd yn enill nerth ychwanegol yn y tiroedd sydd eisoes yn ei meddiant. Mae y Gymdeithas hon wedi bod am rai blynyddoedd yn addysgu cenadon am amser maith cyn eu danfon allan, ond nid ydynt yn gwneyd hyny mwyach. Y dull cyffredin y gweithredant yn bresenol yw chwilio am bersonau cymwys yn mhlith myfyrwyr yr athrofeydd. Ar y 5ed o Fai diweddaf aeth dim llai nag 20 o fechgyn selog a brwdfrydig allan o dan nawdd y Gymdeithas hon.

*Cymdeithas yr Eglwys Sefydledig.*—Mae y Gymdeithas hon yn penderfynu cynyddu ei chasgliadau y flwyddyn nesaf gan' mil o bunau! Yr oeddynt yn £200,000 y llynedd. Mae rhai o orsafoedd y Gymdeithas hon yn Ngorllewinbarth Affrica yn hollol o dan ofal Cristionogion brodorol. Yn Lagos, nifer y cymunwyr yw 524, o'r rhai y mae 339 yn fenywod. Ceir newyddion cysurus a chalonogol o'r maes newydd maent wedi ei feddianu yn Uganda, Canolbarth Affrica. Mae Cyngor Punjab, India, aelodau yr hwn sydd i gyd yn frodorion, wedi cymeryd meddiant llwyr o'r holl waith cenadol perthynol i ranbarth Amritsar. Mae yn Trinity College, Ceylon, 238 o fyfyrwyr yn cynrychioli pedair hiliogaeth wahanol, ac yn perthyn i bedair crefydd wahanol.

*Y Morafiaid.*—Nid yw y bobl hyn, dywedir, yn rhifo agos ugain mil gartref, eto cynaliant 327 o genadon, ac mae ganddynt 1,504 o bregethwyr brodorol, a 73,170 o ddychweledigion yn perthyn i'w meusydd cenadol. Rhywle tua $260,000 yn flynyddol mae eu gwaith cenadol yn gostio. O'r swm uchod nid oes ond tua $90,000 yn cael ei gasglu gartref; mae y $170,000 gweddill yn cael eu codi trwy lafur a chasgliadau y brodorion. Mae y gorsafoedd sydd ganddynt yn Surinam a De-orllewin Affrica yn hunan-gynaliol, a'r hon sydd yn yr India Orllewinol yn agos felly hefyd. Mae gan y bobl hyn genadon yn St. Thomas, yr India Orllewinol, er y flwyddyn 1732—cant a haner o flynyddau yn ol. Ymgeisia y Morafiaid, ac ymffrostiant hefyd mewn anfon cenadon i fanau lle nad oes neb arall yn eu hanfon. Gweddi ddyfal fyddo gan yr eglwys ar eu rhan hwy ac eraill hefyd.

---

## HANESION CARTREFOL.

---

### Newburgh, Ohio.

*At Bawb y Perthyn iddynt Wybod:*

Hyn sydd i hysbysu fod y Parch. John Evans, gynt o Wisconsin, newydd ddychwelyd i'r lle hwn o Gymru. Yr oedd yn bresenol yn addoldy y Bedyddwyr, boreu Sabboth y 30ain o Orphenaf. Ar ol y gwasanaeth cyhoeddus galwyd am gyfarfod neillduol, i'r dyben i ystyried cynwys dau lythyr cymeradwyol oedd ganddo o'r Hen Wlad, un o eglwys y Bedyddwyr yn Penrhyncoch, Aberteifi, a'r llall oddiwrth Gymanfa y Bedyddwyr yn Siroedd Caerfyrddin ac Aberteifi. Wedi clywed darlleniad y llythyrau, pasiwyd yn unfrydol, Ein bod yn cymeradwyo

y Parch. John Evans fel gweinidog rheolaidd yn Nghrist, ac yn rhoddi iddo wahoddiad cynes i bregethu yma y Sul cyntaf yn Awst.

James F. Richards, Gweinidog, Llywydd y cyfarfod. John Richards, Ysgrifenydd.

Wele adysgrif (*copy*) o'i lythyr Cymanfaol:

Hyn sydd i hysbysu, Fod y Parch. J. Evans, Penrhyncoch, Aberteifi, yn aelod cymeradwy, a phregethwr derbyniol yn Siroedd Caerfyrddin ac Aberteifi; ac yr ydym fel Cymanfa yn rhoddi iddo y gymeradwyaeth hon, gyda dymuniad iddo gael ei dderbyn gan eglwysi y Bedyddwyr yn America, i'r hon wlad y bwriada ddychwelyd.

Dros y Gymanfa,

WM. HUGHES, Ysg.

*Llanelli, Mehefin 23, 1882.*

---

## HYDE PARK, PA.

Hyde Park, Awst 14, 1882.

Mr. Gol.—Y mae pethau yn parhau yn fywiog, yn fasnachol a chrefyddol. Y twrw mawr sydd yma yw, yr Eisteddfod fawr agoshaol yn Philadelphia. Y mae peth fel hyn yn ddrwg i'r achos crefyddol—tyn fryd y dynion ieuainc, fel nas gallant gael hamdden i ddim ond canu. Gwyn fyd nad allem gael rhyw gynllun i gynyrchu y fath deimlad at y canu cynulleidfaol gwael sydd yn ein cynulleidfaoedd.

Mae y Parch. J. D. Williams, D. D., wedi bod yn cymeryd ei fis o seibiant, a'i dreulio yn llawen gyda'u deulu tua chymydogaeth Atlantic City. Dychwelodd yn ol ddydd Gwener diweddaf, yn dew. Gall ef fwynhau America cystal ag y gall America ei fwynhau yntau. Bwriada gychwyn cymdeithasau, am y rhai y cewch glywed eto. Pregethwyd yn ei absenoldeb gan y brodyr Owen James, A. M., Ebenezer Lloyd, a James R. Price. Ychydig ddyddiau cyn ei ddychweliad, ystyriodd swyddogion yr eglwys y priodoldeb o roi iddo ryw fath o gydnabyddiaeth, yn ddatganiad o'n teimladau da tuag ato, yn nghyda'r gwaith caled a gyflawnodd. Penderfynasant awgrymu i'r eglwys ar fod iddynt roddi iddo $150. Pan roddwyd ef i bleidlais, nid oedd neb yn teimlo i siarad, ond i bleidleisio; a chafwyd pleidlais unfrydol yn ffafr yr awgrymiad. Nos Wener, yr 11eg, cyflwynodd yr ymddiriedolwyr yr anrheg. Y nos Sul canlynol cawsom anerchiad byr o ddiolchgarwch, nid yn gymaint am yr arian, ond am y teimladau da, ar ol dim ond chwech mis o waith. Y mae y Dr. uwchlaw arian.

Y mae y brawd anwyl Benj. Hughes a'i briod yn mwynhau eu hunain ar lan y môr y dyddiau hyn.

EBENEZER LLWYD.

---

## CYFARFOD YMADAWOL

*Y Parch. J. P. Harris, Providence, Pa.*

Cyfarfyddodd cynulleidfa luosog yn nghapel y Bedyddwyr, ar yr achlysur o ymadawiad y Parch. J. P. Harris, nos Lun, Gorph. 17, 1882. Dechreuwyd y cyfarfod trwy ddarllen a gweddio; yna etholwyd B. Hughes, Ysw., Hyde Park, yn Gadeirydd y cyfarfod. Siaradodd y Cadeirydd ychydig eiriau yn bwrpasol; yna galwodd ar y brodyr canlynol i siarad: Y Parchn. Owen James, Hyde Park; Joseph Rees, Providence; Benjamin Thomas, Hyde Park; R. S. Jones, Providence; J. W. Williams, D. D., Hyde Park; anerchiad barddonol, gan E. D. Jones, Providence, a Theo. Jones, Wilkesbarre. Hefyd canodd y *Band of Hope* yn swynol iawn, dan arweiniad Mr. Wm. R. Owens, a'r *Cambrian Glee Club*, dan arweiniad Mr. B. Evans, a'r côr, dan arweiniad Mr. E. D. Jones, yn rhagorol; a diweddwyd y cyfarfod drwy weddi gan y Parch. R. S. Jones, Providence. L. N. ROBERTS.

---

## YOUNGSTOWN, O.

Hyn sydd er gwneyd yn hysbys i'r cyhoedd, ein bod ni, eglwys Fedyddiedig Youngstown, wedi codi a rhoddi rhyddid i frawd o'r enw John Skym i arfer ei ddawn er cyhoeddi Crist yn

Digitized by Google

ddigonol Waredwr i bechaduriaid. Daeth y brawd hwn yma o Lanelli, D. C., a chymeradwyaeth dda gydag ef, fel Cristion trwyadl, o fywyd teilwng, ffyddlon a diwyd gyda'r achos, ac yn ddirwestwr selog. Mae yn meddu talent a gallu, a diamheu os ca fyw y gall wneyd llawer o les. Yr Arglwydd a'i cynorthwyo. Ei fwriad presenol yw myned i'r Athrofa can gynted ag y bydd hyny yn gyfleus.

Sul, Awst 20, cawsom y fraint o fedyddio dau, a derbyn pedwar trwy lythyrau.

Mae y gweithiau yn sefyll o herwydd y *strike*. Gobeithio y newidia pethau yn fuan. D. PROBERT.

---

SEREN CYMRU A SEREN GOMER YN AMERICA.

*Mr. Gol.*—Da genyf ddeall fod nifer lluosog o'r WAWR yn myned yn fisol i Gymru. Mae hyn yn dangos y dyddordeb mae ein brodyr yn ngwlad ein genedigaeth yn gymeryd yn ein hysgogiadau a'n sefydliadau crefyddol yn America. Cam ychwanegol tuag at gael mwy o gydymdeimlad ac undeb rhwng Bedyddwyr Cymreig y ddwy wlad fuasai derbyniad cyhoeddiadau wythnosol, misol, a chwarterol, ein Henwad yn Nghymru gan yr eglwysi yn y wlad hon. Mae *Seren Gomer*, o dan olygiaeth alluog y Dr. Roberts, Pontypridd, a *Seren Cymru*, o dan olygiaeth ofalus y Parch. John Jones, Felinfoel, yn cael eu derbyn yn gyson a rheolaidd gan amryw; ond yn lle yr ugeiniau o'r rhai hyn sydd yn dyfod trosodd, dylasai canoedd ddyfod. Yn ddiweddar y mae Mr. Thomas Morgan (Llyfnwy), Hyde Park, Pa., wedi ei apwyntio yn oruchwyliwr y papyrau hyn, a thrwyddo gall unrhyw Fedyddiwr yn y Talaethau eu cael yn rheolaidd. Yr eiddoch,

J. W. WILLIAMS.

*Hyde Park, Pa., Awst* 22, 1882.

---

TEYRNGED O FAWL.

Mr. Gol.—Dymunwyf gofnodi fy rhwymedigaethau i Dduw pob gras am gymorth i gyflawni swyddogaeth bwysig y weinidogaeth efengylaidd yn y ddau fis diweddaf. Cefais y fraint annhraethol o bregethu y gair, a gweinyddu swper yr Arglwydd bob Sabboth. Mae yr un dylanwad dwyfol yn canlyn yr efengyl fwyn ag yn nyddiau yr apostolion. Cefais garedigrwydd haelfrydig gan yr eglwysi oll, a help eu gweddiau ffyddiog. Mae agwedd lewyrchus ar achos Mab Duw yn y lleoedd yr ymwelais â hwynt. "Sain efengyl, Lanwo gonglau pella'r byd." Ond dyma fy nghwyn yrwan :

Anhoff bod yn gloff o glun—anhoffach
Mewn effaith o'r ddwy-clun ;
Yn wir yr wyf fi yn un
Hyll gloff o'r naill-glun.

*Carbondale, Awst 8, 1882.* DELTA.

---

*BEDYDDIWYD—*

Yn Drifton, Pa., Gorph. 30, bedyddiwyd pedwar ar broffes o'u ffydd yn Mab Duw, gan y Parch. Wm. Thomas, Parsons. Y mae golwg lewyrchus ar yr achos yma yn bresenol, wrth weled y planigion yn cael eu symud o fagwrfa yr ysgol Sabbothol yn goed hardd i eglwys Mab Duw. Duw o'i ras a ychwanega eto at y ddwy sydd yn sefyll o flaen yr eglwys am eu bedyddio. Amen.—*Aelod.*

*Audenried, Pa.*—Sabboth dedwydd oedd y 23ain o Orphenaf i eglwys y Bedyddwyr yn Audenried. Yr achos o'r llawenydd a'r gorfoledd oedd gweled ein gweinidog yn claddu saith o bersonau yn y bedydd, a dau oddiar y tir pell yn ymgeiswyr am gyflawn aelodaeth o'r eglwys. Ychwanegwyd at rif yr eglwys naw o bersonau. Y mae rhagor yn aros am yr un fraint. Llon genym hysbysu ein brodyr a'n chwiorydd, trwy gyfrwng y WAWR, fod yr eglwys hon mewn agwedd ddymunol yn bresenol.—*Ysgrifenydd.*

*Pittsburgh, Pa.*—Mr. Gol.—Yn fy ysgrif ddiweddaf atoch, dywedais fod yr argoelion yn ffafriol am ddychweledigion newydd i eglwys Heol Chatham, a bod rhai afradloniaid yn dyfod yn ol. Da genyf eich hysbysu chwi, a

Digitized by Google

phob enaid Bedyddiol sydd yn teimlo dyddordeb yn llwyddiant achos y bendigedig Iesu, mai ar gynydd yn gyflym mewn rhifedi, a hyderwn mewn grasusau hefyd, y mae yr eglwys hon yn myned. Nos Sul, Awst 20, cawsom y pleser o weled chwech yn ufuddhau i'r ordinhad o fedydd yma. Y gweinyddwr oedd ein parchus weinidog, D. Rhoslyn Davies. Nid wyf yn cofio i mi weled gwell golygfa erioed, na theimladau mwy cynes gan y gynulleidfa fawr oedd yn bresenol. Yr oedd y côr hefyd yn ychwanegu at effeithiolrwydd yr ordinhad, trwy ganu,

> " Hallelujah, 'tis done,
> I believe on the Son," &c.

ar ol i'r bedyddiedig gael ei drochi. Dywedir fod eraill eto yn awyddus i roddi ufudd-dod i'r un ordinhad.—Teimlad cyffredinol yr eglwys yw, "Yr Arglwydd a wnaeth i ni bethau mawrion, am hyny yr ydym yn llawen."—*D. Lloyd Jones.*

---

*Sherman, O.*—Awst 6, 1882, cafwyd y fraint o weled tri o bersonau yn ufuddhau i'r ordinhad o fedydd. Ymgasglodd torf fawr o bobl yn nghyd i lan y dwfr i fod yn llygad dystion i weinyddiad yr ordinhad sanctaidd yn ol y dull apostolaidd. Gweinyddwyd yn ddeheuig, fel arfer, gan ein parchus weinidog, Iago W. James. Da genym hysbysu darllenwyr y WAWR, fod yr Arglwydd yn helaeth fendithio gweinidogaeth ein brawd yn y lle. Mae yr eglwys yn cyflym gynyddu, a rhai yn dywedyd yn barhaus, " Ninau hefyd a ddeuwn gyda chwi, canys clywsom a gwelsom fod yr Arglwydd yn eich plith." Mae ein cynulleidfa gymaint nes gorlenwi yr ysgoldy. Mae eraill eto yn aros yn y gyfeillach am weinyddiad o'r ordinhad arnynt. Y mae'r eglwys yn gwisgo agwedd lewyrchus iawn—cariad yn blodeuo, heddwch a thangnefedd yn cartrefu yn ein mysg, a Duw Israel yn coroni ein holl ymdrechion â llwyddiant mawr. Iaith y bobl heddyw yw, " Gosod babell yn Sherman." Mae y brodyr yn ddiwyd wrth y gwaith o gasglu arian at adeiladu capel, ac hyd yma y maent yn llwyddianus dros ben.—*Trochwr.*

Yn Shenandoah, Pa., Awst 17, 1882, gan y gweinidog, sef y Parch. D. S. Thomas, dwy chwaer. Y mae eraill eto o flaen yr eglwys.—*Gohebydd.*

---

## *PRIODWYD—*

**Gorph 22, 1882, yn Kingston, Pa., gan y Parch. W. D. Thomas, Mr. Thomas B. Evans a Miss Mary Ann Lewis, y ddau o'r lle uchod.**

**Gorph. 15, 1882, yn Shenandoah, Pa., gan y Parch. D. S. Thomas, Mr. Lewis Jones a Miss Susannah Morgans, oll o Shenandoah.**

---

## *BU FARW—*

**YR HENURIAD JACOB MORRIS, GREENVILLE, MERCER CO., PA.**

Ganwyd gwrthddrych y cofiant hwn ar y 3ydd o Hydref, 1802, yn Sir Drefaldwyn, G. C. Bedyddiwyd ef ar broffes o'i ffydd, gan y Parch. Rowland Williams, yn 1815. Dechreuodd bregethu pan yn 18 oed. Ymfudodd i America yn 1820. Yn 1826, efe oedd un o'r saith a ddechreuodd yr achos Bedyddiedig yn Pittsburgh, Pa., yn ei dy anedd ei hun. Ordeiniwyd ef yn weinidog i'r eglwys hon yr 20fed o Ebrill, 1828, a bu yn llwyddianus iawn hyd y fl 1833, pryd yr ymadawodd i weinidogaethu gyda'r Saeson, a chyda pha rai y bu ei ddefnyddioldeb dros weddill ei oes. Gorllewin Pennsylvania a rhan o Ohio a fuont faes ei lafur, sef Pittsburgh, Sharon, Warren, Bridgewater, Providence, Richmond, Randolph, Harlansburgh, Salem, West Salem, a Sharpsville. Bu â'r llaw flaenaf yn sefydlu yr eglwysi yn Pittsburgh, Transfer, Jamestown, a Wheatland. Hefyd efe ddarfu ail gyflunio (*reorganize*) yn Warren wedi iddi hi gael ei dryllio gan gydbleidwyr Alexander Campbell. Ni fu heb weinidogaeth sefydlog o amser ei ordeiniad hyd 1875, pryd y rhoddodd ofal eglwys Sharpsville i fyny, a hyny o herwydd afiechyd teuluaidd. Wedi hyny yr oedd yn pregethu bob Sabboth lle y gelwid am dano, hyd Mawrth 24, 1879, pryd y tarawyd ef gan y parlys, fel yr ydoedd yn analluog i bregethu, ac ni allai fyned ond ychydig allan o'i dy.

Ar yr ail Sabboth yn Medi, 1881, yr oedd cymundeb yr eglwys lle yr oedd yn aelod, a dywedai fod yn rhaid iddo gael ei gario yno, (er ei fod yn dra analluog,) gan mai hwnw fuasai y cymundeb diweddaf iddo ar y ddaear. Rhoddodd ei gwbl ymddiried yn ei Waredwr

Digitized by Google

Iesu Grist, yr hwn a bregethodd am flynyddau hirfaith, gan ddweyd, "Yr wyf fi yn myned adref ato ef i fyw." Felly y gorphenodd ei yrfa, Mai 8, 1882, pan yn agos i 80 mlwydd oed. Gadawodd i alaru ar ei ol yn y glyn weddw oedranus a rhai perthynasau. Gwasanaethwyd yn ei angladd gan dri o weinidogion yr enwad. Traddodwyd pregeth goffadwriaethol gan ei weinidog, yn Greenville, y trydydd Sabboth canlynol.

Yr oedd y brawd Morris yn bregethwr bywiog, doniol, blasus ac adeiladol, a bu yn ddiwyd a ffyddlon yn ei ddydd i helaethu teyrnas Iesu Grist yn y cylch y perthynai iddo, a bu ei fywyd hefyd yn gymwys ac addas i'r efengyl a bregethai i eraill.

*Allegheny, Pa.* D. D. DAVIS.

MR. THOMAS THOMAS, BERLIN, WIS.

Mae son am, ac ysgrifenu cofnodion am gyfeillion hoff sydd yn ein rhagflaenu i'r byd tragywyddol, yn waith teilwng a naturiol. Yr oedd gwrthddrych y cofiant hwn wedi ei eni yn agos i Pen Cader, Swydd Gaerfyrddin, D. C., yn y fl. 1809. Enwau ei rieni oeddynt Thomas a Martha Thomas. Pan yn 24 ml. oed, ymunodd mewn glân briodas gyda Miss Martha Evans, yr hon os nad wyf yn camgymeryd, oedd yn berthynas i'r Parch. D. Saunders, gynt o Ferthyr. Bu Martha, fel chwaer Lazarus, yn ofalus am amgylchiadau ei theulu, yn weithgar, cynil (eto yn haelionus), yn garedig i'w chymydogion ac i bawb a ddeuai i'w thy, yn enwedig gweinidogion yr efengyl, lluaws o ba rai allant dystio iddynt gael eu lloni gan ei hynawsedd.

Ar ol treulio tua phymtheng mlynedd yn y sefyllfa briodasol yn Nghymru, ymfudodd yn y fl. 1848, gyda ei deulu i America, a sefydlodd gyntaf yn Wankesha, lle yr arosodd am tua blwyddyn a haner. Oddiyno symudodd yn agos i Berlin, yn yr un Dalaeth, sef Wisconsin, lle y prynodd ffarm, ar yr hon y darfu ef a'i deulu weithio yn galed i arloesi y tir oddiwrth y coed mawrion a thewion a dyfent arno. Yma cododd deulu lluosog, sef saith o feibion a dwy ferch, y rhai ydynt oll yn fyw, ac oll, mor belled ag yr wyf yn deall, wedi proffesu crefydd yn moreu eu hoes Mae y rhan fwyaf o honynt yn byw ar ffermydd yn agos i'r man y preswyliai eu rhieni, yr hyn sydd yn fawr gysur i'w mam yn ei henaint a'i gweddwdod

Yr oedd Mr. Thomas, drwy ei fawr ymdrech ef a'i deulu, wedi codi i amgylchiadau cysurus; rhoddodd fanteision addysg dda i'w blant, yn enwedig y rhai oedd yn awyddus am hyny, a chynorthwyodd y lleill i gael cartrefleoedd clyd yn eu ffermydd, gerllaw eu mam; a chredaf y bydd pob un o honynt yn dyner o honi.

Yr oedd ein hanwyl frawd yn feddyliwr craffus, yn ddarllenwr cyson, ac wedi casglu llyfrgell well na'r cyffredin o ddynion heb fod yn troi mewn cylch cyhoeddus. Buasai dyn yn cael ei siomi ynddo pe buasai yn ymddyddan ar faterion gwladol neu grefyddol. Yr ydoedd hefyd yn ddyn haelionus yn ei gymydogaeth a'i eglwys. Yr oedd yn barod i gynorthwyo pob achos da a roddid o'i flaen; ac er ei fod yn Fedyddiwr trwyadl, eto yr oedd yn barod i gynorthwyo enwadau eraill. Fel esiampl o hyn, clywodd yr ysgrifenydd weinidog perthynol i'r Cynulleidfaolion yn dweyd iddo fyned ato pan yn casglu at ei gapel, ac ar ol dweyd ei neges wrtho, iddo fyned i ystafell arall a dyfod â bill pum' dolar, gan ei estyn gyda gwên i'r casglwr, yr hwn a ddywedodd wrtho ei fod wedi dyfod i'r gymydogaeth gyda'r dysgwyliad i gael tri bill deg dolar, a bod un o'r tri i ddyfod oddiwrtho ef. Aeth y cyfranwr yn ol, a daeth a deg dolar i'r casglwr. Dengys yr engraifft uchod fod yr ymadawedig yn ddyn nodedig mewn haelioni. Credwyf na ddylai engreifftiau o'r fath basio yn ddisylw, na myned yn anghof. Fel cyfaill, yr oedd yn ddidwyll, yn gyfryw y gallai dyn ddweyd ei holl feddwl wrtho, heb ofni cael ei fradychu. Yr oedd yn dra hoff o weinidogion yr efengyl, a dangosai hyny mewn gweithred a gwirionedd. Byddai ei logell a'i galon yn ysgafnach pan ddeuai rhai o honynt yn agos ato. Mae yn dda genyf allu dweyd fod ei blant yn dilyn ei esiampl yn eu caredigrwydd i bobl yr Arglwydd.

Credwyf ei fod yn Gristion addfed i'r nef. Mae yn dda genyf ddeall ei fod yn gwella ei afael yn ngwaith yr Arglwydd at ddiwedd ei oes, ac nid fel Saul a Solomon, yn gwaethygu gydag oedran. Yr oedd ei obaith yn gryf fod ei nefoedd yn dechreu pan yr oedd ei fywyd yn darfod ar y ddaear.

Ni bu ei gystudd ond byr; tarawyd ef gan ddyrnod o'r parlys, yr hwn a roes derfyn ar ei einioes mewn dau ddiwrnod, er pob ymdrech yn ei erbyn. Bu farw ar y trydydd o Ebrill, 1882, yn 73 mlwydd oed, er mawr alar i'w briod oedranus a'i anwyl blant, a cholled neillduol iddynt hwy ac i'r eglwys, yn nghyd a'r gymydogaeth yn gyffredinol. Nid ydoedd efe, mwy nag eraill o'r teulu dynol, heb ei golliadau, ond bydded i ni eu hanghofio, fel y credwn fod Duw wedi eu hanghofio, ac efelychu ei rinweddau.

Bedyddiwyd ef gan y Parch. J. W Jones, yn y flwyddyn 1859.

Claddwyd ef yn barchus mewn monwent perthynol i'r Cymry yn y sefydliad. Gweinyddwyd ar yr adeg gan y Parch. McLeod, gweinidog yr eglwys Fedyddiedig yn Berlin. Boed heddwch i w lwch, a bendith ar yr eglwys a'r teulu oll. BRAWD MEWN GALAR.

MRS. ELEANOR POWELL.

Yn Shenandoah, Pa., Gorph. 25, 1882, bu farw, yn 32 ml. ac 11 mis oed, Mrs. Eleanor Powell, ar enedigaeth ei chyntaf-anedig Ganwyd hi yn Llanelli, D. C. Merch ydoedd i'r hen ddiacon ffyddlon, William I. Williams, St. Clair, Pa. Bedyddiwyd hi gan y diwedd-

Digitized by Google

ar Barch. W. Morgans, Pottsville, yn aelod i eglwys St. Clair, pan yn lled ieuanc, a pharhaodd yn ffyddlon hyd angau, a chredwn ei bod wedi derbyn coron y bywyd. Tua thair blynedd yn ol ymbriododd â Mr. James J. Powell, a phrofodd ei hun yn wraig dda ac yn ymgeledd gymwys iddo. Ond mynodd angeu eu hysgaru, ac wyla ein brawd ar ol priod teilwng o'r enw. Yr oedd ein chwaer Mrs. Powell, pan y bu farw, yn aelod gweithgar yn eglwys y Bedyddwyr Seisnig yn Shenandoah, Pa., a theimla yr eglwys golled ar ei hol.

Gorph. 28, cludwyd ei gweddillion marwol i'w claddu yn St. Clair, Pa. Dilynwyd y corff gan dyrfa fawr o berthynasau a chyfeillion. Darllenwyd a gweddiwyd yn y ty gan y Parch. D. S. Thomas, yr hwn hefyd a bregethodd ar yr amgylchiad yn nghapel y Bedyddwyr Seisnig yn St. Clair, cyn claddu; a chymerwyd rhan gan y Parchn. D. E. Bowen ac A. Meyers. Duw gysuro y rhieni galarus, y priod unig, trallodus, a'r holl berthynasau hiraethus, ar ol un a anwylent yn fawr. *$_*$*

MRS. ELIZABETH WILLIAMS.

Dydd Gwener, Gorph. 14, 1882, cyrhaeddodd gweddillion marwol Mrs. Elizabeth Williams, gweddw Martin Williams, orsaf Upper Lehigh, gyda *train* chwarter wedi un-ar-ddeg, pryd yr oedd torf o'i hen gymydogion wedi dyfod i'w chyfarfod, er talu y gymwynas olaf iddi. Awd yn orymdaith o'r orsaf i gapel y Bedyddwyr, yn yr hwn le y pregethodd y Parch. T. D. Evans, Audenried, yn fyr a phwrpasol. Hawdd oedd gweled mai un ag oedd yn anwyl gan berthynasau a chymydogion ydoedd yr ymadawedig. Gallesid dweyd yma, fel yn Bethania, wrth weled dagrau, Wele, fel yr oeddynt yn ei charu.

Ymfudodd yr ymadawedig i'r wlad hon o ardal Pontypridd, yn mis Mai, 1872. Yr oedd gyda yr Annibynwyr er y flwyddyn 1841. Derbyniwyd hi yn aelod gan Evans, y Cymer, yn eglwys Sardis, Pontypridd. Glynodd gyda'r gwaith 43 o flynyddoedd. Bu farw gan adael arwyddion fod y cyfnewidiad er gwell. Gadawodd lawer o berthynasau i alaru ar ei hol—dau fab a merch yn Taylorville; Gomer yn Wilkesbarre, ac Evan yn Upper Lehigh. Claddwyd hi yn mynwent Upper Lehigh. Duw fyddo yn nawdd i'r perthynasau oll, yw dymuniad yr ysgrifenydd. T. D. E.

## NODION CYFFREDINOL.

—Ymddengys fel pe b'ai yr hen arferiad ffol a drygionus o ymladd ornestau (*duels*) yn ymadfywio yn Virginia. Ymladdwyd amryw o honynt yn y Dalaeth hono yn ddiweddar, a thaflodd un dyn cyfrifol ac aelod eglwysig ei fywyd ymaith yn un o honynt mewn canlyniad i goleddu syniadau gau mewn perthynas i "anrhydedd."

—Mae Uchaflys California wedi caniatau prawf newydd i ddyn a euogfarnwyd o lofruddiaeth yn yr ail radd, ar y tir fod y rheithwyr wedi yfed cymaint o gwrw, &c., yn ystod y prawf ag i'w hanalluogi i roddi ystyriaeth briodol i'r tystiolaethau a roddwyd. Parhaodd y prawf wyth niwrnod, a dangoswyd ddarfod i bedwar *keg* o gwrw (pum' galwyn yr un), pum' galwyn o win, deg costrel o *claret*, a rhyw gymaint o whisci, gael eu prynu gan y rheithwyr ar eu traul eu hunain, a chael eu hyfed ganddynt heb fod y llys yn gwybod.

—Bu farw y Seneddwr Hill, o Georgia, ar yr 16eg o'r mis diweddaf, ar ol dyoddef poenau arteithiol am amser maith gan y *cancer* yn ei dafod, (yr hyn a achoswyd, meddir, gan yr arferiad o fygu tobaco). Dyoddefodd ei gystudd yn dra amyneddgar. Yr oedd yn *Secessionist* zelog yn amser y rhyfel, ond wedi ei therfynu, derbyniodd Mr. Hill ei chanlyniadau yn onest a diffuant, a danfonwyd ef i Senedd y Talaethau Unedig drachefn. Yr oedd yn areithiwr hyawdl, os nad yn wladweinydd. Ei oed oedd 59.

—Aeth y Parch. F. E. Hopkins, gweinidog eglwys Bresbyteraidd Hempstead, L. I., i *store* dodrefn yn y pentref, yn ddiweddar, i ofyn pris *sofa*. Dywedodd perchenog y *store* wrtho, mewn difyrwch, y cai efe un am ddim, os cariai efe hi adref. Cymerodd Mr. Hopkins ef ar ei air, a chododd *sofa* i fyny a chariodd hi ymaith, er mawr syndod i'r gwerthwr dodrefn. Llongyfarchwyd ef â banllefau tra ar ei ffordd tuag adref.

—Bydd pwnc y gwirodydd yn ffurfio elfen bwysig yn yr etholiad Dalaethol yn Ohio yr Hydref dyfodol. Ymddengys fod y Gwerinwyr yno o blaid rheoleiddio y fasnach, gweithredu deddfau trwyddedol manwl, cau lleoedd yfed ar y Sabboth, &c. O'r ochr arall, mae y Democratiaid yn pleidio symudiad ymaith pob ataliad ar y fasnach, dim trwydded na threth, ond pob peth mor rhydd a'r awyr a anedlir. Yn awr, rhwng y pleidiau hyn nis gall un carwr cyfraith a threfn betruso am foment pa un o honynt i'w phleidio. Ond wele, mae y Gwaharddiadwyr hefyd wedi dyfod a thocyn i'r maes o'u heiddynt eu hunain, a hyn sydd yn gwneyd i ganlyniadau yr etholiad edrych yn amheus, ac i raddau yn frawychus—o herwydd diau y derbyn y tocyn hwn lawer o

Digitized by Google

bleidleisiau, ond eto pell o fod yn ddigon i'w ethol. Yn awr, gan hyny, y cwestiwn difrifol yw, o ba le y daw y pleidleisiau hyn—pa un o'r ddwy blaid arall fydd fwyaf ar ei cholled o'u herwydd?—ai y Democratiaid? Barned y darllenydd. Os o'r blaid Werinol yn benaf y daw y pleidleisiau hyn, yna peryglir ei llwyddiant, a chynorthwyir y Democratiaid. Dywed y Gwerinwyr yno y gallant drechu y ddwy blaid; ond nid yw ymffrost o flaen brwydr i ddibynu arno.

—Mae yr Iuddewon Rwssiaidd wedi cael eu gyru o Castle Garden, New York (nawddle ymfudwyr ar eu tiriad cyntaf), trwy drais. Yr oedd eu diogi, eu budreddi a'u harferion, y fath fel y bu raid eu gyru hwynt allan oddiyno. Yr oedd pob ymdrech i'w cael i dderbyn gwaith, yn aflwyddianus. Maent yn hoffi budreddi a segurdod yn fwy nag ymborth na dillad; ac nid oes lle na chroesawiad i'r cyfryw bobl yn y wlad hon.

—Mae cyngorwyr meddygol Tywysog Cymru wedi gorchymyn iddo ymneillduo ar unwaith oddiwrth bob gorchwyl swyddogol, ac wedi ei wahardd ef i gynal *receptions* cyhoeddus. Cyngorant ef i yfed dwfr rhyw ffynon Germanaidd. Nid oes arno arwyddion o unrhyw afiechyd neillduol.

—Daliodd dau ddyn oeddynt yn pysgota oddiar Pier No. 22, East River, New York, y dydd o'r blaen, ddau *shark*, un yn saith troedfedd a haner o hyd, a'r llall tua naw troedfedd.

## DYDDANION.

— Gofynodd yr Arglwyddes Yarmouth i'r chwareuydd enwog Garrick, beth oedd yr achos fod cariad yn wastad yn cael ei arddangos fel plentyn? "O herwydd," meddai y bardd, "nad yw byth yn cyrhaedd oedran pwyll a doethineb."

—Darfu gwr claf un diwrnod ymofyn am y meddyg enwog Dr. Wheelman, ac ar ol treulio cryn amser i roddi desgrifiad o'i boenau, efe a symiodd y cwbl i fyny fel hyn: "Doctor, yr ydych wedi fy mhoeni am ddigon o amser gyda'ch peleni a'ch cyffuriau diles, ond nid ydych yn cyffwrdd y gwir afiechyd. Yr wyf yn dymuno arnoch daro ar achos fy nolur, os yw hyny o fewn eich gallu." "Mi a wnaf hyny," medd y meddyg yn ddioed, a chan gyfodi ffon oedd yn ei law, efe a darawodd gostrel o *gin* oedd ar ymyl y bwrdd nes oedd yn chwilfriw. Y mae yn ddigon tebyg ei fod wedi taro ar wreiddyn y drwg! Y mae yn alarus meddwl gymaint o afiechyd, costau, a phoenau, a phob drygau a achosir trwy gymdeithasu gormod gyda diodydd meddwol!

—Yn amser rhyfeloedd George III., yr oedd ymdrafodaeth yn y Senedd i gyfodi rhifedi neillduol o filwyr, a darfu rhyw un roddi cynyg eu bod i gael eu haddysgu a'u hymarfer ar y dydd Sabboth. Pan oedd hyn yn min cael ei basio, cyfododd rhyw aelod anrhydeddus ar ei draed, a dywedodd, "Mr. Llefarydd, y mae genyf wrthwynebiad neillduol i hyn, yr wyf fi yn credu mewn hen lyfr a elwir y Beibl." Edrychodd yr aelodau yn syn ar eu gilydd, a rhoddwyd y peth i fyny yn y fan. Mor dda yw gair yn ei amser!

— Un diwrnod cyfarfyddodd Syr Walter Scott gardotyn ar yr heol, yr hwn a ofynodd iddo am chwe' cheiniog. Gan na feddai y swm hwnw, rhoddodd swllt iddo, a dywedodd gyda gwên, "Cofiwch, Syr, fod arnoch chwe' cheiniog i mi." "Digon gwir," medd y cardotyn, "a chaniataed Duw i chwi gael byw hyd nes y talwyf ef."

—Yn hanes y meddyg enwog Abernethy, o Lundain, dywedir am ddyn moethus, dioglyd, a flinid yn dost gan y gymalwst, yr hwn a aeth at Abernethy i ofyn am feddyginiaeth oedd yn briodol i wellâu y cyfryw anhwyldeb. Atebodd y meddyg ffraeth, "Byddwch fyw ar chwe' cheiniog y dydd, ac enillwch ef."

—Daeth cardotyn tlawd at ddrws Dr. Smollett i ymofyn elusen. Rhoddodd yntau *guinea* iddo mewn camgymeriad. Y dyn tlawd, gan dybied fod camgymeriad wedi bod, a redodd yn ol i'w roddi i'r boneddwr. Ar hyn rhoddes Smollett ef iddo yn ei ol, yn nghyd a *guinea* arall, fel gwobr am ei onestrwydd. Wrth eu rhoddi iddo, efe a ddywedodd, "Y fath lety gwael y mae gonestrwydd weithiau yn ei gymeryd."

Digitized by Google

# Y WAWR.

CYF. VII.] HYDREF, 1882. [RHIF. 7.


## ADGOFION AM YR EIDAL.


GAN Y PARCH. JOHN W. WILLIAMS, D. D., HYDE PARK, PA.


### RHIF IV.

RHUFAIN.—I.

Yr ydym yn awr wedi cyrhaedd Rhufain, canolbwynt y byd gwareiddiedig yn amser sefydliad Cristionogaeth. Mae y Via Appia yn arwain heibio bedd-ogofeydd St. Calixtus a St. Sebastiano, ac yn diweddu wrth y Porto Capena, porth deheuol y ddinas. Ar ein mynediad i fewn, gan fod ynddi gynifer o leoedd a gwrthddrychau o ddyddordeb neillduol i'r darllenydd, mae yn anhawdd penderfynu at ba un o honynt i gyfeirio ein sylw gyntaf. Man draw, wrth droed y Capitoline, gerllaw y Forum, mae carchar Mamertine, lle, yn ol traddodiad, y bu'r apostolion Petr a Paul yn garcharorion am hir amser, am "air Duw ac am dystiolaeth Iesu Grist." Yna y bu y ddau gyda'u gilydd yn rhwym naw mis wrth golofn, yr hon a ddangosir i'r ymwelydd yn bresenol. Yna, yn ol dysgeidiaeth eglwys Rhufain, y cyfarchodd y ddau apostol y byd Cristionogol am y waith olaf—Petr yn y geiriau, "Eithr yr ydwyf yn tybied fod yn iawn, tra fyddwyf yn y tabernacl hwn, eich cyffroi chwi, trwy ddwyn ar gof i chwi, gan wybod y bydd i mi ar frys roddi fy nhabernacl hwn heibio, megys yr hysbysodd ein Harglwydd Iesu Grist i mi. Ac mi a wnaf fy ngoreu ar allu o honoch bob amser, ar ol fy ymadawiad i, wneuthur coffa am y pethau hyn." A Paul, yn y geiriau canlynol, wrth Timotheus: "Cofia gyfodi Iesu Grist o had Dafydd, o feirw, yn ol fy efengyl i: yn yr hon yr ydwyf yn goddef cystudd hyd rwymau, fel drwg-weithredwr; eithr gair Duw nis rhwymir. ...... Canys myfi yr awrhon a aberthir, ac amser fy ymddatodiad i a nesaodd. Mi a ymdrechais ymdrech deg, mi a orphenais fy ngyrfa, mi a gedwais y ffydd." O'r carchar yna y daeth Cicero allan i hysbysu y bobl yn y Forum fod y cydfradwyr Catalinaidd wedi eu dienyddio, gan floeddio yr un gair *Vixerunt*—"Y maent wedi peidio byw." Yna y newynwyd Jugurtha, brenin Mauritania, i farwolaeth gan Marius. Yna y dyoddefodd Simon Bar-Gioras, amddiffynydd diweddaf Jerusalem, yn ystod

Digitized by Google

teyrnasiad Titus. Mae gan hanesyddiaeth lawer o bethau i'w ddweyd am yr ysmotyn du yna.

Yn mhellach yn mlaen, yr ochr ogleddol o Fryn y Capitoline, ar y Piazza della Rotonda, saif y Pantheon, yr hwn a ystyrir yr adeilad paganaidd perffeithiaf yn Rhufain. Adeiladwyd hwn 27 o flynyddau cyn y cyfrif presenol, gan Marcus Agrippa, cyfaill mynwesol Augustus Cæsar, ac ail briod ei ferch Julia. Cauwyd yr adeilad hwn fel teml baganaidd mewn ufudd-dod i orchymyn yr Ymerawdwr Honorius, yn y flwyddyn A. D. 399, ac agorwyd ef yn A. D. 608, at wasanaeth Cristionogaeth, gan y Pab Boniface IV., trwy ganiatad yr Ymerawdwr Phocas, dan yr enw *Sta. Maria ad Martyres.* Y Pantheon ydyw Westminster Abbey Rhufain. Yma y gorwedd llwch mawrion y genedl. Mae yr Eidal trwy y canrifoedd wedi bod yn enwog am ei beirdd a'i *artistes*, paentwyr a cherfwyr. Meibion yr Eidal ydoedd Michael Angelo, Titian, Dante—yr hwn a elwir yn Florence hyd heddyw "y Bardd Dwyfol"—Virgil, Annibale, Caracci, Pierino del Vaga, Giovanni da Udine, a Raphael, amryw o ba rai sydd yn gorphwys yn y deml hon. Yn y trydydd capel ar y llaw aswy y gorwedd yr anfarwol Raphael, yr hwn fu farw Ebrill 6, 1520. Yma huna yr anwyl a'r gwladgarol Victor Emmanuel, sylfaenydd yr Eidal Newydd, oddiamgylch gorweddle yr hwn yr oedd arwyddion galar y genedl ar ei ol yn amlwg ac yn newydd pan fu yr ysgrifenydd yno, yn Mawrth, 1880.

I'r deheu o'r Pantheon, yn ymyl y Bryn Coelian, ar yr heol sydd yn arwain o'r Coliseum i'r Lateran, y saif eglwys St. Clement, yr hon a adeiladwyd mewn coffadwriaeth i un o gydlafurwyr Paul, a'r trydydd esgob ar yr eglwys Gristionogol yn Rhufain, at yr hwn y cyfeiria yr apostol yn ei lythyr at y Philippiaid, fel un or "rhai y mae eu henwau yn llyfr y bywyd."

Flynyddau yn ol, 1857, darganfyddwyd fod yr eglwys bresenol yn sefyll ar adeilad arall, y muriau a'r colofnau yn gorphwys ar furiau a cholofnau eraill. Wedi cloddio a chlirio allan y ty tanddaearol hwn, canfyddwyd mai efe oedd eglwys wreiddiol St. Clement. Mae yn yr eglwys hon, fu yn guddiedig fil o flynyddau, amryw golofnau o farmor gwerthfawr ac anghyffredin, yn aros mewn cyflwr braidd mor berffaith a'r dydd y gosodwyd hwynt yno. Ar y muriau mae paentiadau, megys y croeshoeliad, yn yr hwn y saif Ioan a Mair yn ymyl y groes, yr esgyniad, y gwragedd wrth y bedd, y briodas yn Cana, a llun esgob yn gweinyddu bedydd ar ddyn ieuanc. Yr oedd y ffurf apostolaidd o weinyddu bedydd heb ei gyfnewid gan Eglwys Rhufain pan y paentiwyd y llun hwn. Ynddo saif y bedyddiedig *yn* y dwfr i fyny i'w lwynau, a'r esgob tu allan i'r bedyddfa, a'i law ar ben yr ymgeisydd, ac ymddengys yn y weithred o ddweyd, "Yr wyf yn dy fedyddio di," &c. Yn y flwyddyn 1867 gwnaed ymchwiliad pellach, a chafwyd adeilad arall yn gorwedd o dan yr eglwys wreiddiol, yr hwn credir ydoedd ty Clement ei hun. Mae yn amlwg wrth y priddfeini â pha rai yr adeiladwyd rhan o hono, fod y ty hwnw yn dyddio o'r amser pan oedd Rhufain o dan werin-lywodraeth. Ynddo y mae ystafell eang hirgrwn a elwir *oratorium*, yn yr hon, o bosibl, yr ymgyfarfyddai yr eglwys fechan i addoli Duw, ac i dderbyn y ddysgeidiaeth Gristionogol.

Nid y lle lleiaf dyddorol yn Rhufain

Digitized by Google

yw y Coliseum, yr hwn sydd yn sefyll ar derfyn deheuol y Via Sacra. Mae hanes yr adeilad anferth hwn yn ein harwain yn ol i'r ganrif gyntaf o'r cyfrif presenol, pan oedd Rhufain ar ei man uchelaf, ac yn meistroli y byd, a phan oedd pelydrau gwawrddydd Cristionogaeth yn ymladd â thywyllwch dudew nos paganiaeth. O holl faesydd brwydrau y Groes, o'r dydd y llofruddiwyd Mab Duw gan yr Iuddewon tu allan i furiau Jerusalem, hyd yn awr, nid oes un man wedi bod yn fwy gwaedlyd na'r ysmotyn hwn. Pe buasai meini y Coliseum ond cael tafod i adrodd yr hyn a welsant ac a glywsant yn y canrifoedd cyntaf, llefarent yn hyawdl am ffyddlondeb diysgog, ymroddiad trylwyr, a dyoddefaint ofnadwy yr ugeiniau miloedd merthyron a larpiwyd gan fwystfilod, a drywanwyd â phicelli, ac a ddirdynwyd â pheirianau creulawn o fewn y muriau hyn, am arddel Iesu Grist yn Arglwydd ac yn Dduw.

Dechreuwyd yr adeilad yn y flwyddyn A. D. 72, gan yr Ymerawdwr Vespasian, yr hwn a'i cododd mor uchel a'r drydedd rhes o *arches;* gorphenwyd y ddwy res olaf gan Titus, ar ol ei ddychweliad o ddarostyngiad Jerusalem. Dywedir fod 12,000 o garcharorion Iuddewig wedi bod yn gweithio arno, a bod y muriau allanol wedi costio rhwng pedair a phum' miliwn o ddoleri. Mesura 1,641 troedfedd o gwmpas, 287 troedfedd o hyd, 182 troedfedd o led, a 157 troedfedd o uchder, a saif ar chwech erw o dir. Cynwysa bedair o loriau, y *Doric*, yr *Ionic*, y trydydd a'r pedwerydd yn *Corinthian*. Yr oedd y *podium* yn cynwys lleoedd o anrhydedd, y rhai a gedwid i'r teulu ymerodrol, y seneddwyr, a morwynion Vesta. Yr oedd eisteddleoedd yr ymwelwyr eraill wedi eu rhanu yn dair esgynlawr, y cyntaf i'r dosbarth urddasol, yr ail i'r bobl gyffredin, a'r uwchaf i'r milwyr. Cynwysai yr holl adeilad le i 100,000 o ymwelwyr.

Hwn ydoedd pleserdy y ddinas. Iddo y cyrchai y miloedd o bob gradd ac oedran, i weled, nid chwareu diniwed, ond ymladd hyd farw. Y difyrwch mwyaf cyffredin ydoedd canfod llewod a charcharorion yn ymladd, y blaenaf heb ymborth am bedair-awr-ar-hugain, yn ffyrnigwyllt am ysglyfaeth; yr olaf yn ymladd am eu bywyd. Weithiau byddai y cleddyfwyr (*gladiators*) yn cael eu gorfodi i ymladd y naill y llall er mwyn difyru y dorf. Y mae llinellau Arglwydd Byron ar y "*Dying Gladiator*," yn hynod effeithiol; rhan o honynt sydd fel y canlyn:

"And here the buzz of nations ran
In murmured pity, or in loud applause,
A man was slaughtered by his fellow man.
And wherefore slaughtered? Wherefore, but because
Such were the bloody circus' genial laws,
And the imperial pleasure. Wherefore not?
What matters where we fall to fill the maws
Of worms—on battle-plains or listed spot?
Both are but theatres where the chief acts rot.

I see before me the gladiator lie;
He leans upon his hand his manly brow,
Consents to death, but conquers agony,
And his drooped head sinks gradually low,
And through his side the last drops, ebbing slow
From the red gash, fall heavy, one by one,
Like the first of a thunder shower; and now
The arena swims around—he is gone,
Ere ceased the inhuman shout which hailed the wretch who won.

He heard it, but he heeded not—his eyes
Were with his heart, and that was far away;
He recked not of the life he lost, nor prize,
But where his rude hut by the Danube lay,
*There* where his young barbarians all at play,
*There* was their Dacian mother—he, their sire,
Butchered to make a Roman holiday—
All this rushed with his blood. Shall he expire,
And unavenged? Arise! ye Goths, and glut your ire."

Daeth yr ymladdfeydd hyn i derfyniad yn y flwyddyn A. D. 403, pan y

Digitized by Google

rhuthrodd monach o'r enw Telemachus i ganol yr ymladdfa, gan ddymuno ar yr edrychwyr i ymwrthod a hwynt. Ond yn lle gwrando arno, llabyddiasant ef.

Y merthyr cyntaf ddyoddefodd yn y Coliseum ydoedd Ignatius, esgob Antiochia, dysgybl Ioan, a chydymaith Polycarp. Pan ddygwyd ef i'r chwareule, penliniodd o flaen y dorf, gan ei chyfarch yn y geiriau canlynol :

"Rufeiniaid, y rhai sydd yn bresenol, gwybyddwch nad ydwyf fi wedi cael fy nwyn i'r lle hwn am un trosedd, ond mewn trefn fel y gallwyf yn y modd hyn feddianu llawenydd gogoniant Duw, am gariad yr hwn y'm gwnaed yn garcharor. Yr ydwyf fel gronyn y maes, a rhaid fy malu gan ddanedd y llewod, fel y deuwyf yn fara addas i'w fwrdd ef."

Wedi iddo ddywedyd hyn gollyngwyd y llewod ato, y rhai a'i difasant oll. Yn fuan ar ol merthyrdod Ignatius, rhoddwyd 115 o Gristionogion i farwolaeth yno yn yr un modd. Rhoddodd Cristionogaeth esgusawd newydd i'r Rhufeiniaid dros gludo creaduriaid diniwed a diamddiffyn i chwareule y Coliseum i'w lladd a'u llarpio. O hyn allan y Cristionogion sydd yn cael eu dal yn gyfrifol am bob anffawd a gymer le yn y ddinas. Os tyr tân allan yn rhyw gongl o honi, y Cristionogion oeddent y ffaglwyr ; os cyfoda terfysg yn mhlith y werin, y Cristionogion oeddent y terfysgwyr ; a'r waedd ar ol pob anffawd oedd, "Y Cristionogion i'r llewod!" Duw yn unig a wyr pa nifer o ugeiniau o filoedd o ganlynwyr y Nazaread gawsant eu cigyddio a'u llarpio gan ddynion drwg a bwystfilod rheibus yn y Coliseum yn y canrifoedd cyntaf mewn canlyniad i'r waedd hon.

Pan yn edrych ar yr adeilad anferth, y mwyaf o'i fath, ddichon, yn hanes y byd, ac wedi ei adeiladu gan y gallu gwleidyddol mwyaf a welodd dynoliaeth, yr oedd yr ysgrifenydd yn meddwl am brophwydoliaeth y pererinion Saxonaidd parthed iddo : "Tra saif y Coliseum, saif Rhufain ; pan syrthia y Coliseum, syrthia Rhufain ; a phan syrthia Rhufain, syrthia'r byd." Ond pan oedd ei hanes creulawn a gwaedlyd yn ymgodi o'i flaen, ac ocheneidiau y miloedd merthyron a larpiwyd ynddo yn disgyn ar glustiau ei ddychymyg, gyda theimlad o ddiolchgarwch, y daeth geiriau y diweddar Charles Dickens pan yn syllu ar yr un gwrthddrych, i'w gof : "God be thanked—A RUIN."

---

## BEDD Y BARDD.

Gwnaer imi fedd mewn dystaw bant,
  Ar lan afonig wisgi ;
Cydblethed yno drydar nant
  A chwiban gwynt eu cerddi.

Gerllaw, ar gangen werdd y llwyn,
  Telored yr aderyn ;
Na chlywer byth o gylch y twyn
  Gwynfanus lef nac emyn.

Na ddoder maen na mynor trwch,
  I fod o'r fan yn gofnod ;
Dienw, unig boed i'm llwch
  Gael llechu yn y beddrod.

Wylofus helyg, ywen ddu,
  Na neb arwyddion prudd-der,
Yn hulio'r argeledig dy
  Lle hûn y bardd, na weler.

Ond gwlyched dagrau gwawrddydd glaer,
  Ir dyweirch fy ngorweddle,
Pan ddengys haul ei lygad aur
  Trwy rudd amrantau'r bore.

—*D. Silvan Evans.*

Digitized by Google

## YR UCHEL-WYL YN NANTICOKE.

Yn flaenorol i'r Gymanfa rhedai ffrydiau cryfion o ddymuniadau sanctaidd at Nanticoke, o wahanol gyfeiriadau. "Gobeithio y cawn Gymanfa dda," ebe hwn, ac ebe y llall, yn y fan hon ac yn y fan draw. Tynid yn galed yn rhaffau yr addewidion gan lawer i sant ar ei liniau mewn aml i gwrdd gweddi a chyfeillach trwy ardaloedd yr eglwysi Cymreig. "A oes rhyw bregethwyr dyeithr yn dod i'r Gymanfa eleni? A ydyw Mr. —— yn dod? Clywais fod Mr. —— yn dod, a yw hyny yn wir?" Ymadroddion bwrlymiadol fel yna oeddynt ffynonau ymddyddanion mynych cyn yr uchel-wyl y flwyddyn hon. Yr oedd ysbryd cymanfa yn ysbryd i bawb. Yr oedd y dioglyd crefyddol gartref yn dod yn selog ar ei ffordd i Nanticoke. Yr oedd y gwahanol gleifion crefyddol yn ymdeithio yn mlaen gan ddysgwyl, dybygid, am gynhyrfiad y dwfr. Yr oedd amryw o aelodau yn "y cwrdd unwaith yn y mis," yn ymstwryian yn mlaen i'r wyl fawr, "lle mae'r llwythau'n dod yn nghyd." A gwelid aml i aelod yn "y cwrdd unwaith yn y flwyddyn," yn hercian tua'r orsaf am gael y trên i Nanticoke. Mor loew, siriol, ac ymlonol mae pawb! Yn y trên taflai ambell i hen chwaer selog a brawd a diacon lygaid go drwm ar wyr "yn y cwrdd unwaith yn y mis" ac "unwaith yn y flwyddyn." Yn gynar boreu Sadwrn mae y cerbydau tân yn aflonydd yn y gorsafoedd, eisiau cychwyn. Rhed hwn a rhed y llall rhag bod ar ol. Y mae'r badau a fynwesir gan yr afon gref a rêd trwy ddyffryn y Wyoming yn mynwesu aml i frawd da a'r achos goreu yn agos at ei galon. Yr ydym ninau yn mhlith y lluaws. Gan deimlo "pwys y dydd a'r gwres" cyrhaeddasom y gynadledd erbyn 11 o'r gloch, yn nghymdeithas gweinidog brawdgarol Hyde Park. Wrth fod "yn chwys i gyd," 'doedd dim modd gweled neb na chlywed neb, na gwrando neb yn iawn am beth amser. Amneidiem yn gyfeillgarol ar hwn a hwn a droai ffenestri ei welediad atom. Erbyn hyn yr oeddym yn dechreu teimlo yn gartrefol; a'r gynadledd am i ni deimlo yn gartrefol, gan ein hanog i gydweithredu â hwy, a chymysgu ein llais â'r eiddynt hwy.

Darllenir llythyrau oddiwrth yr eglwysi. Y rhai hyn heb fod yn dorcalonus, nac yn galonogol neillduol, oddieithr rhai eithriadau. Mewn amryw engreifftiau yr oedd pethau yn dangos cynydd a llwyddiant. Braidd na theimlem yn bruddglwyfus, a meddyliem am y blynyddau gynt, blynyddau yr hen amseroedd, pryd yr oedd Seion yn llawen fam plant. Ond eto na chamsynier, mae bywyd a thôn efengyl yn y gwersyll. Adnabyddid hyny yn llafar a pharabl yr ysgrifenydd parchus fel yr elai yn mlaen o lythyr i lythyr. Pan y dywedid, "Anerch oddiwrth eglwys y Bedyddwyr Neillduol yn addoli Duw yn ——, at Gynadledd Cymanfa," &c., teimlem ddyddordeb yn y mynegiad; adwaenem y llais; gwelem y ddeadell hono megys mewn cornel bellenig, unig, ac yn ei llythyr am gael ei chofio a'i chydnabod yn perthyn i'r praidd a hen deulu y tân a'r ffagodau a ddyoddefasant dros y gwirionedd gynt. Yr oeddwn, wrth glywed y llythyrau hyn oddiwrth y "chwiorydd eglwysi," yn teimlo yn debyg fel y teimlai fy nhad a'm mam a ninau'r plant, wrth wrando darllen llythyr oddiwrth fy mrawd anwyl William, o fan bellenig, ar ei fordeithiau

Digitized by Google

tramorawl. Felly eglwysi'r saint a nodent eu helyntion mordeithiol trwy fôr tymestlog, "i wlad sydd well i fyw." Onid oedd ein calon yn dyner ynom tra y darllenid y llythyrau syml hyn? Yn y cyfrifon a roddid, nodid y casgliadau at wahanol achosion—symiau bychain—"dolar," a "dolar a haner;" eto credwyf fod mwy o wir haelfrydedd yn y doleri hyn nag a geïr yn fynych yn "miloedd" y gwyr cyfoethog. Mae llawer "dolar" fel hyn yn dod o brinder mawr, ac wedi ei henill yn ddrud; a diolch, mae y Meistr yr ydym yn ei wasanaethu yn gwerthfawrogi y rhoddion bychain hyn, o brinder. Cofier y weddw a'r ddwy hatling. Yr oedd y doleri hyn yn cael eu hestyn bron yn ddieithriad gan ddwylaw corniog, celyd, meibion llafur.

Ofnem i "rywbeth" ddygwydd i dori ar heddwch y gynadledd, fel y gwelwyd weithiau. Gwnaem edrychiadau a chlustiadau mynych a gwyliadwrus "rhag ofn" i "*rywbeth*" ddygwydd i ddyrysu'r peirianwaith, ac i roi agwedd hyll, frawychus, gas, ar wedd y Gymanfa.

Y gynadledd y prydnawn heb ddim annymunol—"heddwch fel yr afon," a chyfiawnder, dybygid, fel tonau y môr; o'r hyn lleiaf *amcenid* iddi fod felly. Triniwyd materion "*delicate*" gyda dwylaw tyner a deheuig. Yr oedd y gynadledd yn cadw i fyny dôn deilwng o o bobl yn trin materion teyrnas nefoedd.

Dyma ni yn y cwrdd hwyrol—cwrdd pregethu. Tri yn llefaru—gormod o un, beth bynag. Y brawd Price, Kingston, yn syml efengylaidd, a thrwsiadus—arddull deilwng. Nid oes gan yr ysgrifenydd fawr i ddweyd am y nesaf, gadawn hyny i eraill. Yn ddiweddaf pregethodd Mr. Thomas, Lansford, i'r "hen bobl," yn afaelgar. Canwyd mawl gyda hwyl yn y diwedd.

Cwrdd gweddi am 9, boreu Sul—y brawd hoff, patriarchaidd, Theophilus Jones, yn llywyddu. Cwrdd hwylus, a *gweddio* ynddo. Sylwasom fod y brodyr mwyaf adnabyddus am eu sel a'u ffyddlondeb yn yr eglwysi gartref, yn cael eu galw i fyn'd ar eu gliniau; dylai dewisiad cyffelyb gael ei wneyd wrth benodi pwy fydd i bregethu.

Yr oedd yr hin yn wlyb anarferol, o'r boreu hyd yr hwyr. Cofiem linell R. Ab Gwilym Ddu,

"Plwm yw yr hin, p'le mae'r haul?"

Ond tra yr oedd yr hin yn anfanteisiol, mewn ystyron pwysig, eto efallai y gallai fod yn fanteisiol—yr oedd yn gyru pawb at eu gwaith. Nid oedd cyfleusdra i ddynion sefyll allan yn finteioedd i "glebran pob rhyw lol," fel y gwelsom gyda gofid weithiau ar adeg yr uchel-wyliau. Ar ol ymborthi, yr oedd yn *rhaid gwneyd brys* am le diddos. Yr oedd y gwlaw megys yn fflangellu y bobl at eu gilydd i wrando.

Y cwrdd deg yn dod. Wedi dechreu yn afaelgar gan ryw frawd dyeithr, y brawd hyawdl a thanllyd, Mr. Williams, Hyde Park, yn llefaru yn Saesoneg—Ioan a Christ—y prawfion mai efe oedd y Messiah—yr hyn oedd yn cymeryd lle oddiamgylch. Dyna'r prawfion goreu eto o ddwyfoldeb Cristionogaeth—beth mae hi *wedi* ei wneyd, ac *yn* ei wneyd, i'r byd. Cymharer gwledydd Cristionogol â'r gwledydd paganaidd—cymharer y dynion sydd o dan ei dylanwad â'r rhai nad ydynt. Pregeth *rymus* oedd hon, ac yn meddu *tuedd* dda. Yn dilyn dacw y Parch. D. Rhys Jones, Plymouth, yn nesu yn mlaen yn arafaidd at y ddesc. Ymsyniem fel y canlyn wrth yr olwg arno. Gwelsom ddydd arno ef y buasai yn

Digitized by Google

gyru y cwbl yn dân, ac yn toddi calonau y miloedd, gan draddodiad o'r newyddion da mewn iaith fwyn, dreiddiol, fel y diliau mêl! Cofiem am Gymanfa Garn Dolbenmaen, pan yr oedd yr anwyl frawd yn ei ddyddiau goreu, ac yn weinidog yn Llangefni, yn Môn—ei wisg a'i ymddangosiad yn foneddigaidd, fel y dylai eiddo gweinidog efengyl fod, a'i bregethau yr un modd. Yr oedd ei lwybr o bregethu fel y goleuni, yn cynyddu fwy-fwy hyd ganol dydd. *Adnabyddwn ef* eto yn Nanticoke, ar ol cymaint o amser. Mae yr un dremiad dreiddiol, yr un pereiddder soniarus, yr un fanllef arianaidd, i'w chanfod eto; ond oblegid gwendid corphorol, yn llai ymrwyfawl, hoew a nerthol. Ei destyn oedd, "Chwi a adwaenoch ras ein Harglwydd Iesu Grist, iddo ef, ac yntau yn gyfoethog, ddyfod er eich mwyn chwi yn dlawd," &c. Yr oedd parabliad y geiriau yna ganddo fel dyfroedd oerion i enaid sychedig. Gwelais amryw yn wylo yn hidl o dan y bregeth hon. Yr oedd y gwlith a'r gwlaw grasol yn disgyn ar y bobl. Yr oedd y cwrdd hwn yn destyn diolch, ac ymadawodd y dorf i wahanol fanau i gael blas newydd ar eu bwyd, a chalonau newyddion i ddiolch am dano.

Y cwrdd dau. Dechreuodd y brawd Nicholas, Hazelton, gyda hwyl. Y brawd W. D. Thomas, Parsons, yn darllen papyr gwir fuddiol. Haedda y papyr hwnw sylw. Dysgwyliwn ei weled yn ein Cylchgrawn yn fuan. Pregethodd y brawd Jeremiah Griffiths, Ashland. Gwnaeth yn gymedrol dda. Teimlem fod y brawd yn ofnus gan ymdeimlad o bwysigrwydd ei sefyllfa o flaen y fath dorf. Clywsom ei fod yn gwneyd yn llawer gwell fel rheol. Yn nesaf, pregethodd y Parch. D. Rhoslyn Davies yn gymeradwy a medrus. Mae Mr. Davies yn meddu rhai elfenau pregethwrol poblogaidd o'r radd flaenaf. Mae ei iaith yn goeth, a'i gyfansoddiad yn ddestlus, ac yn enill yn naturiol mewn brwdfrydedd wrth fyned rhagddo. Gwelid y nodweddau hyn yn amlwg ynddo y tro hwn. Yr oedd ei sylwadau yn niwedd ei bregeth ar yr elfenau dwyfol o ras a chariad yn ardderchog, ac yn tueddu i daflu claerder dros yr holl bregeth, fel goleuni trydanawl yn y nos yn goleuo holl wyneb y wlad.

Yn yr hwyr y mae tri i lefaru. Nid hoff genym hyn. Yr ydym yn myned yn sâl gan yr arferiad hwn. *Dear me*, ai tybed nad oes digon o ras ynom i fod yn ddystaw, os bydd hyny yn help i ddylanwad y Gymanfa? Y mae tri yn ormod i bregethu, pwy bynag fyddo y pregethwyr. Pa bryd y cawn ddiwygiad yn hyn? Ond rhag cadw stwr yn y fan yma yn nghylch y mater hwn, gadewch i ni fyned i gwrdd yr hwyr. Dechreuir gan yr hawddgar a'r dyngarol frawd, Vaughan Richards, Plymouth. Cyd-weddïid ag ef gan y saint. Gweddiai, tybiem, am y fendith angenrheidiol. Pregethwyd gan y brawd ieuanc Mr. Evans, Audenried. Da, frawd. Gall Mr. Evans ddod yn bregethwr rhagorol. Dipyn yn ofnus ydoedd, ac yn wylaidd, ac nid oedd heb fod yn ystyriol o'r lle yr oedd yn sefyll arno. Gwnaeth rai sylwadau pwrpasol, ac amcanai yn dda. Yn nesaf, mae y brawd D. S. Thomas, Shenandoah, yn gwneyd ei ymddangosiad. "Gwir yw y Gair, ac yn haeddu pob derbyniad," &c., yn destyn. Yr oedd Mr. Thomas wedi tori llwybr clir, ac aeth trwyddo yn ddiasgloff. Mae elfen cynydd ynddo ef, efallai, lawn cymaint ag odid un yn nghylch y Gyman-

Digitized by Google

fa. Yr oedd y bregeth hon yn dangos cynydd anarferol er pan y clywsom ef o'r blaen. Gwnaeth waith teilwng, ac yr oedd y gwrandawyr yn teimlo hyny. Yn ddiweddaf pregethodd y brawd Williams, Hyde Park, yn Gymraeg y tro hwn. Pregeth ddylanwadol, efengylaidd a hwylus neillduol. Nid aml yn y dyddiau hyn y canfyddir y fath hwyl yn ein cyrddau mawrion. Yr oedd plant yr Arglwydd yn gwledda, a phechaduriaid yn teimlo. Diweddodd gwaith y dydd er mawr foddlonrwydd i bawb, feddyliem.

Yn y gynadledd am ddeg, boreu Llun, ymdriniwyd yn ddyddorol ag amryw faterion o bwys i'r Gymanfa a'r eglwysi, a gohiriwyd y gynadledd hyd y flwyddyn nesaf, yn Hyde Park. Ni fu yn gyfleus i ni fod yn y cyrddau pregethu am ddau, a chwech, y dydd hwn. Clywsom i bethau basio yn rhagorol, ac i'r brawd Theophilus Jones ddiweddu yr wyl gyda blas.

Mae Cymanfa Dwyreinbarth Pennsylvania yn meddu cymeriad uchel. Cynwysa ynddi oddeutu dwy fil o gymunwyr, yr hyn sydd tua haner rhif y Bedyddwyr Cymreig yn America. Mae dysg helaeth, gweinidogaethol a phregethwrol, wedi gwneyd llawer dros y Gymanfa hon. Mesur buddiol a fu o dan sylw y flwyddyn hon ydyw, "Y Genadaeth Gartrefol Gymreig." Hyderir yn fawr y bydd yr eglwysi yn fyw i'r mater angenrheidiol hwn. A chymeryd pob peth gyda eu gilydd, credwn fod y Gymanfa hon mewn cyflwr iachusol a llwyddianus.

---

—Y mae dynion tra ardderchog yn rhagori mewn gwahanol ffyrdd: y mae y meini dysgleiriaf yn gwahaniaethu mewn lliw yn fynych pan nad ydynt mewn gwerth.

## Y CYFIEITHIAD DIWYGIEDIG
### SAESONAEG O'R TESTAMENT NEWYDD.

GAN Y PARCH. OWEN JAMES, M. A., HYDE PARK, PA.

### III.

Yn fy ysgrif ddiweddaf, enwais ddau ddosbarth o lygriadau ydynt wedi eu gadael allan o'r testyn diwygiedig, sef llygriadau a ddygwyddasant drwy ymdrechion i unioni a chyflawni dyfyniadau o'r Hen Destament a geir yn y Newydd, a'r rhai hyny a ddygwyddasant drwy ymdrechion i gysoni rhanau cyfatebol yn y pedair Efengyl.

Heblaw hyn, llygrwyd y testyn yn aml drwy ychwanegu geiriau o'r adnodau amgylchynol, neu o ranau eraill o'r un Efengyl. Gwnaed hyn gan y trawsysgrifwyr drwy rym arferiad, yn ddifwriad ac yn ddiarwybod iddynt eu hunain. Yn Matthew 1: 6, y mae y gair "frenin" wedi cael ei ychwanegu at yr ail "Dafydd," am fod y gair yn cael ei arfer gyda y "Dafydd" cyntaf yn y rhan flaenaf o'r adnod. Nid oedd yn y testyn cyntefig. Ond wrth drawsysgrifio, fel y mae yn hawdd deall, gosododd bysedd y copiwr ef i lawr o honynt eu hunain drwy rym arferiad, heb fod y copiwr yn sylwi beth oedd yn wneyd. Yr oedd ei gof ar y pryd yn fwy bywiog na'i graffder. Ac wedi i'r gair lithro i mewn unwaith, ceid ef yn yr holl gopiau a wnaed o'r copi hwnw. Yn yr un modd y daeth y gair Iesu i mewn yn Matthew 4: 12, 18; 8: 3, 5, 7, a manau eraill. Yn Mat. 5: 27, ychwanegir "*gan* (gwell fyddai *wrth*) y rhai gynt," o'r adnod 21. Daw "yn mhlith y bobl" yn Matthew 9: 35 o Matthew 4: 23. Yn Matthew 20: 16, y mae y geiriau "Canys llawer sydd wedi eu galw, ac ychyd-

Digitized by Google

ig wedi eu dewis," wedi eu cymeryd o Matthew 22 : 14 Yn Marc 7 : 8, y mae y frawddeg, sef golchiadau ystenau a chwpanau, a llawer eraill o'r cyffelyb bethau yr ydych yn eu gwneuthur," wedi ei chymeryd o'r adnodau 4 a 13 yn yr un benod. Yn Luc 1 : 28, y geiriau "bendigedig wyt yn mhlith gwragedd," ydynt o'r adnod 42 yn yr un benod. Yn y testyn derbyniedig ceir llawer iawn o lygriadau o'r natur hyn, y rhai a adewir allan oll o'r testyn diwygiedig.

Eto llygrwyd y testyn cyntefig drwy drosglwyddo geiriau a brawddegau eglurhaol o ymyl y ddalen i gorph y testyn. Yr oedd hyn yn cael ei wneyd drwy gamgymeriad, drwy gam-ddealldwriaeth, neu drwy ddymuniad i wneyd y synwyr yn fwy eglur. Ceir engraifft o hyn yn Matthew 5 : 22, yn y gair a gyfieithir "heb ystyr." Y mae tystiolaeth y llawysgrifau parthed y gair hwn yn rhanedig. Gadewir ef allan gan lawer o honynt, tra y mae llawer eraill cydbwys mewn awdurdod yn ei gynwys. Ond y mae y prawfion mewnol yn benderfynol yn ei erbyn. Heb y gair hwn y mae dywediad Iesu Grist yn galed iawn i'r natur ddynol. Y mae peidio digio pan fyddis wedi cael achos digio yn ymddangos yn anmhosibl i nwyd lygredig. Er mwyn lleihau anhawsdra y dywediad hwn, gosododd rhyw un y gair a gyfieithir "heb ystyr" ar ymyl y ddalen, ac oddiyno trosglwyddwyd ef i gorph y testyn. Y mae y dybiaeth hon yn hawdd a syml. O'r tu arall, os llefarodd Iesu y gair, nis gellir cyfrif am y modd y gadawyd ef allan o gynifer o lawysgrifau. Ac yn wir, pan ddeallir dysgeidiaeth Cristionogaeth ar y pwnc o ddigio, ac amcan Iesu yn yr adnod dan sylw, y mae yn eithaf eglur na ddefnyddiodd efe y gair mewn dadl, a gadewir ef allan o'r testyn diwygiedig.

Engraifft arall o'r un natur a geir yn Matthew 6: 1, lle y cymerodd y gair "elusen" le y gair "cyfiawnder." Yr oedd y frawddeg, "Gochelwch rhag gwneuthur eich cyfiawnder yn ngwydd dynion er mwyn cael eich gweled ganddynt," yn annealladwy iawn i'r esbonwyr, a meddyliasant hwy fod y gair "cyfiawnder" yn yr adnod gyntaf yn gyfystyr a'r gair "elusen" yn yr ail adnod, ac ysgrifenasant y gair "elusen" ar ymyl y ddalen. Ryw bryd ar ol hyny, gosodwyd y gair "elusen" yn nghorff yr ysgrif yn lle y gair "cyfiawnder." Felly y darllena y testyn derbyniedig; ond y mae y llygriad hwn wedi ei symud o'r testyn diwygiedig, a'r gair "cyfiawnder" wedi ei adferyd i'w le ei hun. Y mae y darlleniad hwn yn ychwanegu llawer iawn at drefnusrwydd a chynwysfawredd araeth Iesu Grist. Yn yr adnod gyntaf gesyd i lawr egwyddor gyffredinol—egwyddor sydd yn cynwys holl ymarweddiad dyn yn ei berthynas â Duw, sef na ddylid ymdrechu meddianu elfenau cymeriad boddhaol i Dduw er mwyn cael ein gweled a'n canmol gan ddynion. Yna wedi gosod i lawr yr egwyddor gyffredinol hon, â yn mlaen i enwi rhai o elfenau penodol y cymeriad hwn, megys elusengarwch, ympryd, gweddi, anfydolrwydd, ac ymddiriedaeth.

Yn Matthew 25 ; 13, ychwanegwyd y geiriau, "y daw Mab y dyn," am y tybid fod y synwyr yn dywyll hebddynt. Yn y testyn diwygiedig gadewir y geiriau hyn allan. Yn Marc 7: 2, gosodwyd i mewn y geiriau, "hwy a argyhoeddasant," am y tybid fod y gystrawen yn ddiffygiol hebddynt. Gadewir hwythau allan hefyd.

Yn Marc 6: 20, y mae y testyn di-

Digitized by Google

wygiedig wedi newid y frawddeg, "efe a wnai lawer o bethau," i "efe a gythryblwyd yn ddirfawr." Y mae mwyafrif a mwyaf-bwys y llaw-ysgrifau yn ffafrio y darlleniad derbyniedig; ond y mae y tebygolrwydd mewnol yn benderfynol yn ei erbyn. Yn y lle cyntaf, y mae y ddwy ferf Roeg yn debyg iawn i'w gilydd yn eu llythyreniad. Yn ail, y mae y ferf am "a gythryblwyd" yn un anarferedig ac anadnabyddus, a'r gystrawen yn un ddyeithr ac anystwyth, tra y mae y ferf am "a wnai" yn eithaf adnabyddus, a'r gystrawen yn eithaf ystwyth. Yn awr, y mae yn eithaf naturiol i feddwl y gwnai copiwr gyfnewid y gair anarferedig a chystrawen anystwyth am air adnabyddys a chystrawen lyfn, os cofir fod tebygolrwydd mawr rhwng llythyreniad y geiriau; ond nid yw yn naturiol i feddwl fod y gwrthwyneb wedi cymeryd lle. Y mae y cyfieithiad newydd hefyd yn fwy cydweddol â'r hyn a wyddom am gymeriad Herod.

Y mae y cyfnewidiadau o'r natur hyn yn llawer ac yn ddyddorol; ond o herwydd prinder gofod, rhaid i'r uchod wasanaethu fel engreifftiau.

Ar un olwg, nis gellir dweyd fod y llygriadau uchod yn y testyn yn bwysig iawn. Y maent, gan mwyaf, yn cyfodi yn naturiol o'r cyd-destynau, neu y maent wedi eu trosglwyddo o adranau eraill o'r Testament Newydd, lle y maent yn ddilys tu hwnt i bob amheuaeth. Am y rheswm hwn nis gallant ddysgu un syniad anysgrythyrol. Ar olwg arall, y mae yr ychwanegiadau a geir yn y testyn derbyniedig yn wir bwysig, am fod tuedd ynddynt i gamarwain myfyrwyr manwl a gofalus yr Efengylau. Y mae fod cynifer o frawddegau ac adnodau cyffelyb yn y pedair Efengyl yn ein tueddu i feddwl nad oedd yr Efengylwyr mor annibynol y naill oddiwrth y llall ag oeddent mewn gwirionedd. Y mae gadael yr ychwanegiadau hyn allan, fel y gwneir yn y testyn diwygiedig, yn gynorthwy mawr i'r myfyriwr deallus i gymharu yr Efengylau mewn modd goleuedig.

Ceisiaf yn awr esbonio un ffynonell arall ychwanegiadau at destyn cyntefig yr Efengylau. Rhaid cofio nad yw y pedair Efengyl yn cynwys hanes manwl a chyflawn o holl ddywediadau a gweithrediadau Iesu Grist. Nid ydynt ond brasluniau darniol o fywyd ein Gwaredwr. Gwel Ioan 21: 25. Yr oedd y dysgyblion a'r Cristionogion boreuol yn cofio ac yn adrodd llawer iawn o weithrediadau a dywediadau Iesu heblaw y rhai ydynt yn ysgrifenedig yn yr Ysgrythyrau. Traddodwyd yr adroddiadau hyn i lawr ar lafar gwlad am ganrifoedd. Ceir cryn nifer o honynt yn ysgrifeniadau Cristionogion boreuol. Ni fyddai yn syndod yn y byd pe treiglai rhai o honynt i mewn i gopiau o'r Efengylau. Felly, yn wir, y mae wedi bod, ond ar raddfa lawer llai nag y gellid tybied yn mlaen llaw.

Un o'r ychwanegiadau meithaf a mwyaf nodedig o'r natur hyn yw yr hanes yn Ioan 7: 53; 8: 1—11, am y wraig a ddaliwyd yn y weithred o odinebu. Y mae tystiolaeth y llaw-ysgrifau henaf, y cyfieithiadau boreuaf, ac ysgrifeniadau y tadau Cristionogol, yn anwrthwynebol yn erbyn dilysrwydd yr hanes hwn. D. yw yr unig hen lawysgrifen sydd yn ei gynwys, ac ynddi hi y mae yr hanes yn dra gwahanol i'r peth ydyw yn y llawysgrifau diweddarach. Ac hyd yn nod yn y llawysgrifau hyn y mae yn amrywiol iawn. Gesyd dros ddeg o lawysgrifau ef ar ddiwedd yr Efengyl. Yn un gosodir ef i mewn ar ol Ioan 7: 36.

Digitized by Google

Mewn pedair gosodir ef ar ddiwedd yr unfed-benod-ar-hugain yn Efengyl Luc. Mewn llawer iawn o law-ysgrifau canlynir ef gan nodiad yn arwyddo y dylai gael ei adael allan, neu nad yw i'w gael yn y rhif luosocaf o'r llawysgrifau. Os yw yn ddilys, y mae yn annmhosibl cyfrif am y modd y gadawid ef allan o gynifer o gopiau. Byddai meddwl fod yr hanes wedi ei adael allan yn wirfoddol gan y trawsysgrifwyr, yn priodoli iddynt radd o benrhyddid na cheir ei gyffelyb yn holl hanes beirniadaeth destynol. Nis gellir coleddu y dybiaeth hon am foment gan y beirniaid mwyaf profiadol a dysgedig. Eto y mae ieithwedd ac arddull yr adran yn wahanol i ieithwedd ac arddull Ioan—mor wahanol yn wir fel nas gellir credu mai Ioan yw ei awdwr. Ac heblaw hyn oll, y mae yr hanesyn yn dyrysu rhediad naturiol adroddiad Ioan; tra os gadewir ef allan, y mae yr adroddiad yn eglur a didrafferth. Yn adnod 10, dywedir na welodd Iesu neb ond y wraig yn bresenol, tra yn adnod 12 dywedir fod yr Iesu wedi llefaru drachefn wrthynt. Wrth bwy, os oedd pawb wedi myned allan? Ond os cysylltir adnod 12 ac adnod 52 o'r benod flaenorol, gan adael yr holl hanesyn allan, gwelir mor naturiol yw yr adroddiad: "Hwythau a atebasant ac a ddywedasant wrtho, A ydwyt tithau o Galilea? Chwilia a gwel na chododd prophwyd o Galilea. Yna y llefarodd yr Iesu wrthynt drachefn, gan ddywedyd, Goleuni y byd ydwyf fi," &c. Dalier sylw yn mhellach, fod dygwyddiadau y ddwy benod hyn wedi cymeryd lle ar "ddydd mawr yr wyl," sef gwyl y pebyll. Ar y dydd hwn cyflawnid dwy weithred arwyddluniol a choffaol, sef tywallt y dwfr, a chyneu y lampau aur. Naturiol iawn yw meddwl fod y ddwy weithred hyn wedi achlysuro dau o ddywediadau Iesu Grist, sef, "Od oes ar neb syched, deued ataf fi ac yfed," a "Goleuni y byd ydwyf fi." Y mae y dybiaeth hon nid yn unig yn naturiol, ond hefyd yn dlws ac eglurhaol. Ond os yw yr hanes am y wraig yn ddilys, ni ddywedodd Iesu, "Goleuni y byd ydwyf fi," ar ddydd yr wyl, ond ar y dydd canlynol. Y mae yr holl ystyriaethau hyn yn ein gorfodi i feddwl nad oedd yr hanes yn rhan o Efengyl Ioan ar y cyntaf, ond iddo gael ei osod i mewn ganrifoedd ar ol marwolaeth Ioan. Ar yr un pryd, y mae yn dwyn delw Crist, ac yn anadlu ysbryd Cristionogaeth. Y mae mor wahanol i'r hyn y gwnai dynion ddysgwyl yn mlaen llaw oddiwrth Sanct Duw, fel yr oedd yn anmhosibl i neb feddwl am eiliad am greu yr hanesyn a'i gysylltu ag enw Ioan. Rhaid, ynte, fod yr hyn a adroddir wedi cymeryd lle, a'i fod wedi ei draddodi gan yr apostolion i'r Cristionogion boreuol, a'i fod yn nghwrs amser wedi llithro i mewn i destyn Efengyl Ioan. Yn y testyn diwygiedig gosodir ef rhwng cromfachau, a nodir yn ymyl y ddalen nad ydyw yn y llawysgrifau mwyaf henafol.

Ceir engraifft arall o ffug ychwanegiad yn Ioan 5: 3, 4, lle y dywedir fod angel yn disgyn ar amserau i lyn Bethesda. Y mae y prawfion henafol mor gryf yn erbyn y darn hwn, ac y mae yr amrywiaeth yn y llawysgrifau sydd yn ei gynwys mor fawr fel nad oes rhith o amheuaeth yn nghylch ei audeb. Meddyliodd rhywun fod yr adnodau dilynol yn gofyn am eglurhad, ac yr oedd y chwedl am ddisgyniad yr angel yn cael eu hadrodd am flynyddau fel eglurhad digonol, fel yn y diwedd y gosodwyd hi i mewn yn nghorph ysgrif Efengyl

Digitized by Google

Ioan. Gadewir yr adnodau allan o'r testyn diwygiedig.

Ffug-ychwanegiad arall o'r un natur yw y cerydd a roddodd yr Iesu i Iago ac Ioan, yr hwn sydd i'w weled yn Luc 9 : 55, sef, "ac a ddywedodd, Ni wyddoch o ba ysbryd yr ydych chwi." Y mae y prawf yn erbyn dilysrwydd y geiriau hyn yn gryf a therfynol. Eto y mae y geiriau eu hunain yn dwyn delw Iesu Grist. Y tebygolrwydd yw, eu bod wedi eu llefaru gan Iesu ar yr amgylchiad hwn, a'u bod wedi eu cofio a'u trosglwyddo i'r oesau canlynol gan yr apostolion. Wrth gofnodi yr hanes, gadawodd Luc y geiriau allan, ac ychwanegwyd hwy at y testyn gan rywun yn yr ail ganrif. Gadewir hwy allan o'r testyn diwygiedig.

Nid oes genyf ofod i ymgymeryd â thrin pwnc dyrys yr adnodau olaf yn Efengyl Marc, sef o'r nawfed drwy yr ugeinfed, yn y benod ddiweddaf. Yn y testyn diwygiedig, gwahenir hwynt oddiwrth gorph yr ysgrif, a gosodir nodiad ar ymyl y ddalen i'r perwyl fod amheuaeth am eu dilysrwydd. Y mae y pwnc wedi bod, ac yn parhau i fod, yn destyn llawer o ddadlu, ac y mae llawer iawn i'w ddweyd dros ac yn erbyn dilysrwydd yr adnodau Fy marn bersonol i yw, nad Marc ysgrifenodd yr adran, ond fod y geiriau diweddaf ysgrifenodd Marc wedi myned ar goll rywfodd neu gilydd, ac fod rhywun arall wedi gosod yr adnodau dan sylw yn eu lle, am ei fod ef yn teimlo sydynrwydd terfyniad yr Efengyl.

Y mae y foledd sydd ar ddiwedd Gweddi yr Arglwydd, yn Matthew, wedi ei gadael allan o'r testyn diwygiedig. Y mae y prawfion yn gedyrn yn ei herbyn. Nid yw yn y llawysgrifau breision henaf. Ni wneir un cyfeiriad ati yn ysgrifeniadau y tadau boreuol, er fod ganddynt esboniadau ar y rhanau eraill o'r weddi. Gwir fod Chrysostom yn cyfeirio ati yn y bedwaredd ganrif, ond ni wna hyn wrthbwyso dystawrwydd Origen yn y drydedd ganrif. Ceir hi yn y cyfieithiad Syriaeg pwysig a elwir Peshito; ond nis gellir bod yn sicr ei bod yn hwnw ar y dechreu. Y tebygolrwydd yw ei bod wedi ei sylfaenu ar 1 Chron. 29 : 11, a'i bod yn cael ei defnyddio gyda Gweddi yr Arglwydd yn ngwasanaeth cyhoeddus yr eglwysi, ac iddi wedi hyny gael ei hysgrifenu ar ymyl y ddalen yn rhai o'r llawysgrifau, ac yna oddiyno cafodd ei gosod yn nghorph y testyn.

Yn y llythyr nesaf ymdrinir â thestyn Actau yr Apostolion.

---

## HANESIAETH BEDYDD,

### O'R CHWECHED GANRIF I'R AIL-GANRIF-AR-BYMTHEG.

GAN Y PARCH. JOHN T. GRIFFITHS.

Buddiol iawn fyddai olrhain hanes yr ordinhad o fedydd o amser Ioan Fedyddiwr hyd ddiwedd yr oes apostolaidd, ac o'r cyfnod hwnw hyd ddiwedd y chweched ganrif. Y maent yn gyfnodau pwysig yn hanes athrawiaeth yr eglwys. Gellir gweled ysgrif ar Dystiolaeth y Tadau ar Fedydd, mewn rhifyn o'r *Glorian;* ond yn bresenol cyfyngwn ein hunain i'r cyfnod a nodir fel peniad yr ysgrif. Meddylia rhai, gan fod taenellu a thywallt wedi eu dwyn i arferiad fel defodau crefyddol drwy eglwys Rhufain, i'r eglwys hono barhau i'w hymarferyd drwy yr oesau dilynol. Y mae hyn, fodd bynag, yn gyfeiliornad mawr, fel y cawn ddangos o gof-ysgrifau eglwysig a gwladwriaethol, yn ogystal a thystiolaethau eraill. Wrth roddi desgrifiad o amcan arwyddluniol bedydd, dywed Leo I., y Pab yn 440 : "Yn ngweinyddiad priodol bedydd, cymer marwolaeth le yn ninystr-

Digitized by Google

iad pechod; ac y mae y trochiad yn arddangos claddedigaeth, a'r codiad i fyny o'r dwfr yn ddarlun o un yn dyfod i fyny o'r bedd."

Dywed Socrates, yr hanesydd, wrth roddi hanes bedydd yn yr oes hono: "Gan ei fod yn glaf o'r parlys, gorweddai am lawer o flynyddau ar ei orweddfainc. Pan y derbyniodd yr Iuddew parlysaidd fedydd, cymerwyd ef i fyny o lyn y bedyddfan." Wrth roddi hanes bedyddiad un arall, dywed: "Wedi i'r esgob orchymyn i'r bedyddfan gael ei lanw, arweiniodd ef iddo er mwyn ei fedyddio."

Ysgrifena Lawrence, o Novara, mewn bregeth fer, hyawdl: "Beth sydd mewn bedydd ond dwfr a dillad gwynion? Wrth y bedyddfan derbyniwyd chwi gydag arwydd efengylaidd. Can gynted ag y deuwch allan o'r bedyddfan, dilledir chwi. Trocha dy hun yn nyfroedd edifeirwch."

Pan yn ysgrifenu at esgob Yspaen, dywed Gregory Fawr: "Trwy drochiad a dadsuddiad arddangoswn farwolaeth ac adgyfodiad."

Dywed Zachariah, Pab yr wythfed ganrif, pan yn ysgrifenu at esgob Boniface: "Yr hwn a *drochir* heb weddio ar y Drindod....os golchir un yn y bedyddfan heb y weddi (*invocation*), nid yw yn Gristion."

Cyfeiria Maurus, archesgob Mentz, fel y canlyn at yr ordinhad: "Wedi i'r bedyddiedig ddod allan o'r bedyddfan," &c.

Dywed Alcuinos, athraw Charlemagne: "Rhaid i'r offeiriad drochi."

Sonia Strabo, un o haneswyr yr oes hono, am fedydd yn yr un modd. Dywedir i Otho a'i gynorthwywyr, y cenadon at y Pomeraniaid, fedyddio yn Julian a Stettin, 22,000 o fewn dau fis.

Cerwynau mawrion oedd y bedyddfanau, wedi eu gosod yn y ddaear, yn mha rai y trochid y bedyddiedigion.

Dywed Aquinas, duwinydd enwog y Pabyddion, "ei bod yn fwy diogel i fedyddio trwy drochiad, oblegid fod yr arferiad cyffredin yn ffafriol iddo."

Ymdrechai Proff. Stuart ddadleu dros daenelliad, oddiwrth y geiriau hyn o eiddo Aquinas, er ei fod yn cydnabod mai trochiad oedd dull cyffredin yr eglwys o fedyddio. Ond y mae ei eiriau yn bradychu gwendid ei ymresymiad. "Dengys y geiriau hyn," ebe Stuart, "fod dull gwahanol o fedyddio ar ddechreu, ac hefyd nad ydoedd Aquinas yn gryf iawn yn ei erbyn." Ond rhaid, yn ol y cyfaddefiad hyn, nad oedd y Proffeswr o Andover wedi darllen yr hyn oll a ddywedodd Aquinas ar y pwnc. Meddylier am y geiriau canlynol o'i eiddo. "Pecha y gweinidog a fedyddia yn amgen na thrwy drochiad, yn drwm, gan nad yw yn ufuddhau i ddefod yr eglwys." Ysgrifenwyd hyn tua diwedd y drydedd ganrif ar ddeg.

Ysgrifena Sadolet, penadur yr eglwys, am "ein trochiad a'n dadsuddiad fel yn dynodi claddedigaeth ac adgyfodiad."

Cyhoeddwyd "Holwyddoreg" gan Gyngor Trent yn y flwyddyn 1556, yr hwn a gyfeiria at drochi fel arferiad yr eglwys o fedyddio. Gallem ddyfynu o benderfyniadau cymanfaol (*Synodical Decrees*) Zurich, esgob Utrecht, o Gyngor Trulle, o gof-ysgrifau eglwysig a gwladwriaethol, er profi mai trochi oedd dull cyffredinol yr eglwys o fedyddio bron hyd at amser y Diwygiad. Gallem hefyd brofi yr un ffaith o gyffesiadau yr eglwysi Saxonaidd, cyffesiadau ffydd y gwahanol gymdeithasau crefyddol a ymranasant o Rufain; ac oddiwrth eiriau Luther ac eraill o'r diwygwyr. Hefyd gallem gyfeirio at y lluaws bedyddfanau sydd wedi eu darganfod yn ngwahanol ddinasoedd Itali a Germani. Y mae yr holl ffeithiau hyn yn cadarnhau tu hwnt i amheuaeth gyffredinolrwydd trochiad fel y weithred o fedyddio. Gallem nodi y ffaith i eglwys Milan (un o'r eglwysi hynaf,) gydsynio i aros mewn cysylltiad a'r Esgobaeth Rhufeinig ar y telerau ei bod i gael cadw at yr hen ddull o fedyddio, sef trochiad. Cydnabyddwn fod taenelliad mewn arferiad, ond rhaid cofio mai mewn achosion eithriadol yn unig yr esgusodasid yr ymgeiswyr, a thaenellid hwy yn unig ar y tir eu bod yn rhy wan neu yn rhy afiach i gael eu trochi.

Digitized by Google

Cymerodd yr ymadawiad cyntaf oddiwrth drochiad, o dan rith o ddeddf eglwysig, le yn yr wythfed ganrif. Aeth rhyw fynachod at y Pab Stephan II., i ofyn pa un a oedd yn gyfreithlon mewn achosion angenrheidiol, i dywallt dwfr â lledwad (*ladle*) neu â'r llaw, ar y claf, ac felly ei fedyddio? I hyn atebodd y Pab, "Pan y mae *angenrhaid yn hawlio hyn*, gwneir ef felly yn gyfranog o deyrnas Dduw."

Dywed y dysgedig Basuage, fod hon yn cael ei chyfrif "y ddeddf gyntaf yn erbyn trochiad. Fodd bynag," meddai yr un awdwr, "ni ymadawai y Pab â throchiad ond yn unig mewn achosion gwir angenrheidiol. Mewn gwirionedd, nid oedd yn ddeddf yn erbyn, ond yn unig goddefiad i ymadael â dull cyffredin yr eglwys mewn achosion o afiechyd." Dywed rhai Pabyddion dysgedig, na ddarfu i Stephan II erioed roddi cymaint a *chaniatad* i ymadael o gwbl â'r hen ddull o fedyddio. Ac mor bell ag yr wyf fi wedi ymchwilio, nid wyf wedi gweled un hanes yn dweyd fod yr eglwys Babyddol wedi newid yr ordinhad; hyny yw, nid yw yr eglwys, *drwy ddeddf eglwysig*, wedi gosod taenelliad yn lle trochi. Hawlia rhai i'r fath gyfnewidiad gael ei wneyd gan y deddfwyr (*Legislature*) yn Ravenna, yn y flwyddyn 1311. Yr wyf wedi methu gweled un prawf o hyn. Gwnaeth y deddfwyr yn Ravenna hyn—dywedasant fod trochiad a thywalltiad yn ddibwys fel dulliau cyfreithlawn bedydd. (Barnwyf mai dyna wraidd yr hen syniad a glywir weithiau, nad yw o un pwys pa fodd y bedyddir os bydd y galon yn iawn.) Ond yn mhen blynyddoedd wedi hyn y cydnabyddodd yr eglwys drwy ei hymarferiad *daenelliad*, nid *tywalltiad*, fel yr hyn a sefydlwyd yn lle trochiad. Gyda golwg ar y dull cyffredin drwy y canrifoedd, hyd amser y Diwygiad, rhoddaf ychydig o dystiolaethau anmhleidiol:

Dywed, Bingham, "Trochi oedd y dull apostolaidd, ac arferiad yr eglwys am oesau." Stackhouse: "Y mae amryw o awdwyr wedi profi mai trochi oedd arferiad yr eglwys am fwy na 1300 o flynyddoedd." Dr. Storer: "Galarus yw meddwl na chadwodd Luther yr hen ddull o drochi, yn ol ei ddymuniad." Mede: "Nid oedd y fath beth a thaenelliad mewn ymarferiad am oesau ar ol yr apostolion." Bassuet: "Cydnabyddir mai trochiad oedd yr arferiad yn yr hen amseroedd. Cadarnheir yr un ffaith gan yr holl Gyngorau, duwinyddion, credoau, y diwygwyr, a phawb eraill."

Yn awr, pa beth yw y canlyniad, mor bell ag yr ydym wedi myned? Credwyf fy mod wedi dangos mewn modd diymwad, oddiwrth bob math o dystiolaethau, mai trochiad oedd y dull a arferid gan yr eglwysi hyd at, ac wedi y *Diwygiad;* nad oedd caniatad i ymadael a'r dull hwn ond yn unig mewn achosion neillduol o afiechyd a gwendid; hefyd, na phasiwyd yr un ddeddf i gadarnhau taenelliad neu dywalltiad yn lle trochiad. Ymddengys i mi fod yr hwn a wado hyn yn barod i wadu unrhyw ffaith hanesyddol. Hyd yn hyn nid wyf wedi dweyd dim am arferiad eglwysi Lloegr.

[I'w orphen yn ein nesaf.]

## Y GWEITHIWR

### YN CAEL EI ADNABOD WRTH EI WISG.

GAN Y PARCH. W. HADDOCK, BLAENYFFOS, DEHEUDIR CYMRU.

*Rhan I.*

Mae yn hynod i sylwi fel mae gwahanol wisgoedd yn dynodi ac yn arddangos yn allanol wahanol ddosbarthiadau o ddynion, a'u safleoedd mewn cymdeithas. Mae y wisg yn gallu dynodi safle pob dyn mewn cymdeithas, o'r orsedd i lawr hyd at y cardotyn sydd yn cardota ei fara o ddrws i ddrws, ac yn eu plith y mae y gweithiwr. Mae coronau yn cael eu hystyried fel y radd dlysaf ac ardderchocaf o hatiau, y rhai sydd yn dynodi urddas, gogoniant, a mawredd breninoedd a breninesau. Y mae y barnwr yn y llys gwladol yn arddangos ei safle trwy addurno ei ben â math o gap blewog. Mae y llys-ddadl-

euydd yn dynodi ei hun trwy wisgo gwisg laes, a math o gap nos wedi ei wneyd o fwng ceffyl. Mae yr esgob yn gwisgo gwisg wen a llewys mawrion, yr hyn, fe ddichon, sydd i arwyddo purdeb ei ddwylaw; ac hefyd arffedog o'i flaen, yr hyn a arddangosa mai efe yw yr hwn sydd yn gweithio yn galed yn y weinidogaeth. Mae yr arch-ddeon yn *pinchio* ei het i fyny bob ochr, a thrwy hyny arwydda yntau i ba safle y mae yn perthyn. Mae yr offeiriad yn darllen y gweddiau mewn gwisg wen, ac yna newidia, a daw i fyny i bregethu mewn gwisg ddu, a bwriedir hyn i arwyddo ei safle. Mae y Cwaceriaid yn cael eu hadnabod trwy fod y gwragedd yn gwisgo boneti mawrion dros eu llygaid, a'r gwyr yn gwisgo hetiau ag ymylon mawrion, a choleri mwy na'r cyffredin yn sefyll i fyny. Mae pregethwyr yn cael eu hadnabod trwy eu bod yn gwisgo cotiau duon, hirion, a chadachau gwynion. Mae ein milwyr yn cael eu galw yn "wyr y cotiau cochion," a'n morwyr yn "fechgyn y siacedi gleision." Mae gwas gwr boneddig yn cael ei adnabod wrth ei *freeches*. Maent weithiau yn wyrdd, ac weithiau yn felyn; pryd arall yn goch neu yn las. Mae y *waiter* yn yr *hotel* yn cael ei adnabod trwy ei fod yn gwisgo llian gwyn am ei wddf. Mae y *policeman* yn cael ei adwaen wrth ei gôt las. Adnabyddir y *puddler*, y *boller*, y *roller*, a'r gweithiwr tân, wrth eu *trowsers duck*, a'u harffedogau lledr. Hawdd yw gwybod pwy yw y *collier* wrth ei wyneb du, a'i wisg dduach na hyny. Mae dynion yn gwisgo *hatbands* mewn angladdau, a menyg gwynion mewn priodasau. Mae gwisg *uniform* yn y *work house*, a gwisg o unffurf yn y carcharau. Ac fel yna y mae gwahanol wisgoedd yn dynodi safleoedd dynion mewn cymdeithas.

Dichon fod yr amrywiaeth hwn mewn gisgoedd wedi ei gymeryd oddiwrth natur; Y mae natur yn llawn o amrywiaeth ardderchog. Dichon nad oes dau beth yr un fath i'w cael trwy holl greadigaeth Duw. Pe edrychem i blith y blodau, y mae rhai yn wyn a rhai yn felyn; eraill yn goch ac eraill yn binc. Pe edrychem i blith yr adar, y mae yno yr aderyn du, a robin goch, a'r fronfraith. Pe edrychem i blith yr anifeiliaid, y mae yno yr amrywiaeth penaf o bob lliw a llun; ond dichon mai nid yr anifail tlysaf ac lanaf i edrych arno fydd yr anifail mwyaf defnyddiol a gwasanaethgar. Mae yn bosibl mai y creadur mwyaf salw yr olwg arno fydd y creadur mwyaf ei ddefnydd ar y ffarm, neu yn y gwaith.

Felly gellir dyweyd am y gweithiwr, er fod ei wisg yn dynodi ei safle mewn cymdeithas, eto gellir edrych arno fel yr hwn sydd fwyaf o ddefnydd iddi. Arwydd o fawredd a defnyddioldeb yw gwisg y gweithiwr, a dylai gael ei barchu a'i fawrhau fel y cyfryw.

Hyn yn fyr hyd y tro nesaf. Llwyddiant i'r WAWR.

---

## SADWRN A SUL.

[Cyfl. gan y Parch. J. W. WILLIAMS, D. D., Hyde Park, Pa.]

*Sadwrn*.—Eira, gwlaw, gwynt, a llaid! John, boreu annymunol iawn ydyw; rhaid i chwi amwisgo eich hun yn dda, a chymeryd gofal mawr o honoch ein hunan, rhag ofn i chwi gael anwyd, a thaflu eich hun i bwl o afiechyd, yr hyn nid yw yn beth dymunol, a'r hyn hefyd ddylem ochelyd hyd y gallom.

"O, nac ofnwch droswyf fi; gosodaf fy *waterproof* am danaf, a'm esgidiau trymion am fy nhraed, ac af trwy yr eira, y gwlaw, y gwynt a'r llaid yn eithaf diogel. Os dygwydd i ddydd Sadwrn fod yn wlyb, nid oes dim i'w wneyd ond ymroi ati."

*Sul*.—Eira, gwlaw, gwynt, a llaid! John, boreu diflas iawn eto; dychymygaf nad ewch chwi ddim allan o'r ty heddyw; y mae yn beryglus i chwi i gael anwyd.

"Na, nid wyf fi yn meddwl y byddai hyny yn iawn. Yn wir, y mae yn ofynol i ddyn gymeryd gofal mawr o hono ei hun ar dywydd garw fel yma; a byddai yn annoeth ac yn beryglus i

Digitized by Google

fyned allan ar y fath foreu, ac oblegid hyny yr wyf yn penderfynu difyru fy hun y modd goreu y gallaf; ac os dygwydd i'r tywydd fod yn fwy ffafriol o gylch haner awr wedi chwech y prydnawn, af i ymweled â rhai o'm ffryndiau yn y Bryn."

*Sadwrn.*—John, yr ydych yn edrych yn flinedig iawn y boreu yma. Gallwn feddwl nad ydych yn agos iach.

"Ydwyf, yr wyf yn flinedig, ond nid yn neillduol felly; heblaw, ni thâl hi ddim i roddi ffordd i deimladau marwaidd; y mae genyf waith caled, ac y mae yn rhaid i mi ei gyflawni. Hefyd, bydd marchnad dda heddyw, a rhaid i mi wneyd y goreu o honi."

*Sul.*—John, yr ydych yn flinedig iawn y boreu yma.

"Ydwyf, yr wyf yn flinedig yn wir. Gorphwysaf heddyw, yr wyf yn meddwl, yn lle myned i'r cwrdd. Gwnaiff hûn dda ar y *sofa* les mawr i mi; ac yr wyf yn gobeithio yr aiff Mr. Abraham Richards ac eraill i'r cwrdd i wrando ein gweinidog da a doniol yn traethu y genadwri nefol—modd bynag, nis gallaf fi fyned heddyw."

*Sadwrn.*—O, Mr. Dives, y mae yn ddrwg genyf ddyfod mor ddiweddar! Ond y mae yma wr boneddig yn ymofyn rhyw gymaint o geirch a barlys, a gwahanol bethau eraill genych. Yn wir, y mae ganddo *order* yn iawn; ond wrth edrych ar eich wynebpryd, gallwn feddwl eich bod yn flinedig iawn.

"O, nac wyf ddim, nac wyf ddim; byddaf gyda chwi mewn eiliad neu ddau. O, na, ni theimlais i erioed yn llai blinedig. Yn sicr i chwi, y mae yn hoff iawn gen' i ddyfod i wneyd masnach â'r gwr boneddig da."

*Sul.*—O, Mr. Dives, drwg genyf eich aflonyddu; ond yr ydym ni mewn angen mawr am athraw yn yr ysgol Sul y prydnawn yma. Da chwi, deuwch a rhoddwch law o gymorth i ni i gario yr achos da yn mlaen.

"Wel, na, yn wir, nis gallaf ddyfod heddyw. Bum yn y ffair ddoe, a gweithiais yn galed iawn yno; ac yr wyf yn teimlo yn hynod flinedig. Rhaid i chwi ymdrechu cael rhywun arall ag nad oes cymaint o waith ganddo ag sydd genyf fi yn ystod yr wythnos. Yr wyf fi wedi codi yn foreu, ac wedi methu myned i orphwys mewn pryd yn ystod yr wythnos a aeth heibio. Heblaw hyny, y mae Siencyn y gôf a Simon y crydd yn byw yn nes i'r capel na mi; ewch, a cheisiwch ganddynt hwy."

*Sadwrn.*—Mr. Dives, y mae cyfarfod cyhoeddus i gael ei gynal yn neuadd y dref heno i siarad yn nghylch rhai gwelliantau gofynol ynddi, ac y mae'r Maer yn gobeithio y byddwch chwi yn bresenol.

"Diolch yn fawr i chwi; bydd yn dda iawn genyf fod yn wyddfodol, er fod genyf lawer iawn o waith i'w wneyd heno."

*Sul.*—Mr. Dives, mae cwrdd gweddi i gael ei gynal heno yn nhy y brawd Thomas Hughes, Shanty Hill, ac yr ydym ni yn gobeithio y cawn y pleser o'ch gweled chwi yno. Mae y brawd Hughes, fel y gwyddoch, wedi cael ei analluogi i ddyfod i'r addoliad cyhoeddus er's amser maith, ac y mae wedi dymuno arnoch chwi a'r brodyr eraill i ddyfod i ymweled ag ef. Mae y gair yn dweyd wrthym am ddyddanu ein gilydd, a dwyn beichiau ein gilydd, onid yw? Da chwi, Mr. Dives, deuwch.

"Y mae yn ddrwg iawn genyf glywed fod yr hen frawd ffyddlon Thomas Hughes mor ffaeledig; ac y mae'n sicr y gwnelai cwrdd gweddi les iddo; ond gan fy mod wedi bod oddi cartref heddyw, nis gallaf fi fyned gyda chwi heno. Heblaw hyny, y mae cyfaill nad wyf wedi ei weled er's amser maith ar ymweliad gyda mi. Yr wyf yn gobeithio y cewch gyfarfod gweddi hwylus. Nos da i chwi."

WENDROS.

---

—Gofalu am wneuthur yr hyn sydd iawn a ddylem ni, ac nid beth a ddywed dynion am danom.

—Nid yw gwir grefydd yn ddim amgen na gallu neu ddylanwad Duw ei hunan ar y galon.

Digitized by Google

# Bwrdd y Golygydd.

## BETH FYDD NESAF?

Yn awr, pan y mae rhyfel yr Aipht drosodd, y fyddin wrthwynebol wedi ei thori i fyny, a'r prif arweinwyr yn y ddalfa yn aros am eu prawf, y gofyniad cyffredinol ydyw, beth fydd nesaf? Nid yw ateb hyny yn waith hawdd. Awgrymir amrywiol bethau gan y papyrau, megys y canlynol: Ebe rhai, y peth goreu i Loegr wneyd fyddai cymeryd lle Twrci yn ei pherthynas â'r Aipht, a bod y rheolaeth yn llaw Prydain, ac nid gyda Twrci. Hoffir y cynllun yna ar amryw ystyriaethau. Annheg, meddir, ydyw fod yr Aipht yn talu teyrnged drom i'r Sultan yn flynyddol, ac yntau yn gwneyd dim am yr arian. Yn y terfysg diweddar, nid oedd modd cael gan y Sultan i symud llaw na throed er gostegu y twrf, ac adferyd trefn. Ac yn wir, pe bae yn gwneyd rhywbeth, pa werth fyddai? "Y meddyg, iachâ dy hun," ydyw hi. "Y dyn claf" ydyw y Sultan er's blynyddau meithion bellach, ac nid oes arwydd gwella arno, ac ofer dysgwyl iddo wella neb arall. Yn ngwyneb hyn, barn llawer mewn lleoedd uchel ydyw, mai y peth goreu a allai Lloegr wneyd yn y cyfwng presenol, pan y mae y cyfle, fyddai cymeryd awenau yr Aipht o law "y dyn claf," a chymeryd y deyrnged flynyddol i dalu costau y rhyfel, ac yn dâl am y cyfrifoldeb o'i llywyddu a'i hamddiffyn.

Peth arall a awgrymir fel y peth goreu i Loegr wneyd, fyddai sefydlu safleoedd milwrol ar hyd glanau camlas y Suez, a chymeryd goruwchreolaeth y cyfryw yn ei llaw ei hun.

Cynllun arall ydyw, fod i swyddogion Seisonig lywyddu byddinoedd milwrol yr Aipht. Ond gan nad beth fydd y cwrs a gymerir, hyderwn y bydd y cwbl yn lles i'r Aiphtiaid, druain. Hyd yn hyn y mae Lloegr wedi gwneyd gwaith meistrolgar yn yr Aipht, nes y mae'r byd yn synu, ac hyderwn y bydd y farn yn cael ei chario i fuddugoliaeth, hyd nes y byddo y cytundebau gwladyddol ac heddychol wedi terfynu. "Yr Arglwydd sydd yn teyrnasu, gorfoledded y ddaear."

## YR ETHOLIADAU.

Yr etholiadau ydyw pynciau y dydd, yn neillduol yn Nhalaethau New York, Pennsylvania, ac Ohio. Yn Ohio, deddf y gwirodydd ydyw y prif gwestiwn. Mae y Gwerinwyr dros fod y Ddeddfwrfa yn pasio deddf i atal gwerthiant diodydd meddwol, ac mae y Democratiaid yn erbyn hyny. Syrthiodd y ddeddf a wnaed amser yn ol yn fyr o gyrhaedd yr amcan, ac yn awr y mae y Gwerinwyr yn gwneyd ail gynyg. Llwyddiant iddynt.

Yn Pennsylvania, bosyddiaeth gwladyddol ydyw asgwrn y gynen. Mae Cameron a'i bleidwyr wedi bod yn brif gadbeniaid er's blynyddau yn y Dalaeth hono. Yn mhlith y Gwerinwyr yn y cyfwng hwn, mae plaid annibynol wedi ymffurfio, a'r amcan ydyw tori bosyddiaeth draws-lywodraethol Cameron i lawr, a chael lles y wladwriaeth yn fwy i'r golwg. Y perygl yw i'r ymraniad hwn beri i'r Gwerinwyr golli, a'r Democratiaid enill.

Yn New York, eto, y pwnc mawr ydyw ethol Llywydd y Dalaeth. Mae pleidwyr gweinyddiaeth Garfield dros fod Cornell, y Llywydd presenol, yn cael ei ail ethol, a Conkling a'i gefnogwyr yn erbyn. Hyn yw swm y cwbl a glybuwyd.

## PLEIDIO CYMRY.

Yr ydym o galon yn teimlo yn selog dros Gymry fyddont o bryd i bryd yn ymgynyg am swyddau gwladol. Nid oes odid i etholiad yn myned heibio nad oes Cymry ar y tocyn. Ofnwn nad ydym fel cenedl yn ddigon selog dros ein gilydd bob amser yn y mater hwn. Mae cwyn yn ein herbyn er erioed, nad ydym yn ddigon cefnogol i'n

Digitized by Google

gilydd. Dyna droes y fantol yn ein herbyn i ni golli ein hannibyniaeth; diffyg undeb a chydweithrediad a roes y fantais i'r Saeson ac estroniaid eraill i roi eu traed celyd ar ein gyddfau. Yn awr, dyna'r gwir—wel, *dear* anwyl—ai nid gwell i ni ddysgu bellach bethau gwell, a phethau yn nglyn wrth ein hiachawdwriaeth fydol a gwladwriaethol? Mae cenedloedd eraill yn uno â'u gilydd i ymddyrchafu—a gawn ni edrych ar bawb yn cydymdrechu, a ninau yn *jealous* o lwyddiant ein gilydd? Frodyr anwyl, Gymry anwyl—nyni sydd yn bobl mor dyner-galon, mor letygar, mor grefyddol, mor foesol, gadewch i ni ragori mewn gwladyddiaeth, trwy gefnogi personau teilwng yn ein plith, fyddont yn ymgyrhaedd am swyddau yn ein gwlad fabwysiedig ardderchog.

## CYMDEITHAS I'R HEN WEINIDOGION.

Yn ychwanegol at yr hyn ymddangosodd yn y rhifyn diweddaf, y mae genym i ychwanegu fod brawd arall wedi addaw can' dolar eto at y fath gymdeithas, os ceir un. Pwy nesaf?

## "DELTA."

Wrth ddarllen englyn Delta mewn cysylltiad a'i "Deyrnged o Fawl," yn y WAWR am Medi, gwelwn,

**"Hyll gloff o'r naill glun."**

Gyda llaw, y mae yr englyn yn gloff hefyd. Dichon nad oedd i ni ddysgwyl ond cloffni oddiwrth gloff. Ond ymfflamychodd ysbryd y *goes bren*, cynhyrfodd yr awen, ac ymddyrchafodd ar bwys y baglau coed, i uchder uchelryw ac anrhydeddus, a sibrydodd, Onid gwell fel hyn?

Colled drom yw colli troed,—yn eiddil
Wyf heddyw wrth undroed;
Edrych, wy'n gloff o'r ddwydroed!
Cymhorth ges—camu wrth goed.

AWENOG.

## MAN-LEWYRCHIADAU.

—Cynelir Cymanfa Ohio yn Palmyra, ar y 19eg a'r 20fed o Hydref.

—Da oedd genym weled yr hybarch Thomas Williams, Pomeroy, yn edrych mor dda. Mae ef yn wr boneddig yn ei ffordd.

—Galwasom y mis diweddaf gyda y Parch. John R. Jones, Houtzdale, diweddar o Mason City. Mae pethau yn edrych yn dra addawol gydag ef yn Houtzdale. Mae yr eglwys yn unol, ac mewn ysbryd gweithio dros Iesu Grist a'i achos, a chariad brawdol yn amlwg. Da genym ei fod wedi sefydlu yno, ac y mae yn debyg o wneyd llawer o les.

—Mae y Saesneg yn dyfetha crefydd Gymreig yn Ebensburgh, Pa. Mae y cyfeillion "*yn y Gogledd*" yn glynu gyda y grefydd hono yn go dda.

—Mae'r eglwys yn New Straitsville, O., yn myned rhagddi ac yn ychwanegu cryfder o dan weinidogaeth y Parch. Charles Jones. Er adeg ei sefydliad yno flwyddyn yn ol, mae wyth o bersonau wedi eu bedyddio, ac amryw wedi eu hadferyd.

—Crybwylla gohebydd am hanes cwrdd ymadawol Ieuan Ddu. Ni welsom ddim o hono o gwbl.

—Gorfodwyd ni i adael allan *Fflachiadau Athrylith* ac amryw bethau eraill o'r rhifyn hwn, o ddiffyg lle.

—Bwriadwn gyhoeddi y papyr rhagorol a ddarllenwyd gan y Parch. W. D. Thomas, yn Nghymanfa Dwyreinbarth Pennsylvania, yn ein rhifyn nesaf.

—Ni fu cnydau y Talaethau Unedig erioed mor doreithiog ag eleni. Bydd cynyrch y gwenith dros bum' can' miliwn o fwsieli, efallai 550,000,000. Dysgwylir y cnwd corn i gyrhaedd yn agos i ddwy biliwn o fwsieli, tra y cyrhaedda y cotwm i fwy na chwe' miliwn o *bales*. Mae y fath doraeth yn addaw llwyddiant mawr yn y dyfodol, ac yn galw am ddiolchgarwch cyffredinol i Dduw y cynhauaf am ei fawr ddaioni.

—Mae llys yn Boston wedi penderfynu nad yw *ice cream* i'w ystyried yn un o angenrheidiau bywyd, ac wedi dirwyo dyn $10 a'r costau am ei werthu ar y Sabboth.

Digitized by Google

# Barddoniaeth.

## LLINELLAU YMADAWOL

Ar ol y Parch. J. T. Griffiths, Gweinidog y Bedyddwyr Cymreig yn Sharon, Pa.

Ffarwel, nid yw ond gair bach, bach,
Rhyw ddeusill y'nt yn iawn,
Cynwysa wir feddyliau'r dyn,
Mae fel y môr yn llawn;
Gwna ddwyn calonau llu yn nghyd,
Rhyw ddarlun prydferth yw,
P'le clywir hwn bydd deigryn pur
Yn gwlychu'r gruddiau gwiw.

Mae miloedd o eiriau siaredir bob dydd
Nad oes ynddynt synwyr, na sylwedd na budd,
Ffarwel sydd yn adsain fel cloch farw'r llan,
Y wedd a wna welwi, a'r galon wna'n wan.
Canfyddir y llygaid mewn dagrau'n pruddhau,
Wrth swnio'r gair bychan bydd yno dristâu.
Dianga'r gair ffarwel mor ysgafn a'r gwynt,
Gan wneuthur i'r galon i guro'n gynt, gynt,
Y teimlad gynhyrfir, mae'n llanw fel môr,
Ymwylltu wna'i donau o'i dywyll ystôr.
Yn nghanol cyfyngder yr enaid sy'n gaeth,
Ond swnio'r gair ffarwel a'i gyra'n waeth, waeth;
Mae'r gair bycnan hwnw yn ormod o bwn,
Ymwylltio wna'r galon—gair rhyfedd yw hwn.
Y gwr pan yn gadael ei deulu bach mwyn,
Mewn hiraeth a galar yn oeraidd eu cwyn,
A myn'd i le dyeithr yn mhell iawn o bell,
'Does dim a'i cysura, 'does dim a'i gwna'n well.

Ymadael â chyfeillion
Sy'n anwyl gan ein calon,
Un rhyfedd iawn yw'r peth,
Yr awen sy' dan dreth.
O gopa Parnassus
Eheda awen felus,
A phletha gerdd yn fwyn
I'n Griffiths mewn gwir swyn,
Dyhidla'r gwlith nefol syw
Ar ben y gwron mwyn.
Mae llu yn colli dagrau
Yn Sharon hwyr a borau,
Ar ol y gwron mad,
Arweinydd dewr di-frad,
I weiniaid ddefaid Seion,
Gwr Duw yw Griffiths fad.

Ffarwel, fy mrawd, Scottdale
Yw'r man yr aethost ti;
Boet it' gael nerth yr Arglwydd Ior
I godi'r marwol lu
Sy'n gorwedd yn eu gwaed.
O! Dduw, arddela'th was,
Blynyddau eto gaed
I ddweyd am drefn dy ras.
Boed heddwch fel y môr
Yn ffynu yn eich plith,
A chariad Duw a'ch c'lymo chwi
Fel na ddatodoch byth;
Bendithion Nefoedd wen
Ddisgynont arnoch oll,
Fel yn y boreu mawr a ddaw
Na fydd yr un ar goll.
O, Dduw, rho nerth i'r brawd
I ddweyd wrth wyr Scottdale
Am farw mawr y groes,
Boed iddynt hwy heb gel
I weled Brenin Nef
'N ei degwch; harddach yw,
Na mil o filoedd sy'n y byd
Yn mhlith holl ddynolryw.

Ffarwel yn awr,
Fy anwyl frawd,
O, gwened arnat
Dduwies ffawd,
Ac uwch pob angen, Arglwydd, dod,
A'th enw byth a gaiff y clod.

J. T. Davies, (Ioan Trewyddfa).
*Sharon, Pa.*

## ANERCHIAD BARDDONOL

Ar ymadawiad Ieuan Ddu o Providence, Pa.

Os ymadael, tro siomedig—yw hwn
Ieuan Ddu, 'r Parchedig;
Ond bydd hyn, gadaw heb ddig,
Yn *adaw bendigedig.*

Un yw Ieuan llawn o awydd—o hyd,
At y da na dderfydd;
Mae'n wr llen, bardd ysblenydd,
I hwn rhoed yr awen rydd.

Un ydyw a welodd adeg—wanaidd
Ar lenyddiaeth gudeg
Y wlad hon, pan Brythoneg,
A'i chri tost am chwareu teg.

Hen adeg, a gweinidogion—mirain
Amerig a digon
O ras, i weithio dros Iôn,
Tu aswy i fanteision.

Adeg hir gerdded ydoedd—anhawddion
Fynyddau a chymoedd,
At fân a phell ddeadelloedd—praidd Nêr,
I'w harfer rhag troi'n ofer bethau'r nefoedd.

Yn foreu dechreuodd Ieuan—weini
Dros Dduw yn ei winllan;
Yn hawl hono dal ei hunan
I odreu oes i wneyd ei ran.

Hin hafaidd heb swn digofaint—i'w ran,
Tiriondeb ei gydsaint;
Ieuan, efe sydd gryn faint,
O dan ddylanwad henaint.

Dewi Glan Elyrch.

Digitized by Google

## PENILLION

### AR YMADAWIAD IEUAN DDU.

Ymadael mae'r athraw craff, tirion,
  Duw gwylia ei lwybr hyd nef,
Y Nefoedd fu'n arddel ei lafur,
  F'o eto 'n trydanu ei lef;
Y cariad yw nôd ei fyfyrdod,
  Ar draethell gwybodaeth mae ef
Yn chwilio am berlau dymunol,
  A blodau o blaniad y nef.

Mae'n galw ar ddyn i ddychwelyd,
  A chariad danbeidia ei wedd,
Mae 'i fywyd a'i lafur yn aberth,
  I ddatgan wrth Seion ei hedd;
Cyhoedda ogoniant breniniaeth,
  Llifogydd o winoedd a mêl,
Yr Iesu yn Frenin trag'wyddol,
  O lafur ei enaid fe wêl.

Daw'r ddaear yn ailddrych i'r wynfa,
  Daw heddwch fel afon trwy'r tir,
Y ddurtur a glywir yn canu
  Yn seiniaw ein Hathraw mor glir;
Mae blodau prydferthwch i'w canfod,
  A gemau cyfryngol mor bur,
Yn Seion syn harddwch y gwledydd,
  A Satan a rwymir cyn hir.

Ond Och! yn ymadael mae Harris,
  Mae'r eglwys a'i theimlad yn brudd,
Och'neidia yn llwythog gan ofid—
  Ein bugail yn 'madael y sydd;
Ond er pob ymadael sydd yma,
  Fe erys ein Brenin yr un,
Ei 'nabod yw coron bodolaeth,
  Ei fod ef yn Dduw ac yn ddyn.

E D. JONES.

# Y Maes Cenadol.

GAN Y PARCH. W. F. DAVIES, NANTICOKE, PA.

Ychydig amser yn ol, dywedodd yr enwog Joseph Cook o Boston, mewn chwareudy yn Japan, ei fod yn bosibl, o fewn y ganrif bresenol, i efengyleiddio pob cenedl dan haul y nefoedd. Am amser maith wedi esgyniad ein Gwaredwr i ogoniant, bu llwyddiant Cristionogaeth yn gymharol araf. Yn mhen naw can' mlynedd o'r adeg y dywedwyd, "Ewch," nid oedd canlynwyr yr "Iesu hwnw" yn rhifo yn agos un am bob pymtheg o boblogaeth y byd. Yn amser y Diwygiad Protestanaidd nid oeddent ond ychydig bach yn amlach. Yn y cyfnod o'r Diwygiad hyd yn bresenol, mae cynydd y "deyrnas nad yw o'r byd hwn" wedi bod yn fwy amlwg a chyffredinol.

Bedwar-ugain mlynedd yn ol, nid oedd yn perthyn i'r holl enwadau crefyddol yn America ond 364,872 o aelodau; yn awr, mae 10,065,963. Felly mae y cynydd yn y wlad hon wedi bod yn 9,701,091 o fewn y ganrif bresenol. Bernir fod nifer y Cristionogion yn yr holl fyd ar ddiwedd y bedwaredd ganrif tua 10,000,000. Heddyw mae yn agos gymaint a hyny yn America yn unig heb son am y miliynau credinwyr sydd mewn gwledydd eraill, ac hefyd pleidwyr calonog a gwresog. Nid yw y wlad hon ar ei phen ei hun yn ei chynydd Cristionogol, ond mae gwledydd eraill wedi profi yr unrhyw fendithion a myned trwy gyffelyb gyfnewidiad er gwell. Wel, beth am y dyfodol? Beth am syniad y gwron ffyddiog o Boston yn nghanol paganiaid Japan? A ydyw yn bosibl? A oes y gobaith lleiaf y gellir o fewn yr ugain mlynedd nesaf gael digon o haelionusrwydd yn ein heglwysi, digon o aur ac arian i drysorfeydd y gwahanol Gymdeithasau Cenadol, fel i'w galluogi i gyrhaedd y pagan pellaf trwy eu cenadwri? A oes digon o ffydd yn y Meistr genym, fel ei ganlynwyr? A ydym yn credu yn ddiamheuol fod pob peth yn bosibl gyda Duw!? Mae y gorchwyl yn fawr, gwir, ond beth am hyny? A ga yr eglwys, yr hon sydd a Duw tu cefn iddi, fod yn ol i'r byd mewn gosod nôd uchel o'i blaen, ac yn ymgynyg at yr hyn sydd yn galw am ei holl nerthoedd i'r maes? Mae y byd ar bob llaw i ni yn cyflawni gorchestion y buasai siarad am danynt wrth ein cyn-deidiau yn peri iddynt dosturio wrthym fel rhai yn amddifaid o'r hyn sydd yn gwneyd dyn yn gyfrifol am yr hyn a draetha. Rhyfeddodau sydd yn yr oes hon yn mhob cyfeiriad—cylymu moroedd â chamlasau; cario llongau mewn cerbydau, fel teithwyr; gyru y gerbydres trwy y mynydd, a than donau y môr; gorchuddio tywod Sahara â dyfroedd môr y Canoldir, fel ag i droi calon ddiffrwyth Affrica yn *blatform* i fasnach a gwareiddiad i

Digitized by Google

chwareu arno. Eto arosa y byd ddim yn y fan hon, ond mae ei galon a'i ysbryd anturiaethus yn meddwl ac yn parotoi at bethau mwy na'r rhai hyn; a diamheu pan y ca amser y cyflawna hwy hefyd. A oes llai gallu yn yr eglwys? Na, ond yn amddifad o'r ysbryd anturiaethus y mae. Gallai yr eglwys gyflawni gorchestion a daflai eiddo y byd i fedd dinodedd, ond gweithredu yn ol cyngor y seraph Carey, yn Nghymanfa Nottingham, yn 1792, sef, "Dysgwyliwch bethau mawrion oddiwrth Dduw, a chynygiwch bethau mawrion dros Dduw." Eisiau mwy o anturiaeth sydd yn Seion, ac fe ddilynai fwy o orchestion. Mae serch at y byd, hoffder at y "mamon anghyfiawn," cariad gormodol at y presenol, a diffyg hunan-ymwadiad, yn lladd ysbryd anturiaethus yr eglwys, fel mae pob symudiad o'i heiddo yn symudiad mewn rhyw ofn a phryder. Credwn yn ddiysgog wrth yr hyn mae y byd Cristionogol wedi ei gyflawni yn y pedwarugain mlynedd sydd wedi myned heibio, dylanwad egwyddorion y groes ar y meddwl, ei fod o fewn terfynau posiblrwydd i'r efengyl dragywyddol fyned yn ystod yr ugain mlynedd sydd ar ol, a chael ei phregethu o fôr i fôr, ac o'r afon i derfynau eithaf y ddaear.

Mae pob llwyth yn gwahodd. Clywir y llais, "Tyred drosodd a chymorth ni," nid o Macedonia yn unig, ond o bob man lle nad yw y Gwaredwr yn adnabyddus. Mae y byd yn agored i'r efengyl heddyw mewn modd na fu erioed o'r blaen. Nid oes ond nifer fach o leoedd a'r dorau yn nghau, ond nid oes amheuaeth nad agorir y rhai hyny ond curo am ychydig. Un o'r lleoedd cauedig ydyw Corea, i'r gorllewin o Japan. Ond er yn gauedig heddyw, bwriedir yn fuan, trwy gydymdrech y cenadwr Mr. Ross, o'r Gorllewin, ac eiddo y brodyr yn Japan, roddi miloedd o gopiau o'r Testament Newydd yn nwylaw y trigolion. Mae y *type* â'r hwn yr argreffir ef wedi ei wneuthur yn ngwaith haiarn y llywodraeth yn Tokio, Japan. Yn bresenol mae un o swyddogion yr Unol Dalaethau wrth y gwaith o sefydlu cysylltiad masnachol rhwng Corea a'r wlad hon. Wedi llwyddo i wneyd hyn, yr hyn yn ddiamheu a wneir, mae gobaith i weled Corea gaeth wedi dyfod yn fuan i fwynhau y rhyddid ag y mae efengyl gras Duw yn estyn yn etifeddiaeth i'r neb a gredo. Ar yr un pryd, gwneir pob ymdrech ag sydd yn ddichonadwy i daflu Affrica yn noeth ac yn agored o flaen y byd.

Edrycher i'r man y myner, Gogledd neu Ddehau, Dwyrain neu Orllewin, braidd y ceir gwlad nac ynys na fyddai ymdrech gydmarol fechan yn ddigonol i fyned a'r "efengyl fwyn" i'r trigolion, a gwneyd y trueiniaid tlodion yn gyfoethogion mewn gras. Mae teithwyr gwrol fel Palgrave a Burton, Rolfs a Cameron, Livingstone a Stanley, wedi dwyn braidd bob rhan o'r byd yma yn adnabyddus. Yr oedd yn cymeryd dros dri mis o amser i farchogaeth o amgylch yr Ymerodraeth Rufeinig yn amser Cæsar, ond gallwch fyned o amgylch y byd mewn llai o amser na hyny heddyw.

Meddylier hefyd am y cyfleusderau lluosog o bob math mae y byd yn eu meddu heddyw nad oeddynt yn ei feddiant pan ddechreuwyd y sefydliadau cenadol diweddar. Edrychwn ar Japan fel un engraifft. Bum' mlynedd ar hugain yn ol, triniai dramorwyr yn waeth nag anifeiliaid; yn bresenol, mae tramorwr mor ddiogel yn unrhyw ran o'r wlad a chyda ei deulu ar ei aelwyd ei hun. Deng mlynedd yn ol, gyrent Gristionogaeth a Christionogion allan o'u gwlad; heddyw, cymellant hwynt i mewn. Wrth feddwl am hyn, a ydyw yn ormod credu y bydd i ddorau Corea ac Arabia yn mhen deng mlynedd gael eu taflu yn agored led y pen? Mae efengyl y bendigedig Iesu yn gwasgaru heddwch a thangnefedd yn mhob man. Teithiodd cenadwr yn ddiweddar bob cam o'r ffordd o Burmah i Shanghai, China, ar draws yr holl ymerodraeth, dros ffyrdd ar y rhai yn ddiweddar y collodd rhai o anwyliaid y nefoedd eu bywydau, ond nid oes yn y manau hyny berygl yn y byd yn bresenol.

Credwyf nad oes lle i'r amheuaeth

Digitized by Google

leiaf, pe yn bosibl deffroi yr holl eglwysi a'r holl aelodau sydd ynddynt i edrych ar, a'u dwyn i deimlo yn onest a gwirioneddol, yr hyn sydd yn eu meddiant, a'r hyn mae y byd mewn eisiau o hono, y gwelent mai gwaith posibl ddigon, yn nerth Duw, fyddai cael pob llwyth, iaith, pobl a chenedl, yn mhob man ar ein daear ni, i glywed am noddfa, a'r gwaed sydd yn glanhau oddiwrth bechod, a hyny yn yr ugain mlynedd nesaf.

## HANESION CARTREFOL.

### Cymanfa Bedyddwyr Cymreig Ohio a Gorllewinbarth Pa.

Cynelir y Gymanfa uchod eleni yn Palmyra, O., Hydref 20—22, 1882; y Gynadledd i ddechreu am ddeg o'r gloch yr ail ddydd. Ymdreched y gweinidogion a'r cenadon fod yno yn brydlon. Dymunir ar y cantorion ddyfod a'r Llaw-Lyfr Moliant gyda hwynt i'r Gymanfa.—*T. Thomas, Ysg.*

### Nodion o Lansford.

*Mr. Gol.*—Odid na fydd ychydig o helynt y lle hwn yn dderbyniol genych. Poblogaidd, bywiog a chynyddol ydym, fel llawer o fanau eraill. Ceir yma y Gwyddelod a'r Ellmyniaid yn gryf iawn, yn cyflawni eu gwahanol arferiadau gwael. Mae yma lawer o hil Gomer hefyd, rhai o honynt wedi colli ysbryd ein hynafiaid, a'r naill genedl yn argraffu ei harferiadau ar y llall, fel mae yn anhawdd eu gwahaniaethu. Fy nghydgenedl hoff, y mae eich bodolaeth chwi a minau yn rhy bwysig i ddilyn arferion isel-wael; mae i chwi amcan uwch, sef gogoneddu Duw.

Da genym eich hysbysu, o'r tu arall, fod yr achos da yn myned yn y blaen yn araf; nid yw y cynydd cystal ag y dymunem iddo fod. Mae yma bregethu rhagorol gan Mr. Thomas, yn Gymraeg a Saesneg, a hefyd gan Mr. Peck, o Girardville bob pythefnos, yr hwn sydd wedi ei anfon gan Gymanfa Reading, i'r dyben o gael allan ansawdd y lle mewn cysylltiad a'r Seisnig. Credu yr ydym mai maes Bedyddiedig ydyw y maes hwn, y rhan fwyaf o hono; o ganlyniad yr ydym wedi troi y Gymraeg o'r neilldu i radd-au mewn cysylltiad a'n cyrddau gweddi Sabbothol. Pregethir gan Mr. Thomas ddwy waith y mis yn Gymraeg. Y cri parhaus gan y to sy'n codi yw, "Saesneg, Saesneg!" am hyny mae'n rhaid i ni fel Cymry wneyd rhywfaint o aberth er mwyn llwyddiant yr achos. Yr ydym wedi cael prawf o'r iaith estronol, ond dichon nad ydym wedi cael digon o brawf. Hefyd os ydym fel eglwys yn dymuno gweled safle foesol y weinidogaeth yn ymddyrchafu yn uwch, bydded i ni ymlanhau oddiwrth bob llygredd, gan ddringo i gylch purdeb a gwirionedd.

Traddododd Mr. Thomas ei ddarlith odidog ar Seryddiaeth yma nos Fawrth, Awst 23, i gynulleidfa luosog. Er fod y testyn yn ddyeithr i'r cyffredin, credwn iddi gymeryd yn dda. Yr oedd ganddo argraff-luniau o'i waith ei hun er egluro y pwnc. Ymddangosai fod Mr. Thomas yn berffaith gyfarwydd â'r gangen hon o wybodaeth. Yr oedd y bydysawd megys ar ben ei fys. Siaradodd am dros ddwy awr, a phawb yn gwrando yn astud. Amcan y ddarlith oedd cynorthwyo y brawd ieuanc Daniel M. Jones yn ngholeg Lewisburg, yr hwn sydd yn parotoi ei hun i waith y weinidogaeth. Mae y brawd wedi treulio blwyddyn lwyddianus yno, a daeth allan yn fuddugoliaethus trwy yr holl arholiadau.

Dymuna Mr. Jones ddatgan ei ddiolchgarwch gwresocaf i bawb a'i cynorthwyodd yn y cyfwng presenol, gan obeithio na bydd i'r ymdrechion a wnaed ar ei ran fyned yn ofer.

Esgynwyd yn ngherbyd y meddwl
  O'r ddaear i'r nefoedd uwchben,
Teithiasom trwy froydd anhygyrch
  Nes canfod gogoniant y nen;
Gwelasom y belen ddaearol
  Yn crogi wrth ddeddf fawr ein Ior,
Yr hon sydd yn dal yr holl gread
  Rhag syrthio i ganol y môr.

Yr eiddoch, &c.,

*Lansford.* John John.

Digitized by Google

## YSTADEGAU CYMANFA NANTICOKE, PA., 1882.

| Yr Eglwysi. | Ysgrifenyddion. | Gweinidogion. | Bedyddiwyd. | Adferwyd. | Derbyniwyd dr. Lythyrau. | Goll'd tr. Lyth. | Diarddelwyd. | Bu Farw. | Rhif yr Aelodau | Canolrif yr Ysgol Sul. | At Draul y Gymanfa. | I'r Ysgrifenydd. | At y Genadaeth Dramor. | Y Gartrefol Americanaidd. | Bwrdd Addysg Pa. | Cenadaeth Artrefol Gymreig. |
|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|
| Ashland } | Thos. M. Davies | Jeremiah Griffiths | 2 | 1 | 5 | 1 | 4 | 3 | 68 | 75 | $2 00 | $1 00 | $ . . | $ . . | $ . . | $ . . |
| Mount Carmel } | D. H. Burch | | 1 | . | 2 | 2 | . | . | 13 | 16 | . . | . . | . . | . . | . . | . . |
| Arnot | H. H. Davies | B. James | 11 | 7 | 4 | 4 | 8 | . | 47 | 80 | 2 50 | 1 00 | 5 00 | . . | . | 6 00 |
| Audenried | B. D. Evans | Thomas D. Evans | 10 | 7 | 8 | 10 | 4 | . | 75 | 75 | 2 00 | 1 00 | 5 00 | 5 00 | 2 00 | . . |
| Carbondale | Morgan Thomas | | . | . | 2 | . | . | 2 | 19 | . . | 1 00 | 1 00 | . . | . . | . . | . . |
| Danville | William Rees | | . | 1 | 4 | 2 | 3 | . | 26 | . . | 2 00 | 1 00 | . . | . . | 7 25 | 5 00 |
| Drifton | Daniel H. Davies | | 10 | 3 | 12 | 7 | 3 | 2 | 67 | 60 | 1 00 | 1 00 | 10 00 | 5 00 | . . | . . |
| Frostburgh, Maryland | Griffith Evans | | 13 | 3 | 5 | 5 | 4 | 1 | 108 | 130 | . . | 1 00 | 15 00 | . . | . . | . . |
| Hyde Park | B. Hughes | J. W. Williams | 38 | 50 | 41 | 11 | 3 | 12 | 434 | 500 | 10 00 | 2 00 | 25 00 | 25 00 | 15 53 | . . |
| Jermyn | Samuel Morgan | | 2 | 1 | 2 | 2 | . | 1 | 11 | 15 | 1 00 | 50 | . . | . . | . . | 80 |
| Johnstown | Josiah Evans | David Jones | 1 | 4 | 14 | 9 | 8 | . | 62 | 70 | 3 00 | 1 00 | . . | . . | . . | . . |
| Kingston | Jonah A. Davies | | 1 | 11 | 8 | 5 | 6 | . | 96 | . . | 2 00 | 1 00 | 24 40 | . . | . . | . . |
| Lansford | John E. Jenkins | Henry Thomas | 1 | 3 | 4 | . | 4 | 2 | 64 | 81 | 1 50 | 50 | 3 51 | . . | 7 00 | . . |
| Mahanoy City | Thomas A. Jenkins | | . | 3 | 3 | 3 | 9 | . | 59 | 70 | 2 00 | 1 00 | 4 10 | . . | . . | . . |
| Minersville | John D. Morgan | | . | 1 | 1 | . | . | 1 | 48 | 40 | 1 00 | 1 00 | . . | . . | . . | . . |
| Morris Run | John W. Phillips | | 1 | 2 | 4 | 4 | 5 | . | 36 | 50 | 2 00 | 1 00 | . . | . . | . . | . . |
| Nanticoke | John Winters | W. F. Davies | 16 | 7 | 33 | 23 | 6 | 3 | 130 | 130 | 2 00 | 1 00 | 10 00 | . . | 10 00 | . . |
| Olyphant | Evan Miles | | 1 | . | 2 | . | . | 1 | 37 | 45 | 50 | 1 00 | 1 51 | . . | . . | . . |
| Parsons | William Francis | W. D Thomas | 1 | 7 | 21 | 11 | 8 | 1 | 127 | 125 | 2 00 | 1 00 | 3 94 | . . | 10 00 | . . |
| Plymouth | Peter Roberts | D. R. Jones | 5 | 10 | 12 | 3 | 11 | 1 | 148 | 150 | 2 00 | 1 00 | 10 00 | . . | . . | . . |
| Pittston | Jacob W. Evans | | . | 2 | 2 | 4 | 10 | 2 | 89 | 80 | 1 50 | 1 00 | 21 00 | . . | . . | . |
| Pottsville | W. Tal. Jones | | . | 2 | . | . | . | . | 26 | . . | . . | 50 | . . | . . | . . | . . |
| Providence | John E Evans | | . | 4 | 12 | 19 | 7 | . | 128 | 120 | 2 00 | 1 00 | 5 78 | . . | . . | . . |
| Shenandoah | Ed. Capper | D. S Thomas | 3 | 2 | 7 | 3 | 4 | 2 | 48 | 80 | 2 00 | 1 00 | . . | . . | . . | . . |
| Slatington | John L. Roberts | | . | 1 | 5 | 1 | . | . | 13 | . . | . . | 50 | . . | . . | . . | . . |
| St. Clair | Shem Richards | | . | 2 | . | 4 | 1 | 1 | 50 | . . | 2 00 | 1 00 | 3 50 | . . | 5 00 | . . |
| Summit Hill | Jos. Richards | Henry Thomas | . | 1 | 3 | . | 5 | . | 40 | 135 | 1 00 | 1 00 | . . | . | . . | . . |
| Taylorville | William J. Jones | D. W. Morris | 2 | 1 | 9 | 9 | 6 | 3 | 110 | 150 | 2 00 | 1 00 | 15 00 | 5 00 | 10 00 | . . |
| Upper Lehigh | John M. Powell | | . | 4 | 1 | 9 | . | . | 30 | 60 | 4 00 | 1 00 | . . | . . | 5 00 | . . |
| Wiconisco | William Eli Davies | B. E. Jones | . | 1 | . | . | 1 | 1 | 32 | 45 | . . | 50 | 5 00 | 5 00 | 5 00 | . . |
| Wilkesbarre | D. D. Roderick | | 1 | 3 | 22 | 17 | 6 | 1 | 98 | 69 | 2 00 | 1 00 | 24 00 | . . | . . | . . |

Digitized by Google

Publication Society—Audenried, $2.
Casgliadau Cartrefol—Danville, $79;
" " Pittston, $55.
Women's Missionary Society—Kingston, $18.

---

*Enwau Gweinidogion yn Aelodau o'r Gymanfa.*

Audenried, B. Nicholas; Kingston, Theophilus Jones a James R. Price; Carbondale, D. E. Bowen; Providence, J. P. Harris; Minersville, J. M. Evans.

*Pregethwyr Cynorthwyol a Myfyrwyr yn Aelodau o'r Gymanfa.*

Frostburgh, Md., Jacob Davies, myfyriwr, Lewisburg; Lansford, Daniel M. Jones, myf., Lewisburgh; Nanticoke, J. W. Griffiths, myf., Lewis burgh; Plymouth, Henry Roberts, myf., Lewisburg; Taylorville, Morgan J. Watkins, myf., Lewisburgh; Drifton, Warriot Thomas, pregethwr cynorthwyol; Shenandoah, Edward Capper, preg. cynorthwyol; Hyde Park, Ebenezer Lloyd, preg. cynorthwyol; Parsons, John B. Davies, preg. cynorthwyol; Plymouth, Vaughan Richards, preg. cynorthwyol; Providence, D. B. Griffiths, preg. cynorthwyol.

J. P. Harris, *Ysgr.*

---

## CYMANFA NANTICOKE, PA.

---

Cynaliwyd Cymanfa Dwyreinbarth Pennsylvania yn Nanticoke, Awst 26, 27, 28, 1882.

Agorwyd eisteddiad cyntaf y gynadledd am 10 o'r gloch, ddydd Sadwrn, trwy ddarllen a gweddio gan y brawd Thomas J. Edwards, Audenried.

D. S. Thomas, Shenandoah, yn y Gadair.

Darllenwyd llythyr croesawol eglwys Nanticoke, yr hwn a amlygai dderbyniad croesawus a serchog i'r gweinidogion a'r cenadon, a bod iddynt roesaw i'w tai, a lle yn eu calonau.

Neillduwyd amryw bwyllgorau.

*Arianol.*

Neillduwyd y brodyr Vaughan Richards a John Winters i gydweithredu â'r Trysorydd yn nerbyniad cyfraniadau yr eglwysi, i ddwyn yn mlaen y casgliadau cyhoeddus, a thalu treulion y Gymanfa.

*Y Moddion Cyhoeddus.*

Neillduwyd y brodyr Evan Thomas, John C. Edwards, Thomas Thomas, a Thomas Howells, i gydweithredu â'r arweinydd, W. F. Davies, yn nhrefniadau y moddion cyhoeddus.

*Llythyrau yr Eglwysi at y Gymanfa.*

Neillduwyd y brodyr James R. Price a Thos. J. Edwards i ddwyn ger bron adroddiad o geisiadau a gofyniadau yr eglwysi.

*Y Marw-goffa.*

Neillduwyd y brodyr Peter Roberts a Thomas D. Evans ar y pwyllgor hwn.

Wedi darllen llythyrau yr eglwysi at y Gymanfa, cafwyd fod yn wyddfodol:

*Cenadon.*

Nanticoke—Daniel W. Rees, John Winters, a William Edmonds.
Ashland—Thomas Thomas.
Audenried—Thomas J. Edwards a Daniel Phillips.
Drifton—Evan Watkins a Warriot Thomas.
Hyde Park—Thos. Howells, James Evans, Evan J. Davies, Eben'r Lloyd, Joseph Reynolds, B. Hughes, a T. G. Thomas.
Kingston—Evan M. Thomas a Thos. D. Davies.
Lansford—John C. Edwards.
Mahanoy City—Lewis Richards.
Carbondale—Daniel Davies.
Plymouth—V. Richards a P. Roberts.
Shenandoah—John R. Jones.
Slatington—John L. Roberts.
Taylorville—T. G. Jones a J. John.
Upper Lehigh—David Gibbon.
Wilkesbarre—James Evans ac Evan Rowlands.
Frostburgh, Md.—S. D. Phillips.
Parsons—Wm. C. Williams a Wm. Griffiths.
Pittston—William Noel.

Digitized by Google

*Swyddogion am y Flwyddyn.*

Wm. F. Davies, Cymedrolwr.
W. D. Thomas, Is-Gymedrolwr.
J. P. Harris, Ysgrifenydd.
James Evans, Trysorydd.

*Derbyn Aelodau Newyddion.*

Derbyniwyd y brawd J. W. Williams, D. D., Hyde Park, diweddar o Drefnewydd (Newtown) G. C., ar sail llythyr o Gymanfa Trefaldwyn a Maesyfed. Hefyd, y brawd D. E. Bowen, Carbondale, drwy gymeradwyaeth Cymanfa Abington, Pa.

*Gweinidogion Ymweliadol.*

Penderfynwyd, Fod y gweinidogion ymweliadol yn cael gwahoddiad i gydeistedd gyda ni, gyda chaniatad i gydymgynghori ar y materion dan sylw y Gynadledd; sef y brawd O. Griffith, Utica, (golygydd y WAWR), a'r brawd Thomas Swaim, D. D., Philadelphia, yr hwn a anerchodd y Gynadledd ar waith a llwyddiant y Genadaeth Artrefol Americanaidd. Yr oedd hefyd yn wyddfodol y brawd D. Rhoslyn Davies, Pittsburgh, yr hwn sydd yn aelod o'r Gymanfa hon hyd eto.

Gollyngwyd trwy weddi gan y brawd J. W. Williams, Hyde Park.

*Cynadledd 2 o'r Gloch.*

Agorwyd y cyfarfod hwn trwy weddi gan y brawd Theo. Jones, Wilkesbarre.

*Meddianau Perthynol i'r Enwad.*

Derbyniwyd adroddiad y brawd J. P. Harris, y cenad a benodwyd i ymweled a Slatington, er sicrhau *deed* i'r enwad ar yr addoldy a'r fynwent oedd y diweddar frawd Henry Williams wedi fwriadu i'w cyflwyno felly, yn gyfreithiol feddiant i'r Bedyddwyr Cymreig. Cafwyd fod yr etifeddion yn foddlawn ac yn barod i roddi y *deed*.

Hefyd, gwrandawyd ar adroddiad y brawd D. S. Thomas, un o'r pwyllgor i wneyd ymchwiliad i hawliau yr Enwad i'r hen addoldy yn Belmont, Sir Schuylkill. Pen., Fod y pwyllgor i barhau nes cael adroddiad terfynol.

*Papyr y Brawd W. D. Thomas.*

Penderfynwyd, Fod y papyr a ysgrifenwyd gan y brawd W. D. Thomas, Parsons, ar "Ddiofalwch parthed ein Hymddygiadau fel Crefyddwyr," i gael ei ddarllen am 2 o'r gloch prydnawn Sul.

*Yr Ohebiaeth rhwng J. P. Harris a Mrs. Garfield.*

Darllenodd yr Ysgrifenydd ddiolchgarwch Mrs. Garfield (trwy Thos. L. James, y diweddar *Postmaster General*, Washington, D. C.), am yr amlygiad o gydymdeimlad y Gymanfa â hi ac â'i theulu, pan oedd ei hanwyl briod ac Arlywydd y Talaethau Unedig ar wely angeu.

*Papyrau Hysbysebion yr Eglwysi.*

Penderfynwyd, Fod yr Ysgrifenydd yn cael caniatad i argraffu 300 o bapyrau hysbysebol (*blank returns*) i'w danfon un i bob eglwys fis o leiaf cyn amser cynaliad y Gymanfa, a bod yr eglwysi yn eu llanw â ffigyrau ac enwau, a'u dychwelyd i'r Ysgrifenydd yn brydlawn, fel y byddo yr ystadegau yn barod erbyn dydd y Gynadledd; a bod traul yr argraffu i'w dalu gan Drysorydd y Gymanfa.

*Meddianau y Bedyddwyr Cymreig yn Ninas New York.*

Penderfynwyd, Fod y brawd B. Hughes i gydweithredu a phwyllgor Cymanfa Oneida, er gwneyd ymchwiliad, a chael allan hawl yr enwad (yn arbenig y Cymry) i'r meddianau (*property*) ar heol Christie, New York, sydd yn awr yn nwylaw rhyw un, neu ryw rai anadnabyddus i ni.

*Adroddiad Trysorydd y Gymdeithas Artrefol Gymreig.*

Darllenwyd Adroddiad y Trysorydd, B. Hughes, a chafwyd fod yn weddill yn y drysorfa, $2.68. Pen., Ein bod yn derbyn yr adroddiad, ac yn rhyddhau y pwyllgor.

*Sefyllfa yr Achos yn y Cylch Cymanfaol.*

Neillduwyd y brodyr J. W. Williams, B. Hughes, Henry Thomas, D. S. Thomas, a Llewelyn Roberts, yn bwyllgor i ystyried ac i gymeryd dan sylw ansawdd a sefyllfa yr achos Cymreig trwy gylch y Gymanfa.

Digitized by Google

*Cydnabod Pregethwyr Cynorthwyol yn Aelodau.*

Penderfynwyd, Fod John D. Davies, pregethwr cynorthwyol yn eglwys Parsons. yn cael ei dderbyn yn aelod o'r Gymanfa.

Penderfynwyd, Fod y brawd Warriot Thomas, Drifton, yn cael ei gydnabod yn aelod o'r Gymanfa ar sail cymeradwyaeth y brawd D. S. Thomas, T. D. Evans, a Theo's Jones.

Gollyngwyd drwy weddi gan O. Griffith, Utica.

*Cynadledd 9 o'r Gloch, Boreu Llun.*

Agorwyd drwy weddi a mawl gan y brawd D. E. Bowen.

*Cyfrifon y Gymanfa Gerddorol.*

Penderfynwyd, Ein bod yn derbyn cyfrifon y brawd Jacob W. Evans, Trysorydd y Gymanfa Gerddorol. Talwyd y gweddill mewn llaw, sef $1.51, i'r brawd R. Edwards, Pottsville.

*Y Gymdeithas Artrefol Gymreig.*

Adroddiad y Pwyllgor.—1. Yn gymaint a bod amryw o eglwysi gweiniaid yn y Gymanfa, ac yn analluog i gael gweinidogaeth gyson, ac o ganlyniad mewn perygl yn fuan i beidio bodoli; Fod y pwyllgor hwn yn galw sylw y Gynadledd at yr angenrheidrwydd o gydymdeimlo a'r cyfryw, a threfnu mesurau i'w cynorthwyo.

2. Gan ei bod yn ofynol mewn trefn i gynorthwyo yr eglwysi hyn yn effeithiol, i ymdrech egniol, gyffredinol, a pharhaus gael ei wneyd, Awgryma y pwyllgor fod casgliad blynyddol yn cael ei gymeryd drwy gylch y Gymanfa, ac apelia at aelodaeth y Gymanfa i gyfranu o leiaf 25c. yr aelod (neu swm cyfartal oddiwrth yr eglwysi) yn flynyddol tuag at y Gymdeithas.

3. Ein bod yn cymeradwyo i'r Gynadledd benodi pwyllgor o saith i gario allan weithrediadau y Gynadledd.—

B. Hughes, Cadeirydd.

Penderfynwyd, Ein bod yn derbyn ac yn mabwysiadu mynegiad y pwyllgor. Neillduwyd y brodyr canlynol yn gyfeisteddfod er dwyn yn mlaen a chario allan amcam y Gymdeithas, sef B. Hughes, J. W. Williams, D. S. Thomas, Henry Thomas, y'nghyda swyddogion y Gymanfa, Wm. F. Davies, J. P. Harris, a Jas. Evans, Wilkesbarre.

Cyfarfyddodd y brodyr neillduedig, a phenderfynwyd ganddynt yn swyddogion: J. P. Harris, Llywydd; B. Hughes, Trysorydd; J. W. Williams, Ysgrifenydd.

*Darllen Papyr.*

Penderfynwyd, Fod papyr i gael ei ddarllen yn y Gymanfa nesaf; ac mai yn y Gynadledd y darllenir ef; ac mai J. W. Williams, D. D. fydd y darllenwr. Neillduwyd dau frawd i ddewis testyn. Wele yr adroddiad: Testyn, "Y moddion goreu i gnyrchu mwy o ddyddordeb cyffredinol mewn crefydd, ac yn ein hegwyddorion neillduol yn y whad hon yn mhlith y Cymry."

T. J. Edwards.
Henry Thomas.

Penderfynwyd, Ein bod yn mabwysiadu y testyn.

Penderfynwyd, Fod diolchgarwch y Gymanfa yn cael ei gyflwyno i'r brawd W. D. Thomas am y papyr galluog a chymwysiadol a ddarllenwyd ganddo.

*Eglurhad Rheol XV.*

Galwodd yr Ysgrifenydd sylw y gynadledd at y rheol hon, a gofynodd am *gonstruction* y Gymanfa arni.

Ysgrifenodd y brawd D. S. Thomas yr eglurhad canlynol; sef Meddwl a Chyd-berthynas Rheolau 11, 13, 14, a 15, o eiddo'r Gymanfa hon. Sonia y rheolau hyn am "godi pregethwyr," am "urddo i'r weinidogaeth," ac am "adferyd gweinidog." Y mae codi pregethwyr yn golygu codi rhai i bregethu, sef i ddechreu pregethu, gan yr eglwys; neu i ail neu drydydd ddechreu pregethu, fel bo'r amgylchiad yn dygwydd; sef codi personau yn bregethwyr cynorthwyol rheolaidd. Wrth bregethwyr cynorthwyol y golygir personau a hawl ganddynt i bregethu, ond heb hawl i weinyddu yr ordinhadau. Yr eglwysig, ydynt fedydd a swper yr Arglwydd; a'r un deuluaidd yw priodas. Mae urddo i'r weinidogaeth yn golygu gosod brawd o bregethwr rhe-

Digitized by Google

olaidd yn weinidog yr efengyl; ac wrth weinidog yma y deallir pregethwr a hawl ganddo i weinyddu yr ordinhadau. Mae adferyd gweinidog yn golygu gosod un a fu yn weinidog o'r blaen yn ol yn y swydd. Mae y cysylltiad rhwng y rheolau hyn a'u gilydd fel y canlyn: Os bydd unrhyw aelod rheolaidd yn un o'n heglwysi am gael ei wneyd yn bregethwr yn yr ystyr ag y deallir y *term* genym, gweithreder yn ol Rheol 11. Gall yr aelod fod yn un na fu yn pregethu erioed o'r blaen, neu yn un a fu yn bregethwr ac yn weinidog ryw bryd o'r blaen yn nghyfenwad y Bedyddwyr. Os bydd rhyw un am gael ei wneyd yn weinidog, rhaid iddo yn gyntaf gael ei wneyd yn bregethwr, yn ol Rheol 11; ac yn ail, rhaid iddo gael galwad gan un o'n heglwysi i'w bugeilio yn yr Arglwydd, yn ol Rheol 13; ac yn drydydd, cael ei osod yn y swydd yn ol Rheol 14. Ac os dygwydd i'r brawd fyddo am gael ei wneyd yn weinidog fod yn un a fu yn y weinidogaeth o'r blaen, rhaid iddo yn gyntaf oll gael ei godi yn bregeththwr cynorthwyol, wrth Reol 11, cael galwad i fod yn fugail ar un o'n heglwysi yn ol Rheol 13, a'i sefydlu yn y swydd yn ol Rheol mewn Cyngor (*Council*) yn ol Rheol XV.

Penderfynwyd, Ein bod yn mabwysiadu y golygiadau eglurhaol hyn ar y Rheol, yn nghyda chyd-berthynas y rheolau.

### "*Y Wawr.*"

Adroddiad y Pwyllgor.—Ein hod yn teimlo fod ein hanwyl frawd, Owen Griffith, yn teilyngu ein cydymdeimlad gwresocaf am y llafur mawr a diflino y mae wedi, ac yn ei ddangos yn nygiad allan y WAWR, ein hunig Gyhoeddiad Enwadol yn yr iaith Gymraeg yn America, ac yn dymuno ar ein heglwysi i roddi pob cefnogaeth i'n brawd hoff i ddilyn yn mlaen yn ei anturiaeth ganmoladwy—i fod yn dirion o hono pan yn ymweled â hwynt, a chydnabod ei lafur-waith—wedi ymdrechu yn mhob modd am ragor o dderbynwyr i'r WAWR, ac yn neillduol i beidio anghofio pen tymor i dalu am dani. Mae y WAWR heddyw, drwy ffyddlondeb ei Golygydd llariaidd, yn cael ei darllen gyda phleser mawr, nid yn unig ar aelwydydd Cymry America, ond hefyd ar aelwydydd ein ffryndiau anwyl yn Hen Wlad hoff ein genedigaeth; ac felly yn cynwys yr unig ddolen lenyddol Gymreig rhyngom ni fel Bedyddwyr Cymreig â'n brodyr yn Nghymru.—H. T. Thomas, E. J. Davies, a T. D. Evans, Pwyllgor.

Penderfynwyd, Ein bod yn mabwysiadu yr adroddiad.

### *Marw-goffa.*

Adroddiad y Pwyllgor.—Cydymdeimlwn â'r eglwysi sydd yn eu galar o herwydd symud swyddogion gweithgar drwy weinidogaeth angeu o'u plith: Ashland, yn symudiad y brawd ffyddlawn, Robert Watkins; Minersville, yn ei galar ar ol y brawd diwyd a gweithgar, John R. Jenkins; Summit Hill, symudiad y brawd William Warlow oddiwrth ei waith at ei wobr; ac yn olaf â'r frawdoliaeth yn Olyphant, yn ei mawr golled ar ol y ffyddlawn a'r ymdrechol frawd, William Hoskins. Bu y rhai hyn yn ffyddlawn yn eu dydd; a'n dymuniad a'n gweddi yw, ar i Dduw a Thad ein Harglwydd Iesu Grist ddyddanu y galarwyr yn Seion, a llanw y bylchau yn yr eglwysi. Amen. —T. D. Evans, a Peter Roberts, Pwyllgor.

Penderfynwyd, Ein bod yn mabwysiadu y mynegiad.

Penderfynwyd, fod yr eglwys yn Nanticoke yn cael caniatad i gasglu drwy gylch y Gymanfa eleni.

### *Adroddiad Trysorydd y Gymanfa.*

| | | |
|---|---|---|
| Mewn llaw. . . . . . . . . . . . | $141 | 96 |
| 1882. Cyfraniadau yr eglwysi . . . | 59 | 50 |
| Casgliadau dydd y Gymanfa . . . . | 34 | 00 |
| | $226 | 46 |

TALWYD ALLAN.

| | | |
|---|---|---|
| Traul y Gymanfa . . . . . . . . | $ 40 | 50 |
| Traul pwyllgor ymchwiliadol i achos T. M. Griffiths, diweddar o'r Darren Felen . . . . . . . . . . . | 3 | 50 |
| Trosglwyddwyd i law Benj. Hughes, Trysorydd y Gym. Art. Gymreig . | 100 | 00 |
| | $144 | 00 |

Digitized by Google

| | |
|---|---|
| Yn Nhrysorfa y Gymanfa . . . . . | $82 46 |
| Morris Run . . . . . . . . . . . . | 2 00 |
| | $84 46 |

*Yr Wythnos Weddi.*

Penderfynwyd, Ein bod yn anog yr eglwysi i gynal yr wythnos weddi, fel arfer—i ddechreu y Sul cyntaf yn Ionawr, 1883.

*Cenadaeth Tramor.*

Penderfynwyd, Ein bod yn anog yr eglwysi i gofio am y paganiaid, a'r cenadon sydd yn llafurio yn eu plith—i fwy o haelfrydedd, fel y delo llafur enaid y Cyfryngwr yn fwy i'r golwg.

*Cenadaeth Gartrefol Americanaidd.*

Penderfynwyd, Ein bod yn ystyried y Gymdeithas Gartrefol Americanaidd yn teilyngu pob cefnogaeth yn ei hymdrech i achub y gwahanol genedloedd, a'u dysgu yn fanylach yn nhrefn Duw, yn eu hiaith eu hunain, ar y cyfandir mawr hwn.

*Bwrdd Addysg Bedyddwyr Penna.*

Penderfynwyd, Gan fod cynifer o'n cenedl ni—brodyr yn ol y cnawd—o bryd i bryd wedi bod dan nawdd Bwrdd Addysg Pennsylvania, ac wedi derbyn addysg athrofaol yn Lewisburg, ac yn Crozier, er eu cymwyso i waith y weinidogaeth, Ein bod yn anog yr eglwysi i gyfranu yn helaeth tuag at yr achos teilwng hwn.

*Publication Society.*

Penderfynwyd, Fod y Gymdeithas hon yn gwneyd llawer o ddaioni yn y Dehau, y Gogledd a'r Gorllewin, ac anogwn yr eglwysi i fod mewn cydymdeimlad â'r mudiad clodwiw hwn.

*Lleoldeb y Gymanfa Nesaf.*

Fod y Gymanfa nesaf i gael ei chynal gyda'r eglwys yn Hyde Park, yn 1883, ar yr amser arferol.

Gohiriwyd, a gollyngwyd trwy weddi gan y brawd James Evans, Hyde Park.

Y MODDION CYHOEDDUS.

Cynaliwyd yr holl gyfarfodydd yn addoldy y Bedyddwyr Seisonig, oddieithr ar y Sul, y rhai a gynaliwyd yn y neuadd ar Broadway.

Nos Sadwrn, am 7 o'r gloch, dechreuwyd trwy ddarllen a gweddio gan y brawd Ebenezer Lloyd, Hyde Park; a phregethodd y brodyr Jas. R. Price, Kingston, oddiar Ioan 14: 8, 9; O. Griffith, Utica, oddiar Rhuf. 15: 33; a Henry Thomas, Lansford, oddiar Esa. 46: 4.

Am 9 o'r gloch boreu Sul, cynaliwyd cyfarfod gweddi, yr hwn a arweiniwyd gan y brawd Theophilus Jones.

Am 10, yn yr *Hall*, dechreuwyd gan y brawd William Howells (A.), Wanamie, a phregethodd y brawd J. W. Williams, D. D., Hyde Park (Seisonig), oddiar Mat. 11: 2, 3; a'r brawd D. R. Jones, Plymouth, oddiar 2 Cor. 8: 9.

Am 2, agorwyd y cyfarfod drwy ddarllen a gweddio gan y brawd B. Nicholas, Hazleton; yna darllenwyd papyr gan y brawd W. D. Thomas, Parsons; testyn, "Diofalwch parthed ein hymddygiadau fel crefyddwyr;" a phregethodd y brodyr Jeremiah Griffiths, Ashland, oddiar Luc 9: 54–56, a D. R. Davies, Pittsburgh, oddiar Eph. 3: 14—19.

Am 6:30, gweddiodd y brawd V. Richards, Plymouth, a phregethodd y brodyr T. D. Evans, Audenried, oddiar Mat. 6: 9; D. S. Thomas, Shenandoah, oddiar 1 Tim. 1: 15, a J. W. Williams, D. D., Hyde Park, oddar Ioan 12: 16.

Hefyd, am 6 o'r gloch, gyda'r Bedyddwyr Seisonig, pregethodd y brawd H. Thomas, Lansford.

Dydd Llun, am 2 o'r gloch, dechreuwyd drwy weddi gan y brawd J. W. Griffiths, Lewisburg, a phregethodd y brawd B. E. Jones, Wisconisco, oddiar Heb. 13: 8, a D. R. Jones, oddiar Mat. 16: 9.

Am 7, agorwyd y cyfarfod gan y brawd Henry Roberts, Lewisburg, a phregethodd y brodyr D. R. Davies, oddiar. Ps. 92: 12; D. E. Bowen, Carbondale, oddiar Hosea 13: 9, a Theophilus Jones, Wilkesbarre, oddiar 2 Cor. 4: 13, 14.

Y noson flaenorol i'r Gymanfa, pregethodd y brawd B. Nicholas, Hazleton.

J. P. HARRIS, *Ysg.*

Digitized by Google

### HALOGI DYDD YR ARGLWYDD YN HYDE PARK, PA.

Yn gymaint a bod y fasnach o werthu gwirodydd meddwol a ddygir yn mlaen bob dydd Sabboth yn y dref hon, prawfion o'r hyn sydd yn boenus amlwg yn lluosawgrwydd y meddwon a anurddant ein heolydd, ac yn nifer y barilau llawnion a gludir i'r tafarndai gan y darllawydd ar y dydd hwn, yn gyfryw ag i fod yn yn warth i wareiddiad a Christionogaeth, yn ffieidd-dod i bob dyngarwr a chrefyddwr, ac yn dwyn melldith i ugeiniau o deuluoedd yn y lle;

Ac yn gymaint a bod amryw fasnachdai eraill, yn perthyn i gigyddion a gwerthwyr myglys, yn agored, ac felly yn rhoddi cefnogaeth i bersonau o foes isel i anmharchu gorchymynion ein Harglwydd, ac felly yn rhoddi cyfleusdra i blant i ffurfio arferiadau llygredig trwy brynu pethau llygredig ar y dydd hwn;

Ac yn gymaint a bod gan ein hawdurdodau bwrdeisiol allu i wahardd y fasnach lygredig hon, ac felly i symud y gwaradwydd cyhoeddus hwn o'n plith, Penderfynwyd,

1. Ein bod yn deisyf ar y Maer Powderly i ddefnyddio ei allu i roddi terfyn ar y drafodaeth waradwyddus hon; ac yn mhellach, ar iddo orchymyn cau yr holl dai hyny sydd yn agored, ac yn cario yn mlaen fasnach mewn pethau afreidiol ar ddydd yr Arglwydd.

2. Ein bod fel eglwys yn ymrwymo i ddefnyddio pob moddion cyfreithlon er rhoddi terfyn ar y fasnach lygredig hon, ac ar bob trafnidiaeth mewn pethau afreidiol eraill a ddygir yn mlaen ar y dydd Sabboth yn y lle hwn.

3. Ein bod yn galw sylw holl aelodau yr eglwys at y ddyledswydd o beidio mynychu i'r lleoedd hyn, a'r perygl o gymdeithasu â'r cymeriadau llygredig hyny sydd yn cefnogi y fath fasnach, gan gofio geiriau yr Apostol Paul yn ei lythyr at y Corinthiaid, "Na thwyller chwi, y mae ymddyddanion drwg yn llygru moesau da."

4. Ein bod yn gwahodd holl eglwysi Cristionogol, a chymdeithasau dyngarol, a dinaswyr cyfrifol y ddinas, i gydweithredu a ni yn y mudiad hwn, gan gredu y bydd ymdrech unol ac egniol o'n heiddo ni yn effeithiol i symud y gwaradwydd hwn o'r lle.

Pasiwyd yn unfrydol yn yr eglwys Fedyddiedig Gymreig, Hyde Park., Pa., nos Sabboth, Medi 10, 1882.

Dr. J. W. Williams, Gweinidog.

John P. Lewis, Benjamin Beddoe, John F. Peter, Joseph Reynolds, Wm. D. Morris, Thomas Howells, Thomas D. Davies, James A. Evans, William D. Evans, Evan J. Davies, Ebenezer Lloyd, B. Hughes, Diaconiaid.

B. HUGHES, *Ysg. Gohebol.*

---

### T. M. GRIFFITHS.

*Cyfarfod Chwarterol Mynwy* a gynaliwyd yn yr Argoed, Gorph. 25, 26—y Parch. J. Morgan, Llanwenarth, yn y gadair. Penderfynwyd,

1. Ein bod yn cymeradwyo gwaith y pwyllgor a benodwyd yn y Gymanfa i ystyried achos Mr. Griffiths, gynt o'r Darrenfelen, ac yn cydolygu â'r cyfryw bwyllgor, na ddylai gael y gollyngdod arferol o'r Gymanfa hon i Gymanfa Pennsylvania, America. * *

W. JONES, *Ysg.*

---

### SHARON, PA.

MR. GOL.—Drwg genym eich blino y tro yma, nid o herwydd prinder amser, nac ofn na bydd eich gofod yn caniatau i'r ychydig linellau hyn gael lle yn eich colofnau, ond o herwydd fod troion dyrys rhagluniaeth yn peri ysgariad rhyngom â'n parchus weinidog, John T. Griffiths, yr hwn sydd wedi bod yn ein porthi â bara'r bywyd er ys blwyddyn a haner o amser, bob yn ail Sabboth, er ein mawr foddlonrwydd, ac er achubiaeth llawer iawn o afael y gelyn i ymgeledd y gorlan; ond fel y mae yn hysbys, y mae wedi cael galwad o Scottdale, ac wedi ei debyn. Datgana yr eglwys ei theimlad wrth ei ollwng fel hyn: Penderfynwyd—

1. Ein bod ni yn teimlo ein colled yn ddirfawr yn ymadawiad ein gwein-

Digitized by Google

idog parchus a gweithgar, canys ynddo y collir y brawd serchus, y gweithiwr difefl, y dyn gonest, y cyfaill ffyddlon, a'r dysgawdwr coeth.

2. Fod tymor y brawd parchedig yma wedi bod yn dymor o lwyddiant yn mhob ystyr eglwysig.

3. Ein bod ni yn anog y frawdoliaeth yn Scottdale i gydweithredu â'r brawd yn y gwaith da, a bydd i ninau gyd-weddio er llwyddiant ein Brenin bendigedig.

4. Ein bod yn cyflwyno ein brawd a'i deulu i'w gofal tyneraf, ac i ofal ein Harglwydd ni a'i Grist Ef, ac y bydd iddynt dderbyn o ddyddanwch nerthol y Dyddanydd arall, yw ein dymuniad. Dros yr eglwys, David Thomas a Lewis Williams, Diaconiaid.

Drwg genym nad allem ddwyn ein hamcanion i ben i barchu y brawd fel y carem wneyd, o herwydd sefyllfa y gweithfeydd. JOHN DEVEREAUX.

---

PITTSBURGH, PA.

Y mae agwedd lled lewyrchus ar eglwys Heol Chatham y dyddiau hyn—cynulliadau lluosog bob Sabboth, ac aelodau newyddion yn cael eu derbyn bob cymundeb. Y Sul cymundeb diweddaf rhoddwyd deheulaw cymdeithas i un-ar-ddeg, gan ein parchus weinidog. "Nerthol yw gair Duw." Teimlir mwy o'i ddylanwad eto, yw dymuniad—*Aelod.*

---

## *BEDYDDIWYD—*

Yn Shenandoah, Pa., Medi 17, 1882, bedyddiwyd gan y gweinidog, sef y Parch. D. S. Thomas, deulu cyfan—gwr a gwraig, ond heb blant. Y mae eraill eto yn aros am yr un anrhydedd.

Yn Church Hill, O., Awst 20, 1882, bedyddiwyd un gan y brawd W. J. Williams. Mae yr eglwys yn Church Hill yn llewyrchus iawn. Y mae eglwys Coalburgh, yr hon sydd o dan ofal yr un brawd, yn llewyrchus ar hyn o bryd—amryw o flaen yr eglwys yn dysgwyl cael y fraint o ddilyn Iesu yn y bedydd.

*Sherman, O.*—Am 3 o'r gloch, prydnawn Sul, Medi 10, ymgasglodd tyrfa fawr o bobl at lan y dwfr er cael gweled yr ordinhad o fedydd yn cael ei gweinyddu gan ein parchus weinidog, Iago W. James, ar bedwar o bersonau. Tystia pawb mai hwn oedd y bedydd mwyaf gogoneddus a welwyd yn yr ardal hon erioed. Yr oedd rhyw sirioldeb neillduol yn ngwynebpryd pob un o'r bedyddiedigion pan y deuent i fyny o'r dwfr, a llewyrchai gwynebpryd ein gweinidog yn efengylaidd a siriol wrth gyflawni ewyllys ei Arglwydd. Dadblygwyd gogoniant yr ordinhad i raddau helaeth iawn yn y gweinyddiad o honi y tro hwn. Y mae gweinidogaeth rymus ein brawd yn y lle yn parhau i fod yn effeithiol er argyhoeddiad i lawer o bobloedd yn y gymydogaeth yn bresenol. Y mae eraill eto yn aros am fedydd. Er nad yw iechyd ein parchus weinidog wedi ei lwyr adferyd, eto y mae yn llon genym hysbysu darllenwyr y WAWR ei fod yn para i wella a chryfâu. Ein gweddi yw, "O Dduw, adfera iechyd ein bugail." Cawsom y fraint o weled 21 o bobl dduon yn ufuddhau i fedydd trochiad yn y lle hwn ar foreu yr un Sabboth. Y mae eglwys luosog ganddynt yn y lle hwn.—*Trochwr.*

D. S.—Cefais y fraint, yn nghyda llawer eraill, o weled ein gweinidog yn uno mewn glân briodas ddau o'r bobl dduon yn ddiweddar. Hwn ydyw y chweched o'r fath iddo weinyddu ynddynt. Yn wir, y mae yn edrych yn ddoniol wrth ei waith o flaen y Negroaid. Mae yn gadael un rhan o'r gwasanaeth heb ei gyflawni, sef "y gusan felus ar y fin."—*T.*

---

## *PRIODWYD—*

Awst 21, 1882, yn nhy tad a mam y briodasferch, yn Church Hill, O., gan y Parch. W. J. Williams, B. Ph., Mr. Edward Howells a Miss Elizabeth Wile, merch henaf Mr. John Wile, diacon yn eglwys y Bedyddwyr yn Church Hill. Llwyddiant i'r pâr ieuanc.

Medi 9, 1882, yn nhy rhieni y briodasferch, gan y Parch. B. James, Mr. William Frederick Phelps a Miss Mary Lloyd, y ddau o Arnot, Pa.

Digitized by Google

Awst 5. 1882, yn Ashland, Pa., gan y Parch. Jeremiah Griffiths, yn ei dy ei hun, Mr. John R. James a Miss Sarah A. Jones, y ddau o'r dref uchod.

Boed llwyddiant i'r ddeu-ddyn
I godi eu plant
I fyny'n grefyddol,
Pe byddent yn gant.

Medi 14, 1882, yn Johnstown, Pa., gan y Parch. David Jones, Mr. Gwilym Jones a Miss Elizabeth Cresswell, y ddau o Blaenllechau, D. C.

---

## *BU FARW—*

### GEORGE WATKINS.

Awst 2, 1882, yn 9 mlwydd oed, yn Johnstown, Pa., bu farw George, anwyl fab Mr. a Mrs. Benjamin Watkins.

Y dydd canlynol, daeth tyrfa fawr yn nghyd i hebrwng yr hyn oedd farwol o hono tua'r gladdfa. Yr oedd plant ein hysgol Sabbothol yn bresenol, a chanasant o dan arweiniad y brawd Thomas J. Price, yn swynol a thoddedig iawn, yn y ty ac ar lan y bedd.

Do, bu farw Sior anwylgu,
Bachgen tirion, mwyn, dinam;
Do, bu farw er taer weddiau,
A heillt ddagrau tad a mam;
Do, bu farw er pob ymdrech
Wnaed i'w gadw rhag y llu:
Do, bu farw, ac mae 'n gorwedd
Heddyw yn y ddaear ddu.

O mor chwerw oedd ei golli,
O mor anhawdd 'i ro'i mewn bedd;
O! 'r un anwyl a diniwed,
Ni welwn mwy 'i siriol wedd;
Er mor drymed ydyw'r ergyd,
Ac mor chwithig ydyw'r tro,
Doeth a da fydd cymedroli
Dagrau hiraeth ar ei ol.

*Johnstown, Pa.* DAVID JONES.

### MR. WILLIAM HUGHES, BIG ROCK, ILL.

Ganwyd gwrthddrych hyn o nodiadau yn Row, yn agos i Lanbedr, Dyffryn Conwy, Sir Gaernarfon, G. C., yn y flwyddyn 1800. Bu farw Mai 23, 1882. Ymfudodd i America yn y flwyddyn 1831, Bu yn aros am beth amser yn Canada; symudodd oddiyno i Dalaeth Pennsylvania, lle yr arosodd am 12 mlynedd. Yn 1843 daeth i Dalaeth Illinois, a'r flwyddyn ganlynol daeth i Big Rock, lle y bu weddill ei oes. Gwehydd ydoedd y brawd wrth ei alwedigaeth; nis gwn a fu efe yn dilyn yr alwedigaeth hono yn y wlad hon ai peidio. Dywedai iddo fod yn tori glo yn Carbondale, Pa., ond ffarmio y bu yn Illinois. Gwelodd ein hen frawd gryn dywydd yn ei oes. Claddodd ddwy wraig. Bu iddo amryw blant o'r gyntaf, ond buont oll feirw o'i flaen ef ond un, sef Mr. William Hughes, yr hwn sydd ffarmwr parchus yn yr ardal hon. Saethwyd ei ferch yn ddamweiniol wrth ddrws y ty, a bu farw yn y fan. Bu ei ail wraig farw dro yn ol, a gweddw ei fab, yr hon oedd yn edrych ar ol ei dy. Mae tri o'i wyrion a'r mab yn aros ar hen le ein brawd, yn gysurus eu hamgylchiadau.

Yr ydoedd llawer o neillduolion yn perthyn i'r hen frawd Hughes; hoffwn nodi rhai o honynt:

1. Yr ydoedd yn Gymro selog. Credai nad oedd dim yn debyg yn yr iaith Saesoneg i'r hen iaith Gymraeg. Edmygai bob peth Cymreig; dysgodd bob un o'r plant i'w siarad hi yn dda.

2. Yr ydoedd yn Fedyddiwr selog iawn. Bedyddiwyd ef pan yn ugain oed, a bu yn ffyddlon i'w enwad hyd y diwedd. Dywedasom fod yr ymadawedig yn Gymro selog, ond yr oedd yn fwy selog dros ei blaid grefyddol nag ydoedd dros ei iaith. Hoffai yn fawr gael ambell i bregeth Gymreig; ond ni welid ef byth yn gadael pregeth na chwrdd gyda y Bedyddwyr er iddynt fod yn Saesoneg, mewn trefn i gael un Gymraeg. Bedydd hyd yn nod o flaen yr iaith. Buom ni yn tybio ei fod yn ormod o Fedyddiwr i wneyd chwareu teg â'i enaid, gan mai lled anmherffaith ydoedd ei Saesoneg ef; ond mynai fod mewn heddwch â'i gydwybod Pan y byddai yn dod i'r capel Cymreig, gwrandawai fel hen Gymro calon gynes, a byddai ei Ddiolch a'i Amen yn llanw y lle, yn enwedig pan ddelai y pregethwr i gymydogaeth Calfaria a'r groes. Byddai wrth ei fodd yn gwrando pregeth lawn o Grist; a gwae y pregethwr a adawai Grist allan o'i bregeth, os ca'i yr hen frawd Hughes afael arno Lluchiai esgyrn Christmas Evans a John Herring at ei ben mewn mynyd, bydded Fedyddiwr, Annibynwr, neu T. C.

3. Yr ydoedd yr ymadawedig yn grefyddwr selog a gwastad. Ni chlywais am un tro bach, angharedig, a wnaeth. Nid ydym am dreio dweyd fod yr hen frawd anwyl Hughes yn ddifai. Byddai ei ddull plaen (y gair gwaethaf yn gyntaf) yn peri i ambell un amheu ei grefydd. Nid ydoedd hon yn ffordd ddiogel i farnu y brawd. Gwyr ei frodyr a'i gyfeillion agasaf ato ei fod yn meddu ar deimladau tyner y Cristion gloyw. Pan y gwelai ryw un ar lawr, byddai ei galon fawr a chynes am ei godi yn union. Byddai ganddo air o gysur bob amser i'r isel feddwl a'r trallodus. Daliodd yn ffyddlon i broffesu Iesu Grist am dros driugain mlynedd. Ymdrechodd lawer yn y blynyddoedd diweddaf, gan ei fod wedi myned yn hollol fusgrell, fel yr ydoedd myned i, a dyfod o, gerbyd, bron a bod yn anmhosibl iddo. Y prydnawn cyn iddo farw, galwodd yr ysgrifenydd a'i briod i'w weled. Gwnaeth i ni ddarllen a gweddio. Cafwyd cryn sirioldeb i feddyliau y mab a'r wyrion ganddo.

4. Yr ydoedd yr ymadawedig yn ddarllenwr

Digitized by Google

mawr, o ffarmwr. Yr oedd yn gyfarwydd iawn â gweithiau y beirdd Cymreig, megys Dewi Wyn, Robert Ap Gwilym, David Thomas. Adroddai amryw ddarnau o'u gweithiau yn hynod gywir. Yr oedd wedi darllen llawer ar yr hen Gylchgronau perthynol i'r enwad, fel yr ydoedd yn hollol gyfarwydd â hanes y Bedyddwyr yn America a'r Hen Wlad. Yr oedd tuedd at ddarllen a chwilio yn naturiol gref ynddo. Gwnaeth y defnydd goreu y gallai o'r duedd hon i wasanaethu yr ysgol Sabbothol, o'r hon yr ydoedd yn hoff iawn. Yr oedd yn hoff iawn o'r Wawr, ac yn ddarllenwr cyson o honi.

5. Yr ydoedd yn edrych ar ol purdeb yr athrawiaeth, gan ei fod yn darllen llawer, ac yn lled gofus, ac yn hynod blaen. Byddai yn barod i ddweyd ei feddwl wrth, ac am y pregethwyr fyddai yn yr ardal, a'r rhai a fyddai yn dyfod ar ymweliad hefyd; ac os byddent yn bwysau gan yr hen frawd Hughes, pob peth yn iawn. Yr oedd brawd iddo, o'r enw T. P. Hughes, yn weinidog gyda y Bedyddwyr, yr hwn fu farw yn Granville, O. Bu brawd arall, o'r enw John Hughes, farw yn ei hen gartref yn Row, yn ddiweddar. Hyn o nodion anmherffaith gan ei frawd, G. R.

#### MISS ELIZABETH HARRIS.

Medi 2, yn Ridgeway, Wis., o'r frech wen, bu farw Elizabeth, merch Isaac ac Elizabeth Harris, yr hon oedd tua 12 oed. Geneth addawol iawn a phrydweddol oedd Elizabeth, un ag oedd yn hoff iawn o ganu. Byr, mewn cydmariaeth, fu ei chystudd, ond mor drwm, fel yr oedd yn anmhosibl i gyfansoddiad cryf ddal ond rhyw ychydig o ddyddiau. Boreu ddydd Sadwrn, y dyddiad a nodwyd, torwyd y gadwyn ddiweddaf oedd yn ei dal wrth y ddaear, ac ehedodd ei henaid uwchlaw pob gofid i ardal lonydd yr aur delynau.

Y Sul canlynol, ymgynullodd torf o Gymry ac eraill i ddangos parch i'r hyn oedd farwol o honi. Cyn codi o'r ty, darllenwyd rhan o Air Duw, ac anerchwyd gorsedd gras gan yr ysgrifenydd. Wedi cyrhaedd capel y Bedyddwyr, dechreuwyd trwy ddarllen a gweddio gan y Parch. W. Owen (W.), Dodgeville; pregethwyd gan y Parchn. Sem Phillips (A.), yn Saesoneg, a'r ysgrifenydd yn Gymraeg. Yna aed i'r gladdfa, yr hon sydd mewn cysylltiad â'r capel, ac ar lan y bedd cawsom anerchiad a gweddi ddifrifol ar ran y teulu a'r perthynasau, a'r dorf oll, gan y Parch. J. Davies (M. C.), Pant Coch. Felly rhoddwyd Elizabeth fach i orwedd yn dawel yn ei bedd hyd y dydd y gwelir hi eto yn dod i'r lan ar wedd ei Phrynwr.

Dymunwyf o'm calon nawdd y Nef a gwenau Rhagluniaeth i'r teulu galarus, a bydded iddynt hwy a ninau ymdrechu yn nerth gras i fod yn barod erbyn ein galwad i'r byd tragywyddol.

*Ridgeway, Wis.* J. Thomas.

## GOFYNIAD.

Mr. Gol.—Wrth ddarllen eich misolyn clodwiw o fis i fis, y mae amryw bethau o dro i dro yn tynu fy sylw i'r fath raddau, fel y chwenychwn gael mwy o oleuni arnynt, &c.; ac un o honynt ydyw, pan y bydd enw y Parch. Christmas Evans, y dyn mawr hwnw—mawr ei gorph, mawr ei enaid, mawr ei athrylith, mawr ei ddylanwad, a mawr ei dduwioldeb—pan y bydd ei enw, meddaf, yn cael ei grybwyll ar wyneb maban y dydd, sef y Wawr, bydd rhyw adgofion am dano yn gorlenwi fy nghyfansoddiad, yr olwg arno yn y pwlpud, ei lais perseiniol, a'i hyawdledd anghyffredinol, yn nghyd a'r nerth Dwyfol a gydfynedai â'i bregethau, &c.; ond yn benaf o bob peth, yr hyn a gymerodd le yn bersonol rhyngddo ef a minau, yr hyn ydoedd fy nghyd-gladdu gyda Christ yn y bedydd, a'm cyd-gyfodi ag ef, yn aelod o eglwys Iesu Grist yn Llanerchymedd, Sir Fôn, yr hyn a gymerodd le ar brydnawn Sabboth, Tachwedd 17, 1822. Yn awr, fy nymuniad ydyw, cael gwybod trwy gyfrwng y Wawr pa sawl un sydd heddyw yn fyw a fedyddiwyd gan yr anfarwol Christmas Evans heblaw fy hunan? Yr eiddoch yn ddidwyll,

*New York.* J. R. Jones.

## NODION.

—Dywedir fod y Chineaid yn California yn llawenhau o herwydd y gyfraith newydd sydd yn rhoddi ataliad ar ymfudiaeth Chineaid i'r wlad hon, gan y galluoga hyny hwy i gael mwy o gyflog.

—Mae y New Orleans *Picayune*, ar ol edrych yn ofalus i'r mater, wedi dyfod i'r penderfyniad, fod cleifion yn gwneyd i'r meddygon yr hyn nas gall y meddygon wneyd iddynt hwy. Mae y cleifion yn galluogi y meddygon i fyw.

—Yn ol deiliadeb 1880, y mae poblogaeth dinas New York yn 1,206,699. O'r nifer hwn mae 727,699 yn frodorion Americanaidd. Y mae'r gweddill o enedigaeth dramorol. Nid yw y boblogaeth Wyddelig yn mhell o 300,000; mae y boblogaeth Germanaidd tua 250,000; Italiaid, 12,223; Ffrancod, 9,910; Norwegiaid a Swediaid, 4,087, &c., &c.

Digitized by Google

_

# Y WAWR.

CYF. VII.] TACHWEDD, 1882. [RHIF. 8.

## DIOFALWCH PARTHED EIN HYMDDYGIADAU FEL CREFYDDWYR.

PAPYR A DDARLLENWYD YN NGHYMANFA DWYREINBARTH PA., YN NANTICOKE.

GAN Y PARCH. W. D. THOMAS, PARSONS, PA.

Ein hamcan yn newisiad y penawd uchod yw dangos y golled a ddaw i'n rhan fel canlyniad anocheladwy o feddu ar y nodwedd o ddiofalwch, yn nghyd a'r elw a geir o fod yn amddifad o honi. Collir llawer trwy ddiofalwch, tra mae y nodwedd wrthgyferbyniol, o'r tu arall, yn diogelu yr hyn sydd yn ein meddiant, ac yn gyfrwng i gasglu llu o bethau da eraill atynt. Mae amryw wedi eu darostwng i dlodi a gwarth o herwydd eu diofalwch; tra y ceir eraill, o herwydd eu gofal, wedi codi o gyflwr o ddinodedd i gyfoeth a dylanwad.

Edrychwn ar y niwed a gynyrchir gan y drwg hwn ynom ni fel crefyddwyr.

*Mewn perthynas a'r addoliad cyhoeddus.*

Mae lle i ofni nad yw y parch dyledus yn cael ei dalu genym bob amser i wrthddrych priodol addoliad. Gwir nad gwaith hawdd bob amser yw dod fyny at y nôd uchel hwn, o herwydd tuedd lygredig, a gwendid ein natur; eto yr ydym yn anesgusodol lawer pryd am y diffyg hwn ag sydd mor fynych yn ein nodweddu.

Awn i'r cyfarfodydd yn aml, nid i addoli Duw, ond i fesur a chlorianu y pregethwr a'i faterion; ac os bydd pethau yn cydweddu â'n chwaeth, braidd nad addolir y siaradwr genym; ond os mai fel arall y byddant, cymer diystyrwch feddiant lled gyflawn o'n meddwl. Gwneir niwed nid bychan gan yr arferiad hon i ni fel gwrandawyr, trwy ein anghymwyso i dderbyn yn briodol yr impiedig air. Dylai y meddwl fod yn rhydd oddiwrth y pethau yna pan yn myned i wrando Gair Duw. Gwnawn niwed hefyd i weinidogion, oblegid gan fod y teimlad hwnw yn yr eglwysi, cymellir hwy i foddio cywreinrwydd dynion yn fynych, yn hytrach na iawn gyfranu Gair yr Arglwydd.

Mae gwir amcan a dyben pregethu, fel yna, yn cael ei golli. Nid y pregethwr ddylai gael ei weled, ond y groes; nid hyawdledd y siaradwr, ond cynwysiad efengyl y tangnefedd ddylai fod gwrthddrych ein hedmygedd. Gwas

yw y pregethwr i lefaru am, a thros, ei Feistr; felly nid priodol yw aros yn hollol gyda'r offeryn, ond cymeryd ein harwain ganddo yn hytrach at yr hwn sydd yn ei ddefnyddio.

Mae hon yn hen arferiad bellach. Darllenir y benod gyntaf yn Epistol Cyntaf Paul at y Corinthiaid, nid er mwyn efelychu yr eglwys hono, ond er gwrando cerydd yr Apostol am eu hymddygiad. Mae llawer o bethau yn cael eu parchu am eu bod yn hen; ond er bod hon yn oedranus, ni ddylai gael ei pharchu mwy na llawer hen arferiad ddrwg arall. Ac os na fydd farw yn fuan, dylai gael ei lladd oddiar y ffordd, oblegid mae hi yn lladd ei miloedd, yn ddiamheu.

Mae yr un egwyddor lywodraethol yn ganfyddadwy yn y cyfarfodydd eraill perthynol i'r addoliad. Y gwir galarus yw, fod llawer mor ddiofal yn mhob rhan o'r addoliad ag ydynt mewn rhyw fanau eraill. Nid ydynt yn ymddwyn felly am nad ydynt yn gwybod natur neu ansawdd y lle, neu y dyben ddylai fod mewn golwg ganddynt wrth fod yn bresenol, ond anghofir ganddynt mai sancteiddrwydd a weddai i dy yr Arglwydd bob amser, a hyny o herwydd fod diofalwch wedi cymeryd meddiant mor llwyr o'u meddwl.

*Diofalwch mewn perthynas a mynychu moddion gras.*

Cyfaddefwn i gyd fod crefydd yn addurno ei deiliaid â phrydferthwch a gogoniant, ac yn eu galluogi i ganfod yn dra eglur ragoriaethau pethau dwyfol; yn dwyn yr enaid i adfeddwl, i ymroddi i fyfyrdodau ysbrydol, ac yn eu gwneyd yn gryfion yn nghyflawniad eu dyledswyddau tuag at Dduw a dynion. Gwir grefydd, gan hyny, ydyw gwir adnabyddiaeth o Dduw yn ei Fab, gwir gariad tuag ato, cywir grediniaeth o'i dystiolaethau, ufudd-dod pur i'w ewyllys, sêl ddiffuant dros ei ogoniant, cymdeithas gyson ag ef, a dysgwyliad ffyddlon wrtho yn llwybr moddion gras am gyflawn fwynhad o hono yma, ac mewn byd arall yn ngwyneb Iesu Grist. Ac os cymerwn y darnodiad yna o grefydd, nis gall difaterwch mewn perthynas i foddion gras gael ei gymeradwyo genym, na'i oddef ynom. Mae crefydd yn fater rhy bwysig i gellwair yn ei gylch; mae canlyniadau ofnadwy yn aros y rhai sydd yn llechu ac yn eistedd yn esmwyth yn nghadair diofalwch. Mae yr enaid yn rhy werthfawr i'w golli, a'r iachawdwriaeth sydd yn Nghrist yn rhy ddrud i'w hesgeuluso. Felly dylem ymaflyd yn egniol yn y gwaith.

Mor ddymunol a phriodol fyddai i ni allu dweyd, fel y Salmydd, "Sychedig yw fy enaid am Dduw, ïe, am y Duw byw;" ac "Mor hawddgar yw dy bebyll di, O Arglwydd y lluoedd; fy enaid a hiraetha, ïe, ac a flysia am gynteddau ty yr Arglwydd." Gallem ddweyd wedi hyny eiriau eraill o eiddo y gwr duwiolfrydig, sef, "Gwyn fyd preswylwyr dy dy, yn wastad y'th folianant;" "Oblegid gogoniant a harddwch sydd o'th flaen di, nerth a hyfrydwch sydd yn dy gysegr." "Am hyny, dylai yr holl ddaear ofni ger dy fron, a rhoddi gogoniant i'th enw, a dwyn offrwm i'th gynteddau." Gan fod yr uchod yn ddangoseg pur gywir o gymeriad duwiolfrydig y Cristion, mae yr ymddygiad gwrthgyferbyniol yn profi cymeriad o anffrwythlonrwydd ac anffyddlondeb.

Mae dwy ystyriaeth yn dangos mawredd y drwg o ddiofalwch mewn perthynas a moddion gras, sef,

Digitized by Google

1. Bod euogrwydd o hyn yn tori cyfamod, yr hwn sydd wedi ei wneyd yn ngwydd llawer o dystion. Mae addunedau neu lwon crefyddol wedi arfer cael eu hystyried yn rhwymedigaethau neillduol o gysegredig. Moses a ddywedodd, "Pan addunedech adduned i'r Arglwydd dy Dduw, nac oeda ei thalu; canys yr Arglwydd dy Dduw gan ofyn a'i gofyn genyt." Dengys hyn fod pwys neillduol mewn gwneyd adduned, hyd yn nod pan na byddo y ddeddf seremoniol neu foesol yn galw mewn modd penodol am dani; ac os na ellir diddymu hon, pa faint mwy rhwymedig y bernir y cyfamod a wneir i gyflawni yr hyn a ddysgwylir yn gyfiawn oddiwrthym? O ganlyniad, ystyriwn ein rhwymedigaethau cyfamodol.

2. Am mai dwyn tystiolaeth o berthynas i'r Arglwydd Iesu yw prif alwedigaeth y saint, ein gwaith penaf yw dwyn ein Blaenor i'r golwg, dangos ei gymeriad i'r byd, nid yn unig trwy gyfrwng geiriau, ond rhoddi *illustrations* o hono yn ein hymarweddiad: "Goleuni y byd ydych;" "a thystion fyddwch i mi," medd Iesu. Felly dysgwylir i ni gynrychioli Iesu o ran ein cymeriad. Fel yna yr ystyria y byd ein safle. Y Cristion yw Beibl y dyn anianol yn fynych, ac i'r llyfr yna yn aml yr edrychir am gymeriad Mab Duw. O ganlyniad, nid dieuog ein bernir os gwnawn gam-ddarlunio, trwy ein diofalwch, berson mor fawr ac urddasol.

*Ein diofalwch o berthynas i'r teulu.*

Nis gellir rhoddi gormod o bwys ar y teulu fel man cymwys i hau hadau moesgarwch a chrefydd. Mae ymarferiadau y bywyd a thueddiadau y meddwl yn etifeddiaethol yn ogystal a phethau perthynol i'r corph, ac o herwydd hyn yr ydym o angenrheidrwydd yn gyfrifol i fesur helaeth am gymeriad moesol ein plant. Mae gan yr aelwyd ddylanwad pwysig ar feddyliau y tô sydd yn codi. Mae y dyn ag sydd yn cael ei amgylchynu gan adgofion teuluol, am gusan mam, gweddi tad, caniadau melodaidd chwaer, a Sabbothau dymunol a sanctaidd, yn meddu ar ddiogelwch effeithiol iawn rhag y profedigaethau mwyaf nerthol. Mae agweddau daionus purdeb a gwirionedd yn chwifiaw yn barhaus o amgylch iddo; a chaled, yn wir, raid i'r galon hono fod, all wrthwynebu dylanwad y pethau hyn, gan roi ffordd i hudoliaethau pechod. Dengys hyn fod cymeriad dyfodol y plentyn yn ymddibynu yn fawr ar yr hyn a wel ac a glyw yn y saith mlynedd cyntaf o'i fywyd. Pryd hyn yr heuir ac y plenir egwyddorion a thueddiadau, y rhai a fyddant, i raddau mwy neu lai, yn ymddadblygu trwy ei oes.

Y peth mwyaf pwysig mewn teulu ydyw ei awyrgylch—y gallu dirgelaidd, anweledig, cyson hwnw ag sydd yn gwneyd ac yn *mouldio* cymeriad. Mae ymarferiadau a syniadau, amcanion ac ymarweddiad dynion, i raddau pell yn cael eu llywodraethu gan y gallu hwn. Dywed awdwr cyfrifol, ein bod yn anfon allan i'r byd ac i'r dyfodol oddiar yr aelwyd deuluol, ddylanwadau annirnadwy er da neu er drwg; ein bod wrth yr allor ac ar yr aelwyd yn ymaflyd yn nghylch y ddaear, ac yn cyffwrdd â'r oesau. O ganlyniad, pa dad, crefyddol beth bynag, wrth edrych yn ystyriol ar y gobeithion a'r ofnau sydd yn cael eu plygu i fyny gyda bywyd y plentyn, nad ydyw yn teimlo gyda phryder dwys i wneyd pob peth o fewn terfynau ei allu i rwystro pob drwg rhag dyfod i gyffyrddiad a'i feddwl?

Digitized by Google

Nid yw yr ystyriaeth uchod yn cael lle dyladwy yn ein meddyliau fel rhieni crefyddol. Mae yn ddyledswydd arbenig arnom i ofalu am ein plant, eu harwain a'u cyfarwyddo yn llwybrau prydferth rhinwedd a chrefydd, trwy addysg ac esiamplau.

Yr oedd y ddyledswydd hon yn cael ei hystyried yn bwysig iawn dan yr hen oruchwyliaeth. Meddai yr Arglwydd wrth Israel, trwy Moses, "Gochel arnat, a chadw dy enaid yn ddyfal, rhag anghofio o honot y pethau a welodd dy lygaid, a chilio allan o'th galon di holl ddyddiau dy einioes; ond hysbysa," neu yn ol darlleniad arall, "hoga neu llymha hwynt i dy feibion;" hefyd, "Y geiriau yr wyf yn eu gorchymyn i ti, hysbysa hwynt i'th blant; a chrybwyll am danynt pan yn eistedd yn dy dy, a phan gerddych ar y ffordd, a phan orweddych i lawr a phan gyfodych i fyny." Arferai yr Iuddewon ddweyd yn y Talmud, mai o herwydd esgeuluso addysgu yr ieuainc y dinystriwyd eu dinas, Jerusalem. Xenophen hefyd a ddywed am y Persiaid, na oddefent i feddyliau eu plant gael eu masweddu gan chwedlau ofer a gwag, gan eu bod wedi eu hargyhoeddi o'r perygl o roddi pwysau ychwanegol at duedd natur lygredig.

Os ystyrid hyn yn bwysig gynt, diau genym ei fod mor bwysig, os nid yn bwysicach, yn ein dyddiau ni, pan mae plant yn medru darllen; a chan fod cymaint o lenyddiaeth yr oes mor amddifad o foesgarwch, ac mor llawn o ffug-chwedlau difudd a llygredig. Dyledswydd a braint pob teulu yw cymeryd Llyfr Duw yn brif lyfr yr aelwyd, a dwyn y rhai sydd dan eu gofal i fyny yn addysg ac athrawiaeth yr Arglwydd. Ceir engraifft nodedig o hyn mewn perthynas â Timotheus, yr hwn er yn fachgen oedd yn gwybod yr Ysgrythyr Lân. Yr oedd Gair Duw yn cael ei ddarllen, ei fyfyrio a'i egluro yn y teulu, ac argraffiadau annileadwy yn cael eu gwneyd ar feddwl y bachgen, y rhai oeddynt megys meini cedyrn, ar y rhai yr adeiladodd gymeriad ag sydd yn deilwng i fod yn fodel i'r byd; planodd ei fam a'i nain egwyddorion Gair Duw yn ei feddwl pan yn blentyn. Nis gellir ein hesgusodi am ein diofalwch o berthynas i gysur a diogelwch moesol a chrefyddol ein plant.

*Ein diofalwch yn y gymdeithas achlysurol.*

Pan yn cyfarfod yn achlysurol a'n gilydd, daw enw hwn a'r llall, yn ddamweiniol neu yn fwriadol, dan ein sylw, a chymerwn yr hyfdra mwyaf anesgusodol i siarad am eu masnach, eu gweithredoedd a'u cymeriadau. Nid oes neb, fe ddichon, yn bwriadu gwneyd niwed, wrth hyn, i'r cyfryw, ond eto byddai bron cystal iddynt fod wedi eu trywanu â phicell, a bod y crybwyllion hyny wedi cael eu gwneyd am danynt.

Ychydig o ymarferiadau sydd mor gyffredin a hon; a gellir meddwl, wrth glywed a gweled hyfdra ambell un yn y cyfeiriad hwn, ei fod wedi derbyn *license* i'r perwyl yna. Ond yr ydym yn sicr na chafodd hi erioed yn y *Legal Court*, beth bynag, oblegid mae Gair Duw bob amser yn cyhoeddi anathema uwch ben y fath ymarferiad. Am hyny nid oes hawl genym i siarad yn fychanus am y diniwed (dylid ystyried pawb felly hyd nes y profir hwy yn wahanol), neu gychwyn rhyw ddrwgdybiaeth am y cyfryw. Nid yw dadleu diniweidrwydd ein bwriad chwaith yn lleihau dim ar y drwg. Yr ydym yn gyfrifol nid yn unig am y gweithrediadau rhagfyfyriol a bwriadol, ond hefyd am yr effeithiau damweiniol ac anym-

Digitized by Google

wybodol ag sydd yn myned allan oddiwrthym. Dywed athronwyr fel hyn: "Every word spoken into the air goes quivering on, in undying reverberations, for ever." Beth bynag am gywirdeb y gosodiad uchod fel ffaith wyddonol, gwyddom yn eithaf am ganlyniadau pell-dreiddiol, os nad annherfynol, y geiriau lleiaf, fel galluoedd moesol. Nid ydynt yn syrthio i ddiddymdra; cyfarfyddwn a hwynt eto; maent yn debyg o fod yn ystoredig mewn rhyw gongl yn mywyd dynion eraill yn dylanwadu arnynt, er da neu er drwg, er poen neu er dedwyddwch. Nid oes un cyfnod o'n bywyd nad yw y dylanwad hwn yn cael ei gynyrchu. Tueddol ydym lawer pryd o alw rhai pethau yn fychain, ac yn wir, maent yn ymddangos felly; ond pan y cofiwn y dichon un o honynt roddi ysgogiad i ganlyniadau tragywyddol, pa fodd y meiddiwn eu hystyried yn ddibwys? Gan ein bod bob amser yn cyffwrdd â bywyd personau eraill, a'r cyffyrddiad hwnw, fe ddichon, yn penderfynu tynged, mae yn amlwg fod pob ysgogiad a phob ymddygiad o'n heiddo yn annhraethol bwysig, ac y dylem arfer y gofal mwyaf pryderus am ein geiriau a'n gweithrediadau.

---

## OFERGOELIAETH YN AMERICA.

Mae llawer yn siarad am America fel gwlad sydd yn hollol lân oddiwrth ofergoeliaeth, o wadn ei throed hyd goryn ei phen, fel pe bae yr America yn rhy *civilized* i lochesu na meithrin dim o'r fath. Cymru a'r "Hen 'Lad" ydyw cartref ofergoelion, meddir. Yno y gwelir "bwganod" ac ysbrydion o bob math a llun, o "Jack-o-lantern" i fyny at "'deryn y corph." Maent yn llechu yno, mae'n debyg, mewn hen balasau a thrigfanau unigol. Maent yn hynod hoff o gorsydd a lleoedd anghysbell. Maent yn dra lluosog mewn monwentydd hefyd. Ac os ydym i gredu ein hysbyswyr, mae yr ysbrydion yn Nghymru yn ymddangos yn fynych ganol nos, neu ar ddiwedd y nos, i bersonau y byddo dygwyddiadau gorbwysig yn eu haros, neu ynte i rai fyddont wedi cyflawni rhyw droseddau neillduol. Pan oeddwn fachgen, clywais lawer o *son* am y tylwythau bwganol, ac y mae llawer o argraffiadau a wnaed ar ein meddwl ofnus, ieuanc, y pryd hwnw, yn aros fel haner dydd ar ein cof hyd yr awr hon. Yr oedd rhai personau yn rhyfeddol o fedrus mewn adrodd chwedlau o'r fath. Dywedent eu bod wedi gweled y bwgan hwn a'r bwgan arall; ac am hyny yr oeddynt yn gallu rhoddi y manylion. Dywedent lawer iawn am wisg y bwgan, am olwg ei wynebpryd, am y gweddnewidiadau yr oedd yr "ysbryd" yn myned trwyddynt. Ar ddim a wyddom ni yr oeddynt yn dweyd y gwir bob gair. Yr oedd amryw bethau yn cael eu nodi ganddynt i brofi fod y cwbl yn sylweddau; hyny yw, yn sylweddau ysbrydawl a bwganawl. Ar yr olwg arnynt, sicrheid ni fod eu gwallt yn ofnus, ac yn codi "ar ei sefyll." A llawer o arwyddion eraill a ganlynent ymddangosiad ysbrydion yn "yr Hen 'Lad" gynt, ac y mae yn eithaf tebygol fod llawer o bethau poenus o'r natur yna yn aros yno eto i ddychrynu y trigolion, druain. Ond *ni welsom ni* ddim erioed, yn bersonol, o'r fath bethau—*clywed* am danynt yn unig a wnaethom. Bu arnom *ofn* eu gweled lawer tro. Buom yn gwneyd cil-olwg wrth fyned heibio i fanau neillduol yn y nos, rhag fod yno fwgan yn llechu. Byddem weithiau yn arfer

Digitized by Google

swnian canu, er rhoddi ar ddeall i'r bwgan nad oeddym yn ei ofni nac yn ei ddrwg-dybio. Ond ryw fodd neu gilydd, ddygwyddodd i ni ddim gweled un rhithyn erioed yn Nghymru o'r fath dylwyth brawychus. Y mae i ni brofiad gwahanol yn America. Yr ydym wedi GWELED *lot* o bethau ofergoelus yma. Gwelsom lawer o honynt yn ddiweddar. Rhag myned a gormod o ofod, ni nodwn yn awr ond engraifft neu ddwy.

Y peth mwyaf newydd ar ein meddwl ydyw ofergoeliaeth "pedol ceffyl," sydd yn gorwedd fel hunlle ar feddwl y wlad. Yr ydym wedi gweled ofergoeliaeth "pedol ceffyl" yn y manau canlynol o fewn i'r ddau fis diweddaf: Pedol ceffyl yn *caboose* y trên—yn wir, dwy yn yr un *caboose;* pedolau ceffyl o aur ac arian yn frithion ar benau a gwisgoedd boneddigesau crefyddol a pharchus; pedol ceffyl fawr, fwaog, uwch ben drysau *stores*. Meinciau wedi eu gwneyd ar ffurf pedol ceffyl; *signs* uwch ben drysau masnachdai wedi eu fframio a phedol ceffyl; ond nid gwiw dechreu enwi. Wel, yn sicr, nid wyf yn gwybod beth i feddwl o beth fel hyn. Mae y byd yn America yma wedi myned yn rhyfedd iawn. Ofnwyf fod y gred mewn pedol ceffyl yn debyg o fyned yn grefydd y wlad. Creda miloedd, yr wyf yn deall, fod myrdd o fendithion tymorol ac ysbrydol yn ymddibynu ar fod pedol ceffyl gerllaw, neu ynte rywbeth fyddo yn dwyn ffurf pedol ceffyl. Gan fod y peth mor gyffredinol, dysgwylir gweled yr unrhyw yn y capelydd. Gyda hyn bydd y pwlpud ar lun pedol ceffyl, y sêt fawr a *front* y *gallery* ar ffurf pedol ceffyl. Mae yn eglur fod hinsawdd America yn dygymod yn dda a thylwythau ysbrydion ac ofergoeliaeth; canys dalier sylw, nad yw pedol ceffyl yn ddim ond arwydd allanol o ryw "fôd" bwganllyd sydd yn gweithio y drafodaeth er bod yn fendith i'r byd. Yr unig gysur mewn cysylltiad a'r mater yw, fod *daioni* yn canlyn y bwgan hwn sydd mor garedig ag amlygu ei hunan mewn peth mor ddiniwed a phedol ceffyl. YSBRYDEGWR.

---

## MARWEIDD-DRA CREFYDDOL.

### YR ACHOS O HONO, A'R MODDION GOREU ER SICRHAU ADFYWIAD.

(*Sylwadau a draddodwyd yn Nghymanfa Brymbo, a gynaliwyd Mehefin 27, 1882, ac a gyhoeddir ar gais y cyfarfod.*)

GAN Y PARCH. H. C. WILLIAMS, CORWEN.

"Deffro, deffro, gwisg nerth, O fraich yr Arglwydd: deffro fel yn y dyddiau gynt, yn yr oesoedd gynt."—ESA. li. 9.

"Deffro, deffro, gwisg dy nerth, Seion; gwisg wisgoedd dy ogoniant, sanctaidd ddinas Jerusalem."—ESA. lii. 1.

Marweidd-dra crefyddol! Chwithig yw y syniad fod y fath beth yn bosibl. Syndod mawr fod neb yn gallu dal yn gyndyn mewn anghredinaeth heb ymostwng i ordinhadau crefydd; ond syndod mwy fod dynion wedi derbyn crefydd, ac wedi arfer dweyd,

"Crefydd yw'r neges fwya'i phwys
I farwol ddyn is nen,"

yn gallu ymollwng i gysgu mewn difaterwch, tra mae y byd anghrediniol gerllaw iddynt yn llithro mewn anystyriaeth i drueni. Ond y mae yn ffaith ei fod yn bosibl, a thybiwn fod y Gymanfa hon wrth gynyg y testyn yn fater ymdriniad, yn credu ei fod wedi ymdaenu yn lled gyffredinol y dyddiau presenol. Profir hyny yn anamledd dychweledigion at grefydd, y nifer lu-

osog a chynyddol, mae lle i ofni, a absenolant eu hunain o foddion gras, a'r olwg swrth, ddioglyd, a geir ar lawer eglwys yn ein gwlad. Ond mae fod y pwnc yn cael sylw mor fynych yn arwydd er daioni. Wrth rodio ar hyd y meusydd ar foreu teg o wanwyn, gwelir y coed a'r caeau yn ddigon llwm eu gwedd, a diaddurn iawn; ond wrth syllu yn fanwl, gwelir egin yn blaendarddu, ceir agoriadau yn y pridd yn dangos fod yno rywbeth yn ymryson am fywyd, a gwelir ambell friall melyn, hardd, yn anturio ymagor. Mae hyn oll yn arwydd fod gwywdra a chysgadrwydd gauaf ar roddi ffordd i ffrwythlondeb a bywiogrwydd, yn gystal a sirioldeb a harddwch gwanwyn a haf. Gobeithiwn ei bod yr un modd gyda y mater hwn. Gwelir rhyw anesmwythdra yn yr eglwys, rhyw anfoddlonrwydd ar sefyllfa bresenol pethau, rhyw ddyheuad am gyflwr gwell, yr hyn sydd yn argoel fod hafddydd efengyl ar dori ar ein gwlad. Cyn y bydd i'r eglwys lefain, "Deffro, deffro, O fraich yr Arglwydd," rhaid ei bod wedi deffro ei hunan i raddau. Mae mewn gwell cyflwr nag y bu, beth bynag. Mae yn dda gan y fam glywed y plentyn yn wylo weithiau; ac felly hoffa yr Arglwydd glywed Seion yn llefain arno; a geilw yntau arni hithau yn ol i gyflawn ddeffro. Nid yw yr Arglwydd ei hunan byth yn cysgu. "Ni huna ac ni chwsg Ceidwad Israel." Ni elwir yma ar yr Arglwydd i ddeffro, ond ar ei fraich, ei allu nerthol mewn achubiaeth. Rheolir y gallu hwn i raddau gan ffydd ac anghrediniaeth yr eglwys. "Os gelli di ddim, cymorth ni," meddai tad y bachgen lloerig wrth odreu mynydd y gweddnewidiad. "*Os gelli* di gredu," meddai yr Hollalluog yn ol, "pob peth a fydd i'r hwn a gredo."

I. ACHOSION MARWEIDD-DRA CREFYDDOL.

1. *Mae amgylchiadau masnach yn effeithio cryn lawer ar gyflwr yr eglwysi.*—Mae amgylchiadau helbulus a chyffrous, fel y rhai yr aeth yr ardaloedd hyn trwyddynt yn ddiweddar, yn sicr yn dylanwadu yn niweidiol iawn ar yr eglwysi am yr amser, ac yn gadael argraff annymunol ar ol. Y mae meddyliau dynion yn cael eu harwain i sianel arall, ac y mae eu holl fryd yn cael ei sefydlu ar bynciau gwahanol. Y mae ysbryd y peth hwn ac ysbryd y peth arall yn tramwyo, fel nad yw "ysbryd gras a gweddiau" yn cael lle i weithredu. Mae cyfyngder masnachol llawer lle yn gwneyd dynion yn llwfr a digalon.

2. *Ysbryd amheus ac anffyddol yr oes.*—Yn ddiau ceir amheuaeth ac anffyddiaeth yn perthyn i bob oes; ond *chameleon* yw yn newid ei liw a'i nodwedd yn ol ansawdd yr oes. Am ysbryd anffyddol yr oes hon, un gwybodus, ond hyf a beiddgar ofnadwy ydyw. Y mae rhai o brif wyddonwyr yr oes, a rhai o'r athronwyr mwyaf medrus, yn fater-olwyr trwyadl, yn edrych ar feddwl fel cynyrch yr ymenydd, a'r ymenydd ei hunan fel plentyn mater, ac yn ystyried nad oes gallu yn y bydysawd ond defnydd. Mae rhai o'r dynion hyn mor ryfygus gyda'u casgliadau, fel y rhuthrant yn rhwydd i fan na feiddiai angel sefyll. Gan fod y dynion hyn yn myned yn mlaen gyda'r fath arddangosiad o wybodaeth a hyder, dylanwadant yn dra niweidiol ar nodwedd yr oes. Yr ydym yn arfer meddwl nad ydyw yr oes hon yn cymeryd dim yn ganiataol; ond cymer un peth yn ganiataol, medd

Digitized by Google

Mr. Joseph Cook, a hyny ydyw, fod yr oes hon yn gallach nag un oes arall er dechreu amser, ac nad oes mwy o bethau yn y nef a'r ddaear nag a wyr ei hathroniaeth hi! Mae anffyddiaeth yn ei gwahanol ffurfiau wedi benthyca termau gwyddonol, iaith goeth a diwylliedig, ac fel yn ngwaith y diweddar George Elliot, y farddoniaeth fwyaf swynol i ymddangos; ac oni buasai fod ffydd gref yn y byd, buasent wedi twyllo hyd yn nod yr etholedigion. Mae, er hyny, y ffrwd lwydaidd, gleilyd, hon, wedi llifo i lawer cyfeiriad, ac y mae rhai dafnau gwenwynig o honi wedi cymysgu â ffrwd dysgeidiaeth y pwlpud. Pwnc mawr y dyddiau hyn yw meddu rheswm am y gobaith sydd ynom. Ni ddymunwn er dim ein bod yn pregethu llawer yn erbyn y cyfeiliornadau hyn, gan roddi dyrnodiau parhaus i Huxley, Tyndall, Arnold, &c., ond hoffwn i ni ddal ein gafael yn gryf yn y gwirioneddau hanfodol, gan sugno cysuron lawer o'r sicrwydd am fodolaeth Duw, athrawiaeth yr Iawn, anfarwoldeb yr enaid, a llwyddiant y gweddiwr ger bron gorsedd gras.

3. *Ysbryd aflonydd yr oes.*—Mae y fath fyn'd, symud, ac ysgogi, yn perthyn i'r cyfnod presenol—dynion yn byw llawer mewn ychydig amser, a llawer yn myned yn hen cyn haner eu dyddiau, y fath ysbryd cystadleuaeth. Tybia rhai fod yn rhaid cael crefydd yn debyg i hyn; a daw y *Salvation Army* gyda'u teitlau milwraidd, eu *drum* a'u *banjo*, a'u hoffer cerdd, eu dawnsiau, eu hareithiau tanllyd, eu canu cyffrous, nes creu *excitement* anarferol. Ond mewn llawer achos ofnwn nad yw hyn ond ychwanegu at farweidd-dra crefyddol yr oes; oblegid er denu dynion am dro oddiwrth y drwg, os na lenwir y meddwl gan Ysbryd Duw, cymer adweithiad le, a bydd y diwedd yn waeth na'r dechreuad.

4. *Nid ydyw peirianwaith yr eglwys yn cael ei osod ar ei lawn waith.*—Credwn fod y ffurf gynulleidfaol ac annibynol yn ysgrythyrol, ond nid yw annibyniaeth yr eglwys yn golygu nad oes cyd-ddealltwriaeth a chydymdeimlad i ffynu rhwng yr eglwysi. Mae llawer o wastraff ar wahanol dalentau yn bod.

[I'w barhau.]

---

## GOHEBIAETH O GWM RHONDA.

GAN GWILYM RHONDDA.

I.

Braidd nad yw enw y cwm hwn wedi cyrhaedd i bedwar ban y byd. "Cwm culach na cham ceiliog," y galwodd Telynog ef. Un o'r lleoedd pwysicaf yn y cwm hwn yw Treorci—enw sydd yn anwyl gan luaws o Gymry yn America. Saif yn y rhan uchaf o'r cwm, gyda phoblogaeth o tua deng mil. Lle cymharol newydd ydyw, ac er nad ydym eto wedi cyrhaedd oedran gwr, (21), gallwn gyfeirio yn ol at adeg pan nad oedd yn y lle ond ychydig iawn o dai. Yr oedd yma luosogrwydd o gloddiau, a gellid casglu oddiwrth y cyfryw fod rhywrai wedi llafurio yn galed yma rywbryd rhwng yr adeg hono a'r diluw. Fodd bynag, ceir yma yn bresenol ganoedd lawer o dai, nad yn fynych y gwelir eu cyffelyb gan weithwyr. Ymddibyna trigolion y lle ar y gweithfeydd glo cylchynol. Ryw haner milldir y naill ochr, yn Cwmparc, ceir dau o byllau cwmni yr "Ocean" (sef Mr. D. Davies, A. S., a'i gwmni). Heblaw hyny, y mae ganddynt dri o byllau mawrion ychydig islaw. Y mae yna ganoedd lawer yn America ydynt yn hollol gyfarwydd â'r gweithfeydd a nodwyd. Codir mwy o lo gan y cwmni hwn nag un cwmni arall yn y byd adnabyddus. Dyna

Digitized by Google

ddweyd mawr, onide? ond y mae yn ffaith; a da genyf hysbysu pawb fod yma waith cyson ac arian go lew i'r gweithiwr y dyddiau yma.

Y mae yma gapelau gorwych ac eang gan bob enwad crefyddol, ond yr eangaf a'r harddaf yw Noddfa, capel y Bedyddwyr, lle y mae un o'r eglwysi mwyaf gweithgar yn Nghymru, gweinidog yr hon yw y bardd-bregethwr, y Parch. W. Morris (Rhosynog), un o'r dynion galluocaf fedd yn enwad yn Nghymru. Ychydig o hanes yr eglwys, yn nghyda darluniad o'r capel, y gweinidog, &c., a fwriadwn gyflwyno i'r darllenydd. Dechreuwn gyda

Y CAPEL.

Credwn fod y canlynol, a ysgrifenwyd ychydig wedi yr agoriad, yn ddarluniad cywir o hono. Dyma fe:

"Mehefin 25 a 26 a Gorphenaf 9, 1876, cynaliwyd cyfarfodydd mewn cysylltiad ag agoriad y capel mwyaf a fedd y Bedyddwyr yn Nghymru. Gwyr y nifer luosocaf o Fedyddwyr Cymru, fod y capel hwn yn Nhreorci, a bod yr adeiladaeth ar waith oddiar gwanwyn 1875. Erbyn hyn y mae y capel hardd a'r adeiladau cysylltiedig ag ef wedi eu gorphen, a gwasanaeth Sabbothol yn cael ei gynal ynddo er ys wythnosau. Hwn ydyw y pedwerydd capel i eglwys Noddfa, Treorci, adeiladu oddiar 1868. Y flwyddyn hono adeiladwyd yr hen gapel, gwerth £1,700, yr hyn a dalwyd erbyn 1874. Yn y flwyddyn 1873 agorwyd capel Bethel, Cwmparc, gan eglwys Noddfa, yr hwn a gostiodd £1,200. Rhagfyr, 1874, agorwyd Moriah, Pentre, gan yr un eglwys, wedi costio £2,500. Yn awr, eto, dyma Noddfa newydd, yn gorwedd fel teyrn y temlau, a'i ddrysau yn agoredig i roesawu dynion i fewn i wrando 'yr hen, hen stori.' Bu dwy farn boeth parth tynu yr hen gapel i lawr. Dirmygwyd a chablwyd yr eglwys a'i gweinidog, yn y wasg, mewn tai, ar yr heolydd, ac yn mhob man. Ymdrechwyd dyrysu y cynlluniau, a thaflu rhwystrau methianol ar y ffordd; ond fel y lloer brydferth ar noson siriol, yn nofio yn mlaen er gwaethaf cyfarthiadau cwn y byd, felly yn mlaen yr elai yr eglwys fawr hon. Rhwydd faddeuir i'r holl elynion; ma eiddigedd, cenfigen, a rhagfarn, wedi gwneyd yr un fath yn mhob oes a gwlad. Heddyw y mae pawb o'r un farn, a chafwyd digon o sebon canmoliaeth o ddyddiau yr agoriad i guddio cyfandir.

Tyred gyda ni i Dreorci am fynyd, a ni a ddangoswn y capel i ti. Saf—dyma fe, yn y brif heol, ac yn y safle oraf yn yr heol. Edrych ar y *front;* sylwa ar y gwaith. Mor ardderchog y mae hen geryg gleision Cymru yn edrych. Mae ceryg goreu y *Forest of Dean* yn yr ochrau, ac yn cylchu y ffenestri yn odidog. Yn wir, y mae y *front* yn dda. Ydyw. Tafla dy lygaid dros furiau mawrion y capel, a gweli fod y cwbl yn feini naddedig, fel, os byddi byw ugain mlynedd eto, bydd hwn yn edrych cystal ag ydyw yn bresenol. Mae dwy fynedfa i fewn o flaen y capel, a *railing* hardd yn rhedeg eu hyd, yr hyn a ddengys y wyneb yn agored a llawn. I mewn yn awr. Saf. Mae y capel hwn, tu fewn i'r muriau, cofia, o'r mur acw o'th flaen hyd yr hwn sydd o'r tu cefn i ti, yn mesur 80 troedfedd a 6 modfedd. Cymer dy ffon fesur, wedi i ni orphen gweled Noddfa, a mesur unrhyw gapel neu neuadd drefol yn dy ymyl, a chei syniad o'i faintioli. Yn gyntaf oll, dal yn dy gof fod yr holl goed yn y capel yn *pitch pine* a *mahogany*—yr oll yn *varnished and polished.* Yn awr nis gwyddom pa le i edrych yn gyntaf. Gad weled. Edrych ar y *ceiling.* "Campus, wir." Gwaith coed rhagorol. Tri ser-oleuadau mawrion a diguro, yn cynwys 66 o oleuadau. A welaist ti erioed gystal esgynlawr? O'r saflawr hyd waelod y sedd fawr, *pitch pine* yn flodau ardderchog o saerniaeth ddwyfol. O'r fan hono i fyny, *mahogany* wedi ei *bolisho* yn ysblenydd. Tyr'd i fyny i'r esgynlawr. "Dyma olygfa." Mae y capel bron yn gylch; dim un cornel ynddo o gwbl. Os wyt ti yn sylwedydd manwl, gelli weled fod yr awyriad yn rhagorol. Mae yr oriel yn gylch o gwmpas yr esgynlawr. Hoi! beth yw y *recess* yna y tu cefn i'r preg-

Digitized by Google

ethwr? Lle i organ, mae'n debyg. Cei di dynu y casgliad a fyni di. Mae *harmonium* da yno yn awr. *Dear me*, beth yw hwn sydd ar y *pulpit board*, yn osodedig ar law ddeheu y pregethwr? Oriawr ydyw, wedi ei hanrhegu gan un o aelodau Noddfa—cymorth i'r pregethwr i beidio bod yn rhy fyr, nac yn rhy hir. Eithaf da. Dos di o gw - pas y capel yn awr. Dyma fe. Deil 1500 o bobl i eistedd yn gysurus. A ddeui di gyda mi i fewn ar y ddeheu yma? Dyma ystafell ardderchog. Beth yw hon? Vestri i'r gweinidog. Dyma ddigon o gypyrddau, bwrdd, ie, a *safe* haiarn yn y mur, fan acw—pob peth angenrheidiol—ystafell yn 12 troedfedd wrth 10 tr. 6 modfedd. Da iawn. Ar y llaw chwith, dan yr oriel sydd tu cefn i'r pwlpud, dyna *glass-rooms* eraill —un yn 18 tr. wrth 10 tr. 6 mod., a'r llall yr un mesuriadau a'r vestri gyntaf. Dyma dri i gyd. "Bobl anwyl, beth wnewch chwi a'r cwbl?" Tyr'd yma i'r ysgol Sabbothol, ac i'r cyfarfodydd Beiblaidd wythnosol, a chei weled. Paid ofni, os nad wyt wedi blino ein dilyn ni. Dyma vestri fawr eang, yn mesur 36 tr. wrth 30 tr. Hwn yw y vestri i gyfarfodydd yr eglwys. Uwch ei phen eto y mae *hall* helaeth yn mesur yr un faint. Edrych allan drwy y ffenestri. Beth sydd yna? Mae yna dy bychan at wasanaeth *tea parties*, a thai eraill, a hefyd dy mawr, eang, a chostus at wasanaeth y bobl fyddant yn gofalu am y capel. *Well done*, Noddfa, yn wir. Yn awr, mae yr holl adeiladau hyn, o'r heol acw hyd yr heol hon yn y cefn, yn *leasehold* i'r Bedyddwyr, am £2 9s. 3c. y flwyddyn. Heblaw hyn cafwyd *date of lease* yn 1875 i ddechreu byd o'r newydd gyda'r gweithredoedd newydd. "Wel, wel, gad i mi gael fy anadl yn awr. Beth yw gwerth yr oll?" Yn wir, y mae'r swm yn fawr; ydyw yn fawr iawn i bobl dlodion — dim llai na £5,800. "Thelwch chwi byth am dano." Pobl dlodion sydd yma, ond cofia y Tanysgrifiwr mawr sydd a'i enw ar ben y gyfres. Mae Duw gyda ni; ydyw; mae *exchequer* Calfaria at ein gwasanaeth. Pob peth yn iawn. "Y mae'r draul o du y Brenin." Talu am dano; gwnawn, gwnawn. "Pwy oedd cynllunydd hwn?" Pwy ond y brawd diymhongar, Morgan, Treorci. Efe oedd y cynllunydd medrus, a'r adeiladydd cywrain. Bedyddiwr, aelod, a diacon yn Noddfa. Ie, siwr. Tystiolaeth unfarn pawb yw, mai Noddfa, Treorci, yw y capel goreu o ddigon yn Nghymru, ac nad oes ei well yn Lloegr.

---

## HANESIAETH BEDYDD,

### O'R CHWECHED GANRIF I'R AIL-GANRIF-AR-BYMTHEG.

---

GAN Y PARCH. JOHN T. GRIFFITHS.

---

[Gorpheniad.]

Dadleua rhai ysgrifenwyr ar y pwnc hwn, na wyddai eglwysi Lloegr a'r Alban ddim am fedydd trochiad hyd tua dau cant a haner o flynyddoedd yn ol; iddo gael ei ddwyn i fewn mewn modd dirgelaidd a graddol, gan achosi llawer iawn o helbul. I'r gwrthwyneb, dywedaf, ac ymdrechaf brofi, mai trochiad oedd y dull a arferid yn ynysoedd Prydain o'r amser y cyflwynwyd Cristionogaeth yno hyd yr unfed-ganrif-ar-bymtheg, ac nad ymadawyd â'r dull hwn ond yn unig mewn amgylchiadau o afiechyd. Rywbryd yn ystod y 6ed ganrif, anfonodd Gregory, esgob Rhufain, Awstin dros y môr i bregethu i'r Saxoniaid. Yn ol Fox, llwyddodd i drochi deng mil yn afon Swale. Sonia Layamon y bardd am Awstin fel "yn dwyn trochiad gydag ef," a hefyd ei fod wedi "bedyddio breninoedd, swyddogion milwrol, barwniaid, Saeson a Saxoniaid." Dywed yr hybarch Bede, i Paulinas, yr hwn a anfonwyd gan Gregory i Brydain, fedyddio yn afonydd Swale, Trent, a Glen. "Bedyddiai yn afon Swale, oblegid hyd yn hyn ni ellid adeiladu bedyddfan." Tua deugain mlynedd wedi marwolaeth Bede, yr hyn a gymerodd le yn y fl. 735, siaradai y Pabau Clement a Zacharias (gan y rhai yr oedd cenadon yn Mhrydain Henafol (*Ancient Britain*) am drochiad fel gweithred o ras (*the*

Digitized by Google

*act of grace*). Dywed Alcuin, yr hwn a anwyd yn y flwyddyn yn yr hon y bu Bede farw, "Y mae trochiad yn debyg i gladdiad." "Trochir ef." "Bedyddia ef trwy drochiad yn unig." Pasiodd Cymanfa Colchuth, yn y nawfed ganrif, y rheol ganlynol: "Byddied i'r offeiriad bob amser eu trochi yn y bedyddfan." Dywed Dr. Lingard, yn ei waith dysgedig ar Hynafiaethau yr eglwys Saxonaidd (*Anglo Saxon church*), "Y dull rheolaidd o weinyddu bedydd oedd trwy drochi—trochid ef yn y dwfr—disgynai i'r bedyddfan, a gostyngid ei ben islaw y wyneb."

Cyfarfyddodd Cyngorau, yn York, yn 1106, yn Llundain yn 1200, yn Salisbury a Sarum yn 1217, yn Oxford yn 1222, yn Worcester yn 1306, yn Exeter yn 1287, er mwyn gorfodi gweinyddiad yr hen ddull o fedyddio trwy drochiad, oblegid fod y dull Ffrancaeg, sef taenellu, yn cael ei weinyddu yn rhy fynych, ar sail ffug-esgusodion o afiechyd.

Rhydd esgob Wigorm, yn y fl. 1240, y cyfarwyddyd canlynol: "Gosoder bedyddfan o faint a dyfnder priodol yn mhob eglwys, a bedyddier trwy drochiad." Defnyddia archesgob Peckham, yn y flwyddyn 1279, iaith gyffelyb. Sonia esgob Winton, yn y flwyddyn 1308, am y weithred o fedyddio, yn yr un modd; ac mewn Cyngor Albanaidd yn nheyrnasiad Alexander II., arferir yr un gair. Trochwyd swyddog milwrol, Iarll Warwick, yn y flwyddyn 1381; hefyd Tywysog Arthur, mab Harri VII.; hefyd Mayant, wedi hyny Brenines Alban; Tywysoges Elizabeth, ac Edward VI. Sonia Erasmus, yr hwn a ysgrifenai yn nheyrnasiad Harri VIII., am fedydd, yn y dull canlynol, medd Dr. Wall: "Trochir hwynt yn Lloegr—trochir ni drosom mewn bedyddfan ceryg." Dywed Dr. Wall yn mhellach, "mai trochi oedd yr arferiad yn ystod teyrnasiad Harri, ac mai felly y parhaodd drwy deyrnasiad Edward VI. a Mary." Y mae yn wybyddus fod y llyfrau Gweddi yn gorchymyn trochi. Yn Llyfr Gweddi Edward VI., cawn yr eithriad cyntaf o daenelliad yn y *Rubric*. Gofynir trochiad yn nau lyfr teyrnasiad Edward; y mae yr eithriadau mewn achosion o afiechyd.

Dywed Simpson, yn ei waith galluog ar *Fedyddfanau*, "Nid oes un o'r defod-lyfrau ydym wedi ei chwilio, yn caniatau taenelliad na thywalltiad.—Llyfr Gweddi Edward oedd y cyntaf i ganiatau tywallt fel bedydd cyhoeddus." Dywed Dr. Wall, fod trochiad yn lled gyffredin yn ystod yr haner cyntaf o deyrnasiad Iago. Tystia Mr. Blake, yn 1645, (yr hwn a ysgrifenodd tua dwy flynedd wedi cyfarfod yr *Assembly of Divines*), iddo amryw weithiau eu gweled yn trochi yn yr eglwys Sefydledig. Y mae y lluaws bedyddfanau a ellir eu gweled yn eglwysi y Saeson a'r Albaniaid, yn profi yr un gwirionedd.

Yr ydym yn awr wedi cyrhaedd yr ail-ganrif-ar-bymtheg, ac y mae y profion yn orlwythog o blaid trochiad fel dull cyffredin eglwysi y Saeson.

Awn yn ol am fynyd at weithred Cyngor Ravenna, yn 1311. Yr ydym wedi dangos na ddarfu i'r Cyngor hwnw sefydlu taenelliad yn lle trochi. Gwir fod y naill ddull fel y llall yn cael ei ystyried yn ddibwys; ond y mae yn ffaith hanesyddol i drochiad barhau fel y *dull* o fedyddio. Agorodd gweithred Cyngor Ravenna, wrth gyhoeddi fod y naill fel y llall yn ddibwys, y ffordd i daenelliad. Yn agos i 300 o flynyddoedd wedi hyn, yn y flwyddyn 1550, gwnaeth John Calvin ddefodlyfr i eglwys Geneva. Yn y llyfr hwnw ceir y ddeddf ganlynol: "Cymered yr offeiriad ddwfr, a gosoder ef ar y talcen." Dyma gyfnewidiad cyflawn; taenelliad yn cael ei sefydlu yn lle trochiad; a hon yw y ddeddf gyntaf yn gorchymyn y blaenaf yn lle yr olaf. Cyfyd y gofyniad yn awr, sef a gafodd gweithred Ravenna neu drefn Geneva ddylanwad gweledig ar eglwysi eraill? neu o ba le y cafodd eglwysi y Saeson yr arferiad o daenellu, pa un ai o Ravenna neu o Geneva? Caiff Dr. Brewster ateb. Edrycher i'r Ed. Encyc., erthygl Bedydd, a gwelir y geiriau canlynol: "Ni chyhoeddwyd trochiad yn ddibwys cyn y flwyddyn 1311, yn Ravenna. Ni arferid taenelliad yn y wlad

Digitized by Google

hon (Alban) mewn achosion cyffredin hyd ar ol y Diwygiad; ac yn Lloegr, hyd yn nod yn nheyrnasiad Edward VI., y dull cyffredin oedd trochi. Yn ystod erledigaeth Mary aeth lluaws o'r Albaniaid o Loegr i Geneva, a thra yno derbyniasant farn yr eglwys hono. Yn 1556 cyhoeddwyd llyfr yn y lle hwnw yn cynwys dull gweinyddiad yr ordinhadau, wedi ei gymeradwyo gan Calvin, yn mha un y cyfarwyddid y gweinyddwr i gymeryd dwfr yn ei law a'i osod ar y talcen. Pan ddychwelodd y ffoedigion hyn i'w gwlad, yn 1559, yn cael eu harwain gan John Knox, sefydlwyd taenelliad yn Scotland. Oddiyno gweithiodd yr arferiad ei ffordd i Loegr yn ystod teyrnasiad Elizabeth, ond ni chadarnhawyd ef gan yr eglwys Sefydledig." Ceir geiriau cyffelyb yn yr Ency. Brit. Diwedda yr erthygl yn y geiriau canlynol: "Cyflwynwyd taenelliad i Loegr—arferiad a benodwyd gan awdurdod mor fawr a John Calvin."

Dywed Dr. Wall, mai o Geneva y daeth taenelliad i Loegr. Dywed esgob Smith, o Kentucky, yr un peth. Beth yw y canlyniad? Yr ydym wedi gweled mai trochiad oedd y dull cyffredin hyd yr ail-ganrif-ar-bymtheg; mai John Calvin, ac nid y Cyngor yn Ravenna, gyfnewidiodd neu a sefydlodd daenelliad yn lle trochiad—mai John Knox a'i dygodd o Geneva i'r Alban, ac iddo weithio ei ffordd yn raddol i Loegr. Y mae yn ymchwiliad hanesyddol hwn yn ein dwyn yn awr at Gyfarfod y Duwinyddion (*Assembly of Divines*). Nis gallwn roddi hanes manwl yn bresenol am eu pleidleisiad ar bwnc y bedydd—pa un a bleidleisiasant i oddef trochi gyda thaenelliad, neu i sefydlu taenelliad yn lle trochiad, fel arferiad dyfodol yr eglwys—y mae un peth yn eithaf eglur, a hyny yw, i bedwar-ar-hugain bleidleisio dros drochi, a phump-ar-hugain dros daenellu. Dywed Dr. Wall, nad oedd taenellu ond dechreu yn 1645, ac mai ychydig oedd yn ei arferyd.

Gallem roddi lluaws o dystiolaethau maban-daenellwyr er cadarnhau yr un gosodiad. Onid yw yn eglur, tu hwnt i amheuaeth, fod ordinhad Iesu Grist wedi ei chyfnewid—fod taenelliad a thywalltiad o ddechreuad dynol? Am hyny, beth bynag ddywed rhai am ein harferiad, barnwyf mai gwell yw cadw at yr ordinhad fel y sefydlwyd hi gan Iesu Grist a'i apostolion, na'i gweinyddu fel y cyfnewidiwyd hi gan John Calvin yn Geneva, John Knox yn Scotland, a'r *Westminster Assembly of Divines* yn Lloegr. "Beth bynag a ddywedo Efe wrthych, gwnewch."

---

## Y GWEITHIWR.

### OFERGOELION A BRIODOLIR IDDO.

GAN Y PARCH. W. HADDOCK, BLAENYFFOS, DEHEUDIR CYMRU.

*Rhan II.*

Yr ydys yn rhwym o addef a chydnabod fod anwybodaeth y gweithiwr wedi bod yn fawr yn yr oesoedd sydd wedi myned heibio; ond dichon fod yr achos o hyny i'w briodoli i ddiffyg cyfryngau i gael gwybodaeth. Er engraifft o gyflwr pethau yn yr hen amser gynt, cof genym fod ffermwr parchus o'r enw Philip Jones, yn Mynyddislwyn, Mynwy, yn adrodd yr hanesyn canlynol wrthym. Yr oedd yn arferiad yn y rhan hono o'r wlad i fyned i dori coed, a llusgo llwythi er mwyn trin y perthi, ac yn y blaen; ac yr oedd ganddo was, yr hwn ar y pryd oedd yn dygwydd bod yn gyru llwyth o goed at y gorchwyl uchod; ond wrth fod y ddau yn myned rhagddynt, wele y gwas yn troi yn sydyn, ac yn gofyn yn ddifrifol, "Meistr, a ydyw y llwyth hwn gymaint a llwyth Judah?" Ond ni wyddai Philip Jones ddim beth i ateb gan gymaint ei syndod at anwybodaeth ei was. Nid yw hyn yna ond un engraifft o lawer i ddangos cyflwr pethau yn yr oesoedd o'r blaen, felly nid rhyfedd fod llawer o ofergoelion yn cael eu priodoli i'r gweithiwr. Nodwn rai o'r ofergoelion:

Dywedent, dim ond i chwi osod pedol ceffyl uwchben y drws, y byddai

hyny yn foddion i gadw y *witches* allan o'r ty. Dywedent, os buasai dwy gyllell yn croesi eu gilydd, y buasai ymladdfa yn cymeryd lle; ac os buasid yn gosod megin ar y ford, y buasai ffrae yn y teulu am ddiwrnod a noson. Dywedent, os buasai tipyn o huddygl yn crogi ar far y grât, y buasai gwr dyeithr yn ymweled a hwy; ac os buasai y gath yn gorwedd o flaen y tân, y buasai yn sicr o rewi neu wlawio. Dywedent, os buasent yn cael golosgyn a thwll ynddo, ei fod yn golygu pwrs; ac os buasai marworyn hir yn neidio o'r tân i'r aelwyd, ei fod yn golygu arch, neu *goffin*. Dywedent, os buasai coryn yn canu neu yn chwareu yn y mur, mai *watch* farw ydoedd; ac os buasai gwreichionen ddysglaer yn y ganwyll, ei fod yn golygu llythyr yn dyfod ar y ffordd. Dywedent, os buasai goglais yn y llygad deau, y buasid yn wylo; ac os buasai goglais yn y llygad chwith, y buasid yn chwerthin. Dywedid, os buasai y penelin yn goglais, y buasid yn sicr o gael rhyw gydymaith newydd i gysgu gyda hwy; ac os buasai goglais yn y penglin, yr oedd hyny yn golygu myned ar y gliniau yn fuan yn yr eglwys. Pe byddai goglais ar dor y llaw, arwyddai hyny sicrwydd o dderbyn arian; a phe byddai goglais ar dor y troed, arwyddai hyny y byddid yn teithio tir dyeithr. Pe byddai y clustiau yn llosgi, yr oedd hyny yn sicrwydd fod rhyw rai yn siarad am danynt; a phe byddai goglais yn y bol, yr oedd hyny yn arwydd ac yn sicrwydd y buasent yn cael *pudding*. Pe byddai y ci yn udan, a'r ceiliog yn canu yn oriau y nos, yr oedd hyny yn dweyd yn ddiffael fod rhyw un yn sicr o farw yn y gymydogaeth. Arwyddai troi côt y tu fewn allan, fod *battle* ffyrnig ar gymeryd lle, &c., &c.

Nid oes amheuaeth nad anwybodaeth oedd yr achos fod y pethau a nodwyd yn cael eu credu a'u hadrodd gan lawer. Ond yn awr nid yw y gweithiwr mor anwybodus ag y bu, eithr y mae ei ddealldwriaeth wedi ei agor, ac mae yntau mewn canlyniad wedi taflu ei ofergoelion i ffwrdd, ac wedi dyfod i weled pethau rhagorach, er ei gysur ei hun, a'r rhai a'i hamgylchynant ef. Mae y byrddau ysgolion sydd yn Mhrydain heddyw yn peri i ofergoelion gilio o'n gwlad, fel adar y nos o flaen toriad y wawr. Dywedwn ninau, llwyddiant iddynt. Mae yr oes bresenol yn dyfod i weled tywyllwch a ffolinebau yr oes o'r blaen, felly mae genym sail i ddysgwyl pethau gwell oddiwrthynt nag a gawsom ni gan ein tadau.

Hyn yn fyr eto, hyd y tro nesaf.

---

# Fflachiadau Athrylith.

DETHOLEDIG GAN Y PARCH. D. RHOSLYN DAVIES, PITTSBURGH, PA.

## "Y GRONYN GWENITH."

Mae trefn natur a rhagluniaeth, a threfn gras ac iachawdwriaeth, yn gynyrchion yr un meddwl a doethineb dwyfol. Gwelir yr un wedd a delw ar oruchwyliaeth foesol ac ysbrydol yr olaf ag sydd ar oruchwyliaeth anianyddol y flaenaf. Amcanwyd yr un naturiol i fod yn gyfrwng datguddiad o'r un ysbrydol, i fesur helaeth, ac y mae cyfateboliaeth brydferth rhwng y naill a'r llall yn eu holl egwyddorion a'u trefniadau. Awdwr natur a rhagluniaeth, ac Awdwr a Thywysog iachawdwriaeth, sydd yn llefaru yn y testyn. Yr oedd efe, gan hyny, yn deall y ddwy yn berffaith. Cymera afael ar ffaith amlwg ac adnabyddus yn nhrefn natur i osod allan ffaith (ond anadnabyddus i'r byd i raddau helaeth hyd hyny) yn nhrefn gras ac iachawdwriaeth; a'r un ysbrydol yn hollol ar yr un egwyddor a'r un naturiol.

Trefn at ddiwallu angenrheidiau naturiol dyn fel creadur anianol ydyw trefn rhagluniaeth, a threfn ar gyfer angenrheidiau ysbrydol ei gyflwr fel

Digitized by Google

pechadur ydyw trefn gras. Fel deiliad y byd a'r bywyd hwn y mae a wnelo trefn rhagluniaeth ag ef yn benaf; fel deiliad byd a bywyd ysbrydol yr edrycha y llall arno yn benaf. "Bwyd a dderfydd" sydd gan y gyntaf i'w osod o'i flaen; "bwyd a bery i fywyd tragywyddol" a esyd yr olaf ger ei fron. Gweithia egwyddorion trefn naturiaeth eu hunain i olwg ein llygaid naturiol; daw ein synwyrau anianol i gyffyrddiad teimladol â hwy beunydd. Egwyddorion y llall ydynt ysbrydol yn eu gweithrediadau; ni all y dyn anianol eu darganfod na'u teimlo—yn ysbrydol y bernir hwynt; ond y mae y drefn weledig a daearol yn gynorthwyol iawn i ni er ein galluogi i ddeall a dirnad yr un anweledig a nefol. Y mae dyn yn greadur dwbl, yn ddyn a dyn, megys: "y dyn oddi allan a'r dyn oddi mewn." Y dyn oddi allan o'r ddaear yn ddaearol, a'r dyn oddi mewn yn ysbryd—yn enaid byw, anweledig ac anfarwol. Cyferfydd y Creawdwr, fel Duw rhagluniaeth a gras, â'r creadur er diwallu ei angenrheidiau â bendithion cyfaddas i natur ei ddyn oddi allan a'i ddyn oddi mewn. Cynysgaethwyd dyn â deufath alluoedd—anianol ac ysbrydol.

Cymerai yr Iesu yn fynych afael ar wrthddrychau daearol i osod allan y pethau nefol. Yr oedd ei ddamegion i'r meddwl yr hyn oedd ei wyrthiau i synwyrau. Y ddameg neu y gymhariaeth yn y testyn sydd fer a chynwysfawr, prydferth a phwrpasol i'w hamcan. Yr oedd yn awr yn ngolwg ac yn ymyl ei farwolaeth—amcan mawr a dyben penaf ei ddyfodiad i'r byd i gael ei gyflawni. Y mae yn edrych ar, ac yn edrych i'r, oruchwyliaeth fawr a rhyfedd hon, ac yn defnyddio y gymhariaeth o ronyn gwenith yn disgyn i'r ddaear, yn marw, ac yn dwyn ffrwyth, i'w hegluro i'w ddysgyblion. Edrychai ar y Groegiaid a ddaethent i'r wyl, ac a chwenychent ei weled, fel ysgub blaenffrwyth cynhauaf mawr ei farwolaeth. Yr oedd ei athrawiaeth a'i wyrthiau wedi tynu sylw llaweroedd ato; ond sicrha yma y byddai ei ddyrchafiad oddiar y ddaear i'r groes i farw yn foddion i dynu *pawb* ato ei hun. Dywed, os na byddai iddo farw, yr arosai yn unig, heb gynyrchu ffrwyth—y buasai dylanwad ei fywyd yn cael ei golli, heb ei farwolaeth ar y groes.—*W. Rees, D. D.*

---

## BUDDUGOLIAETH Y MEDDWL DYNOL

### AR Y GREADIGAETH ALLANOL.

Gwnaeth hefyd wrhydri nas traethir ei haner,
Tan faniar athroniaeth, ar faes yr eangder;
Mae yno yn galw y ser wrth eu henwau,
Yn adwaen eu hansawdd, yn olrhain eu llwybrau;
Yn dal rhyw gymdeithas â bydoedd nis gwelir,
Rhai grwydrant eithafion wybrenol gyfandir;
Fe ddring i'r lloer wylaidd, rhydd hynt ar ei moroedd,
A mapia'i chyfandir yn uchder y nefoedd;
Maidd fesur y fflamllyd gomedau ar hedfan,
Maidd fesur a phwyso yr haul mawr ei hunan;
Ond, fel pe'n anniwall ar dremio o'r pellder,
Mae'n awr yn ymdrechu rhoi naid i'r uchelder;
Gwel! gwel! fel mae'n esgyn fry! fry! drwy'r las awyr,
I gyrau nas treiddiwyd gan lygaid yr eryr,
Mewn cerbyd o sidan a'r nwy yn ei dynu,
Mae'n esgyn mor esmwyth a'r angel i fyny;
Mae'n awr yn rhoi trem ar amgylchoedd y ddaear,
Yn gweled ei bryniau fel brychau ar wasgar,
A'i llydain afonydd fel meinion linynau,
A'i mawrion ddinasoedd fel bychain lanerchau;
Fry! fry! mae'n ymgodi, uwch! uwch! i'r uchelder,
Nes gadael y ddaear fel niwl yn y pellder,
Ac yntau 'n ymgrwydro yn myd y dystawrwydd,
Heb ddim yn ei wyddfod ond mawredd yr Arglwydd;
Yn myn'd ac yn dyfod trwy byrth y cymylau,
Yn eistedd yn ymyl y mellt a'r taranau—
Y fellten ofnadwy sy'n taro'r awyrgylch,
Nes rhuo'n wallgofus gan wewyr o'i hamgylch;
Ei llef sydd yn ysgwyd colofnau y ddaear,
A'i tharo dros enyd yn fud ac yn fyddar;
Drwy'r cwmwl trwm aelddu gwel hon megys ellyll,
Yn agor ei llygaid coch, poeth, gwyllt ac erchyll;
Yn poeri'n gynddeiriog i wyneb yr haulwen,
Yn gwingo, dirdynu, a gwanu trwy'r wybren;
Yn barod, dybygid, i chwythu 'r wybrenydd,
A llyncu 'r holl ddaear i ddistryw tragywydd!

—*Dewi Wyn o Essyllt.*

---

## DYMUNIAD Y CENEDLOEDD.

Golygfa hyfryd yw gweled llong yn dyfod i mewn i'r porthladd ar ol mor-

Digitized by Google

daith hir a thymestlog—yr hwyliau i fyny, y gwynt o'i thu, a'r llwyth a'r dwylaw yn ddiogel. Ychydig amser yn ol daeth llong felly i Abertawe. Yr oedd hi wedi cael mordaith hir a thymestlog. Tybid ei bod wedi ei cholli. Ond rhyw ddiwrnod aeth y gair ar led trwy y dref fod y llong wedi croesi y *bar* gerllaw; ar hyn prysurai y canoedd eu camrau tua'r *pier head*--rhedai y gwragedd a'r plant, a'r brodyr a'r chwiorydd, am y cyntaf i gael gwybod ei helynt. "Dacw hi yn dod," meddai lleisiau fil. "Dacw hi yn dod," meddai yr adsain yn ol. Safai pawb ar y *pier head* mewn llesmair o bryder, a hithau yn dyfod yn nês, nês; ac fel y daeth i mewn i'r porthladd, neidiai y cadben i fyny i'r *riggings*, a gwaeddai â llais clir, "All hands safe, healthy and joyful." A chyn fod swn y gair *joyful* wedi dystewi, ymdorai banllef o orfoledd o'r dorf, a llesmeiriai y gwragedd a'r mamau gan lawenydd. Ond beth yw hyn yn ymyl gogoniant yr olygfa pan y bydd hen long y cyfamod gras, ar ol bod ar fordeithiau trugaredd yn cael ei churo gan stormydd yr oesau, yn dyfod i mewn i borthladd y milflwyddiant—ei hwyliau i fyny, gwyntoedd y groes o'i thu, Cadben ein hiachawdwriaeth wrth y llyw, a'r dwylaw a'r llwyth oll yn ddiogel; a rhyw angel cryf yn neidio i'r *riggings* ac yn gwaeddi â llais cryf fel swn taranau lawer, "Aeth teyrnasoedd y byd yn eiddo ein Harglwydd ni a'i Grist ef." A chyda bod y llais yn disgyn ar glustiau y cenedloedd, ymdorant mewn banllef o orfoledd, gan ddywedyd, "Haleluia, iachawdwriaeth, a gogoniant, a gallu, i'r Arglwydd ein Duw ni." Haleluia, oblegid teyrnasodd yr Arglwydd Dduw hollalluog. Llawenychwn a gorfoleddwn, a rhoddwn ogoniant iddo ef, oblegid daeth priodas yr Oen, a'i wraig ef a'i parotodd ei hun.—*Parch. W. Edwards, Aberdar.*

---

Llafuriwch i fod dan argyhoeddiad trwyadl o'r egwyddor hon, sef fod eich dedwyddwch yn gorphwys mewn boddhau ac anrhydeddu Duw.

## Y FEIBL GYMDEITHAS A'R BEDYDDWYR.

[O Seren Gomer.]

Mae cryn lawer o anwybodaeth yn ffynu yn nghych yr annealldwriaeth ag sydd yn bodoli rhwng y Bedyddwyr a Phwyllgor y Gymdeithas Feiblaidd Frytanaidd a Thramor. Nid ydym i ryfeddu at hyn, gan fod yr ymrafael wedi cymeryd lle er y flwyddyn 1827—dros haner can' mlynedd yn ol, ac nad oes ond ychydig yn awr yn fyw ac yn cofio yr achos, a'r cadblygiad o'r anghydwelediad. Ar un llaw, ceblir y Bedyddwyr fel rhai cul a rhagfarnllyd, ac wedi sefydlu Cymdeithas Feiblaidd eu hunain yn ddiachos, ac mewn ysbryd ymbleidgar; ar y llaw arall, collfernir y Feibl Gymdeithas fel un annheilwng o gydymdeimlad a chefnogaeth y Bedyddwyr—yr hyn a ddengys fod golygiadau llawer o'r ddwy ochr yn gymysglyd a diffygiol am natur a therfynau y ddadl.

Mae hyd yn nod rai o Ddirprwywyr y Feibl Gymdeithas yn ymddangos yn berffaith anwybodus am ymddygiad y Feibl Gymdeithas tuag at gyfieithiadau y Bedyddwyr. Dywedai Eglwyswr parchedig yn Llangollen yn y fl. 1880, wrth ddarlunio y pwys i Gristionogion gael Gair Duw er dwyn gwaith gras yn mlaen yn eu calonau, fod yn Burmah ddegau o filoedd o ddychweledigion (mae yno 20,000 o Fedyddwyr); ac mai y Feibl Gymdeithas oedd yn anfon Beiblau iddynt er perffeithio eu hiachawdwriaeth. Tueddid fi i ofyn yn gyhoeddus os oedd sail i'r fath dystiolaeth yn nghylch Burmah; ond ofnais y buasai hyny yn achosi chwerwder ac yn gwneuthur mwy o ddrwg nag a wnelsai o dda; ac aethum at y Dirprwywr ar ol y cyfarfod, a dywedais y buasai yn dda iawn genyf gael sicrwydd fod ei dystiolaeth yn nghylch gwaith y Gymdeithas Feiblaidd yn anfon cyflenwad o Feiblau i Burmah, yn gywir. "Beth a olygwch?" ebai efe. "Hyn," ebai fi, "nid oes gyfieithiad o'r Beibl yn iaith Burmah, ond eiddo Dr. Judson, cenadwr y Bedyddwyr American-

Digitized by Google

aidd; chwe' mis yn ol, ni wnelai Pwyllgor y Feibl Gymdeithas ledaenu cyfieithiadau y Bedyddwyr; os ydyw wedi newid y rheol, bydd yn dda dros ben genyf glywed." "Mi a edrychaf y *Report*," ebai efe. "Nid oes dim yn hwnw yn cadarnhau eich sylw chwi," ebai finai. Anturio canmol y Gymdeithas, fel gwas ffyddlon, yr ydoedd efe, heb drafferthu ei hun yn nghylch y ffeithiau.

Sefydlwyd Cymdeithas Genadol y Bedyddwyr yn y flwyddyn 1792. Sefydlwyd y Feibl Gymdeithas Frytanaidd a Thramor yn y flwyddyn 1804. Tynodd y Feibl Gymdeithas ei chynorthwy oddiwrth gyfieithiadau y Bedyddwyr yn 1833. Sefydlwyd y Gymdeithas Gyfieithiadol yn Llundain, yn 1840.

I.—CYFIEITHIADAU GAN GENADON Y BEDYDDWYR.

Bendithiwyd cenadon y Bedyddwyr mewn modd arbenig "â dawn tafodau." Fel cyfieithwyr Gair Duw i ieithoedd y paganiaid, ymddysgleirient fel goleuadau y byd a llusernau y nef. Mae olrhain eu symudiadau, a gweled cyfieithiad ar ol cyfieithiad o "air y bywyd" yn cael ei anfon allan ganddynt, yn peri i ni bron ofyn weithiau, A welodd y rhai hyn hefyd Bentecost? "Yn awr, y dyn cyntaf a ddechreuodd gyfieithu Gair Duw mewn cysylltiad â'n henwad ni (ebai y diweddar Barch. C. Bailhache, "Occasional Paper" No. III., Bible Translation Society), oedd ein cenadwr cyntaf, nid Dr. Carey, ond y Parch. John Thomas. Yn 1791 yr oedd efe yn barod wedi cyfieithu rhan o'r Beibl i'r Bengalaeg, ac mae prawf fod y gwaith a gyflawnasai Mr. Thomas wedi bod yn gymorth a dechreuad i Dr. Carey. Yn 1797, pedair blynedd ar ol i Dr. Carey gyrhaedd India, yr oedd wedi gorphen ei gyfieithiad o'r Testament Newydd i'r Bengalaeg. Yr oedd wedi dysgu yr iaith mewn llai na phum' mlynedd, ac wedi cyfieithu yr oll o'r Testament Newydd i'r iaith hono o fewn y cyfnod yna. Yn 1801 y cyhoeddwyd yr argraffiad cyntaf. Yn 1803 darfu i genadon Serampore ddechreu y cyfieithiad i'r Hindi. Cyhoeddwyd yr argraffiad cyntaf yn 1811. Yn 1805 cyhoeddodd Dr. Carey a'i gydlafurwyr y Testament Newydd yn y Mahratti. Yn Mehefin, 1806, anfonwyd i'r wasg gyfieithiad Dr. Carey o'r Testament Newydd i'r Sanscrit. Yn 1807 dechreuasant argraffu y Testament Newydd yn y Chineaeg. Yn 1809 cyfieithasant yr holl Destament Newydd i'r Canaraeg. Cyhoeddwyd yr holl Feibl yn y Bengalaeg. Dechreuasant gyfieithiad i'r Gugerathi, ond rhoddasant y gwaith i fyny pan ddeallasant nad oedd yr iaith ond eiddo rhandir fynyddig yn unig. Mae gorpheniad y cyfieithiad hwn yn ddyledus i raddau helaeth i Hormazdji Pestonji. Argraffwyd y Testament Newydd yn yr Oriyaeg yn Serampore, ac y mae yn drysor i'n cyfeillion y Bedyddwyr Cyffredinol. Dechreuodd y brodyr yn Serampore a chyfieithu y Testament Newydd i iaith y Punjab neu y Seikh, a chyhoeddwyd ef yn y fl. 1815. Yn 1810 dechreuodd Mr. Felix Carey, mab Dr. Carey, a chyfieithu y Testament Newydd i'r Burmaeg, a cyhoeddodd yn 1815 yr argraffiad cyntaf o'r Efengylau. Yn 1811 dechreuodd Mr. Chamberlain fyfyrio yr ieithoedd a leferid yn nhalaethau uchaf Hindostan. Yn 1815 yr oedd y Testament Newydd wedi cael ei gyfieithu, ac yn 1827 yr oedd yr holl Feibl wedi cael ei gyfieithu. Yn 1814 argraffodd y brodyr yn Serampore y Testament Newydd yn yr iaith a leferir gyda glan y môr, o Bombay i Goa. Yn 1815 dechreuasant a chyfieithu i dafodiaith Scinde, ond ni argraffwyd un ran ynddi hyd 1825. Yn 1816 yr oeddynt wedi cyhoeddi yr Ysgrythyrau mewn chwech-ar-hugain o dafodieithoedd newyddion. Yn 1817 gwnaeth Mr. Chater lawer i ddwyn yn mlaen gyfieithiad i'r Singhalese, yr hwn a orphenwyd yn ddiweddar, ac a olygwyd gan Mr. Carter. Yn 1818 yr oedd cenadon Serampore wedi cyfieithu y Testament Newydd i'r Telwgw, a Phum Llyfr Moses yn 1821. Yn 1818 yr ydoedd Carey wedi gorphen cyfieithu yr holl Feibl i'r Sanscrit. Dr. Yates ydoedd ei gydlafurwr, ac, ar farwolaeth

Digitized by Google

Dr. Yates, daeth Dr. Wenger i'r gwaith. Yn 1819 cyhoeddwyd argraffiadau cenadon Serampore o'r Hen Destament i'r Mahratti. * * * O gwbl yr oedd, erbyn 1853, deugain o gyfieithiadau wedi cael eu cynyrchu. Gwaith enfawr a rhyfeddol i gael ei wneuthur o fewn 62 mlynedd."

Dyna restr o weithredoedd nerthol, ag sydd yn ymddangos i ni bron yn anhygoel, ac yn peri i ni ofyn yn ddiarwybod i ni ein hunain, A ydyw dawn tafodau yn parhau? Trwy y cyfieithadau hyn gwnaed gwastadedd Bengal yn "lyn gweledigaeth (Esa. 22 : 1) mewn ystyr ardderchocach nag y bu dyffryn Jerusalem erioed; a daeth y rhai oedd yn eistedd yn mro a chysgod angeu i weled goleuni mawr.

[I barhau.]

## Y DIWEDDAR BARCH. MORRIS J. WILLIAMS, REMSEN, N. Y.

GAN Y PARCH. J. SETH JONES.

Rhaid i ni addef wrth ddechreu, fod ein gwybodaeth yn gyfyng ac anmherffaith am wrthddrych y nodiadau hyn; ond gwyddom mai un o feibion cedyrn Sir Feirionydd ydoedd ef, ac iddo ddysgu ei grefft yn Maentwrog, yn yr hon yr ymffrostiai ar hyd ei oes. Mynai ef ei fod yn well crydd nag ydoedd o bregethwr; ond mynai y rhai oeddynt yn adnabyddus o hono yn y ddwy alwedigaeth, mai fel pregethwr y rhagorai o lawer. Yn hyn yr oedd yn debyg i Dr. Carey, yn nghyd a llawer o enwogion eraill a ellid enwi.

Pan oedd Mr. Williams rhwng 18 a 19 mlwydd oed, ymfudodd i'r wlad hon, a glaniodd yn New York Mehefin 15, 1836. Llwyddodd i gael gwaith yn lled fuan gydag un Peter Jones; a thra yn aros yn New York, amlygodd ragoriaeth ar ei gyd-ieuenctyd mewn gallu meddyliol, a chymellwyd ef i ymuno a Chymdeithas y Cymreigyddion, yr hyn a wnaeth; ac ar ei dderbyniad dywedodd Gwilym ab Ioan fel hyn:

"Daeth y brawd a'r doeth brydydd—ieuanc
A'i awen ar gynydd,
I agor dawn fel gwawr dydd
I ni yn Nghaerefrog Newydd."

Rhagorodd ein harwr yn y Gymdeithas hono, a chymerai ran helaeth yn ei gwahanol ddadleuon, a'i chyfansoddiadau barddonol a rhyddiaethol. Pan yn ymadael o'r ddinas, teimlai yn hiraethus a digalon ar ol ei luaws cyfeillion. Daeth yr adeg yma i gylchoedd Remsen, a bu yn gweithio am dymor gyda Davies & Owens. Bu yn Utica wedi hyny, a dychwelodd drachefn i Remsen. Yn Ebrill, 1838, dechreuodd y diwygiad mawr yn Steuben, a dyma yr amser yr argyhoeddwyd y Parch. Morris J. Williams. Tra yr oedd Mr. Everett yn pregethu oddiar y geiriau, "Peth ofnadwy yw syrthio yn nwylaw y Duw byw," penderfynodd Mr. Williams roddi arfau gwrthryfelgar i lawr, a gwasanaethu ei Greawdwr. Llawer a ddywedir yn erbyn y diwygiadau mawrion a'r cynhyrfiadau, a'r annhrefn cysylltiedig a hwy; ond beth bynag am y diffygiadau perthynol iddynt, y mae y gemau a gesglir ar y fath amserau yn rhoddi i ni resymau digonol dros eu dymuno, a gwneyd ein goreu er eu cael. Ac yn y diwygiad mawr hwnw yn Steuben, dyma un gem gwerthfawr wedi ei ddwyn i'r diogelwch. Ymunodd ein brawd â'r brodyr oedd yn ymgynull i addoli yn Capel Coch, a bedyddiwyd ef gan y Parch. D. Michael, gweinidog y lle hwnw, Mai 6ed, a dau eraill ar yr un adeg. Rhagorodd Mr. Williams gymaint ar ei gyfoedion, a rhoddodd y fath foddlonrwydd i'r frawdoliaeth, a'r fath brawf o'i alluoedd uwchraddol, fel y cymellwyd ef yn daer i ddechreu pregethu; ac ar y 6ed o Ionawr, 1839, cawn ef yn dechreu ar y gwaith pwysig hwnw, yn yr hwn yr ymhyfrydai, ac y parhaodd gyda ffyddlondeb tra y caniataodd ei iechyd iddo wneyd. Ordeiniwyd ef yn South Trenton, yn yr hwn le y bu yn ddedwydd a llwyddianus am dymor. Y tro cyntaf y bu yn bedyddio yma, yr oedd pump yn ufuddhau i'r ordinhad, yr hon a weinyddwyd yn gyntaf i'r diweddar barch-

Digitized by Google

us frawd Francis Lewis. Bu Mr. Williams a Mr. Lewis yn wresog yn eu ffyddlondeb i'w gilydd dros eu hoes, ac yr oeddynt yn deilwng o Jonathan a Dafydd. Y mae i Mr. Lewis ddwy ferch yn byw yn yr hen gartref dedwydd eto; ac y mae yn deilwng o gofnodiad, os oedd eu tad yn ffyddlon i'r gweinidog a'r pregethwr, na fuont hwythau yn ol mewn caredigrwydd iddo, canys dwy ferch yw y rhai hyn sydd yn deilwng o'u tad, ac yn addurn i'n cenedl ni.

Ymadawodd Mr. Williams o South Trenton i New York, ae oddiyno aeth i'r Hen Wlad; ac yn nesaf sefydlodd yn Pwllheli, lle y bu am chwe' blynedd mor anwyl a pharchus ag un gweinidog mewn unrhyw fan. Yr oedd ei enw fel Morris Williams, Pwllheli, yn berarogl̦aidd a swynol i holl Fedyddwyr Gogledd Cymru.

Daeth yn ol i'r wlad hon, a bu yn gweinidogaethu am hir flynyddau gyda y gymeradwyaeth uchelaf yn Utica. Talodd ymweliad drachefn a gwlad ein tadau, a threuliodd lawer o'i amser yn ei hen esgobaeth yn Pwllheli. Bu yn Manchester, Llanfachraeth, a lleoedd eraill, am amryw fisoedd; ond ni chymerodd fugeiliaeth sefydlog, er y buasai yn hawdd iddo gael rhai o'r eglwysi goreu. Eithr nid oedd yn teimlo ei iechyd yn ddigon cryf i rwymo ei hunan am unrhyw amser penodol i unrhyw eglwys. Daeth yn ol drachefn i America er's tua 15 neu 18 o flynyddoedd yn ol, ac ymsefydlodd yn Remsen. Bu yn pregethu yn y lle hwn am tuag wyth mlynedd, a hyny gyda'r fath gymeradwyaeth gyffredinol a dieithriad, fel y teimlai yr eglwys yn ddwys pan y gwnaeth yn hysbys iddynt nad allai barhau i bregethu yn gyson iddynt. Ni chymerodd ofal unrhyw eglwys arall; yn Remsen yr ymgartrefodd, ac oddi yma yr ymadawodd am dy ei Dad. Bu yn cartrefu yn yr un lle trwy ystod ei arosiad yma, sef yn Pen yr Hill, lle mae dwy chwaer gyfoethog a charedig yn byw gyda'u gilydd. Yma yr ymgartrefodd Mr. Williams am fwy na phymtheng mlynedd; a chredwn nad allasai Mair a Martha fod yn dynerach o'u brawd Lazarus nag ydoedd Jane a Mary Jones i'r brawd Williams. Ac os teimlodd y chwiorydd o Bethania barch cysegredig tuag at Arglwydd y bywyd, teimlodd y chwiorydd o Pen yr Hill barch cysegredig i was a chenad yr Arglwydd hwnw.

Ymddengys ddarfod i'r chwiorydd hyn sicrhau iddynt eu hunain wobr fawr iawn a gwerthfawr, yr hyn sydd yn amlwg ond i ni gymeryd yr ymddygiad yn esboniad ar y teimlad a'r egwyddor. Mae yn wir nad oes genym ni allu na hawl i farnu ond yn ol y rheol hon, "Canys wrth ei ffrwyth yr adnabyddir y pren." Wel, dyma ymadroddion yr Athraw digyfeiliorn: "Y neb sydd yn eich derbyn chwi, sydd yn fy nerbyn i; a'r neb sydd yn fy nerbyn i, sydd yn derbyn yr hwn a'm hanfonodd i. Y neb sydd yn derbyn prophwyd yn enw prophwyd, a dderbyn wobr prophwyd; a'r neb sydd yn derbyn un cyfiawn yn enw un cyfiawn, a dderbyn wobr un cyfiawn. A phwy bynag a roddo i'w yfed i un o'r rhai bychain hyn, phiolaid o ddwfr oer yn unig yn enw dysgybl, yn wir meddaf i chwi, ni chyll efe ei wobr."

Gwyr llawer o ddarllenwyr y WAWR fod Mr. Williams er pan yn y wlad hon, ïe, cyn dyfod iddi erioed, yn wael ei iechyd; dyoddefodd boen oddiwrth ei glun nad yw yn ddichonadwy ei ddarlunio; ac heblaw hyny, yr oedd amryw anhwylderau eraill wedi cydgyfarfod yn ei gyfansoddiad, megys curiad y galon, diffyg treuliad, &c., fel y gellid dywedyd fod bywyd yn faich iddo. Diamheuol ydyw mai dyma y rheswm amlwg y byddai ar adegau yn edrych yn llai siriol nag y dymunasai ei gyfeillion iddo fod; a phwy a all ymddangos yn foddhaol a llawen pan yn cael ei ddirdynu gan boenau? Yr haf diweddaf, er ei ddechreu, ymddangosai ei boenau yn cynyddu—ei holl ddoluriau yn gwaethygu, ac yntau mewn canlyniad yn gwanychu. Ymdrechodd lawer er cael gwellad, a thalodd ganoedd o ddoleri i feddygon yn mhell ac yn agos er ceisio cael iachad.

Sabboth, Medi 24ain, gwaelodd yn amlwg, a thaflwyd ef i'r gyfryw sefyll-

Digitized by Google

fa fel nad oedd dim yn aros ar ei ystumog; ac felly y parhaodd i waelu a gwanhau hyd boreu Sadwrn, Medi 30, pryd am chwarter wedi deuddeg y boreu hwnw yr ehedodd y wreichionen fywiol o hono i'r byd tragywyddol. Ac er iddo gael llawer o boenau dirdynol yn ei fywyd, bu farw yn dawel a dedwydd, a chafodd y tynerwch mwyaf a'r gofalgarwch manylaf. Gallwn ddyweyd hyn yn ddibryder, nad allasai y fam dyneraf, y briod anwylaf, na'r chwaer hoffusaf, wylio a gofalu am eu hanwyliaid anwylaf gyda mwy o ddyfalwch nag y gofalwyd am y diweddar frawd Morris J. Williams, er nad oedd neb o'i berthynasau yn ol y cnawd yn agos ato. Mae hyn yn glod bythol i'r boneddigesau a amlygasant y fath serchogrwydd Cristionogol tuag ato.

Y dydd Mawrth canlynol i'w farwolaeth, ymgasglodd tyrfa luosog yn nghyd er talu iddo yr anrhydedd olaf a allasent, trwy roddi eu presenoldeb yn ei angladd. Darllenwyd a gweddiwyd yn y ty cyn cychwyn gan y Parchedig Mr. Edwards, Utica, yna ymffurfiwyd yn orymdaith, a theithiwyd yn arafaidd trwy y brif heol yn Remsen tuag addoldy y Bedyddwyr (y masnachdai oll yn gauedig), pryd y cymerwyd rhan yn y gwasanaeth gan y Parchedigion W. Morlais Evans, Utica; E. R. Hughes, Steuben; John D. Jones, Remsen; Owen F. Parry, Bordwell; E. Davies, E. C. Evans, M. A., a J. Seth Jones, Remsen. Siaradwyd yn barchus am Mr. Williams fel dyn a Christion, a gwnaed sylwadau pwrpasol arno fel meddyliwr a phregethwr—fel un a chanddo ddigon o synwyr i foddhau y meddylgar a'r deallus, a digon o swyn areithyddol i foddhau y cyfryw nad ellir eu boddhau heb gwrdd a thannau eu teimlad trwy seiniau yn hytrach na thrwy synwyr ac ymresymiad. Cydnabyddid fod y Parch. Morris J. Williams yn meddu y ddau—synwyr cryf a sain peraidd. Claddwyd ef yn mynwent brydferth Prospect, yn nghladdfa teulu Pen yr Hill. Parhaodd caredigrwydd y ddwy Miss Jones, nid hyd angau, ond trwy angau i'r bedd; am hyn eto teilyngant barch, ac efelychasant Joseph o Arimathea.

Gan y dysgwylir cofiant i Mr. Williams, a detholion o'i bregethau, ni ychwanegwn yn bresenol; a goddefer i ni awgrymu mai Giraldus yw y dyn cymwysaf i gymeryd y gorchwyl mewn llaw i gasglu ei ysgrifau, a gwneuthur cofiant teilwng o'r ymadawedig.

---

# Bwrdd y Golygydd.

## UNDEB BEDYDDWYR CYMRU.

Mae yr Undeb hwn wedi dyfod yn un o'r prif bethau sydd yn peri i ni deimlo yn "*proud*" yn ein henwad yn Nghymru. Sefydliad *rhagorol* ydyw. Mae hadau llwyddiant a chynydd mawr ynddo. Bydd yr UNDEB, os ca chwareu teg o hyn allan, yn glod bythol i'r dynion da fuont a rhan flaenaf yn ei ffurfiad. Edrychir arnynt, ni gredwn, fel tadau cyfnod newydd mawr llwyddianus ar yr enwad yn Nghymru. Ynddo gwelwn yr enwad wedi ymddeffroi i'r frwydr, gan gyfaddasu ei weithrediadau a'i egnion i angenion a galwadau yr oes. Yn yr un mlynedd ar bymtheg diweddaf mae wedi ymlwybro yn hoew ac wedi gwneyd gwaith ardderchog. Drwg genym ddeall oddiwrth *Seren Cymru* fod rhai brodyr (!) yn absenu, ac yn taflu awgrymiadau bryntion at frodyr ydynt yn cymeryd rhan flaenllaw yn ngweithrediadau cyhoeddus yr Undeb. Yn awr, pwy bynag fydd yn euog o roddi rhwystr i'r mudiad gogoneddus hwn, mae yn sicr o roddi rhwystr i efengyl Crist. Da genym fod brawd yn yr un papyr yn taro yn ol yr ymosodiadau angharedig. Methwn a deall pa flas sydd gan rai aelodau i ddifrio eu gilydd. Pa bryd

Digitized by Google

y dysgwn well gwaith, a rhoddi ar ddeall i'r byd ac i bawb, ein bod yn rhy lawn o waith da, fel Mr. Spurgeon, i luchio ceryg at ein gilydd, ac i ddifrio ein gilydd. Plant y fall sy'n gwneyd pethau o'r fath. Rhag y bobl ddialgar, ddigofus, hunanol, ddiwaith hyn, yn Nghymru ac America, gwared ni, Arglwydd daionus.

"Mae brodyr i mi aeth yn mlaen,
Yn holliach a chytun;
Deng mil o filoedd yw eu cân,
Er hyn nid yw ond un."

## CYRDDAU LLANDUDNO.

Cynaliwyd cyrddau Undeb Bedyddwyr Cymru eleni yn Llandudno, G. C., Hydref 10, 11, y Parch. E. Thomas, Casnewydd, yn Llywydd. Nid yw hanes y gweithrediadau eto wedi ein cyrhaedd. Dysgwylid pethau mawrion oddiwrth y cyrddau eleni. Yr oedd y rhagleni yn rhagorol, y testynau yn amserol, a'r parotoadau yn Llandudno yn deilwng o foneddigeiddrwydd y lle. Dysgwyliwn gyda phryder am hanes y gweithrediadau.

## Y PARCH. T. M. GRIFFITHS, DARAN-FELEN.

Mae y brawd hwn wedi bod yn hynod glaf am rai wythnosau yn ddiweddar, yn Chicago, Ill. Ei afiechyd oedd y *typhoid fever*. Pan yn myned trwy y ddinas hono yn ddiweddar, a chlywed ei fod yn beryglus glaf, mewn *hospital* yno, penderfynasom fyned i ymweled ag ef. Aethom at ddrws yr *hospital*, a daeth un o'r *sisters* (perthyn i'r Pabyddion y mae'r yspyty) i'r drws, ac wedi gofyn am Mr. Griffiths, arweiniwyd ni i'r ystafell lle yr ydoedd. Yr oedd ar y pryd yn cysgu. Yn y man deffroisom ef. Wrth gwrs nid oedd yn fy adwaen, canys hwn oedd y tro cyntaf i ni weled ein gilydd. Wedi i mi ei hysbysu pwy oeddwn, amlygai fod yn dda iawn ganddo fy ngweled a chael ysgwyd llaw â mi. Dywedai ei fod wedi bod yn glaf yn agos i angeu, ond teimlai ei fod yn gwella yn raddol. Ymddengys Mr. Griffiths i mi yn ddyn ieuanc hawddgar, a gwyneb dynol hardd ganddo. Dywedir wrthym fod iddo gymwysderau pregethwrol a gweinidogaethol rhagorol, a chredwn y dylid bod yn dyner o hono, a'i ymgeleddu mor hynaws ag y byddo modd. Cydnabyddai y dylasai fod yn fwy gofalus o reolau yr enwad, perthynol i'r aelodau a phregethwyr fyddont yn glanio yn America. Hyderwn fod iechyd y brawd wedi gwella llawer erbyn hyn, ac y bydd yn fuan yn ei iechyd arferol, a dysgwyliwn ei weled yn fuan wedi ymsefydlu yn weinidog defnyddiol ar ryw eglwys Fedyddiedig Gymreig. Yn ddiweddar daeth ei anwyl wraig drosodd o Gymru, ac ni bu ond ychydig ddyddiau yn y wlad cyn i blentyn bychan iddynt farw.

## YR ETHOLIADAU.

"Brensiach anwyl!" ys dywed pobl Gogledd Cymru, mae *politics* yn ei rhwyfo hi yn braf y misoedd hyn yn ein gwlad. Mae gwynebau papyrau ein prif ddinasoedd, a phob papyrau o ran hyny, fel gwyneb y môr ar dywydd gwyntog, yn llawn tonau, yn dygyfor ac yn dygyfor. A dyna sydd yn rhyfedd, ac yn flinder i'r ysbryd, ydyw, mai personau yn unig, ac nid egwyddorion sydd i'w gweled yn curlio yn mrigau y tonau; ac y mae y gabolfa dymestlog yn ddigon a chodi cyfog arnoch, a pheri i chwi fwrw ymaith yr ychydig ymborth gwladyddol sydd yn aros ar eich cylla, a gadael y cwbl yn llwyr, ac ymddiried i'r Hwn "sydd wrth y llyw."

## CLYWSOM.

Yr ydym wedi ein hysbysu fod Mr. Llewelyn N. Roberts, Providence, Pa., yn "*rhedeg*" am y swydd o Drysorydd Lackawanna Co. Os ydyw yr hyn a glywsom yn wirionedd, dymunwn o galon iddo redeg yn llwyddianus.—

Digitized by Google

haedda gael y swydd, nid oes dadl. Y mae efe eisoes wedi bod yn dal swyddi o natur wleidyddol o gryn bwys, ac wedi enill iddo ei hunan air da iawn. Ac os yw efe yn ymgeisydd, fel y clywsom, am y swydd o Drysorydd y County, da chwi, Gymry y parthau yna, gofalwch ei gefnogi, canys y mae efe yn haeddu gwneuthur hyn iddo, a dylai y Bedyddwyr yn anad neb, ddyfod allan fel un gwr o'i blaid.

## TRYSORFA YR HEN WEINIDOGION.

Pan ar ymweliad â Chymru y flwyddyn ddiweddaf, gwelais lawer o gyfnewidiadau ynddi; gwelais eisiau llawer o frodyr anwyl, y rhai oedd wedi myned oddiwrth eu gwaith at eu gwobr; eraill yn hen a methedig, wedi myned yn analluog i gyflawni eu dyledswyddau fel cynt, ac yn mysg eraill y Parch. Morgan James, gynt o Penuel, Rhymni, ac eraill. Y Parch. T. Williams, Ebenezer, Llangynog, yw y gweinidog henaf yn awr yn Nghymru, ag sydd a gofal eglwys arno. Urddwyd ef yn y flwyddyn 1826, ac y mae wedi bod yn weinidog ar yr un eglwys o hyny hyd yn awr. Y mae dros 80 mlwydd oed, a'r gwyn gyffredin ei fod yn analluog i gyflawni ei swydd fel cynt. Ond er cysur i hen frodyr anwyl yn Nghymru, y mae ganddynt gymdeithas ddarbodol dda, i gynal hen weinidogion methedig. A fyddai ddim yn bosibl i gael un felly yn America? Dywedwn am i bob gweinidog, hen ac ieuanc, fod yn aelodau o'r gymdeithas hon, ac i dalu $5 y flwyddyn i'r drysorfa, a phan y byddo marw aelod, fod $1 yr aelod i gael ei thalu at draul yr angladd. Ac er mwyn i hyn gymeryd lle, i sefydlu Trysorydd, Ysgrifenydd, a Phwyllgor o weinidogion, a lleygwyr a fyddai yn caru tanysgrifio er cynorthwyo y gymdeithas; a chael casgliad blynyddol oddiwrth yr eglwysi yn mhob Cymanfa, a'i hanfon i'r Trysorydd neu i'r Ysgrifenydd. Cofier mai un gymdeithas a feddyliwyf, a'r Cymanfaoedd yn gyffredinol i uno yn y peth hwn. Barnu yr wyf y byddai hyn yn galondid mawr i lawer o weinidogion sydd yn awr yn hen, a'r rhai ieuainc hefyd, fod ganddynt rywbeth i ymddibynu arno erbyn henaint, os cânt fyw.

Carwn i eraill draethu eu meddyliau yn y Wawr ar yr achos teilwng hwn. Byddai yn dda pe byddai rhyw frawd i anfon copi o weithrediadau y gymdeithas yn Nghymru i olygydd y Wawr i'w cyhoeddi; byddai yn wir fuddiol. Trueni fod neb sydd wedi treulio oes yn ngwinllan ei Arglwydd yn dyoddef eisiau mewn henaint, pan y gellir cael cymdeithas fel hyn.

Nid oes achos i'r hen aelodau yn Nghymru roddi heibio bregethu yn llwyr, ond pregethant yn achlysurol, er cael tâl gan y gymdeithas.

Y mae gan y Wesleyaid *funds* tuag at gynal hen weinidogion, a phaham na all y Bedyddwyr wneyd yr un peth? Frodyr, cydweithredwn yn y peth da hwn, a bydd i Dduw ein bendithio.

HEN WEINIDOG.

## ADOLYGIAD Y WASG.

*Y Weithred o Fedyddio,* gan y Parch. Hugh Jones, D. D., Llangollen. Argraffwyd gan W. Williams.

Ail argraffiad yw y llyfr hwn o lyfr a gyhoeddodd Dr. Jones yn agos i ugain mlynedd yn ol; ond yn yr argraffiad newydd ceir llawer iawn o ychwanegiadau pwysig a gwerthfawr. Amcan penaf y gwaith yw egluro y "Weithred o Fedyddio." Cyfyngwyd yr argraffiad cyntaf agos yn gyfan-gwbl i hyn; ond yn y gyfrol sydd o'n blaen ceir, heblaw hyn, sylwadau manwl a helaeth ar Ddeiliaid, Hanesiaeth, a Dyben Bedydd. Ond os ysgrifenir llyfr maith a dysgedig ar y pynciau hyn, rhaid profi fod bedydd yn ordinhad bwysig, ac yn teilyngu y fath driniaeth. O herwydd hyn, y mae gan Dr. Jones dair o benodau yn nechreu ei lyfr yn y rhai y profa fod bedydd yn osodiad Dwyfol, yn ordinhad sydd i barhau yn yr eglwys hyd ddiwedd amser, ac yn ordinhad bendant, ac o herwydd hyn yn

Digitized by Google

gofyn yn ei holl agweddau ufudd-dod manwl, llythyrenol a chyflawn. Gwna y tair penod hyn i fyny Rhan I. y llyfr.

Y mae o leiaf saith o ffyrdd i benderfynu iawn ddull gweinyddiad bedydd:

1. Gellir darllen y clasuron Groegaidd, a gweled i ba ddyben y defnyddient hwy y gair neu y geiriau a gyfieithir Bedydd. Yr oeddent hwy yn deall ystyr y geiriau a ddefnyddient, ac yr oedd yr iaith Roeg mor gyfoethog mewn termau, fel nad oedd eisiau defnyddio yr un geiriau i osod allan amryw o syniadau gwahanol. O herwydd hyn y mae yn hawdd penderfynu trwy y cysylltiadau beth oedd yn meddyliau yr ysgrifenwyr pan ddefnyddient eiriau neillduol.

2. Gellir darllen cyfieithiadau a wnaed o ieithoedd eraill i'r iaith Roeg; ac os byddwn yn gwybod beth yw ystyr y geiriau yn yr iaith gyntefig, byddwn hefyd o angenrheidrwydd yn gwybod ystyr y geiriau a ddefnyddir yn y cyfieithiad. Os bydd dyn yn gwybod beth yw ystyr y gair "ceffyl" mewn llyfryn Cymraeg, y mae yn hawdd iddo wybod mewn cyfieithiad Seisonig o'r un llyfr fod y gair *horse*, sydd yn sefyll am ceffyl, yn golygu yr un peth. Felly hefyd, os gwyr y dyn fod y gair *tabal* mewn ysgrifen Hebraeg yn golygu "trochi," y mae yn eglur iddo fod y gair a saif am hwn mewn ysgrifen Roegaidd yn golygu yr un peth. A gellir rhoddi iddo yr ystyr hwn pa le bynag y gwelir ef ar ol hyny.

3. Os dywedir fod geiriau yn newid eu hystyriaethau yn nghwrs canrifoedd, ac fod y gair a olygai trochi yn amser Homer, Plato, neu Xenophon, yn golygu rhywbeth arall yn amser Luc, Paul a Ioan, yna rhaid darllen holl ysgrifeniadau Luc, Paul a Ioan, yn nghyd ag ysgrifeniadau eu cydoeswyr, er mwyn gweled beth yw yr ystyr cyffredinol a roddant hwy i'r gair. Os yw y term yn amwys mewn un dosbarth o gysylltiadau, dichon y ceir cysylltiadau eraill yn y rhai y mae ei ystyr yn eglur tu hwnt i bob dadl.

4. Gellir penderfynu ystyr unrhyw air i raddau eang drwy fyfyrio yr arddodiad a arferir gydag ef. Y mae rhai arddodiaid yn gwneyd ystyr neillduol yn angenrheidiol, ac yn cau allan bob ystyr arall. Felly y mae yr arddodiad "yn," neu "mewn," yn gynorthwy i benderfynu y gair Bedydd.

5. Gellir penderfynu iawn ddull gweinyddiad bedydd drwy y desgrifiadau a roddir o hono mewn hanesion boreuol.

6. Gellir dysgu oddiwrth y desgrifiadau a geir o'r manau a'r amgylchiadau yn y rhai y gweinyddid yr ordinhad, beth oedd iawn ddull ei weinyddiad.

7. Gellir dysgu oddiwrth y ffigyrau a'r addysgiadau a gysylltir â'r dull beth oedd y dull ei hun.

Yr uchod yw y cynllun y mae Dr. Jones wedi ei fabwysiadu, ac y mae wedi ei weithio allan mewn modd manwl, llafurfawr, eglur, boneddigaidd ac argyhoeddiadol. Ymdrinir a'r pynciau uchod mewn saith o benodau; yna â yn mlaen i ateb y gwrthddadleuon ydynt wedi eu gwneyd gan wahanol awdwyr yn erbyn y gosodiad a ategir yn y penodau uchod. Y mae yr atebion yn nodedig am eu tegwch, eu llwyrder a'u grymusder. Cymerant i fyny ddeg o benodau, y rhai gyda y saith blaenorol a gyfansoddant Ran II. o'r llyfr.

Yn y Rhan III. profir mai ffyddwyr yn Iesu Grist ydynt iawn ddeiliaid bedydd, ac atebir deg o wrthddadleuon i'r gosodiad hwn. Y mae y Rhan IV. yn draethawd galluog iawn ar "Ddyben a Phwysigrwydd Bedydd," ac yn yr attodiad ceir traethodau ar "Alexander Campbell a Dyben Bedydd," ac ar "Bedydd a Chymundeb."

Nid oes genym ofod i fanylu ar gynwysiad y rhanau hyn. Digon yw dyweyd am y llyfr oll, ei fod y cyflawnaf, y manylaf, a'r cryfaf yn yr iaith Gymraeg, ar y pwnc dan sylw yn ei holl agweddau. O ran ei ysbryd, y mae yn esiampl nodedig o degwch, urddas a boneddigeiddrwydd. Nid oes ynddo un gair personol cul a chwerw—un ymgais i gelu o wydd y darllenydd un ffaith na gwirionedd—un gomeddiad i weled iawn bwynt gwrthddadl,

Digitized by Google

nac un tuedd i grechwenu pan ddynoethir gwendidau gwrthwynebwyr.

Y mae Dr. Jones yn ddarllenwr mawr, ac ymddengys yn gartrefol yn mhlith yr hen awdwyr mwyaf enwog. Ar yr un pryd, teimlwn ei fod yn esgeuluso ysgrifeniadau ei gydoeswyr mwyaf dysgedig. Dwg yn mlaen dystiolaeth llawer iawn o faban-daenellwyr i ddangos mai trochi yw iawn ddull gweinyddiad bedydd; ond ni wna un cyfeiriad at A. P. Stanley, F. W. Farrar, Cunningham Geikie, Canon Plumtree, James Martineau, na George P. Fisher. Mae hyn yn hynod, os cofir ei fod yn dyfynu o awdwyr mor israddol a Dr. Pendleton.

Yn y modd mwyaf di-gel a difloesgni dymunwn gymeradwyo y llyfr dysgedig hwn i holl ddarllenwyr y Wawr.

## DETHOLION.

—Cariad yw enaid dy ddyledswyddau, a'r weithred allanol yw y corph.—*Dr. John Dick.*

—Ymddwyn at dy gyfaill fel pe gwybyddit y deuai ryw ddydd yn elyn i ti. —*Laberius.*

—Y mae rhoddi cyngor fel bwrw eira; po esmwythaf y byddo yn syrthio, hwyaf yr erys, a dyfnaf y sudda i'r meddwl.

—Y mae y credadyn yn myfyrio yn feunyddiol pa fodd i fod yn fwy marw i'r hyn y mae ei Iachawdwr anwyl yn ei gasâu, ac yn fwy byw i'r hyn y mae ei Waredwr anwyl yn ei garu.

—Paid a chanmol neb yn fyrbwyll, canys gweniaeth noeth yw hyny. Na chanmol dy hun, beth bynag a fyddo dy haeddiant, rhag i ti gael dy demtio i oferedd.

—Byddai yn fuddiol i ni yn wastad gadw dau ddydd-lyfr—un i ysgrifenu ein beiau, fel y'n cadwer yn ostyngedig, a'r llall i ysgrifenu ein trugareddau, fel y'n cadwer yn ddiolchgar.

—Pe byddai dyn yn taflu pwrs o arian, neu hyd yn nod un *guinea* bob dydd i'r môr, cymeryd ef yn y fan yn ddyn gwallgof, a mynai ei gyfeillion ei garcharu. Ond y dyn a fo yn taflu ymaith yr hyn sydd werthfawrocach nag aur a mwngloddiau—ei iechyd, ei amser, a'i enaid—y cyfryw un a berchir ac a fawrygir gan y rhan fwyaf o ddynion.—*Toplady.*

## MAN-LEWYRCHIADAU.

—Mae Dr. Cefni Parry wedi bod ar ymweliad a'r eglwysi yn Braceville a Braidwood, Illinois, y mis diweddaf. Yr ydym wedi cael lle i dybied fod yr eglwysi yn y lleoedd uchod a'u "llygaid ar" Cefni.

—Yn Medi, galwasom yn Jolliet, gyda y brawd Samuel Job. Mae efe mewn galwedigaeth ragorol, yn gysurus iawn, efe a'i deulu. Cofia at ei hen gyfeillion yn y Dwyrain.

—Ysgrifenwyd "Bwrdd y Golygydd" a'r "Mân-Lewyrchiadau," y mis hwn yn nhy y brawd selog, John Rees, Judson, Minn. Mae peirianau dyrnu yn chwyrnu yn mhob man trwy y cymydogaethau hyn, yn y dyddiau hyn (diwedd Hydref.) Dysgwyliwn fod yn Utica yn fuan.

—Yr ydym yn deall fod y Parch. E. Edwards wedi bod am rai wythnosau yn ddiweddar yn Milesburgh, Centre Co., Pa., a'i fod wedi *derbyn* galwad gan yr eglwysi yno a Bellefonte i'w gwasanaethu. Hyderwn y bendithia yr Arglwydd ei lafur yn ei faes newydd.

—Ni ddaeth y "Maes Cenadol" i law y mis hwn. Derbyniol iawn ydyw bob amser.

—Derbyniasom gofiant y Parch. David Jenkins. Ymdrechwn ei gyhoeddi yn ein rhifyn nesaf.

—Carem i *bawb* sydd yn ysgrifenu i'r haner cyntaf o'r Wawr ddanfon eu hysgrifau mor gynar yn y mis ag y gallant. Byddai hyny yn hwylusdod i ni, a safai yr erthyglau well siawns i

Digitized by Google

gael eu cyhoeddi yn y rhifyn dyfodol nesaf.

—Y mae yr Uchaflys wedi penderfynu nas gall teithiwr a neidia oddiar gerbydres pan y bydd hi yn symud, gael *damages* oddiwrth gwmni y rheilffordd am unrhyw niwed a ddichon efe dderbyn wrth wneyd hyny, hyd yn nod pe na safai y trên wrth yr orsaf lle y dymunai efe stopio.

# Barddoniaeth.

## ENGLYNION

Er cof am GOMER, Mab DAVID a MARY ANN WILLIAMS, Niles, O., yr hwn a foddodd ar yr 28ain o Mehefin, 1882, yn un flwydd ac wyth mis oed.

Yn moreu oes y mawr Iesu—gymerodd
Ein Gomer anwylgu
'N berlyn cain i'w barlwr cu,
Ac una yn y canu.

Hoffach Gomer bach mewn bedd—ni roddwyd,
Yn addurn tlws lanwedd,
Er hyny ei wir anedd
Yw'r nef fad, pur wlad y wledd.

*Mineral Ridge.* DAVID EDWARDS.

## "NI FYNWCH."

Ni fynwch y nef unol—ni fynwch
Anfoniad y Dwyfol;
Ni fynwch, yw llais cwynfanol
Iesu a'i ras—rhai sy' ar ol.

Rhai ar ol yn rhy hwyr o hyd—diboen,
Nid yw byth yn lawnbryd;
Ow! rhyfedd, rhy hwyr hefyd,
I wyl fawr ysbrydol fyd.

*Kingston.* J. R. PRICE.

## MYFYRDODAU AR FOREU SABBOTH.

Ti, Arglwydd, fendigaist y Sabboth,
Yn ddydd i'th addoli gan ddyn;
Fy meddwl crwydredig a bydol
Sy'n crwydro i'w lwybrau ei hun;
O, arwain i'r mynydd sancteiddiol,
Gan syched a newyn bob tu;
Dwys deimlad o angen trugaredd
Fo'n tywys fy nghamrau i'th dy.

Mae'r byd a'u ddylanwad yn sychu
Gwlith grasol pob moddion o ras;
Lle hauwyd yr hadau ysbrydol
Caleda y diafol y ma's;
A llygredd y cnawd a'i elyniaeth
Sy'n taenu yr efrau difudd,
I fygu maeth eiriau'r gwirionedd,
Rhag cyrhaedd amcanion dy ddydd.

Gwisg f'enaid mewn agwedd addoli,
Hiraethaf am danat, O Dduw,
Am weled pelydrau dy wenau
Yn nghanol dy deulu yn byw;
Cael teimlo yr hen addewidion
Yn tywallt eu cynwys i lawr,
A grasol ymweliad yr Ysbryd,
Sydd nefoedd i deulu y llawr.

Paham, O Haul llwydd ein cynulliad,
Dan gwmwl y cuddi dy ben?
Corona dy ddydd â gogoniant,
Y gwr a fu farw ar bren;
Gwlith nefol maddeuant a heddwch,
Cawodydd trugaredd a gras,
Ddisgyno ar ben dy addolwyr,
Nes bloeddiant dy glodydd mewn blas.

MATHRAFAL.

## LLINELLAU

A gyfansoddwyd ar ol clywed am Farwolaeth Mr. THOMAS WILLIAMS, Spring Meadow, Llysfaen, ger Caerdydd, D. C.

Un diwrnod fe'm cyrhaeddodd
Newydd prudd o'r Henfyd draw,
A gwnaeth imi golli dagrau
Barodd angau, brenin braw;
Byddaf mwyach yn hiraethus
Tra b'wy'n aros is y nef,
Syn a phruddaidd fydd fy ysbryd,
Pan yn teithio gwlad a thref.

O, mor chwerw colli cyfaill,
Cyfaill fel oedd Williams fad,
Ei ragorach ni ddysgwyliaf
Gwrdd ag ef mewn unrhyw wlad;
Unplyg a dirodres ydoedd,
Nid oedd ynddo dwyll na brad,
Brynt-waith ni bu iddo'n noddwr,
Sathrai'r cyfryw 'n ddinacâd.

Yn ei holl drafodaeth fydol
Byddai'n onest, byddai'n ddyn;
Cas oedd ganddo bob rhyw dwyllwr,
Ac ni thwyllai neb ei hun;
Un o feibion natur ydoedd,
Gyda natur bu trwy 'i oes,
Oedd yn hoff o amaethyddiaeth,
Amser iddo 'n ddiddig roes.

Yn ei ymweliadau dyddiol
Hyd y meusydd yma a thraw,

Digitized by Google

Gwelai dlysion bethau natur
Yn daenedig ar bob llaw;
Syllai arnynt yn fyfyrgar,
Gan ryfeddu ynddo'i hun
Y doethineb mawr a'r gallu
Sydd mor amlwg ar bob un.

Nid yn foreu darfu 'n cyfaill
Ddilyn Iesu mwyn a'i groes,
Hyn fu iddo'n ofid dirfawr
Nes machludodd haul ei oes;
Beiai'n fynych arno'i hunan,
Ac mewn gweddi cwynai'n drist,
Am na phlygodd yn gynarach
I iau esmwyth Iesu Grist.

Ar ol plygu i'r gorchymyn,
Cymdeithasai gyda'r saint,
Teimlai 'i hun yn rhydd a dedwydd,
Gwir ddiolchai am y fraint;
Bu yn selog a llafurus
O'r awr hono hyd ei fedd,
Bu'n lletygar a charedig
I weis Duw—cenadon hedd.

Oedd yn briod hoff a ffyddlawn,
Tad gofalus trwy ei oes,
Didwyll fel cymydog ydoedd,
Byth ni thynai ef yn groes;
Er ei ddirfawr ragoriaethau,
Mae ef heddyw'n wael ei wedd,
Ei fwyn briod a'i anwyliaid
Sy'n trwm wylo ar ei fedd.

Os mewn bedd mae llwch ein cyfaill
Mae 'i enaid fry yn nhy ei Dad,
Lle mae'n gwisgo anfarwoldeb,
Ac yn canu am y gwa'd;
Engyl fyrdd o'i gylch sy'n chwareu
Eu telynau aur mewn bri,
Seintiau lu yn melus wledda
Ffrwythau aberth Calfari.

Minau bellach a ddysgwyliaf
Am y dydd ac am yr awr,
Y cawn gwrdd a'n gilydd eto'n
Llon o flaen yr orsedd fawr,
Wedi 'n gwisgo 'n wyn fel eira,
Seiniwn gân mor bêr ag un
Ga'dd ei olchi yn y ffynon,
Ffynon waedlyd Mab y dyn.

*Johnstown, Pa.* DAVID JONES.

## Y GOLOSGIAD CYFFREDINOL.

Yr holl uchelfrig dyrau,
A'r llysoedd teg eu gwawr,
A themlau'r difrifolion,
Iê'r feithgron ddaear fawr,
Ac oll a'i hetifeddant
A doddant mewn un dydd;
Mwy na ffug-adail breuddwyd,
Un rhith o'u hol ni bydd.

# HANESION CARTREFOL.

## HYDE PARK, PA.

Mr. Gol., a lluosog ddarllenwyr y WAWR—Y mae yr achos goreu ar ei gynydd yn barhaus—llafurwaith y Dr. yn cael ei werthfawrogi gan yr eglwys a'r gynulleidfa, ac Ysbryd Duw yn gweled yn dda ei lwyddo. Ein hychwanegiad y mis diweddaf oedd deunaw. Ni fu yr eglwys erioed yn y fath gyflwr ag yw yn awr; a hyderwn y byth pethau yn well eto ar ol twrw Philadelphia.—*Ebenezer Lloyd.*

## CYMANFA NANTICOKE.

*Gwall a Diffyg.*—Yn hanes derbyniad aelodau newyddion i'r Gymanfa, gadawyd allan enw y brawd H. Thomas, Lansford a Summit Hill, yr hwn a dderbyniwyd â breichiau agored yn aelod o Gymanfa Dwyreinbarth Pa., ar sail llythyr cymeradwyol o Gymanfa Morganwg, D. C.—*J. P. Harris, Ysg.*

## *BEDYDDIWYD—*

Yn Scottdale, Pa., bedyddiwyd pump o bersonau nos Sul, Hydref 1. Mae y rhagolygon yn ffafriol. Dechreuais yma Medi 1.—*John T. Griffiths.*

—Audenried, Pa., Medi 17, 1882, Bedyddiwyd pump o bersonau ar broffes o'u ffydd yn Mab Duw, gan ein parchus weinidog, T. D. Evans.

—Yn Johnstown, Pa., ar y Sabboth Medi 24, 1882, ar ol anerchiad byr ond gwir gynwysfawr ac ysgrythyrol, ar natur a dyben yr ordinhad, gan yr hybarch Ddr. Bell, o Altona, bedyddiwyd un chwaer ar broffes o'i ffydd yn Mab Duw, gan y gweinidog, y Parch. David Jones.

*Y Bedydd Cyntaf gan y Cymry yn yn Dell Roy, O.*—Nid yn aml y ceir gweled gair o'r lle hwn yn eich misolol, a dichon fod llawer heb wybod fod yma achos ac eglwys wedi ei chorphori gan y Bedyddwyr Neillduol yn mhlith y Cymry yn y lle hwn er Chwefror 19,

Digitized by Google

1882. Er ein bod yn amddifad o weinidog sefydlog, ac nad ydym yn gallu cael gweinidogaeth ond unwaith yn y mis, mae yn dda genym allu dyweyd nad yw ein llafur yn hollol ofer, ac nad ydym ychwaith yn cael ein gadael wrthym ein hunain. Gallwn ddweyd, a hyny gyda gradd helaeth o sicrwydd, ein bod yn cael presenoldeb y Brawd hynaf, o ran ei Ysbryd a'u wenau yn ein plith; ac os nad ydyw y lluaws yn dywedyd, "Ninau a ddeuwn gyda chwi," yr ydym yn teimlo yn ddiolchgar wrth weled ambell un yn troi mewn atom. Ar y Sabboth, Medi 17, cawsom y pleser o weled un chwaer ieuanc, Miss Sarah F. Davies, ar broffes o'i ffydd yn Mab Duw, yn ufuddhau i'r ordinhad sanctaidd o fedydd yn ol trefn y Testament Newydd, yr hwn sydd i fod yn rheol ffydd ac ymarweddiad i bawb a ewyllysiant fod yn ganlynwyr i Fab Duw. Gweinyddwyd yr ordinhad gan y Parch. John Evans, sydd newydd ddychwelyd o Gymru, ond yn gwneyd ei gartref y pryd hwnw yn Newburgh; a gallwn ddweyd mai dyma y tro cyntaf i'r ordinhad hon gael ei gweinyddu gan y Cymry yn y cylchoedd hyn; ac er ei fod yn wrthun yn ngolwg rhai, eto ymddygodd pawb o'r edrychwyr yn foneddigaidd iawn, ac yn deilwng o fodau sydd yn byw mewn gwlad efengyl. Ac er ein llawenydd fel eglwys, y mae yma un eto yn aros am yr un fraint, gan hyderu y cawn weled nad yw hyn ond blaenffrwyth o gynhauaf mawr yn y dyfodol. Cewch air eto yn fuan o hanes dechreuad yr achos a chorphoriad yr eglwys Fedyddiedig gyntaf yn y swydd hon.—*D. F. Davies.*

---

## *PRIODWYD—*

Medi 21, 1882, yn Ridgeway, Wis., yn nhy Mr. Thomas Rees, tad y briodasferch, gan y Parch. John Thomas, Mr. John P. Davies a Miss Hannah Jane Rees.

Medi 19, 1882, yn Tresckow, Pa., gan y Parch. T. D. Evans, Mr. David Davies a Miss Ellen Evans, y ddau o Tresckow.

Medi 19, 1882, yn Ashland, Pa., gan y Parch. Jeremiah Griffiths, yn ei dy ei hun, Mr. David Lewis a Miss Margaret Zechariah, y ddau o Centralia.

Medi 20, 1882, yn Ashland, Pa., gan y Parch. Jeremiah Griffiths, yn ei dy ei hun, Mr. William Lincoln Williams a Miss Jane Ann Chishilom, y ddau o'r dref uchod.

Medi 23, 1882, yn yn nhy rhieni y briodasferch, yn Palmyra, O., gan y Parch. Edward Jenkins, Mr. Richard Jones, postfeistr, Hubbard, O., a Miss Mary A. Davies, Palmyra.

Medi 20, 1882, yn Garrison Grove, Iowa Co., Wis., yn nhy Mr. Thomas T. Jones, tad y briodasferch, gan y Parch. Joseph T. Jones, Dodgeville, Mr. George L. Miller, o Milwaukee, a Miss Elizabeth Jones, o Garrison Grove.

---

## *BU FARW—*

MR. WILLIAM HOSKINS, OLYPHANT, PA.

Yn Tredegar, Sir Fynwy, y ganwyd gwrthddrych ein coffa. Treuliodd ddyddiau ei faboed yn Blaenafon, ac ni chafodd nemawr o'r manteision a geir yn awr i ddringo grisiau dysgeidiaeth. Na, o dan y ddaear, yn y gwaith glo, yr ymddadblygodd y brawd; ond yr oedd yr ysgol Sul, coleg y bachgen tlawd, yn agored iddo, a dydd yr Arglwydd yn rhydd ganddo i fyfyrio yn nghyfraith yr Arglwydd, a chofiodd ei Greawdwr yn nyddiau ei ieuenctyd, a glynodd witho yn ddifwlch hyd wedi dyfod y dyddiau blin. Do, cafodd yr anrhydedd i gyflwyno ei hun i'r Arglwydd ac i'w bobl, cyn ei fod yn 15 mlwydd oed. Bedyddiwyd ef ar broffes o'i ffydd yn Mab Duw, gan y brawd H. W. Jones, Caerfyrddin, y pryd hwnw yn bugeilio praidd Duw yn Ebenezer, Blaenafon, Sir Fynwy. Ac yn Blaenafon y cafodd ymgeledd gymwys; yn y fl. 1833 unwyd ef ag Ann Evans mewn glân briodas, a gellir dweyd iddi fod yn briod tyner iddo drwy yr holl ffordd yr arweiniodd yr Arglwydd eu Duw hwynt, a'i bod heddyw wedi ei gadael yn weddw, mewn galar a hiraeth ar ol priod ei hieuenctyd.

Yn 1850 ymfudasant i'r wlad hon, ac ymsefydlasant yn Scranton, a hyny cyn bod y lle yn dwyn yr enw presenol, a chyn bod achos crefyddol gan y Bedyddwyr yn yr ardal; ond nid oedd y brawd Hoskins yn digaloni, nac am fyw mewn seguryd crefyddol; canys un yn caru gweithio dros ei Arglwydd ydoedd yn mhob man. Tua'r amser hwn yr oedd yno ddau frawn crefyddol, sef William Jones a Lewis Lewis. Mae y tri hyn yn dechreu cynal cyfarfodydd yn yr ysgoldy ar Shanty Hill. Y cynulliadau hyn ydoedd *nucleus* eglwys Hyde Park, sydd erbyn heddyw yn gryf, yn lluosog, ac yn llewyrchus. Na "ddiystyrer dydd y pethau bychain.' Nid hir y buwyd cyn fod angen am addoldy; a phenderfynwyd adeiladu ty cyfleus ar River Street, yn Scranton. Teimlai y brawd William Hoskins y dyddordeb mwyaf yn y mudiad hwn, a gwnaeth yr hyn a allai i adeiladu muriau Jerusalem.—

Digitized by Google

Gwasanaethodd swydd diacon yn yr eglwys yn ffyddlon, gan enill iddo ei hun radd dda, a hyfder mawr. Ond nid oedd dinas barhaus i'r achos ar Water Street. Hyde Park oedd preswyl y Cymry, a dywedai Duw yn ei ragluniaeth, adeiladwch i mi dy yno; ac yno y symudwyd, gan wneyd Fellow's Hall yn lle i addoli, hyd nes deuai y ty newydd yn barod—sef y ty presenol. Ni bu neb yn fwy ffyddlon nag efe i ddilyn yr arch i dabernacl Dafydd ar fynydd Seion.

Yn 1866 symudodd ef a'i deulu i Olyphant, ac yma drachefn y rhoddes ei ysgwydd dan yr arch. Bu yn ffyddlon i adeiladu ty i Dduw Jacob yn y lle hwn, i dalu am dano, ac i gynal achos y Ceidwad yn ngwyneb llawer o ddigalondid. Do, bu yn ffyddlon hyd angeu, a rhoddwyd iddo goron y bywyd.

Un o nodweddion ei fywyd oedd ffyddlondeb; yr oedd ei enaid wedi ymgylymu â thy ei Dad: ymhyfrydai yn y gwasanaeth dwyfol. Nid oedd tywyllwch y nos, ystormydd y gauaf, na blinder, nac anhwyldeb cyffredin, yn ddigon i'w gadw o'r cyfarfodydd. Meddianai brofiad y Salmydd, "Llawenychais pan ddywedent wrthyf, Awn i dy yr Arglwydd." Yr oedd yn hynod afaelgar mewn gweddi—gafaelai fel Jacob yn ei Dduw, ac nid ymfoddlonai i ymollwng heb y fendith. Gweddiodd lawer dros ei blant a'i wyrion yn y teulu ac yn y dirgel, a chredwn, er ei fod wedi marw, y daw yr atebiad. Ni fu ei gystudd olaf ond am tua mis. Ionawr 29, 1882, anadlodd ei anadl olaf, yn 68 mlwydd, 7 mis, a 10 diwrnod oed. Tarawodd angeu ef â'r parlys, ac ehedodd ei ysbryd at Dduw, yr hwn a'i rhoes, mewn tawelwch. Gadawodd weddw a phump o blant i alaru ar ei ol—tair o ferched a dau o feibion. Claddwyd ei weddillion marwol yn nghladdfa Dunmore, pryd y gweinyddwyd wrth y ty ac yn yr addoldy gan y brodyr FitzWilliams, Olyphant, B. W. Thomas, Hyde Park, a J. P. Harris, Providence, yr olaf yn traddodi y bregeth angladdol Boed nawdd a gwenau Duw ar y teulu hyd byth. BRAWD.

### MRS. MARY PHILLIPS.

Yn Carbondale, Pa., Awst 7, 1882, bu farw yr hen chwaer Mary Phillips, priod Henry Phillips, yn 75 mlwydd oed. Ganwyd hi yn Tredegar, Sir Fynwy, D. C., yn y flwyddyn 1807; ond symudodd i Blaenafon tra yn ieuanc. Daeth hi a'i phriod i'r wlad hon, yn gyntaf i Nova Scotia, yn y flwyddyn 1832, ac oddiyno symudasant i'r lle hwn, ac yma y maent wedi bod hyd ei marwolaeth hi—yn agos i haner canrif.

Yn Gorphenaf, 1843, cynaliwyd Cymanfa y Bedyddwyr yn Carbondale, Pa. Y gweinidogion yn bresenol oeddynt, y Parchedigion D. Phillips, Caerlleon-ar-Wysg; Wm. F. Phillips, yn bresenol yn Wisconsin; William Owens, Pittsburgh; Wm. Morgans, Pottsville; D. E. Bowen, yr hwn oedd weinidog yr eglwys y pryd hwnw; yr hen frawd anwyl a gweinidogiol, Wm. Richards, yn bregethwr cynorthwyol yr eglwys, a'r ysgrifenydd.

Yr oedd yr eglwys y pryd hwnw yn gref a llewyrchus dan ofal y brawd Bowen, ac yn cynwys amryw o deuluoedd o nodwedd gwir grefyddol, ac y mae eu coffadwriaeth yn arogli yn ddymunol hyd heddyw, megys, John a Thomas Bowen, Enoch Jones, John Prothero, John Davies, a'u teuluoedd, &c., &c., ac nid y lleiaf teilwng yn eu plith oedd Henry Phillips a'i anwyl briod. Yn y Gymanfa hono y daeth yr ysgrifenydd yn adnabyddus â Henry Philips a'i briod, ac yr wyf wedi bod yn Carbondale lawer o weithiau yn ystod y blynyddoedd o hyny hyd yn bresenol, ac wedi cael cyfle teg i adnabod y teulu anwyl a charedig hwn, a gallaf ddwyn tystiolaeth i nodweddion yr hen chwaer Phillips, ei bod yn wraig garedig, fwynaidd, ddystaw, ofalus, lanwedd, drefnus, cymydogol, a gwir grefyddol.

Yr oedd y teulu hwn yn hynod o letygar a pharchus o weinidogion Crist, fel nad oes nemawr, os neb, o weinidogion y Bedyddwyr na dderbyniasant y caredigrwydd mwyaf dirodres gan y teulu duwiol hwn, ar eu hymweliadau â Carbondale. Yr oedd y brawd a'r chwaer Phillips yn ddi-blant. Pan ordeiniwyd yr anwyl a'r talentog Philip L. Davies yn weinidog i'r eglwys yn Carbondale, tua dwy flynedd ar hugain yn ol, ty y brawd a'r chwaer Phillips a benodwyd yn *boarding place* i'r efrydydd ieuanc diwyd, llafurus, ymdrechgar a llwyddianus, ac yno yr arosodd hyd nes iddo gael ymgeledd gymwys yn mherson yr hon sydd yn awr yn weddw alarus ar ol yr enwog P. L. Davies. Diau fod arosiad y brawd Davies wedi bod yn fendith i'r teulu hwn, a hwythau yn eu hymddygiad tadol iddo yntau. Yr oedd y ty bob amser yn lân, trefnus a chysurus—y bwyd yn ei bryd, yn flasus, wedi ei goginio gyda chwaeth a chyflawnder, ac *economy* yn wastad yn ganfyddadwy. Yr oedd y brawd Davies tra dan eu cronglwyd wedi cynyddu yn ddeallawl ac yn ysbrydol, fel llo pasgedig, a gwn fod coffadwriaeth anwyl a pharchus yn nghalon P L. Davies i'r teulu anwyl a charedig hwn fu mor dirion a charedig iddo yn mabandod ei weinidogaeth.

Ond nid oedd dim yn nodweddu ein hanwyl chwaer ymadawedig yn fwy na'i ffyddlondeb a'i dyfal-barhad, ei haelfrydedd a'i hymlyniad trwy bob tywydd, yn dymorol ac ysbrydol, wrth achos ei Gwaredwr trwy gydol ei hoes, fel aelod o eglwys Carbondale. Yr oedd ty Dduw yn gartref iddi tra ar y ddaear, a diau fod y ty mawr—ty ei Thad, lle mae trigfanau lawer yn gartref tragywyddol iddi yn nghwmni yr Oen, a'r dyrfa waredigol a olchwyd yn ei waed.

Duw pob dyddanwch a barhao i ymgeleddu a chysuro ein hanwyl hen frawd Phillips, nes y caffo uno gyda ei briod sydd wedi ei flaenu i ganu cân Moses a chân yr Oen, yn eu gynau gwynion, a'r palmwydd yn eu dwylaw, gan ddywedyd, "Iddo Ef yr hwn a'n carodd, ac

Digitized by Google

a'n golchodd yn ei waed—iddo Ef y byddo'r gogoniant, y fendith, y gallu, yn oes oesoedd. Amen."

*Wilkesbarre, Pa.* THEOPHILUS JONES.

MR. MORRIS LEWIS.

Medi 15, 1882, yn Judson, Swydd Blue Earth, Minn., bu farw Mr. Morris Lewis, yn 73 mlwydd a 6 mis oed. Ganwyd gwrthddrych y sylwadau hyn yn Felin Rhiwsaeson, Llanbrynmair, Sir Drefaldwyn, G. C. Yr oedd yn fab i Morgan a Catherine Lewis. Priododd yn Rhymni, â Miss Mary Jones, Pen-y-wain, yr hon oedd ferch i William Richard Jones, o Aberdar. Bu iddynt ddeuddeg o blant, deg wedi eu claddu, a dau yn fyw, sef Mr. William R. Lewis a Mrs. Rachel Jones, y rhai sydd yn cyd-alaru a'u mam ar ol priod ffyddlon a thad tyner. Maent wedi eu gadael mewn sefyllfa gysurus; mae ganddynt ffermydd helaeth. Mae ffarm y mab yn ymyl lle ei dad, ac yr oedd yn fendith ei fod mor agos, oblegid bu yn gymorth mawr i'w fam i ofalu am ei dad yn ei hir salwch, 13 o wythnosau, gan ei fod yn fedrus iawn mewn amgylchiad o'r fath. Yr oedd y ferch mewn sefyllfa nas gallai wneyd llawer o help, oblegid ganwyd mab iddi yn yr adeg hono; ond gellir dweyd am dani, "Hyn a allodd hon, hi a'i gwnaeth." Ond er holl ymdrech y teulu, yn nghyd a'r meddyg medrus Dr. Prees, o Lake Crystal, angau gariodd y dydd. Mae yn hyfrydwch genyf weled y plant yn cyflawni gorchymyn yr Apostol, trwy dalu y pwyth i'w rhieni. Yr Arglwydd a dalo iddynt, yw dymuniad fy nghalon.

Bedyddiwyd ef dros 47 mlynedd yn ol gan y Parch. Morgan James, gweinidog y Bedyddwyr yn Rhymni; D. C., a pharhaodd yn ffyddlawn yn ngwinllan ei Arglwydd hyd ei fedd. Treuliodd lawer o'i amser yn ardaloedd y gweithfeydd glo yn Ohio a Pennsylvania. Yr oedd yn ddiacon ffyddlon a gweithgar, fel mae amryw o'r hen frodyr a chwiorydd y bu yn byw yn eu plith yn cofio am dano, yn ddiamheu, gyda pharch. Clywais ef yn adrodd lawer gwaith am yr hen frawd a'r diacon ffyddlon, Richard Wooley, o Youngstown, Ohio, a'u hymdrech gyda'u gilydd i godi addoldy yn un o'r ardaloedd uchod.

Daeth i Minnesota o Brady's Bend, Pa., yn ngwanwyn y flwyddyn 1855, a minau yn yr hydref o'r un flwyddyn. Buom yn cyd-addoli gyda'r brodyr A., a'r M. C., am rai blynyddau, hyd nes corphorwyd eglwys y Bedyddwyr yn Judson, yn gymysg o Gymry a Saeson, pryd y dewiswyd y brawd Lewis yn un o'r diaconiaid, yr hon swydd a gyflawnodd yn anrhydeddus hyd nes iddo gael ei alw oddiwrth ei waith at ei wobr. Yr oedd yn ddyn goleu iawn yn yr Ysgrythyrau, ac yn deall athrawiaeth yr efengyl yn dda. Yr oedd yn Fedyddiwr selog, ond nid sêl heb wybodaeth oedd ganddo. Yr oedd yn hoff iawn o bregeth Gymraeg, ac yn myned yn aml at enwadau eraill pan na byddai cwrdd genym ein hunain, a dywedai ei feddwl yn blaen wrthynt mai rhan o'r efengyl oedd yn gael ganddynt. Er hyny yr oedd ganddynt barch mawr iddo, a dangoswyd hyny ddydd ei angladd gan y dorf fawr ddaeth yn nghyd.

Cafodd gladdedigaeth barchus. Cyn codi o'r ty, darllenwyd rhan o Air Duw ac anerchwyd gorsedd gras gan yr hen frawd, y Parch. Jenkin Jenkins, ac aethpwyd yn orymdaith drefnus tua'r fynwent sydd yn ymyl capel Jerusalem—yr oedd 62 o gerbydau yn llawn o bobl. Wedi dodi yr hyn oedd farwol yn y bedd, aethpwyd i'r capel (canys nid oedd y brawd Lewis yn credu mewn myned a chorph marw i'r capel). Dechreuwyd gan y Parch. Mr. Powell (A.), ac ar ddymuniad y marw, pregethwyd gan y Parch. Griffith Roberts, Horeb (M. C.), yn fuddiol iawn. Ar ol y bregeth, anerchwyd y gynulleidfa gan y Parchedigion canlynol, John Roberts, Richard W. Jones, George Lamb, yr hwn oedd ar daith trwy y sefydliad; ac yn olaf gan y Parch. Wm. M. Jones, gweinidog Jerusalem, yr hwn a ddywedodd fod y brawd Lewis yn ddyn diwyd, gonest, a geirwir, ac yn Fedyddiwr selog, ac yn ystyried nad oedd hyny yn un anmharch iddo.

Yr oedd ganddo barch mawr i'r WAWR. Pan ar ei glaf wely, yr oeddwn yn myned a'r WAWR iddo, ac yn darllen rhanau o honi. Fel yr oedd yn nesu tua rhydiau yr afon, yr oedd ei ffydd yn cryfhau, ac yn dyfod yn fwy goleu arno, ac yn pwyso ar haeddiant y bendigedig Iesu, i'r hwn yr oedd wedi rhoddi gofal ei enaid er ys llawer blwyddyn. Soniai lawer am y plant oedd wedi eu claddu, y cawsai eu gweled oll cyn b'o hir. Gobeithiwn y ceir gweled y plant a'r wyrion yn dilyn eu rhieni mewn pob rhinwedd a daioni, ac y byddant yn dyner iawn wrth eu mam yn ei hiraeth a'i hunigedd ar ol ei hanwyl briod, wedi byw gyda eu gilydd am 48 o flynyddoedd. Dywedai y chwaer Lewis wrthyf, "Yr oedd ef gyda mi yn mhob trallod, ond yn awr yr wyf wedi fy ngadael yn unig." Yr hwn sydd wedi addaw bod yn briod y weddw ac yn dad yr amddifad a ofalo am dani hi a'r plant a'r wyrion, yw dymuniad brawd mewn galar, JOHN REES.

MR. JOHN HOPKINS.

Yn Doughton Station, ger Coalburgh, O., bu farw Awst 25, 1882, yn 52 mlwydd, 3 mis, a 19 diwrnod oed, o'r *typho-malarial fever*, Mr. John Hopkins, gan adael chwech o blant amddifaid, heb dad na mam, i alaru ar ei ol. Cafodd gystudd trwm am tua phum' wythnos. Gwnaed pob ymdrech gan y meddyg, Dr. Davies, a'r plant, er cael gwellhad iddo, ond ofer fu y cyfan—angeu a orfu, ac yntau a syrthiodd i byrth y bedd.

Digitized by Google

Tranoeth ymgasglodd tyrfa fawr o berthynasau a chyfeillion i dalu y gymwynas olaf iddo, pan y cludwyd ei weddillion marwol i dy eu hir gartref yn nghladdfa Youngstown, O., pan y gweinyddwyd gan yr ysgrifenydd.

Ganwyd y cyfaill John Hopkins yn Pwlleinon, Llanelli, Sir Gaerfyrddin, D. C., ac ymfudodd i'r wlad hon tua 36 mlynedd yn ol, ac ymsefydlodd yn Swatara, Pa., a bu ef a'i deulu yn cartrefu yno hyd y flwyddyn 1865, pan y symudasant i Dalaeth Ohio, i ardal Coalburgh, a phrynodd dyddyn o dir yn Doughton Station, lle y gweithiodd yn galed i godi ei deulu yn onest ac yn barchus.

Yr oedd ein cyfaill yn aelod anrhydeddus o Gyfrinfa Iforaidd Coalburgh, yn ddyn a berchid yn fawr gan bawb o'i gymydogion, a dangosodd y Gyfrinfa a'r cymydogion eu hedmygedd o hono drwy ei gladdu yn barchus.

Heddwch i'w lwch, a'r Arglwydd a fyddo yn llon'd ei addewid i'r plant anwyl sydd wedi eu gadael yn amddifaid ar ol. A. S. Phillips.

---

## GOHEBIAETH O GYMRU.

*Anwyl Frawd*—Araf yw symudiad y gwersyll crefyddol yn Nghymru ar hyn o bryd. Gydag ychydig eithriadau cysurlawn, bychan yw rhif y bedyddiedigion yn y gwahanol eglwysi. Credwyf, er hyny, nad ydym yn myned yn ol. Gwelais ysgrif gan ryw ohebydd yn *Seren Cymru* yn cwyno fod yr achos Bedyddiedig o fewn Cymanfa Mynwy yn colli tir yn gyflym. Ond ai tybed mai nid y rheswm o'r lleihad yn y cyfrif o fewn cylch y Gymanfa Gymreig (a chaniatau fod y gohebydd hwnw yn gywir), ydyw, fod y Saesneg yn enill tir mor gyflym a chyffredinol yn Mynwy? Mae hyn yn rhyw syniad digon pruddaidd i Gymro cenedlgarol, ond mae crefydd yn bwysicach nag iaith; a gwell genym i'r Saeson gael y bobl nag i'r diafol eu cael. Hawdd iawn gan bapyrau Eglwysig godi sylw fel eiddo gohebydd Mynwy, ond os rhoddir eglurhad ar ol hyny, ni bydd iddynt weled hwnw.

Wrth son am y mater hwn gallaf ddweyd ei fod yn ffaith fod y Saesneg yn gwasgu ar sodlau yr hen iaith yn mhob parth o Gymru; ac aiff terfynau yr olaf o hyd yn gulach, gulach. Yr wyf yn sicr y synai amryw o honoch sydd yna er's cryn nifer o flynyddoedd at agweddiad pethau erbyn hyn mewn llawer ardal. Dywedai Talhaiarn gynt y byddai i'r rheilffordd ladd y Gymraeg; ac yn wir nid heb sail yr ofnir y bydd i'w brophwydoliaeth gael ei gwireddu. Mae gan bob enwad Ymneillduol ond y Bedyddwyr ryw gymdeithas bwrpasol ar gyfer sefydlu achosion Seisnig yn Ngogledd Cymru. Trefnir moddion ar gyfer cael rhyw ddarpariaeth gyda ni. Hyd yma, er y diffyg a enwyd, yr ydym wedi gwneyd ein rhan yn rhagorol. Ceir eglwysi Seisnig yn Nghaergybi, Bangor, Llandudno, Rhyl, Buckley, Penycae, Cefnmawr, Brymbo, Llangollen, Wrexham, Holt, a phregethir yn achlysurol mewn amryw fanau eraill.

Ysgrifena "Aelod o Eglwys Wan" yn llym yn y *Greal* diweddaf ar gyflwr yr eglwysi gweiniaid. Dwg gyhuddiadau trymion yn erbyn y Gymanfa a'r gweinidogion, am eu difrawder yn yr achos; ond y mae'n amlwg fod ei brofiad o'r Gymanfa yn gyfyngedig, ei wybodaeth yn anmherffaith, a'i ysbryd rywfodd wedi myned o'i le. Ei feddyginiaeth yw cael un coleg yn Nghymru. Credir yn dra chyffredinol y byddai cael dim ond dau goleg yn llawer gwell na thri; ond yr un pryd ofnir mai ychydig wahaniaeth wnelai hyny i'r eglwysi gweiniaid. Mae "Aelod o Eglwys Wan" yn sicr o fod yn ei le pan y dywed y dylai yr eglwysi cryfion wneyd mwy dros y gweiniaid, a phe gallai rhywun eu deffro i ystyriaeth o'u dyledswydd, gwnelai gymwynas fawr.

Mae y Cymry yn cael mwy o sylw gan y Saeson o hyd. Cynelir cyfarfod Cymraeg yn nglyn a'r Undeb yn Lerpwl. Cymerir rhan ynddo gan y Parchn. E. Thomas, Casnewydd, N. Thomas, Caerdydd, O. Davies, Caer-

Digitized by Google

narfon, a Dr. Price, Aberdar. Y mae tua haner gweinidogion Seisnig Liverpool yn Gymry, ac yn mhlith y rhai mwyaf llwyddianus yno.

Mae cyfarfodydd yr Undeb Cymreig hefyd wrth y drws. Dysgwylir gwledd. Bydd y Llywydd, gan mai Mr. Thomas, Newport ydyw, yn sicr o fod yn dda. Cawsom lywyddion rhagorol o'r blaen. Gwelir amryw enwau newyddion i gymeryd rhan eleni, megys Mri. Evans, Gadlys; Williams, Nantyglo; Hughes (Arwystl); J. Witton Davies, B. A.; J. W. Maurice, Blaenycwm; Thomas Porter; Davies, Brymbo; Roberts, M. A., Brynceiriog, &c.

Trodd yr Eisteddfod Genedlaethol eleni yn Ninbych yn aflwyddiant hollol mewn ystyr lenyddol. Nid oedd neb yn deilwng i eistedd yn y gadair; a "neb yn deilwng," oedd y ddedfryd ar braidd bob peth. Beia rhai y beirniaid, ond credwyf mai esboniad arall sydd gywir. Nid oedd llawer o chwaeth wedi ei ddangos yn newisiad testynau; ni chafwyd ond amser byr iawn i gyfansoddi, ac ni hysbyswyd enwau y beirniaid hyd o fewn ychydig fisoedd i anfoniad y cyfansoddiadau i mewn. Yr oedd y cynulliad yn lluosog iawn, ac yr oedd yr wyl yn llwyddiant mewn ystyr arianol. Bydd yn werth i bwyllgor Caerdydd ddysgu gwers oddiwrth fethiant Dinbych. Dylid cael gwell testyn na Syr Hugh Owen, a gynygir ganddynt yn destyn y gadair. Buasai yn well cael cofiant i Syr Hugh, a chael barddoniaeth ar ryw destyn arall. Beth yw barn Cefni Parry a'ch beirdd enwog eraill? Yn sicr, ai ni ddylid bellach roddi cadair am awdl neu bryddest—y cyfansoddiad barddonol goreu, beth bynag fo.

Mewn serch atoch a'r cyfeillion oll.

H. CERNYW WILLIAMS.

*Corwen*, Alban Elfed, 1882.

---

—Dywedai Esgob Seisnig yn rwgnachllyd wrth ei was, ei fod yn marw. "Wel, fy arglwydd, ebai y gwas, "yr ydych yn myned i wlad well." "John," meddai yr Esgob yn ddifrifol, "Nid oes un lle gystal a hen Loegr!"

## NODION CYFFREDINOL.

—Dywed yr Atlanta (Ga.) *Constitution*: "Mae Dr. W. Lovett yn byw yn Scriven Co., a Judge Thomas M. Merriweather yn byw yn Newton. Pan yn fechgyn aent i'r un ysgol. Priodasant efeill-chwiorydd, merched Esgob Andrew. Bu farw eu gwragedd, yna priodasant ddwy chwiorydd eraill, merched yr Esgob Price. Bu farw y gwragedd hyn hefyd, ac yna priodasant chwiorydd drachefn am y drydedd waith, nid merched Esgob y tro hwn, ond merched Mr. Smith, o Greene Co."

—Cafodd y Parch. Dr. A. H. Burlingham, o New York, ddau lythyr ar ei ddesc un boreu Llun yn ddiweddar. Yr oedd y ddau lythyr yr un peth (*duplicates*), wedi eu rhoddi yn y post office yn Rangoon, India, yr un diwrnod. Danfonwyd hwynt mewn cyfeiriadau gwrthwynebol i'w gilydd, rhag ofn eu colli. Aeth un trwy China, dros y Tawelfor, ac ar draws ein Cyfandir. Aeth y llall gyda ffordd camlas Suez, trwy Itali, ac yn y blaen dros y Werydd. Felly yr oedd yr amser o Rangoon i New York, mewn cyfeiriadau gwrthwynebol, yn union yr un faint.

—Cyrhaeddodd Mr. Henry M. Stanley, yr archwiliwr Affricanaidd, Lisbon, Portugal, yn ddiweddar, mewn iechyd rhagorol. Yr ydoedd, meddir, wedi treiddio dri chant o filldiroedd tu draw i Vivi, ac wedi sefydlu pymtheg o orsafoedd masnachol. Ar y cyntaf yr oedd y brodorion yn elynol, ond daethant yn fuan mor gyfeillgar fel nad oedd angen ar y dynion yn y gorsafoedd masnachol am arfau i sicrhau eu diogelwch.

—Yn etholiad Talaethol Ohio, y 10fed o'r mis diweddaf, ysgubodd y Democratiaid y Dalaeth, gan ethol y tocyn Talaethol trwy fwyafrif o ryw 20,000. Etholasant hefyd 14 allan o 21 o aelodau o'r Gydgyngorfa, yr hyn sydd yn enill o saith aelod iddynt. Mae yn debyg mai pwnc y gwirod oedd prif achos y chwyldroad hwn, gan fod y Gwerinwyr o blaid cyfyngu ar ryddid blaenorol y fasnach yn y Dalaeth. Ceisia rhai wneyd allan mai anghymeradwyaeth o weinyddiaeth yr Arlywydd Arthur yw yr achos, yn nghyd ag achosion eraill.

—Traddododd y Parch. Henry Ward Beecher anerchiad a barhaodd am ddwy awr yn Nghymdeithasfa y Cynulleidfawyr yn Brooklyn, ar y 10fed o'r mis diweddaf, yn rhoddi ei resymau dros ei ymadawiad â'r Gymdeithasfa, y rhai oeddynt ei anghydwelediad â hwy, mewn perthynas i Dduw, pechod gwreiddiol, cosbedigaeth ddyfodol, &c., yr hyn a effeithiodd yn ddwfn ac yn boenus ar y gwrandawyr. Credai, gan ei fod yn methu cydweled â hwy, mai ei ddyledswydd oedd encilio, ond ei fod yn gwneyd hyny yn llawn o gariad brawdol, a dymuniadau da iddynt oll.

Digitized by Google

—Dywed y N. Y. *Evening Post*, ac â'r hyn y cyduna llawer eraill, nad yw enillion yr ymchwiliadau yn nghyfeiriad y Pegwn Gogleddol, yn werth yr hyn a gostiant. Mae yn hen bryd i wareiddiaeth gael y ffaith hon yn deg i'w meddwl a'i chalon. Nid yw ond ffolineb a gwallgofrwydd i wneyd yr ymdrechion mynych a dinystriol hyn i ddod o hyd i'r hyn nad yw yn werth ei gael—os, yn wir, a oes yno rywbeth i'w gael. Gellir amheu yn ddifrifol a ydyw yn iawn mewn ystyr foesol i gefnogi y fath anturiaethau.

—Mae perchenogion y gweithfeydd glo yn North Staffordshire, Lloegr, wedi caniatau codiad o ddeg y cant yn nghyflogau y mwnwyr, ar eu cais, a thrwy hyny atal 20,000 o ddynion rhag sefyll allan.

—Dathlwyd y 390ain gylchwyl flynyddol o ddarganfyddiad America gan Christopher Columbus, y dydd o'r blaen, gan ddinasyddion Italaidd New York.

—Ysgrifena Mr. M. E. Ludington, o Chicago, i un o'r newyddiaduron fel y canlyn: "Mae fy mam, Mrs. R. H. Ludington, yn 78 mlwydd oed, a chanddi ferch, Mrs. Cadney, yn 60 mlwydd oed, yr hon sydd a merch, Mrs. Tice, yn 40 mlynedd, yr hon sydd a merch, Mrs. David, yn 22 mlwydd oed, yr hon sydd a merch dwy flwydd oed, ac y mae yr oll yn byw yn Swydd Sullivan, N. Y., oddieithr fy mam, yr hon sydd yn byw yn ninas New York.

—Ysgrifena gohebydd o New York i'r *Boston Herald*, yn mynegu fod meddwdod yn lleihau yn ninas New York, a bod y gwahaniaeth rhwng deng mlynedd yn ol ag yn bresenol yn ddirfawr—a bod y bobl yn dysgu y wers o gymedroldeb a hunan-lywodraethiad.

—Poblogaeth y byd, yn ol yr ystadegau diweddaf, sydd yn 1,433,887,500. Dywedir yn awr fod poblogaeth China wedi cael ei amcangyfrif yn ormod, ac yn lle 434,500,000, fel ei cyhoeddwyd ddwy flynedd yn ol, darostyngir ef yn awr i 379,500,000. Y mae hefyd anghytundeb pa un ai 100,000,000 neu 200,000,000 sydd agosaf i nifer poblogaeth Affrica.

—Dywed ysgrifenydd yn y *North American Review* fod gan goron Lloegr y gallu gwaharddebol (*veto power*) yn ngwneuthuriad deddfau, ond nad yw wedi ei ddefnyddio am yn agos i ddau cant o flynyddoedd.

—Medi 30, derbyniwyd hysbysiad ddarfod i byrddwynt ofnadwy ymweled ag un o'r Friendly Islands, yr hwn a chwythodd i lawr 13 o eglwysdai, ac a ddinystriodd 1500 o dai. Collwyd llawer o fywydau, a niweidiwyd y planigfeydd.

—Dywedir fod 70,000,000 o alwyni o whisci *in bond* yn Nhalaeth Kentucky, yr hyn sydd yn cynrychioli dinystr 26,000,000 o fwsieli o yadrawn (*corn*).

—Dywed y *London Times* fod y Llywodraeth Brydeinig wedi penderfynu cadw 12,000 o filwyr yn yr Aipht am y presenol i gario yn mlaen a chwblhau y gwaith, yr hwn nad oedd gorchfygiad Arabi ond ychydig mwy na chlirio y ffordd iddo.

—Dywedir fod Ymerawdwr Twrci wedi anfon at Loegr i ofyn iddi alw ei holl filwyr yn ol o'r Aipht, am mai dan ei lywodraeth ef y mae y wlad hono; ond wedi i Loegr wrthod yn bendant i gydsynio â'r cais, dywedir fod ei ddigofaint yn annherfynol.

—Boddodd Kate Duffield, merch ugain ml. oed Henry Duffield, New Orleans, ei hun, yn ddiweddar, o herwydd i'w mam ei gorfodi i olchi y llestri cyn myned i ymweled â chwaer.

—Syrthiodd bachgen 15 oed, oedd yn byw yn Oxford, Ind., i nant, a dinystriodd *suit* o ddillad. Dywedodd ei fam wrtho y dylasai aros yn y nant. O herwydd y dywediad hwn saethodd y bachgen ei hun trwy ei galon. Y mae yn boenus meddwl mor barod y mae llawer o bobl ieuainc y dyddiau hyn i gymeryd eu bywydau eu hunain, a hyny yn fynych am yr achosion mwyaf dibwys.

—Clywsom am fasnachwr yr hwn a fu mor brysur gyda'i orchwylion y flwyddyn ddiweddaf fel yr oedd yn analluog i fod gartref ond ar amser prydiau bwyd. Penderfynodd gymeryd *vacation*. Gofynodd cyfaill iddo, i ba le yr oedd yn bwriadu myned. Atebodd, y meddyliai yr elai adref i ymgydnabyddu â'i deulu.

—Parhau yn derfysglyd ac annedwydd y mae yr Iwerddon. Un Sul yn ddiweddar, tra yr oedd yr heddgeidwaid yn cymeryd dyn meddw i fyny yn Limerick, ymosodwyd arnynt gan derfysgwyr, y rhai a luchiasant geryg mawrion atynt. Llwyddwyd i ddal eu harweinwyr. Dywedir fod awdurdodau Dublin wedi penderfynu codi £7,000 i anfon 1,000 o ddynion cryfion i Canada, mewn canlyniad i'r tlodi cynyddol yn yr Iwerddon.

—Creda heddgeidwaid Dublin fod llofruddwyr Arg. Cavendish a'r Ysgrifenydd Burke yn ddeg mewn rhifedi, a'u bod oll yn yr Iwerddon yn bresenol, ond nad oes fawr o obaith cael gafael arnynt os na cheir cynorthwy hysbysydd. Cafwyd yr arfau a ddefnyddiwyd yn nghyflawniad y llofruddiaethau rai wythnosau yn ol.

—Mae yn hysbys fod bron bob peth yn awr yn cael ei wneyd o bapyr. Darllenasom yn ddiweddar eu bod yn awr yn gwneyd hyd yn nod olwynion lleiaf oriaduron allan o bapyr, (*paper pulp*).

—Bwriada Prif Weinidog Lloegr, y Gwir Anrhyd. William Ewart Gladstone, encilio o fywyd cyhoeddus yn fuan, ar ol bod yn llafurus ac yn enwog ynddo am tua haner cant o flynyddoedd.

Digitized by Google

## DYDDANION.

Yr oedd Lord North, prif weinidog enwog o dan George III., yn arfer cymeryd *nap* pan fyddai rhai areithwyr yn traddodi areithiau hirion, ac yn gadael Syr Grey Cooper i nodi i lawr unrhyw beth o bwys. Un tro, pan oedd y pwnc o adeiladu llongau o flaen y Ty a siaradwr hir-wyntog wedi dechreu gydag arch Noah, ac yn nodi hanes adeiladu llongau o hyny i waered, mwynhai North ei *nap* yn hyfryd. Pan ddaeth yn mlaen at yr *Armada* Ysbaenaidd, rhoddodd Cooper ysgydwad i North. "Pa le y mae yn siarad yn awr?" meddai. "O dan deyrnasiad y frenines Elizabeth," meddai Cooper. "Syr Grey anwyl," meddai North, yn flin ei ysbryd, "Paham na buasech yn fy ngadael i gysgu canrif neu ddau yn ychwaneg?"

—Y mae hanesyn digrifol yn cael ei adrodd am yr enwog Daniel Webster pan oedd yn fachgen yn yr ysgol. Yr oedd y bachgen un diwrnod wedi gwneyd rhyw bechod cyhoeddus yn erbyn rheolau yr ysgol. Yr oedd yn gwybod y cawsai ei gosbi mor fuan ag y deuai i olwg ei feistr. Pan yn gwynebu ei feistr, yr oedd ei ddwylaw yn rhyfeddol o fudron—poerai ar un o'i ddwylaw cyn myned o'i flaen, a'i sychu yn ei ddillad, gan guddio y llaw futraf yn ofalus y tu ol i'w gefn. Galwodd ei feistr ef yn ddioed i dderbyn ei gosb, sef cael ei daraw ar ei law. Wrth weled ei law mor fudr, dywedodd y meistr wrtho yn bur ddig, "Daniel, os gwyddost ti am law futrach na hona o fewn yr ysgol, ti a gei dy arbed am y tro hwn." "Medraf, Syr," meddai y bachgen, a thynodd y llaw arall, yr hon oedd yn llawer butrach. Synodd y meistr at ei ddyfais, a gadawodd ef yn llonydd.

—Yr oedd boneddiges yn darllen i fachgenyn pump oed hanes bachgen rhinweddol, yr hwn ar ol marw ei dad pan oedd yn ieuanc iawn, a weithiodd yn ddiwyd i gadw ei hun a chynal ei fam. Ar ol iddi orphen y 'stori, dywedodd wrtho, "Yn awr, Tommy, pe byddai dy dad farw, a wnaet ti weithio i helpu dy fam?" "Wel, mam," meddai y crwtyn bychan, yr hwn nad hoffai y meddylddrych o weithio, "i ba beth, onid oes genym dy da i fyw ynddo?" "Oes, fy mhlentyn," meddai y fam, "ond nis gallwn fwyta y ty, yr wyt yn gwybod." "Wel, onid oes genym ddigon o bethau yn *pantry*?" meddai yntau wed'yn. "Oes siwr," meddai y fam, "ond ni wnelai y rhai hyny barhau yn hir." "Wel," meddai y plentyn di-ildio, "onid oes yna ddigon hyd nes y cewch chwi wr arall?" Rhoddodd y fam i fyny y ddadl.

—Un diwrnod, pan oedd nifer mawr yn ciniawa yn nhy Mr. Pease (Deon Ely), ar ol i'r llian gael ei symud, dygwyddodd yr ymddyddan fod am y marwolaethau hynod oedd yn mhlith cyfreithwyr yn ddiweddar. "Yr ydym ni," meddai un boneddwr, "wedi colli dim llai na chwech o gyfreithwyr mewn cynifer o fisoedd." Tra yr ydoedd yn llefaru hyn, darfu y Deon, yr hwn ydoedd yn hollol fyddar, gyfodi i roddi "gras ar ol bwyd," a dywedodd, "Am y drugaredd hon a phob trugaredd arall, molianus fyddo enw yr Arglwydd."

—Mewn *Ragged School* yn Scotland, cynygiwyd gwobr i'r plentyn a fedrai roddi yr hanes goreu o'r apostol Paul mewn deg ar hugain o eiriau. Cafwyd yr ymadroddion canlynol wedi eu cyfansoddi gan blentyn bychan: "Paul a aned yn Tarsus, ac a ddygwyd i fyny yn Jerusalem. Parhaodd yn erlidiwr hyd ei droedigaeth; ar ol hyny daeth yn ddilynwr Crist, er mwyn yr hwn y bu efe farw." Pwy a allasai roddi atebiad mwy cynwysfawr mewn can lleied o eiriau?

—Pan oedd boneddwr tra siaradus yn ymffrostio ei fod ef wedi ei ddysgu yn y gelfyddyd o siarad gan ffraethonydd enwog, dywedodd boneddiges oedd yn bresenol wrtho, "Syr, buasai y cwmpeini yma yn llawn mwy rhwymedig i'r boneddwr hwnw pe buasai wedi eich dysgu yn y gelfyddyd o atal y tafod."

Digitized by Google

# Y WAWR.

CYF. VII.] RHAGFYR, 1882. [RHIF. 9.

## AWDURDOD CRIST A DYLEDSWYDD DYNION.

GAN Y PARCH. A. WILLIAMS, YSTRAD RHONDDA, D. C.

"Beth bynag a ddywedo efe wrthych, gwnewch."—IOAN ii. 5.

Llefarwyd y testyn mewn priodas yn Cana Galilea. Mae llawer o bethau nad ydynt yn bwysig ynddynt eu hunain, wedi eu gwneyd yn bwysig ar gyfrif cysylltiad yr Arglwydd Iesu â hwy; llawer o leoedd, amgylchiadau a phersonau felly, megys Bethlehem a Golgotha, ac yma priodas Cana Galilea.

Peth digon cyffredin a dibwys ynddo ei hun ydyw priodas, ond y mae presenoldeb Iesu yno yn rhoddi pwysigrwydd i'r lle a'r amgylchiad. "A galwyd yr Iesu hefyd a'i ddysgyblion i'r briodas."

Wedi i'r gwin ballu, daeth mam yr Iesu ato i ddweyd, "Nid oes ganddynt mo'r gwin." Mae yn bosibl fod hyn yn dygwydd ar ail neu drydydd dydd y wledd, oblegid yr ydym yn cael fod gwleddoedd priodasol yn mysg yr Iuddewon yn parhau weithiau dros amryw ddyddiau. Ar y dydd cyntaf gwahoddid y dosbarth uchelaf, i'r rhai y rhoddid y bwydydd a'r diodydd goreu. Yr ail ddydd dosbarth is mewn parchusrwydd cymdeithasol, y rhai a fwynhaent ddarpariaethau llai moethus na'u blaenafiaid. Tebyg mai at hyn y cyfeiria llywodraethwr y wledd pan y dywed, "Pob dyn a esyd y gwin da yn gyntaf," &c. Os gwir yr esboniad hwn, gwelwn fod y ddarpariaeth wedi darfod erbyn i'r bobl dlotaf ddod yno. Rhaid fod Mair wedi cael rhyw arwydd neu brawf cyn hyn o allu yr Iesu. Ato ef yn unig y mae yn myned a'r achos, a chyda llaw yn rhoddi gorchymyn y testyn i'r gwasanaethwyr.

Goddefa y geiriau hyn gymwysiad eangach na'r amgylchiad yn y cysylltiadau. Yr ydym heno wedi cyfarfod i weinyddu yr ordinhad o fedydd, ac nid anmhriodol galw yr amgylchiad yn briodas. Priodas sydd weithred allanol o gyfamod rhwng personau a'u gilydd yn ngwydd tystion; yr oedd undeb calon yn bodoli o'r blaen. Mae y cyfeillion sydd i'w bedyddio yn bwriadu rhoddi arddangosiad gweledig i'r gwyddfodolion o'u hundeb â Christ; maent yn ei garu cyn heddyw, ac fel effaith hyny maent wedi anfon eu gostegion priodas i fewn i'r eglwys er ys wythnosau. Y testyn yw *charge* y briodas. "Beth byn-

Digitized by Google

ag a ddywedo efe wrthych, gwnewch."

Mae y tri sylw canlynol yn gyson â dysgeidiaeth y Testament Newydd trwyddo: I. Awdurdod ein crefydd—"Efe." II. Eangder yr awdurdod—"Beth bynag." III. Ein dyledswydd ni—"Gwnewch."

I. AWDURDOD EIN CREFYDD YDYW IESU GRIST. "Efe."

Nid oedd neb yn y wledd allasai symud yr anhawsdra yr oeddynt ynddo. Yr oedd ganddo ef allu; medrai wneyd fel y mynai, gan gymaint ei awdurdod. Gweithred ei ewyllys ef barodd i'r dwfr droi yn win yn y llestri. Y mae pob trefn a phob ordinhad mewn crefydd yn gwreiddio yn yr un ewyllys. Wrth ddweyd *Efe*, yr ydym yn golygu yr oll o'r Testament Newydd, oblegid beth ydyw ond mynegiad o'i ewyllys ef? Llefarwyd rhan fawr o hono ganddo ef ei hun yn uniongyrchol, a'r gweddill ganddo trwy ei apostolion. Corphoriad o hono ef ydyw. Dyma yr awdurdod mewn crefydd; yn ngoleu hwn yr ydym i edrych ar bobpeth; ac nid oes genym hawl i weithredu dim nad yw yn derbyn sel yr awdurdod hwn. Dyma felly ein hawdurdod mewn bedydd. *Efe.*

1. EFE, *ac nid teimlad.* A ydyw yn wirionedd fod teimlad yn cael yr awdurdod uchaf gan luaws yn y mater hwn? Digon gwir. Mae genym barch i deimlad; nid ydym, hyd y gellir, i'w glwyfo na'i ddiystyru. Ond cofier fod gan lywodraeth teimlad ei derfynau. Mae ei wneyd yn safon dyledswydd, nid yn unig yn anmhriodol, ond yn bechadurus i'r eithaf. Nid ydyw teimlad i fyny i dir gwirionedd a chydwybod. Pan ddaw teimlad ar ffordd awdurdod yr *Efe* yma, teimlad sydd i gilio draw mewn mudanrwydd. Pan oedd yr Arglwydd Iesu yn y byd gorchymynai i'w ganlynwyr adael ty, a brodyr a chwiorydd, a thad a mam, er ei fwyn ef a'r efengyl. Y pryd hwnw, yr oedd galwad am wneyd hyny yn llythyrenol yn fynych, ac mewn rhai manau gofynir hyny yn awr. Y wers gymwysiadol i ni yn hyn ydyw, fod y teimlad cryfaf i fod yn ddarostyngedig i awdurdod Pen yr eglwys. A oes yma rywrai yn cael eu rhwystro gan deimlad, mewn rhyw ffurf neu gilydd, rhag ufuddhau i'r ordinhad o fedydd? Os oes, goddefer i ni ddweyd yn garedig, ond penderfynol, fod *Efe* y testyn yn uwch na theimlad. *Efe*, nid cywilydd; *Efe*, nid perthynas cnawdol; *Efe*, nid pryder ac ofn. "Mae yr ordinhad yn anweddaidd," medd rhai; ond beth ddywed *Efe?* "Fel hyn mae yn weddus cyflawni pob cyfiawnder."

2. EFE, *nid enwad.* Mae sect wedi myned yn gryn allu yn y byd; ac y mae llawer nad ydynt yn breuddwydio am un safon uwch na'r enwad y cânt eu hunain ynddo. Dyma alpha ac omega lluaws mawr gyda chrefydd y dyddiau hyn; rheol anffaeledig ffydd a dyledswydd ydyw penderfyniadau yr enwad. Dyna ddywedai dynes rinweddol unwaith, oedd wedi ei magu yn mysg y Presbyteriaid, pan ofynwyd iddi os oedd yn canfod rhyw olion o fedydd babanod yn y Testament Newydd? "Na," meddai, "ond y mae yn ddigon eglur yn ein Holwyddoreg ni." Ie, yn llyfr yr enwad, dyna hi. Nid Catecism na Chyffes Ffydd ydyw yr awdurdod, ond *Efe.* Am y llyffetheiriau enwadol dylid dyweyd a gweithredu y geiriau hyny, "Drylliwn eu rhwymau hwy, a thaflwn eu rheffynau oddiwrthym," oblegid caethiwant filoedd rhag chwilio am y gwirionedd fel y mae yn yr Iesu. Onid oes genym ni barch mawr i'n henwad? Oes,

Digitized by Google

y mae; ond credwn ei fod yn seiliedig ar barch i orchymyn Crist. Yr ydym yn caru, ac yn ymlynu wrth ein henwad am ein bod yn ei barchu Ef. Nid yr enwad yw y safon; nid yr enwad yw yr awdurdod, ond *Efe*. O na fedrem astudio yr ordinhad o fedydd fel pob mater arall perthynol i grefydd, yn bersonol, Beiblaidd a diduedd; byddai genym felly obaith am syniadau clir a chywir.

3. EFE, *nid dynion da a dysgedig.*—Onid yw hyn yn cael ei ddefnyddio fel dadl yn fynych dros fedydd plant? Y mae dynion da lawer yn gwneyd, a phaham na fedrwn ninau wneyd yr un modd? Crogant eu diogelwch yn nghysgod dynion da, yn lle chwilio drostynt eu hunain pa beth a ddywed yr Ysgrythyr. Addefwn yn rhwydd fod lluaws o ddynion rhagorol yn perthyn i'r cyfundebau crefyddol, ond y mae dwyn hyn yn mlaen fel dadl dros daenelliad plant, neu unrhyw ymarferiad crefyddol arall, yn afresymol hollol, ac yn profi y cyfryw yn annheyrngarol i Frenin ein teyrnas. Os ydyw yn iawn, yn unig am fod dynion da yn ei arfer, yna y mae pechod yn iawn am yr un rheswm, canys y mae dynion da yn pechu. Mae yn ddiddadl fod llawer o ddynion da yn mysg y *Quakers*. Nid ydynt hwy yn arfer un o'r ddwy ordinhad; ond a ydyw hyn yn profi fod y ddwy ordinhad yn afreidiol, ac yn cyfiawnhau y neb a'u hesgeulusant? Dim o'r fath beth. Fe arweinia dilyn y ddadl hon i bob cyfeiliornad gymerodd le yn y byd crefyddol erioed.

Ffaeledd ydyw taenellu plant yn mhawb sydd yn ei arfer. Gweithred i'w gochelyd, ac nid i'w hefelychu ydyw. "Onid oes," meddir, "ddynion dysgedig yn perthyn i enwadau eraill, paham na allwn ni ymddiried ynddynt?" Ie, dyna egwyddor Rhufain yn ei pherffeithrwydd. Cadwant y Beibl oddiwrth y bobl gan ddweyd fod yr offeiriaid yn ddynion dysgedig ac yn medru ei ddeall, tra nas gallant hwy. Fel hyn twyllant y bobl gyffredin i aros mewn dygn anwybodaeth ar hyd eu hoes. Yr un egwyddor yn hollol sydd yn peri i filoedd ymdawelu o berthynas i fedydd. Eu hiaith ydyw, "Fel hyn y dywed Mr. —— yn ei Eiriadur, a Mr. —— yn ei Holwyddoreg," &c. Mae cymorth dynion dysgedig yn werthfawr; ond nid hwy yw y safon mewn materion crefyddol; ond *Efe*.

II. EANGDER EI AWDURDOD. "Beth bynag a ddywedo."

O ba natur bynag fuasai yr hyn a orchymynid gan Grist, yr oedd y gwasanaethyddion i'w gyflawni. Wedi iddo ddweyd wrthynt, "Llenwch y dwfrlestri," hawdd fuasai iddynt ddwyn yn mlaen wrthddadleuon, megys—"I ba ddyben y cariwn yr holl ddwfr? nid oes ei angen arnom, o'r hyn lleiaf nid oes angen llenwi y llestri hyd yr ymyl," a llawer o bethau tebyg. Ond "Pa beth bynag a ddywedo," oedd y gorchymyn, a dangosodd y canlyniad fod pwysigrwydd yn manylder gorchymyn Iesu. Mae awdurdod Crist gydag ordinhadau ei dy yn cyrhaedd i'r manylion, ac y mae ei awdurdod pan yn gorchymyn, beth bynag fyddo, yn peri ei fod yn bwysig. Yr ydym yn myned i dir peryglus pan yn newid trefn yr Iesu i rywbeth arall dan y syniad ei fod yn ddibwys, neu y gwna ffordd arall y tro. Yr ydym ar unwaith yn fforffetio grym ei enw pan yn ei newid i rywbeth gwahanol. Mae Iesu wedi rhoddi ei sêl a'i enw ar fedydd y crediniol. Yr ydym yn gallu galw arnoch yn awdurdod Crist i ym-

Digitized by Google

ostwng iddo. Ond ni byddai yn amgen na chabledd ynom, yn *forgery* yn wir, alw arnoch i ddwyn eich plant i gael eu taenellu! Peth ofnadwy yw defnyddio enw Iesu yn anghyfreithlon gydag unrhyw beth. Yr ydym oll yn barod i gyfaddef fod Rhufain wedi myned i eithafion drygioni wrth ddysgu cyfeiliornadau, arfer y creulonderau mwyaf annynol, a chyflawni y gweithredoedd mwyaf ffiaidd y clybuwyd am danynt—a'r cwbl yn enw Iesu. Gan nad oes sail i daenellu yn y Testament Newydd, peth o'r un natur ydyw gwneyd hyn yn ei enw. Mae pechod yn ddigon erchyll ar wahan i'r enw dwyfol-gysegredig hwn, ond yn fil myrdd mwy pechadurus yn gysylltiedig ag ef. "Beth bynag a ddywedo efe." Pa beth dibwys erioed a ddywedodd efe? Pa beth y gellid ei hebgor a ddyferodd dros ei wefusau? Ac eto fe fyn rhai pobl daeru ar dafod a phapyr mai dibwys ydyw hyn. Oni fyddai yn sarhad ar feistr i glywed gwas yn dweyd am orchymyn a roddodd iddo cyn myned oddi cartref am dro; "Peth dibwys hollol ydyw." Un o'r pethau diweddaf a ddywedodd Iesu ar y ddaear oedd gorchymyn i fedyddio y rhai a gredent. Anfri arno ydyw dweyd mai peth gwael a dibwys ydyw. Cofiwn am gylch ei awdurdod. "Beth bynag a ddywedo efe wrthych."

III. Ein dyledswydd ni. Mae yn gynwysedig yn y gair bach "gwnewch."

Medrem gyfeirio at ugeiniau o ddynion dysgedig wrth eu henwau, perthynol i'r enwadau eraill sydd yn cydnabod mai bedydd y crediniol trwy drochiad ydyw unig fedydd y Testament Newydd. "Nis gellir profi," meddai Luther, "fod bedydd babanod wedi ei sefydlu gan Grist." "Nid oes yr un gorchymyn trwy yr holl Destament Newydd dros fedyddio plant." —(Calvin) "Mae pob ymdrech i gael bedydd plant o'r Testament Newydd yn gwbl ofer."—(Lange.) "Trochi oedd y dull cyntefig o fedyddio."—(Wesley.) A lluaws mawr eraill ellid enwi. Yn mha beth yr oedd y rhai hyn yn colli? Yn y gwneyd, meddai pawb diragfarn ac anmhleidiol. Cyffesasant y gwirionedd, ond yn eu herbyn eu hunain. Mae eu credo yn y gwirionedd yn aros ar y ddaear tra maent hwy eu hunain wedi myned i fyd arall mewn anufudd-dod iddo. Nid yw bod yn fanwl gyda rhai gosodiadau ar draul anwybyddu'r lleill, ond diystyrwch ar awdurdod Pen yr Eglwys. Yr oedd y Phariseaid yn enwog am eu gorfanylwch gyda rhai pethau, ond yn dra esgeulus gyda phethau eraill, (gwel Mat. 23: 23.) Dichon i'r gorchymyn dwyfol weithiau fyned yn groes i gig a gwaed. Digon anhawdd i Abraham oedd gadael ei wlad a'i genedl, a mwy anhawdd iddo oedd aberthu ei unig fab Isaac. Digon anhawdd i'r Apostolion a'r merthyron oedd gwynebu y carcharau a'r tân, &c., ond gan fod yr "Efe" dwyfol wedi gorchymyn iddynt fod yn ffyddlon hyd angau, ufuddhasant o'u gwirfodd, dyoddefasant yn llawen y triniaethau garwaf, "am eu cyfrif yn deilwng i ddyoddef anmharch o achos ei enw ef." Ystyriwch, wrandawyr, fel y mae y gair hwn yn pwyso arnoch chwi. Mae llawer o honoch yn credu yn mhriodoldeb yr ordinhad sanctaidd hon. Ond y mae eisiau rhywbeth mwy na chredo. Pwy ydyw y gwr doeth? Neb llai na'r hwn sydd yn gwrando gair Crist ac yn ei wneuthur. (Mat. 7: 24.) "Os gwyddoch y pethau hyn, gwyn eich byd os gwnewch

Digitized by Google

hwynt." Gweddiwn am oleuni ar y gwirionedd, ac am râs Duw i ufuddhau iddo.

---

## Y CYFIEITHIAD DIWYGIEIG
### SAESONAEG O'R TESTAMENT NEWYDD.

GAN Y PARCH. OWEN JAMES, M. A , HYDE PARK, PA.

### IV.

Mewn ysgrifau blaenorol yr ydys wedi egluro yn ddigonol egwyddorion a rheolau beirniadaeth destynol. O hyn allan ni wnaf ond nodi y cyfnewidiadau yn unig, gan adael i'r darllenydd gredu fod pob cyfnewidiad wedi ei wneyd yn ol rhyw reol neu egwyddor sydd eisoes wedi ei hesbonio. Cofier mai ar gyfnewidiadau testynol yr ysgrifenir, ac yn y llythyr hwn cyfyngir ein sylw i Actau yr Apostolion.

Y mae yn nhestyn yr holl lyfr saith cant ag ugain o gyfnewidiadau; ond ychydig iawn o honynt sydd yn gwneyd gwahaniaeth pwysig yn y synwyr.

Pen. i., adn. 14, gadewir "ac ymbil" allan.

Adn. 25. Yn lle, "i dderbyn rhan o'r weinidogaeth hon," darllenir, "i gymeryd y lle yn y weinidogaeth hon, a'r apostolaeth o ba un y syrthiodd Judas, fel yr äi i'w le priodol ei hun." A chan fod "lle," yn y rhan flaenaf o'r adnod, yn golygu safle neu sefyllfa bersonol, rhaid rhoddi iddo yr un ystyr yn y rhan olaf o'r adnod. Y syniad, gan hyny, yw, fod Judas wedi syrthio o'i safle yn yr apostolaeth, ac wedi myned i safle briodol iddo ef ei hun, sef y tu allan i'r apostolaeth.

Yn adn. 26, yn lle, "a hwy a fwriasant eu coelbrenau hwynt," darllenir, "Ac a fwriasant goelbrenau iddynt," neu "tuag atynt."

Pen. ii., adn. 12, yn lle, "ac a amheuasant," darllenir, "ac yr oeddynt mewn petrusder yn dywedyd y naill wrth y llall."

Adn. 30, yn lle, "mai o ffrwyth ei lwynau ef o ran y cnawd y cyfodai efe Grist i eistedd ar ei orseddfa ef," darllenir, "mai o ffrwyth ei lwynau ef y gosodai efe un ar ei orseddfa ef." Yna yn adn. 31, cymwysir y geiriau hyn at Grist. Yn yr adnod hon hefyd gadewir "ei enaid" allan, a gosodir "ef" yn ei le.

Yn adn. 33, gadewir "yr awrhon" allan. Yn adn. 41, gadewir "yn ewyllysgar" allan, a gosodir "yn" o flaen "y dwthwn hwnw." Yn adn. 47, gadewir "yr eglwys" allan, a chysylltir y gair "y'nghyd" yn yr adnod gyntaf o'r drydedd benod â'r adnod hon, ac yna darllenir, "A'r Arglwydd a ychwanegodd atynt bob dydd y rhai oeddynt yn cael eu cadw." Y mae y ferf "cadw" yn yr amser presenol, ac yn golygu, nid y rhai a fyddent gadwedig, na'r rhai oeddent wedi eu cadw, ond y rhai oeddent ar y pryd hwnw yn y gwaith o gael eu cadw.

Yn pen. iii., adn. 11, yn lle "y cloff a iachasid," darllen "efe." Yn adn. 18, yn lle "Eithr y pethau a ragfynegodd Duw drwy enau ei holl broffwydi, y dyoddefai Crist, a gyflawnodd efe fel hyn," darllenir, "Eithr y pethau a ragfynegodd Duw drwy enau yr holl broffwydi, y dyoddefai ei Grist ef, a gyflawnodd efe fel hyn." Yn adn. 20, yn lle, "yr hwn a bregethwyd o'r blaen i chwi," darllenir, "yr hwn sydd wedi ei ordeinio i chwi."

Yn pen. iv., adnodau 25 a 27, ceir engreifftiau dyddorol o wahaniaeth rhwng y Testament Saesonaeg a'r un Cymraeg. Yn y Testament Saesonaeg

Digitized by Google

gadewir allan o adnod 25 y geiriau, "drwy yr Ysbryd Glan," ac o adnod 27 gadewir állan y geiriau, "yn y ddinas hon." Y mae yr adranau hyn i'w cael yn y Testament Cymraeg, a gosodir hwynt i mewn yn awr yn y Testament diwygiedig.

Pen. v., adn. 33, yn lle, "ac a ymgynghorasant am eu lladd hwynt," darllenir, "ac a feddyliasant am eu lladd hwynt." Nid y syniad yw eu bod eisoes wedi siarad y naill wrth y llall am ladd yr apostolion, ond fod y cynhyrfiad i'w lladd hwynt eisoes wedi myned i mewn yn nerthol i'w calonau. Yn adnod 39, yn lle, "ni ellwch chwi ei ddiddymu," darllenir, "ni ellwch chwi eu diddymu hwynt."

Pen. vi. 8. "Eithr Stephan yn llawn *ffydd* a nerth," a ddarllena, "yn llawn *gras* a nerth."

Yn pen. viii., adn. 10, gosodir i mewn y ferf, "a elwir," ac yn lle "mawr allu Duw yw hwn," darllenir, "y dyn hwn yw y gallu hwnw o Dduw a elwir mawr." Nid datganiad o ryfeddod yn unig sydd yma, ond arddangosir fod y bobl goelgrefyddol hyn yn ystyried Pedr yn ymgorpholiad o allu neillduol a berthynai i Dduw, yr hwn a elwid ganddynt hwy "y mawr."

Gadewir adnod 37 allan o'r testyn, a gosodir hi ar ymyl y ddalen. Y tebygolrwydd cryf yw nad ydyw yr adnod hon yn ddilys; eto y mae i'w chael mewn llaw-ysgrifau gwir henafol. Y ffordd fwyaf rhesymol i gyfrif am dani yw yr un ganlynol: Yr oedd gan y Cristionogion boreuol fath o *gatechism*, yr hwn a ddefnyddient wrth arholi ymgeiswyr am fedydd. Yr oedd y *catechism* hwn wedi ei sylfaenu ar gredoau ac arferion yr eglwysi apostolaidd, ac yn ddiamheu yr oedd yr adnod dan sylw yn rhan o hono. Wrth ddarllen hanes bedyddiad yr eunuch neddyliodd rhyw un ei fod yn anghyflawn a disymwth, a gosododd ran o'r catecism ar ymyl y ddalen. Ar ol hyny llithrodd yr adran i gorph y testyn, ac y mae i'w chael heddyw mewn llawer o law-ysgrifau. Er nad yw yn rhan o'r ymddyddan a gymerodd le rhwng Phylip a'r eunuch, eto dengys fod cyffesu ffydd yn Iesu Grist yn un o gymwysderau angenrheidiol deiliaid bedydd yn yr oes apostolaidd.

Yn pen. ix. 5, 6, gadewir allan "caled yw i ti wingo yn erbyn y symbylau. Yntau gan grynu, ac a braw arno, a ddywedodd, Arglwydd, beth a fyni di i mi wneuthur? A'r Arglwydd a ddywedodd wrtho," a darllenir, "Myfi yw Iesu, yr hwn yr wyt ti yn ei erlid; cyfod a dos i'r ddinas," &c. Y mae y geiriau a adewir allan i'w cael yn pen. 26: 14, a 22: 10, ac oddiyno y trosglwyddwyd hwy i'r man hwn.

Yn adn. 31, yn lle "eglwysi," ceir "eglwys," ac y mae y berfau sydd yn canlyn yn y rhif unigol. Priodol yw dywedyd yn y man hyn fod y gair "eglwys," yn y deuddeg penod cyntaf o lyfr yr Actau, yn cynwys holl Gristionogion proffesedig Judea a Samaria, ac mai Jerusalem oedd ei chanolfan. Y mae i'r gair yr un ystyr hefyd yn mhob man lle y cyfeiria at yr amser sydd yn cael son am dano yn y penodau hyn, sef Gal. i. 13; Phil. 3: 6; a 1 Cor. 15: 9.

Y mae pen. xiii. 18 wedi bod yn destyn llawer o ddadlu. Fel hyn y dywed y Parch. Wm. Edwards, Llywydd Coleg Pontypool, yn ei lyfr ardderchog ar yr Angenrheidrwydd am Ddiwygiad o'r Testament Cymraeg: "Ac yn nghylch deugain mlynedd *y goddefodd efe eu harferion hwy* (*etropophoresen*) yn yr anialwch. Yma, yn debyg,

Digitized by Google

y gwir ddarlleniad yw *etrophophoresen*, dim ond gwahaniaeth o un llythyren, ystyr yr hwn yw 'dwyn fel mamaeth,' '*to bear as a nurse.*' Gwelwn yn y gair hwn dynerwch ac amynedd rhyfedd Duw at y genedl wrthnysig. 'Ac yn nghylch deugain mlynedd y meithrinodd efe hwynt yn yr anialwch.'" Y mae amryw o'r beirniaid goreu yn meddwl yr un peth. Y darlleniad hwn yw yr un a fabwysiadwyd gan y cwmpeini Americanaidd, ond y mae y bwrdd Seisonig wedi dewis cadw yr hen ddarlleniad, ac wedi gosod y darlleniad arall ar ymyl y ddalen.

Y mae yr adnodau 19 a 20 o'r benod hon wedi achosi llawer o ddyryswch ac anhawsdra yn y gorphenol. Yn ol fel y darllenant yn y testyn derbyniedig, gellid meddwl fod y genedl wedi bod o dan farnwyr am bedwar cant a haner o flynyddoedd. Ond yn yr Hen Destament, 1 Bren. 6, darllenwn nad oedd ond 480 o flynyddoedd rhwng dyfodiad y genedl o'r Aipht ac amser Solomon. Yn y testyn diwygiedig symudir yr anhawsdra hwn. Yn lle y ferf a gyfieithir "â choelbren y parthodd," ceir berf yn golygu "rhoddi fel etifeddiaeth." Hefyd newidir safle y geiriau, "Ac wedi y pethau hyn," a gosodir hwy ar ol, ac nid o flaen, "dros yspaid yn nghylch pedwar cant a deg mlynedd a deugain," a darllena y cwbl fel hyn: "Ac wedi iddo ddinystrio saith cenedl yn nhir Canaan, efe a roddes *iddynt* eu tir yn etifeddiaeth am yspaid o tua phedwar cant a deg mlynedd a deugain. Ac wedi y pethau hyn efe a roddes farnwyr iddynt hyd Samuel y prophwyd."

Yn adn. 26, yn lle, "i chwi," &c., darllenir, "i ni yr anfonwyd allan air yr iachawdwriaeth hon."

Yn adn. 42, yn lle, "A phan aeth yr Iuddewon allan o'r synagog, y cenedloedd a atolygasant gael pregethu y geiriau hyn iddynt y Sabboth nesaf," darllenir, "Ac fel yr oeddynt yn myned allan, hwy a atolygasant gael pregethu y geiriau hyn iddynt y Sabboth nesaf."

Yn pen. xv., adn. 23, gadewir allan y geiriau sydd wedi wedi eu cyfieithu "a'r" o flaen "brodyr," ac yna darllena y cyfieithiad Seisonig, "yr apostolion a'r brodyr henafol at y brodyr," &c. Ond yr oedd y pwyllgor Americanaidd yn groes i'r darlleniad hwn, ac yn cyfieithu fel y canlyn: "Yr apostolion a'r henaduriaid, brodyr, at y brodyr y rhai sydd o'r cenedloedd yn Antioch, Syria, a Cilicia, yn anfon anerch." Y mae y cyfieithiad hwn yn tra rhagori ar eiddo y Saeson, am ei fod yn dangos fod y llythyr yn deillio oddiwrth swyddogion yr eglwys, ac nid oddiwrth yr apostolion a'r brodyr henafol answyddogol.

Pen. xvi. 7, yn lle "ysbryd," darllenir, "ysbryd yr Iesu." Y mae y Testament Cymraeg yn darllen fel yna eisoes.

Yn adn. 14, yn lle, "megys i'r môr," dylid darllen, "can belled a'r môr." Nid y syniad yw fod Paul wedi ei ddanfon fel pe bae yn nghyfeiriad y môr, ac yna iddo newid ei lwybr, a thrwy hyny dwyllo ei elynion. Y syniad yn hytrach yw, fod y brodyr wedi cychwyn i hebrwng Paul, gan fwriadu myned mor bell a'r môr, ond yn lle hyny hebryngasant ef mor bell ag Athen. (Adn. 15.)

Pen. xviii. 5, yn lle "bu gyfyng ar Paul yn yr ysbryd," rhoddir "gair" yn lle "ysbryd," a darllenir, "Paul a orfodwyd gan y gair, gan dystiolaethu wrth yr Iuddewon mai Iesu oedd y Crist."

Digitized by Google

Gadewir allan ran helaeth o adn. 21, ac yn y testyn diwygiedig darllenir fel y canlyn: "A chan ganu yn iach iddynt, a dywedyd, 'Dychwelaf atoch eto os Duw a'i myn,' efe a hwyliodd ymaith o Ephesus."

Yn adnod 25, yn lle, "pethau a berthynent i'r Arglwydd," darllenir "pethau a berthynent i'r Iesu."

Pen. xix. 2, yn lle "Ni chawsom ni gymaint a chlywed a oes Ysbryd Glan," darllenir "Ni chawsom ni gymaint a chlywed fod yr Ysbryd Glan wedi ei roddi."

Pen. xx. 4, ychwanegir "mab Pyrrhus," a darllenir "Sopater, mab Pyrrhus, o Berea."

Yn pen. xxiv. 6—8 gadewir allan o'r testyn, a gosodir ar ymyl y ddalen y geiriau canlynol: "Ac ni a fynasem ei farnu yn ol ein cyfraith ni, eithr Lysias y pen capten a ddaeth, a thrwy orthrech mawr a'i dug ef allan o'n dwylaw ni, ac a archodd i'w gyhuddwyr ddyfod ger dy fron di."

Yn pen. xxvi. 15, yn lle "Ac efe a ddywedodd," darllenir "A'r Arglwydd a ddywedodd."

Un o'r cyfnewidiadau mwyaf dyddorol yn y Testament Newydd yw yr un a geir yn yr ymddyddan rhwng Paul ac Agrippa, yn y benod hon. Newidir dau air Groeg, a gwneir cryn ddiwygiad yn y cyfieithiad. Yn lle y gair a gyfieithir "i fod," gosodir gair yn golygu *gwneyd*, ac yn lle y gair a gyfieithir "yn gwbl oll," gosodir gair yn golygu *mawr*. Yna mae yr holl ymddyddan yn rhywbeth fel y canlyn: Gofyna Paul i Agrippa, "A wyt ti yn credu i'r prophwydi?" ac ateba y gofyniad ei hun, "Mi a wn dy fod yn credu." Yna mewn gwawdiaeth foesgar ond dirmygus, dywed Agrippa: "Gyda chymelliad bychan y caret fy ngwneyd i yn Gristion." Yna etyb yr apostol yn ngwres ei frwdfrydedd tanllyd: "Mi a ddymunwn ar Dduw, pa un bynag ai gydag un bychan neu gydag un mawr, fod nid yn unig tydi ond pawb hefyd ar sydd yn fy ngwrandaw heddyw yn gyfryw ag wyf i ond y rhwymau hyn."

Dyna ni yn awr, ddarllenydd amyneddgar, wedi myned drwy y cyfnewidiadau mwyaf pwysig yn nhestyn llyfr Actau yr Apostolion. Dichon yr ymddangosant yn ddibwys i ti, ond os cymeri dy Destament yn dy law, a throi at bob cyfnewidiad y cyfeirir ato, cei weled fod y cyfnewidiadau oll yn cydgyfranu i wneyd gair yr Arglwydd yn fwy eglur neu yn fwy syml.

---

## BETH YW SIOMIANT?

GAN IEUAN GWYNEDD.

Beth yw Siomiant? Tywyll ddu-nos
Yn ymdaenu ganol dydd,
Nes i flodau gobaith wywo,
Syrthio megys deilach rhydd.
Beth yw Siomiant? Pryf gwenwynig
Yn anrheithio gwraidd y pren,
Nes ymdaena cryndod drwyddo,
Er dan iraidd wlith y nen.

Beth yw Siomiant? Llong ysblenydd,
Nofia'n hardd i lawer man,
Wrth ddychwelyd tua'i phorthladd,
Yn ymddryllio ar y lân.
Beth yw Siomiant? Cwpan hawddfyd
Yn godedig at y min,
Ac yn profi'n fustlaidd wermod,
Yn lle bywiol felus win.

Beth yw Siomiant? Calon dyner,
Drom, yn gwaedu dan ei chlwyf,
Mewn dystawrwydd, pan o'i deutu
Y mae pawb yn llawn o nwyf.
Beth yw Siomiant? Cynllun bywyd
Mewn amrantiad wedi troi,
Ninau ar ei ol yn wylo,
Yntau wedi bythol ffoi!

Digitized by Google

Beth yw Siomiant? Tad yn edrych
Ar ei faban tlws, dinam,—
Arno'n gwenu,—yna'n trengu,
Pan ar fron ei dyner fam!
Beth yw Siomiant? Sylwi'n mhellach
Ar y fam yn wyw ei gwedd,
Ac yn plygu, megys lili,
I oer wely llwm y bedd!

Beth yw Siomiant? Dim ond teimlad
Meddwl claf yn llawn o wae,
Pan yn canfod pob meddygon
Yn ei adael fel y mae.
Beth yw Siomiant? Chwenych bywyd,
Eto methu'n deg a byw;
Yna plygu'r pen i farw
Dan och'neidio—DYNA YW!

## Y GWEITHIWR.

### EI FFOLINEBAU A'I RAGORIAETHAU MEWN DAMEG

GAN Y PARCH. W. HADDOCK, BLAENYFFOS, DEHEUDIR CYMRU.

### *Rhan III.*

Yr oedd gwraig weddw unwaith a thri mab ganddi—eu henwau oedd Robin, Tom, a Willie. Yr oedd y weddw trwy ddiwydrwydd a chynildeb wedi cynilo ychydig o arian, ac un diwrnod tynodd hwy allan o'i llogell, a gofynodd i Robin, y bachgen hynaf, beth oedd oreu i wneyd a hwynt? Atebodd yntau, mai eu claddu yn y ddaear, a threio cael rhagor atynt. Wedi hyny gofynodd i Tom, yr ail fachgen, beth a wnelai â hwynt? ac atebodd ef, am iddi eu gwario, ac yna buasai terfyn arnynt. Meddyliodd y weddw wedi hyn nad gwiw gofyn i'r plant beth i wneyd a'r tipyn arian, felly ni ofynodd i Willie, yr hogyn ieuengaf; ond teimlodd ef yr *insult*, a gofynodd, "Sut na buasai yn gofyn iddo ef?" "Wel," meddai y fam, "beth wyt ti yn ei ddweyd, Willie?" Atebodd yntau yn syth, "Masnachwch â hwynt, ac yna bydd iddynt dyfu." Derbyniodd y fam gyngor Willie, a phenderfynodd yru y plant i'r ffermdai oedd gerllaw i brynu nwyddau. Yr oedd Robin i brynu llaeth, Tom i brynu blawd, a Willie i brynu caws. Ond cyn i'r hogiau gychwyn, rhoddodd y fam, heblaw yr arian i brynu nwyddau, geiniog i bob un o honynt yn eu llogellau at eu gwasanaeth eu hunain. Wedi hyn aethant i'w ffordd; ond cyn eu bod yn mhell, cwrddasant â hen wr yn cardota, ac yn gofyn am elusen. Atebodd Robin a Tom yn sarug, nad oedd ganddynt hwy ddim i'w roddi; ond atebodd Willie, nad oedd ganddo ef ond ceiniog o'r eiddo ei hunan, ac y buasai yn cael hono, os mynai. "Bendith arnat," meddai yr hen wr, bydd i ti lwyddo." Ni fu rhagor am hyny y pryd hwnw. Ond wedi i'r brodyr wasgaru oddiwrth eu gilydd, pob un i'w ffordd, penderfynodd Robin i guddio yr arian, a dweyd wrth ei fam ei fod wedi syrthio i lawr a thori yr ysten, a cholli y llaeth. Dygwyddodd Tom gwrddyd â dyn yn gwerthu adar, a phenderfynodd eu prynu; ond wrth ei fod yn ceisio eu cario adref, darfu iddynt y naill ar ol y llall ymysgwyd o'i ddwylaw a dianc; ond aeth Willie i'r fferm a fwriadodd i brynu caws, ac er ei syndod, yr oedd yr hen wr oedd ef wedi ei gwrdd ar ei ffordd wedi bod yno o'i flaen ef, trwy ddianc ar hyd ffordd agosach, ac yr oedd wedi peri i'r ffermwr roddi y cosyn mwyaf yn y ty i Willie, ac yr oedd wedi *settlo* y *bill* am dano; a chymaint a allasai Willie wneyd oedd, weithiau cario y cosyn, a phryd arall ei rolio. Felly gwelir mai Willie wnaeth i'r arian dyfu. Daeth a'r arian yn ol i'w fam, a chosyn o'r caws mwyaf, a goraf gyda hyny, dim ond ei fod wedi defnyddio y geiniog yn y ffordd iawn.

Mae y ddameg neu y chwedl uchod yn ddesgrifiadol iawn o lawer o weithwyr. Mae rhai fel Robin, hunan yw y cwbl ganddynt; nid ydynt yn gofalu am neb na dim, os gallant hwy borthi hunan. Pe byddai iddynt allu cael holl aur y cread, cuddient ef fel na chai neb arall ddim o hono. Dyma yw eu duw. Gwnant unrhyw beth, a phob peth, er mwyn cael y duw hwn. Nid oes amheuaeth nad oes llawer

Digitized by Google

gweithiwr yn gybydd perffaith, ac yn gwneyd cam a'i hunan mewn pethau angenrheidiol i'w gysur, a cham a'i deulu, ac a chymdeithas yn gyffredinol. Ymogelwn rhag cuddio a chadw y cwbl.

Mae eraill fel Tom, yn *indiscreet*, yn prynu pethau diwerth a diddefnydd, ac felly yn myned yn dlawd a diymgeledd trwy eu ffolinebau eu hunain, a dichon mai hyn yw ffolineb y mwyafrif o weithwyr. Dylai y rhai sydd yn debyg i Tom ofalu rhag i'r adar i gyd ddianc o'u dwylaw. Ond y mae yn well genym ni Tom na Robin, o herwydd y mae ef yn gwneyd lles i ryw rai, os nad iddo ei hunan.

Mae eraill yn debyg i Willie, ac efe yw ein *favorite* ni, am ei fod yn gwneyd i'r arian dyfu, a hyny yn y ffordd iawn. Nid trwy guddio ein heiddo mewn unrhyw ystyr, ac nid trwy eu *sqandero* yn *indiscreet*, y mae gwneyd iddynt dyfu, ond trwy fod yn ddoeth a charedig, fel Willie.

Mae hanes y gweithiwr yn benod bwysig yn hanes cynydd ein gwlad, a hanes pob gwlad arall dan y nefoedd. Pa bethau bynag a gafodd eu hordeinio gan freninoedd a thirfeddianwyr doeth a da, a pha bethau bynag a gafodd eu cynllunio a'u dyfeisio gan athronwyr, a dynion mawr a gwybodus, y gweithiwr sydd wedi eu cario allan i orpheniad ac ymarferiad, er lles cyffredinol y cyhoedd.

Mae y gweithiwr hefyd wedi bod yn awdwr ac yn gynlluniwr rhai o'r pethau mwyaf defnyddiol a gwasanaethgar yn ein gwlad, a gellir dyweyd mewn gwirionedd mai efe sydd wedi gwneyd i'r arian dyfu. Gweithiwr oedd Stephenson, yr hwn a gynlluniodd y rheilffyrdd gyntaf, a pha rai sydd yn awr wedi lledu yn agos dros yr holl fyd gwareiddiedig. Byddai yn anmhosibl i ni yn awr olrhain hanes y gwr mawr hwnw, a llawer o'i fath a fu yn fendith ac yn lles i'r byd.

Bu amser pan nad oedd y gweithiwr yn cael y parch a ddylasai, ond yn hytrach yr oedd yn cael ei wawdio a'i ddirmygu gan freninoedd a phenaethiaid ei wlad. Er ys ychydig ganrifoedd yn ol, dywedir fod gweithwyr Prydain Fawr yn cael eu prynu a'u gwerthu fel ceffylau, ac nid oedd neb yn gofalu nemawr am eu cyrph, eu rhyddid, eu diwylliant meddyliol, na'u heneidiau. Mae llawer o son a siarad am yr hen amser gynt, ei fod yn amser da; ond y gwirionedd yw, nid oedd yn chwarter cystal a'r amser presenol. Nid oedd y gweithiwr y pryd hwnw yn cael cymaint parch a chwi yn awr; gadewid ef ewn anwybodaeth a thlodi, ac yr oedd yn gorfod byw mewn hen dyllau afiach o dai, ac nid oedd yn cael digon o gyflog am ei waith, felly yr oedd ei ddillad yn brin, a'i fwyd yn arw, ac yr oedd hyny yn peri fod marwolaethau yn amlach, a thrwy hyny y boblogaeth yn llai nag yn bresenol. Ond yn awr y mae pethau wedi newid er gwell, ac y mae y cyfnewidiad a'r gwelliant hwn i'w briodoli i ddau beth, sef, i'r defnydd da oedd yn y gweithiwr ei hunan, ac i Gristionogaeth a'i dylanwad. Darfu i Willie actio y boneddwr, a daeth Cristionogaeth fel ffrynd yn mlaen i'w helpu.

Y benod nesaf fydd, "Y Gweithiwr yn Enill ei Ryddid." Hyn yn fyr hyd y tro nesaf.

## COLLI A CHADW.

Mae mwy o golled a thrueni, trallod, ing, a phoenau, yn gysylltiedig â bod yn golledig, na dim a welodd llygad, nac a glywodd clust, nac a ddychymygodd calon dyn; a mwy o enill, gwynfyd, dedwyddwch, dyddanwch, elw, mawredd, a gogoniant yn glymedig â bod yn gadwedig, na dim a ddyfeisiodd calon dynion o ddechreu hyd ddiwedd byd, nac a ddichon holl angelion Duw ei ddatgan a'i draethu allan mewn miliwn o flynyddoedd. Bydded i'r ddau beth soddi i'n meddwl: (1.) Bod enaid yn golledig sydd yn cynwys mwy o golled na fu erioed, a chrynhoi yn nghyd yr holl golledion a wnaeth y dylif, tân Sodom, rhyfeloedd gwaedlyd yr oesoedd ar gyfoeth, teyrnasoedd, cyrff dynion, a pherthynasau anwylaf. O, yr ing! O, yr

Digitized by Google

ebychau! O, y loesion! O, yr ocheneidiau! O, y gruddfanau trymion a dwysion! O, y llefau irad ac anaele a fu yn y byd er Abel! Pe crynhoid hwy yn un alaethus ochenaid ni byddent ond ysgafnderau at alaethus ochenaid enaid wedi syrthio i'r tân i'w losgi, nid am fil, na myrddiwn, na rhifedi y tywod o flynyddoedd neu oesoedd, ond dros byth bythoedd. O diolch nad ydym wedi cyfarfod â'r golled anadferadwy hon! (2.) Mae enill mawr wedi bod yn y byd, a a llawenydd mawr am gyfoeth, clod, a buddugoliaethau ar dir a mor, ac am berthynasau hawddgar. Pe gellid cael y cwbl o'r llawenydd hwn a redodd drwy yr oesoedd fel ffrydiau afon amser, nentydd yr hon a wnaeth blant dynion yn llawen, mewn cydmariaeth i gael enaid yn gadwedig, nid ydynt o rym, na nerth, na sylw, mwy na chân *robin* yn nghoedwig Windsor, yn ngwyneb can' miliwn o delynau yn canu cân bywyd tragywyddol, a miliwn o filiynau o fagnelau yn tanio ac yn rhuo o dŵr y praidd, yn hysbysu fod yr enaid wedi ei osod mewn meddiant o gadwedigaeth dragywyddol. "Fel na choller pwy bynag a gredo ynddo ef, ond caffael o hono fywyd tragywyddol."—*Christmas Evans.*

---

## Y FEIBL GYMDEITHAS A'R BEDYDDWYR.

[O Seren Gomer.]

### ACHLYSUR FFURFIAD Y GYMDEITHAS GYFIEITHIADOL.

Parhaodd y Gymdeithas Feiblaidd Frytanaidd a Thramor i estyn cynorthwy i ledaenu cyfieithiadau cenadon y Bedyddwyr o'i sefydliad yn 1804 hyd 1833. Wrth gwrs, yr oedd y geiriau am fedydd a bedyddio yn y rhai hyn yn golygu trochiad a throchi. Sylwodd yr Indiaid cyn hir fod rhai o'r cenadon yn India yn taenellu a dwfr, a'r Testament Newydd yn dysgu suddo mewn dwfr. Yn 1827 dechreuodd cenadon y taenellwyr yn India achwyn fod cyfieithiad y Bedyddwyr o'r gair *baptizo* i air yn arwyddo *suddo*, yn taflu rhwystr ar eu ffordd hwy, a diystyrwch ar eu gwasanaeth. Cryfhaodd y cwyn, a lluosogodd yr achwyniadau. Anfonodd pwyllgor Cymdeithas Feiblaidd Gynorthwyol Calcutta at bwyllgor y Feibl Gymdeithas yn Llundain, nas gallai cenadon y gwahanol enwadau fyned yn mlaen â'u gwaith yn India os parheid i ledaenu ac arfer cyfieithiadau cenadon y Bedyddwyr; a'r diwedd fu, i bwyllgor y Feibl Gymdeithas Frytanaidd a Thramor farnu yn ddoeth i gydsynio ag awgrymiadau yr achwynwyr, a mabwysiadu penderfyniad ag oedd a'i duedd i ymlid cyfieithiadau y Bedyddwyr o'r maes, neu ddystewi eu lleferydd gyda golwg ar yr ordinhad o fedydd. Ar yr 22ain o Orphenaf, 1833, mabwysiadodd pwyllgor y Feibl Gymdeithas y penderfyniad canlynol, yr hwn er hyny yw rheol sefydlog y Gymdeithas yn ei hymwneyd â'r Bedyddwyr:

"Y byddai yn llawen gan y Pwyllgor hwn gynorthwyo cenadon Cymdeithas Genadol y Bedyddwyr gyda'u cyfieithiad o'r Testament Newydd i'r Bengalaeg, ar yr amod fod y geiriau Groeg perthynol i fedydd yn cael eu gosod allan (*be rendered*) naill ai—yn ol yr egwyddor a fabwysiadwyd gan gyfieithwyr y cyfieithiad Seisonig awdurdodedig—trwy air wedi ei ddeilliaw o'r iaith wreiddiol, neu trwy ymadroddion a ystyrid yn ddiwrthwynebiad (*unobjectionable*) gan enwadau eraill o Gristionogion ag sydd yn cyfansoddi y Gymdeithas."

Dyna y rheol un-ochrog ac anghyfiawn ag sydd heddyw mewn grym, ac at yr hon y cyfeirir y Bedyddwyr bob tro yr apeliant at bwyllgor y Feibl Gymdeithas am gyfiawnder. Gofyna y rheol, fel y gwelir, i'r cenadon *drosi* y geiriau Groeg am fedydd yn eu cyfieithiadau, yn lle eu *cyfieithu* fel ymadroddion eraill; neu eu cyfieithu fel ag i foddhau taenellwyr! Yr oedd y naill a'r llall yn anmhosibl i'r dynion ag oedd Duw wedi eu codi i roddi gair y bywyd i India, yn ogystal ag i'w brodyr yn y wlad hon. (2 Cor. xiii. 8.)

Mae y cyfeiriad at gyfieithiad y Bed-

Digitized by Google

yddwyr o'r Testament Newydd i'r Bengalaeg yn swnio yn ddyeithr iawn, pan gofir fod ail argraffiad o hono mewn cylchrediad yn 1804—blwydd-yn sefydliad y Feibl Gymdeithas. Cyhoeddwyd yr argraffiad cyntaf yn 1801. Gellid meddwl oddiwrth y rheol uchod mai yn 1833 y bwriedid ei ddwyn allan gyntaf.

[I barhau.]

---

## MARWEIDD-DRA CREFYDDOL.

### YR ACHOS O HONO, A'R MODDION GOREU ER SICRHAU ADFYWIAD.

---

(*Sylwadau a draddodwyd yn Nghymanfa Brymbo, a gynaliwyd Mehefin 27, 1882, ac a gyhoeddir ar gais y cyfarfod.*)

---

GAN Y PARCH. H. C. WILLIAMS, CORWEN.

---

[Gorpheniad.]

II. Y MODDION GOREU ER SICRHAU ADFYWIAD.

Gyda hyder y nodaf y pethau canlynol, er nad ydynt yn newydd:

1. *Pregethiad ffyddlon o'r efengyl.*—*Insult* i efengyl ac i ddynion yw dyweyd nad oes cyfaddasder yn yr efengyl i gyfarfod â dosbarthiadau iselaf cymdeithas. Yr un efengyl oedd gan Paul i'w chyhoeddi ar ben bryn cyfiawnder yn Athen, yn nghlyw athronwyr coethedig, ag oedd ganddo ar lan afon yn Philippi wrth y gwragedd a gyfarfyddent yn nghyd. Nid oedd ganddo gywilydd myned gyda hi i Rufain, "oblegid gallu Duw yw hi," meddai. *Dynamite* Duw ydyw eto i ddryllio creigiau celyd, ac i dynu cestyll i'r llawr.

Yn ngwyneb cynifer o demtasiynau i ddenu dynion oddiwrth y Beibl, dyledswydd yr eglwys yw ymdrechu cael yr aelodau ieuainc a phawb at y Beibl. Dymunwn awgrymu y priodoldeb o sefydlu math o undeb ysgolion perthynol i'r holl Gymanfa, a chael arholiadau ysgrythyrol yn mhob lle, gan roddi tyst-ysgrifau (*certificates*) i'r ymgeiswyr llwyddianus. Mae hyn mewn bod yn rhai o'n hysgolion, ond dylid ei gael yn yr oll.

2. *Ceisio meithrin ysbryd gweithgarwch cyffredinol.*

(1.) Hawlir ffyddlondeb a gonestrwydd yn y pwlpud. Mae y gweinidog i fod yn ddiofn i draethu holl gyngor Duw. Dywedir am un pregethwr yn America yn derbyn ceisiadau i beidio pregethu yn erbyn pob math o bechodau, rhag digio rhyw bersonau.—"Peidiwch pregethu yn erbyn meddwdod," meddai un, "bydd tafarnwr parchus yn gwrando." "Peidiwch pregethu yn erbyn caethwasanaeth," meddai un arall, "rhag digio un o'n cyfeillion ffyddlonaf." "Peidiwch a dweyd yn erbyn athrawiaeth yr *Universalists*," meddai y trydydd, "mae gan amryw o honynt eisteddleoedd yn ein capel." "Wel," meddai y pregethwr pryderus, "yn erbyn pa beth y pregethaf?" "Pregethwch yn erbyn Pabyddiaeth, os dewiswch; nid oes yma yr un Pabydd!" Pe buasai y diafol yn bresenol mewn ffurf weledig, ni buasai dynion fel hyn byth yn yngan gair yn ei erbyn.

Anturiaf roddi ychydig awgrymiadau yn dwyn perthynas â ni fel Cymanfa. Dylai fod llawer mwy o gydweithrediad rhwng yr eglwysi cryfion a'r eglwysi gweiniaid. Gellir cynorthwyo y rhai gwan drwy gyfrwng y Genadaeth Gartrefol yn llawer helaethach nag y gwneir, ond ni ddylid ymorphwys ar hyny. Ai nid doeth fyddai i'r Gymanfa anfon dau frawd, dyweder dau weinidog, neu weinidog a diacon, i edrych hynt yr eglwysi hyn unwaith yn y flwyddyn, gan roddi cyngorion caredig, a hyfforddiant, os yn angenrheidiol? Byddai hyn yn fynych yn werthfawrocach na'r aur, a dichon yr arbedai boen a dinystr mewn llawer amgylchiad. Ar adegau neillduol, megys dewis diaconiaid, tybiwyf y byddai yn fanteisiol cael brodyr profiadol o eglwysi cymydogaethol i weithredu fel cyfarwyddwyr.

(2.) Ai ni byddai yn fuddiol yn ystod misoedd yr haf i gynal ychydig gyfarfodydd crefyddol yn yr awyr ag-

Digitized by Google

oged, rhwng y moddion ar y Sabbothau?

(3.) Byddai yn werth anfon ymwelwyr oddi amgylch y tai i gymell yr esgeuluswyr i ddyfod i foddion gras.

(4.) Gellir cynal cyfarfodydd neillduol ar adegau neillduol i fantais.

Ond hyn sydd wir, lle ceir digon o fywyd yn yr eglwys, ni raid wrth lawer o gyfarwyddiadau allanol. Ni raid i neb gyfarwyddo'r rhosyn pa liw i gymeryd ar ei ruddiau, na dweyd wrth y pren pa fath ddail a gymer i addurno ei frig. Gwir arall yw, faint bynag o ymdrechion achlysurol ac eithriadol a wneir, na ddylid gwneyd hyny yn lle llafur cyson, ond yn ychwanegol ato, oblegid dyna sydd yn talu yn y pen draw. Ni ellir dysgwyl medi heb hau, yn y byd ysbrydol mwy nag yn y byd naturiol, ac y mae yn rhaid wrth amynedd i ddysgwyl am y ffrwyth. Yn canlyn gweddi ddyfal yr oruwch-ystafell, ceir llwyddiant mawr y Pentecost. Os ceisir cyrhaedd dylanwad crefyddol drwy foddion anianol, ni ellir dysgwyl ond cnwd anianol. "Yr hyn a aned o'r cnawd sydd gnawd." Dywedir yn fynych fod angen cyfaddasu yr efengyl at yr oes, ond duwinyddiaeth iachach a'n dysga i *gyfaddasu'r oes at yr efengyl.* "Bydded i'r hwn sydd yn dewis, neu yr hwn sydd yn gallu," medd Dr. Stanford, "osod yr haul yn iawn wrth ei oriawr ei hun, gwell genyf fi osod yr oriawr i ateb i'r haul."

Mae rhywbeth pwysicach na rhifedi. Edrychai ein Gwaredwr ar anghredinwyr yn myned ymaith oddiwrtho, gyda gofid, ond gadawai iddynt fyned ymaith er hyny, gan mai anghredinwyr oeddynt. Buasai rhai mwy daearol yn dewis iddo gadw y llywodraethwr ieuanc fel dysgybl, serch celu peth o'r gwir oddiwrtho; ond ni fynai ef yn ei winllan ond planigion a blanwyd gan ei Dad nefol.

Mae yn angenrheidiol gwneyd ymdrechion neillduol weithiau. Fel y dywedai y diweddar Dr. Prichard, "Er fod perygl i wynt uchel adfywiad crefyddol yspeidiol yru manus yn mhlith y gwenith i'r ysgubor, er hyny gwell cael adfywiad yspeidiol na bod yr eglwys ag enw ganddi ei bod yn fyw, a hithau yn farw." Adroddir (gwel Gofiant Dr. Prichard, gan y Parch. O. Davies, tu dal. 251), am yr hyn a ddefnyddiwyd fel moddion adfywiad yn eglwys Glyndyfrdwy, yn 1834. Buasai yr eglwys yn ddiepil er's dwy flynedd. Sefydlwyd cyrddau gweddio arbenig, yn y rhai, weithiau, y gweddiai cynifer a naw neu ddeg. Gwrandawodd yr Arglwydd, a chafwyd llwyddiant mawr. Yr un modd yn eglwys y Cefn Mawr, dan weinidogaeth y Dr. Ellis Evans, fel yr hysbysir ni gan Mr. W. Williams, Croesoswallt; blaenorid pob adfywiad nerthol gan ysbryd gweddi wedi disgyn ar yr eglwys.

Pan mae y meddwl yn derbyn gorfoledd drwy wasanaeth y nef, ni ellir ei hudo gan lwgrwobrwyon y diafol. Nid yw y dyn ieuanc sydd yn mwynhau cyfarfod gweddi yn teimlo un atdyniad yn y gyfeddach. Nid oedd Orpheus yn cael ei ddenu gan gerddi hudol y Sirens, am fod ganddo ef gerddoriaeth fwy swynol o'i eiddo ei hun. Mae llawer o wastraff eneidiau yn bod, ysywaeth, yn eglwys Dduw. Fel y tystiai Gray, y gallai rhai fod yn huno yn y fynwent wledig, wedi gorphen ei gyrfa ddaearol heb godi erioed o ddinodedd y pentref y trigent ynddo, ac eto yn meddu gallu, pe buasai wedi ei ddadblygu, i lywio teyrnas, neu swyno cenedloedd mewn cân; un allasai fod yn Hampden doeth a chalon ddewr o ddur, ac aml i "*mute inglorious Milton,*" a'u bywyd daearol wedi dirwyn i ben heb gyflawni y gwrhydri a allasent. O! na byddai i holl dalentau yr eglwys gael eu dadblygu yn llawn, ac i bob gwroldeb, dealltwriaeth, a theimlad gael eu cysegru i'r Gwr a aberthodd ei fywyd drosom ni. Gadawer y gronyn gwenith yn segur, ac ni ddaw dim o hono, ond gosoder ef yn y pridd, a gellir dysgwyl twysen lawn yn Awst. Mae defnydd coedwig gref yn y fesen fach.

Sylwn ar y gerbydres gref yn cael ei chludo mor esmwyth ar hyd y reiliau, gan roddi cyfleusdra gwerthfawr i deithwyr lawer. Gwneir hyn drwy fod agerdd yn cael ei reoli a'i roddi ar waith

yn briodol. Un o dair ffordd sydd yn bod gyda'r ager hwn: gallasai aros yn ddiddefnydd, neu gallasai ffrwydro y peiriant, ac felly effeithio dinystr; ond dyna y nerth allasai fod yn ddinystr, neu yn ddiwerth, wedi cael ei ddwyn mewn ufudd-dod i beirianwaith dyn i fuddioldeb mawr. Dyna duedd gwyddoniaeth y dyddiau presenol, yw enill nerthoedd natur at wasanaeth dyn, a dichon y perffeithir gwyddoniaeth i'r fath raddau nes difa mellt a tharanau yr awyr, a ffrwydriadau y llosgfynyddau aruthrol, gan ddefnyddio eu hadnoddau at wasanaeth dyn. Felly tuedd efengyl yw enill nerthoedd dyn at wasanaeth Duw—ceisio defnyddio nerth teimlad, nerth deall, nerth gobaith, nerth ffydd, nerth cariad, nerth goddefgarwch, nerth gallu, a nerth sefyllfa, i ogoniant y Brenin mawr. Pe teimlem fel y dylem, nis gallem edrych ar y meddwyn yn addoli y gwpan, na'r cybydd yn plygu o flaen yr aur, heb geisio enill ffrwd eu haddoliad i gyfeiriad arall.

Angen mawr y dyddiau hyn yw cael cewri o ddynion i ymdrech o blaid y ffydd a roddwyd unwaith i'r saint. Y mae dynion mawr, os yn ddynion da, yn fendith annhraethol i'r byd. Arfer y nefoedd yw anfon dynion felly pan mae yn y byd waith ar eu cyfer, a'r eglwys yn barod i'w derbyn. Diolchwn am Mr. Spurgeon yn Lloegr, Mr. J. Cook yn America, a llawer eraill; ond credwn y cwyd llawer eraill, dim ond i'r eglwysi ddal i ofyn am danynt —dynion a allant ymaflyd yn ngholofnau ty y Philistiaid, a'u dynu i lawr ar eu penau, dynion a allant beri i lanw amheuaeth gilio yn ol, gan ddweyd wrth ymchwydd cynddeiriog anffyddiaeth, "Hyd yma yr ai, ac nid yn mhellach,"—dynion y gall un o honynt ymlid mil, a dau yru deng mil i ffoi—dynion a'u heneidiau yn oddaith gan dân cariad at Dduw, ac at eneidiau dynion. Mae hen draddodiad am Olwen, y tyfai meillionen yn ôl ei thraed ar y ddôl; ond rhodder i ni ddynion fel hyn, a thyf meillion rhinwedd mewn gwirionedd yn ôl eu traed. "A hwy a lanwant y byd â chnwd." (Esa. 27: 6.)

Os ydyw llif y doniau
Yn tynu tua'r môr,
Mae llawnion gymyl yn y nen
A golud maith yn stôr;
Gwres gweddi ffydd yr eglwys
Fydd drydan nerthol byw,
Hyllt gwmwl mawr, a daw i lawr
Gawodydd gras ein Duw.

Daw eto gewri nerthol
I bleidio gair y ffydd,
Meddienir caer athroniaeth gref,
Pob gwyddor ddaw yn rhydd;
Melltena gwawr efengyl
Dros bedwar ban y byd,
A'i thrydan byw, dan nawdd ein Duw,
Gylyma bawb yn nghyd.

---

## TYNWCH Y RHWYD I MEWN.

Y mae y nodiadau a ganlyn gan yr enwog Moody, yn wir deilwng o sylw pob un sydd mewn pryder am achub eneidiau. Fel y canlyn y llefara efe: —"Os byddwch chwi yn barhaus yn trwsio, ac yn gosod eich rhwyd, ni ddaliwch chwi byth lawer o bysgod. Pwy erioed a glybu am ddyn yn myned allan i bysgota, ac yn gosod ei rwyd ac yn ei gadael yno, a byth yn ei thynu i mewn? Pe gwelid dyn fel hyn, oni chwarddai pawb am ben ei ynfydrwydd? Yr oedd gweinidog yn Manchester, yr hwn a ddaeth ataf fi ac a ddywedodd, 'A fedrwch chwi ddywedyd i mi paham yr ydym ni weinidogion heb fod yn fwy llwyddianus?' Felly mi a gymerais i fyny y meddylddrych o dynu i mewn y rhwyd. Y mae llawer yn codi llawer o wrth-ddadleuon yn erbyn ein cyfarfodydd ymholiadol ni. A phan ddarfu i mi gyfeirio at eu pwysigrwydd, dywedodd y gweinidog, 'Ni ddarfu i mi erioed dynu y rhwyd i mewn, ond mi a wnaf gynyg ar hyny y boreu Sul nesaf.' Efe a wnaeth hyny, a daeth wyth o ymofynwyr pryderus i'w lyfrgell. Y Sabboth nesaf, efe a ddaeth i lawr i'm gweled, a dywedodd na chafodd erioed y fath Sul yn ei fywyd. Y tro nesaf y tynodd y rhwyd, fe gafodd ddeugain, a daeth i'm gweled ddydd arall a dy-

wedodd, 'Moody, mi a gefais wyth gant o ddychweledigion yn y flwyddyn ddiweddaf hon. Bu yn gamgymeriad mawr arnaf na buaswn wedi tynu y rhwyd yn gynt.' Gan hyny, gyfeillion, os oes arnoch eisiau dal dynion, tynwch y rhwyd i mewn. Gallai mai plentyn bychan a fydd; ond yr wyf fi yn gwybod am blentyn bychan wedi enill teulu cyfan. Ni wyddoch chwi beth a fydd y plentyn diolwg a welwch chwi yn mysg yr ymofynwyr, a gall ddyfod yn Martin Luther—yn ddiwygiwr a wna i'r byd grynu."

---

## Y PARCH. DAVID JENKINS.

GAN Y PARCH. CHARLES JONES, NEW STRAITSVILLE, OHIO.

Rhedai y gwr hyd y gweryd
Yrfa lân, gyfan i gyd.—*Hiraethog.*

Ganwyd y Parch. D. Jenkins, Ion. 1, 1800, yn Cross Inn, Aberteifi, D. C., a bu farw Mai 15, 1882, yn Hubbard, O. Mab ydoedd i David a Margaret Jenkins. Yn 1817 aeth i Rumney, Mynwy, ac ymunodd â'r achos crefyddol gyda'r Bedyddwyr, a bedyddiwyd ef gan y Parch. J. P. Davies, Tredegar. Dechreuodd arfer ei ddawn pregethwrol yn mhlith y brodyr a'r chwiorydd yn mhen mis wedi ei fedyddiad, a phregethodd yn gyhoeddus y tro cyntaf yn Nghaerfyrddin. Yn nghwrs blynyddoedd priododd, a symudodd i Hirwaen, Morganwg, a bu yno mewn parch mawr yn gwasanaethu yr eglwys Fedyddiedig fel diacon a phregethwr cynorthwyol am dair blynedd Symudodd drachefn i Rumney, ac oddiyno i America yn 1829.

Dechreuodd Jenkins ei yrfa Americanaidd yn Pittsburgh, Pa. Nid oedd cymaint o fwg yno y pryd hwnw ag sydd yn awr, ond yr oedd yn annymunol i Jenkins yno. Daeth Jenkins i Pittsburgh o gymdeithas y Parch. J. P. Davies, Tredegar, a'i fynwes yn llawn o Fulleriaeth; ac yr ydoedd y Parch. Jacob Morris yno o'i flaen, a llonaid ei fynwes o Galfiniaeth. Aeth yn wrthdarawiad yn y man. Bu y fflamiau yn estyn eu tafodau, y gwreichion yn esgyn, a'r mwg yn ymdorchi am beth amser. Dafydd gafodd y gwaethaf. Nid oedd fawr o barch i apostol bach Fulleriaeth y pryd hwnw yn y wlad hon, nac i apostol mawr yr un egwyddorion, J. P. Davies, yn Nghymru. Cafwyd allan mai nid yn Hengoed yn unig y trigai gelyn Fulleriaeth. Bu Jenkins yn Pittsburgh saith mlynedd, â'i wedd o feirch yn cludo glo ar hyd y ddinas, a chynilodd yn y cyfamser y swm anrhydeddus o $1,200. Yr oedd hyn yn dda iawn yn y dyddiau hyny.

Ysgogiad nesaf Jenkins oedd i Palmyra, O. Anialwch lled erchyll oedd hwn yr amser hwnw. Swn bwyelli oedd yn y coed ar hyd y dydd, a lleisiau bwystfilod yn y nos. Baich y bobl yno oedd cael y coed oddiar y tir, a thalu am dano. Wrth ymadael â Pittsburgh, a gwynebu Palmyra, ni ddaeth i galon ein brawd mai

"Yno'r oedd niwl anhardd nos
Naw oerach yn ei aros."

Trafferthus iawn y bu hi am adeg yn Palmyra—nid gyda brodorion yr anialwch, ond gyda meibion a merched y tyddynau. Yno, fel y gwyr rhai o'n darllenwyr, y cafwyd y fath hwyl ar ganu nes i'r cwrdd fyned yn ganu i gyd. Ond wedi'r cyfan daliodd David Jenkins ei dir yn Palmyra. Un adeg bedyddiodd bob mis am ddeuddeg mis o'r bron. Mae ei enw yno yn berarogl i lawer o'r hen sefydlwyr a'i goffadwriaeth yn fendigedig ganddynt.

Cawn ein gwrthddrych yn y lle nesaf, yn mhlith pobl Cattaraugus, N. Y., yn treulio pedair o flwyddi o lwyddiant a thangnefedd mewn ystyr grefyddol. Geilw y tadau a'r mamau crefyddol y cyfnod hwnw i gof gyda phleser; a chofir yn hir am ystori Jenkins am ddaliad y ddafad yn Palmyra, yr hon ataliodd ddau gawr yr ardal rhag ymosod ar eu gilydd o herwydd eiddigedd.

Gorsaf nesaf Jenkins oedd Utica, N. Y. Yr oedd ystormydd ofnadwy wedi curo ar yr eglwys cyn i Jenkins

Digitized by Google

fyned yno. Yr oedd y bobl ar wasgar, heb fugail, ac heb neb i chwythu yr udgorn i'w galw yn nghyd. Bu'r brawd o wasanaeth da i ddwyn y brodyr a'r chwiorydd at eu gilydd, a'u nawseiddio dan fendith Dûw yn y gwaith da. Nis gallwn lai na synu wrth feddwl am gysylltiadau pobl yr Arglwydd, o herwydd yn aml

"Am ryw us mae'r ymryson
Dihedd ; am sylwedd dim son."

Trueni na baem yn cofio mai

"Ail-eni o Dduw leinw ddyn
O anianawd yn enyn
I'w garu a'i barchu'n bur,
A dal gwrid ail-greadur."

Am ddeuddeg o flwyddi, cartref nesaf ein brawd yw Ebensburgh, Pa. Adeiladodd gapel hardd i'r Bedyddwyr Cymreig yno, a thrwy ymdrechion diflino i gasglu arian ar hyd a lled y wlad, talodd am dano. Cafodd lawer o ddedwyddwch yn Ebensburgh, a choleddai hyd y diwedd syniadau parchus am y bobl a'r lle.

Gorsaf olaf ei weinidogaeth ydoedd Attica, N. Y. Taflu *quoits*, cicio pel droed, chwareu bando, &c., ar y Sul y byddai Cymry a Saeson yn yr ardal hon pan sefydlodd Dafydd Jenkins yn eu plith ; ond buan, trwy lafur caled, daeth Attica i gadw y Sabboth, ac i werthfawrogi moesoldeb. Ar ol wyth mlynedd o lafur yno daeth y dyn cryf a chadarn a ymwelodd â Pittsburgh yn 1829, yn hen wr egwan, crymedig gan amser, i Hubbard, O., i derfynu ei oes.

Yn ystod y cyfnodau uchod cafodd Jenkins lawer o'r melus a'r chwerw. Mewn un ystyr gellir dweyd am dano fel y dywedwyd am Job,

"Ond at Job, o bob rhyw barth
Y cafwyd cwn yn cyfarth."

Ac, mewn ystyr arall, gellir dyweyd,

"Tra'n y byd cai anrhydedd,
A cha barch yn llwch y bedd."

Gallwn nodi am yr hen dad Jenkins,

1. Ei fod yn Fedyddiwr egwyddorol.—Yn hyn, nid proffes, ond egwyddor, lywodraethai Jenkins. Yr oedd fel pe wedi tyfu'n Fedyddiwr. Gwyddai yr enwadau eraill pan yn cyfarfod â Jenkins, eu bod yn cyfarfod â Bedyddiwr. Fel y cyfryw, mewn ystyr grefyddol, yr adwaenid ef ac yr ymddyddenid ag ef. Hoffir dynion egwyddorol gyda chrefydd. Dywed prif fardd Cymru,

"Yn awr os bardd, bardd o'r bôn."

Ac meddaf finau, Os Annibynwr, Annibynwr o'r bôn ; os Methodist, Methodist o'r bôn ; ac os Bedyddiwr, Bedyddiwr o'r bôn hefyd. Bedyddiwr o'r bôn oedd Jenkins, ac fe'i parchwyd ef gan yr enwadau eraill am ei onestrwydd.

2. Ei fod yn ysgrythyrwr da.—Ceid llawer a wyddent fwy nag ef am esbonwyr, esboniadau, a llenyddiaeth hen a diweddar ; ond yn y Beibl yr ydoedd braidd yn ddiguro. Yr oedd mor gyfarwydd â phob rhan o hono fel ag yr oedd gyda'r rhwyddineb mwyaf yn egluro un rhan o hono trwy gynorthwy rhan arall. Bu ei gydnabyddiaeth â'r Beibl o help mawr i'r ymadawedig.

3. Ei fod yn rhesymwr neillduol.—Natur a diwylliant sydd yn gwneyd y rhesymwr coeth a threiddgar Mewn rhesymeg, dyn natur oedd Jenkins. Nid wyf yn meddwl iddo astudio rhesymeg erioed, ac eto yr oedd, yn ei gylch, yn un o'r rhesymwyr goreu.

4. Ei fod yn bregethwr adeiladol.—Os cymerwn ei bregethau ysgrifenedig yn safon i'w farnu fel pregethwr, yn ei ddyddiau goreu, gallem feddwl ei fod yn rhy sych ar y cyfan. Mae yn rhesymu gormod i fod yn boblogaidd. Yr oedd yn mhell o *ganu* ei bregethau, ac o fod yn un o feibion yr *hwyl*. Un o fechgyn y deall ydoedd Jenkins, fel ei athraw, J. P. Davies, Tredegar. Yr oedd yn hen wr pan glywais ef yn pregethu, ond yn hen wr call, yn ymdrechu llesoli pen a chalon ei wrandawyr. Ffurfiodd yr ysgrifenydd farn ffafriol iawn am dano, gan ei fod yn credu mewn agor y deall, yn gystal a gogleisio y teimlad.

5. Ei fod yn benderfynol iawn.—Gwyr y profiadol fod yn rhaid wrth benderfyniad yn y weinidogaeth. Nid clwtyn o ddyn sydd gymwys i ymaflyd

Digitized by Google

yn awenau eglwys. Gall, wedi'r cyfan, penderfyniad dyn fod yn rhy gryf. Credwn ei fod ar y cryfaf yn Jenkins. Y coed tebycaf o sefyll yr ystorm yw y rhai sydd yn plygu o'i blaen. Gyda ei benderfyniad mawr gallasai ddysgleirio fel llywydd llong yn y rhyferthwy, neu gadfridog ar faes y gwaed. Ond mewn cylch arall y trodd Jenkins. Wedi'r cyfan bu ei benderfyniad yn help mawr iddo ymladd yn erbyn cyfeiliornadau ei oes, ac i'w sefydlu ar ei daith i'r wlad nefol.

6. Ei fod yn ddyn duwiol.—Casglwn ei fod yn dduwiol oddiwrth ei gysondeb gyda'r achos da. Bu farw yn gredadyn diysgog yn Iesu, yn 82 ml. oed, yn mhen 65 o flwyddi o ymdrech difefl gyda chrefydd, a'i wisg fel proffeswr crefyddol heb ysmotyn du i'w anharddu. Er dechreu 1800, bu farw llawer yn fwy doeth, yn fwy dysgedig, ac yn fwy coeth eu harferion nag ef; ond y mae yn amheus genyf am farwolaeth ei dduwiolach. Mae'r hen sant anwyl gyda'i Geidwad mewn gwisg byth-barhaol o gyfiawnder; a theimlaf yn ddiolchus wrth edrych arnaf fy hun, ac ystyried cyflwr eraill, mai

"Nid mantell *un*, 'nad maint llawer,—mantell
*Mintai* yw cyfiawnder!
Y lliain hwn yn llaw Ner,
Ddyry liw hardd ar lawer."

---

## LLAFUR YR HEN BREGETHWYR

Ychydig o amgyffred sydd gan neb o honom yn y dyddiau tawel hyn am lafur a lludded, a hunan-ymwadiad yr hen bregethwyr anwyl a fuont yn arloesi anialwch Cymru yn y ganrif ddiweddaf. Y pryd hwnw yr oedd annghysuron a pheryglon teithio yn fawr iawn. Nid oedd ond ychydig o ffyrdd da yn yr holl wlad, yn enwedig yn mharthau mynyddig y Dywysogaeth. Nid oedd chwaith i'w ddysgwyl ond llety gwael a thlawd, a llawer o erlidigaeth a dirmyg gan wreng a boneddig. Yr oedd y manau y derbynid y pregethwyr yn anaml, ac yn mhell oddiwrth eu gilydd. Yr oedd yn rhaid teithio dros fynyddoedd serth, aberoedd cryfion, a lleoedd disathr, a myned trwy bob math o dywydd. Mae yr enwog Howell Harris mewn llythyr at foneddwr, yn mha un y gwna esgusawd am beidio ysgrifenu yn gynt, yn mynegi yr hyn a ganlyn: "Pe baech yn cymeryd tro gyda mi am ddeufis neu dri, a gweled fy llafur a'm profedigaethau, ac yn enwedig pe medrech roi tro trwy fy nghalon, yr wyf yn sicr nâ ryfeddech gymaint na anfonais atoch yn gynt. Pa fo'd bynag, mi a ddywedaf i chwi fel y bu. Y mae yn awr o gylch naw wythnos er pan ddechreuais fyned o amgylch De a Gogledd Cymru. Yn yr amser hwn mi a ymwelais â thair-ar-ddeg o Siroedd, a theithiais y rhan amlaf yn nghylch 150 o filldiroedd bob wythnos, a phregethais ddwy waith, a weithiau dair a phedair gwaith, bob dydd. Bum saith noswaith olynol yn y daith hon heb ddiosg fy nillad. Teithiais o un boreu hyd yr hwyr dranoeth heb orphwys, dros gan' milldir, gan bregethu ganol y nos, neu yn foreu iawn, ar y mynyddoedd, rhag ein herlid."

Y mae yr hen Williams, Pantycelyn, ychydig cyn ei farwolaeth, yn gwneyd y sylwadau canlynol: "Yr wyf yn awr yn 73 mlwydd oed; y mae fy nyddiau yn tynu tua'r terfyn, a bron wedi rhedeg. Yr wyf wedi bod yn pregethu am y 43 mlynedd diweddaf, ac wedi teithio ar gyfartaledd yr holl amser hyny bob wythnos at eu gilydd, o ddeugain i haner can' milldir."

Darfu amryw wyr enwog gyda'r enwadau eraill wneyd llawer yn y dull hwn; ond dichon na wnaeth yr un o honynt gymaint mewn teithio, gan fod amryw o honynt yn fwy sefydlog mewn cylchoedd llai.—*Cydymaith Dyddanus.*

---

—Mae yn ardderchawgrwydd mawr mewn pregethwr i wybod pa bryd i *dewi;* oblegid gwna hyn ei waredu ef a'i wrandawyr oddiwrth y blinder o roddi pregeth rhy hir i fod er budd. Camgymeriad mawr yw meddwl y dylid dweyd pob peth a ellid mewn pregeth, neu y cwbl y buasai ei bwnc yn ganiatau pe buasai yn ysgrifenu llyfr.

Digitized by Google

# Bwrdd y Golygydd.

## GWRAIDD BEDYDD.

Yn *Seren Gomer* am Tachwedd gwelwn fod y golygydd yn cychwyn cyfres o ysgrifau ar Hanes Boreuol Bedydd. Meddyliasom y buasem yn hoffi cael goleuni ar ran neillduol o'r hanes boreuol, sef Gwraidd Bedydd. Yr hyn sydd yn dywyll i ni ydyw, yn mha le y cafodd Ioan y drychfeddwl am drochi. Yr olwg gyntaf ydym yn ei gael arno ef yn gyhoeddus ydyw yn pregethu edifeirwch a maddeuant pechodau, a'r angenrheidrwydd am ddwyn ffrwythau addas i edifeirwch, ac yn bedyddio y rhai edifeiriol yn yr Iorddonen. Ac yn hawdd iawn y gwelwn briodoldeb yr ordinhad. Yr oedd yn arwyddlun mawr ac ardderchog o'r cyfnewidiad mawr a ddysgwylid yn y bedyddiedigion. Fel cadarnhad o addasrwydd yr ordinhad, dacw Iesu Grist ei hun yn ymostwng iddi, ac yn ganlynol yn ei hapwyntio i fod yn ordinhad sefydlog yn yr eglwys, yn arwyddlun addysgiadol o'r cyfnewidiad mawr mewn bywyd a ofynir oddiwrth ei holl ddeiliaid. Y mae addasrwydd, dyben, ac ystyr yr ordinhad fel hyn yn berffaith eglur. Ond yr hyn sydd yn dywyll i ni yw, yn mha le y cafodd Ioan y drychfeddwl ardderchog hwn am drochi fel ordinhad. Nis gwyddom eto faint a fwriada golygydd galluog *Seren Gomer* draethu ar y llecyn hwn yn hanes boreuol bedydd. Gobeithiwn y bydd iddo daflu ffrwd gref, lydan o oleuni ar y llanerch yna yn hanes yr ordinhad sanctaidd ac ystyrfawr. Y mae wedi taro i'n meddwl y buasai yn ddyddorol iawn gan ddarllenwyr y WAWR gael cyfres o ysgrifau ar *wraidd bedydd,* gan y brawd anwyl William Jones, Wisconsin. Diau nad oes neb yn ein plith ni yn America a fedr drafod y mater yn well nag ef. Os cydsynia â'r cais hwn, byddai yn dda genym iddo olrhain bedydd i'w ddechreuad gwreiddiol, fel ag y gwneir gyda'r ordinhad o swper yr Arglwydd. Ai tybed i Ioan gael y syniad am drochi oddiwrth y trochiadau Iuddewig a seremoniol? Yr oedd trochiadau yn bethau cyffredin yn mhlith yr Iuddewon. Gosodent allan ymlanhad puredigol oddiwrth halogrwydd cnawdol. Ai tybed fod y weithred allanol wedi ei chymeryd i fyny gan y Bedyddiwr, a'i hysbrydoli ag ystyr newydd, efengylaidd, fel ag i fod yn ordinhad ysbrydol yn eglwys Crist? Carem yn fawr i'r Parch. Mr. Jones ddod allan yn y WAWR, gan draethu yn benodol ar y pwyntiau neillduol yna. Yr ydym yma, gan hyny, yn dymuno ar no oleuo darllenwyr y WAWR yn yr adran ddyddorol hon o lenyddiaeth Bedydd.

## CYRDDAU UNDEB BEDYDDWYR PRYDAIN FAWR.

Cynaliwyd y rhai hyn eleni yn Lerpwl, yr wythnos gyntaf yn Hydref, lle y cynaliwyd hwy o'r blaen un-ar-bymtheg mlynedd yn ol. Fel y canlyn y mae *Seren Cymru* yn rhoddi yr hanes am danynt:—"Un o'r pethau cyntaf a deilynga ein sylw mewn cysylltiad â hwy eleni yw, y cyfnewidiad sydd wedi cymeryd lle er y flwyddyn 1866. Yn y flwyddyn hono yn Liverpool, yr oedd John Howard Hinton, M. A., Dr. Brock, C. Stovel, C. Vince, C. Gould, J. Mursel, a lluaws eraill rhy faith eu henwi yn bresenol; ond eleni rhaid dywedyd am danynt, 'A'u lle nid edwyn ddim o honynt mwy.' Yr oedd yno, er hyny, lawer o frodyr yn aros hyd yr awr hon. Gwan ac eiddil yn gymharol, oedd yr Undeb ei hun yr amser hwnw; ond erbyn hyn y mae wedi dyfod yn allu pwysig yn mhlith Bedyddwyr Lloegr er daioni; ac y mae wedi ymaflyd mewn gorchwylion o'u cyflawni a'i gwna yn allu cryfach eto er daioni, er cynorthwyo eglwysi gweiniaid a gweinidogion tlodion i gael gwell gweinidogaeth, a gwell cyflogau. Mae y dybenion hyn mor dda, fel yr

hawliant gydymdeimlad yr holl enwad â hwy.

Yr oedd y cynulliadau yn llawer lluosocach eleni na'r flwyddyn y cyfeiriwn ati. yn rhifedi y cynrychiolwyr, ac yn rhifedi y cynulleidfaoedd; ac yr oedd Mr. Spurgeon yn llawn mor boblogaidd, os nad yn fwy felly, yno eleni nag oedd yno yn 1866. Mae ei boblogrwydd fel yn cynyddu gyda'i oed. Yr oedd trefniadau y pwyllgor gweithiol yno yn llawer perffeithiach eleni na'r tro blaenorol, ac yr oedd y sylw a gafodd yr Undeb yn y ddinas yn llawer mwy gan bob dosbarth, swyddogol ac answyddogol. Nid ydym yn cofio pwy oedd maer y dref (oblegid tref oedd hi y dyddiau hyny) y flwyddyn hono; ond un peth a gofiwn yn dda, na chafwyd ei bresenoldeb yn un o'r cyfarfodydd. Eleni anrhydeddwyd amryw o'r cyfarfodydd â'i bresenoldeb; ond o ran hyny, yr oedd yn gymaint o fraint ac anrhydedd iddo ef fod yn bresenol ag oedd ei gael ef iddynt, os nad oedd y blaenaf lawer yn fwy. Diolch iddo ef yr un modd am daflu cysgod ei nawddogaeth swyddogol drostynt. Mae y Bedyddwyr wedi arfer byw heb y nawdd hwn.

Yr oedd y cyfarfodydd eleni yn llawer mwy brwdfrydig, ac ymarferol nag arfer. Y nodweddau hyn a ymddangosent i ni amlycaf yn y cyfarfodydd o'r dechreu i'r diwedd. Casglwyd dros un cant ar ddeg yn y frecwast gyhoeddus ar ran y genadaeth ar y Congo. Gofynwyd am tua saith cant, a chafwyd un ar ddeg. Yr un noswaith, yn y cyfarfod cenadol cyhoeddus, dan lywyddiaeth y Maer, casglwyd drwy y gynulleidfa yn lled agos i gan' punt, ac ychwanegwyd haner cant atynt gan foneddwr. Yn nghyfarfod yr Undeb dydd Mercher, gofynwydd am fil y flwyddyn yn ychwanegol am dair blynedd at un o'r cymdeithasau, a chafwyd mewn atebiad dros saith gant yn y man. Nid oedd yma brinder cyfoeth, na phrinder calon. Yr oedd gan y bobl hyn galon i weithio, calon i roi, a modd i roddi, ond iddynt weled yr angen. Dengys hyn fod yr egwyddor wirfoddol yn nerth eto yn nghalonau pobl yr Arglwydd, drwy gariad at y gwirionedd. Mae y brwdfrydedd a'r haelfrydedd hyn yn teilyngu edmygedd a diolchgarwch i Roddwr pob daioni am danynt. Mae yr enwad a ddadblyga y grasusau hyn i'r fath raddau yn sicr o fod mewn cyflwr iachus ac addawol am y dyfodol. Sicr genym y dychwela ein brodyr o gyfarfodydd Liverpool eleni yn nheimlad, 'Da yw i ni fod yma,' yn gryfach a gwell i'w gwaith yn y dyfodol. Disgyned yr un eneiniad ar gyfarfodydd yr Undeb yn Llandudno ag a ddisgynodd ar gyrddau yr Undeb Seisnig yn Liverpool. Yr oedd llywydd yr Undeb yn Liverpool yn Gymro o Gaerdydd; ac yr oedd llywydd yr Undeb yn Llandudno yn Gymro o Groesparc, ger Caerdydd.

CWRDD CYMREIG YN PEMBROKE CHAPEL, am haner awr wedi saith o'r gloch, dan lywyddiaeth Dr. Hugh Jones, Llangollen. Traddodwyd anerchiadau gan y brodyr Dr. Price, Aberdar; J. Jenkyn Brown, Birmingham (llywydd yr Undeb Seisnig); W. Morris, (Rhosynog), Treorci; a N. Thomas, Caerdydd. Yr oedd Dr. Price a Mr. Thomas yn areithio ar bynciau rhoddedig iddynt gan y pwyllgor Cymreig. Pwnc y Dr. oedd 'Trem ar symudiadau y Bedyddwyr Cymreig;' a thestyn Mr. Thomas oedd, 'Peryglon ieuenctyd yn y trefydd mawrion, a'r moddion mwyaf effeithiol i'w gochelyd.' Wrth gwrs nis gellid dysgwyl un wedd ddymuol ar beryglon y trefydd mawrion; ond gwelsom, trwy gymorth ffrwyth ymchwiliadau manwl Dr. Price, fod amrywiol agweddau dymunol i hanesyddiaeth y Bedyddwyr Cymreig. Y mae ein cynydd yn fwy nag y mae llawer yn feddwl. Dywedai Dr. Price fod rhif yr eglwysi yn fwy o 110 nag oeddynt ugain mlynedd yn ol. Dywedai Dr. Jones, fod eglwysi cylch Cymanfa Dinbych, Fflint, a Meirion, yn lluosocach o 19 yn awr nag oeddynt 25 mlynedd yn ol; a dymunai sylw llywydd yr Undeb Seisnig at y pwysigrwydd o gael achosion Seisnig mewn rhai lleoedd yn y gogledd. Felly terfynodd cyfarfodydd

Digitized by Google

Hydrefol Undeb y Bedyddwyr am 1882, yn llawn brwdfrydedd dros godi achosion newyddion.

## CYMDEITHAS I'R HEN WEINIDOGION.

Da genym fod y syniad o gael cymdeithas gynorthwyol i'r hen weinidogion yn cael sylw rhai o'n prif ddynion. Yn ychwanegol at y rhai a enwyd yn barod genym, y mae amryw eraill wedi ein sicrhau o'u cydweithrediad mwyaf calonog, pe byddai peth o'r fath yn cael penderfynu arno. Cymhellwn ein gweinidogion, a blaenoriaid ein heglwysi i ddweyd eu barn ar y mater trwy gyfrwng ein cylchgrawn. Byddai awgrymiadau cefnogol yn y pum' mis nesaf yn parotoi y ffordd i'w ddwyn i sylw y Cymanfaoedd.

## MAN-LEWYRCHIADAU.

—Llawenydd genym ddeall fod ein brodyr yn Ohio wedi cael Cymanfa mor dda yn Palmyra.

—Tipyn yn brin o Fedyddwyr yw y sefydliad Cymreig yn Lime Spring, Iowa. Y mae yno *un*, sef y brawd selog Mr. Richard H. Williams.—Treuliasom ddiwrnod difyr yno yn ei gyfeillach ef a'i deulu yn ddiweddar.

—Yr oedd y rhan ddiweddaf o'r Wawr am Tachwedd yn wag iawn rywfodd, heb ysgrif ar y Genadaeth, fel arfer, gan y brawd medrus Wm. F. Davies. Prysurdeb mawr gyda y capel newydd oedd yr achos o'r diffyg, ebai ef. Na feddylied neb ei fod ef yn blino yn gwneyd y daioni mawr hwn o ysgrifenu yn fisol ar y Genadaeth.

—Dywed y Parch. D. Rhoslyn Davies, fod llaweroedd yn Pittsburgh a ddylent fod yn dderbynwyr o'r Wawr, nad ydynt eto wedi gwneyd hyny. O'r goreu; ni chânt lonydd yn hir heb gael cynyg arni.

—"Yn 'enw'r taid,' mae y Parch. David Jones, Johnstown, yn fardd del anghyffredin," ebe cyfaill, ar ol darllen ei benillion yn y Wawr. Gallasai ychwanegu, a dweyd ei fod yn fardd rhagorol. Moes eto, frawd.

—Y Parch. Owen James a ysgrifenodd yr Adolygiad galluog ar lyfr rhagorol Dr. Jones, Llangollen, yn y rhifyn diweddaf. Os bydd rhywrai am y llyfr penigamp hwn ar yr ordinhad sanctaidd, anfoned y cyfryw atom.

# Barddoniaeth.

## GLAN GEIRIONYDD.

A mi, un diwrnod teg o haf,
Yn rhodio ar fy nhro,
Graianaidd lan Geirionydd lwys,
Fy mabwysiadol fro,
Lle treuliais lawer difyr awr
Yn nhymawr mebyd, pan
Yn tynu'i bysg o'r tonau byw
A'i laswiw ddwfr i'r lan;
Pan oedd pob meddwl tan fy mron
Mor ysgafn bron a'r gwawn,
Yn dilyn gwib mabolaidd fryd,
O foreu hyd brydnawn.

Gostegai'r awel ar y llyn,
Heb chwâ yn crychu'i wedd,
A natur oll mor dawel âi
A dystaw barthau'r bedd,
Ond gwawch y gigfran ambell waith
O'r graig uchelfaith draw,
A bref y defaid ar y twyn,
A'r llonwych ŵyn gerllaw;
A thrwst y maen wrth dreiglo hyd
Y llithrig, dybryd serth,
A chwcw y gôg yn pyncio'n fwyn
Ar friglwyn ucha'r berth.

Tueddai'r holl olygfa'n fwy
I goledd myfyr syn,
Na chwywio'r tant ar bluen freg
Hyd wyneb teg y llyn;
Hi lanwai'm hysbryd â rhyw brudd
Hiraethlon, gofion dwys,
A ddygai'r dagrau dros fy ngrudd,
Gan faint eu grym a'u pwys;
Arweinid fy meddyliau 'n ol
Ar ryw freuddwydiol hynt,
I adfyfyrio ar a fu,
A gwedd y dyddiau gynt.

Yr enwair ar y graian mân
I orwedd roed yn awr,

Digitized by Google

Ac ar ryw lwydwyn faen gerllaw
  Eisteddwn inau i lawr;
Edrychwn amgylch ogylch ar
  Y fangre unig fud,
Heb sain na gwedd un dynol fôd,
  Drwy 'i holl ororau i gyd.
Fy unigolrwydd oedd mor lwyr
  A'r meudwy yn ei gell,
Neu Selkirk pan yn alltud ar
  Fernandes, anial bell.

Effeithiai y dystawrwydd mawr
  A grëai dan fy mron
Ryw annirnadwy hiraeth am
  Yr hoff gyfoedion llon,
Oedd ddoe mor ddifyr gyda mi
  Yn rhodio'r llenyrch hyn,
A'u hadlais ar yr awel bêr
  Yn dadsain nant a bryn;
Nis gallwn lai na holi'n brudd,
  "Pa le yn awr y maent?"
Ond *eco* a'm hatebai'n ol,
  "Pa le yn awr y maent?"

A buan iawn y daw y dydd
  I minau 'u dilyn hwy,
Pan, er fy ngheisio wrth y llyn,
  Na cheir mo honof mwy;
Ac os daw rhywun ar ei dro,
  I rodio'r glenydd hyn,
A meddwl am eu Bardd, a dweyd,
  Mewn prudd ymholiad syn,
"Mae Llyn Geirionydd eto'r un;
  O Ieuan! p'le mae ef?"
Yr *eco* a'i hatebai'n chwai,
  "Ond Ieuan, p'le mae ef?"

Ieuan Glan Geirionydd.

## Y TAFOD.

Seiniedydd ein holl syniadau—allwedd
  Drws cell ein meddyliau,
  Yw'r tafod croch, mae'n gloch glau,
  Eneidiol ei thôn nodau.

*Pengam.* Meudwy Gwent.

## DEIGRYN EDIFEIRWCH.

O berlyn! ar y rudd,
  Ai ton y teimlad yw?
Neu ddrych o'r galon gudd
  I wel'd y Cristion syw?
Rhyw fychan wlithyn ddaeth o'r nef,
Ireiddia'r galon, ydyw ef.

Pan ymddangosa hwn
  Ar rudd pechadur gwan,
Fe dafla'i lawr ei bwn,
  Gan edrych tua'r lan;
Ac yna'r deigryn saif, yn wir,
Yn sêl o edifeirwch pur.

Er nad yw'r deigryn hwn
  Yn tynu'n sylw ni,
Mae teulu'r nef, mi wn,
  Yn syllu arno'n llu;
Fe edrych ei holl engyl Ef
Ar hwn dros fawr ganllawiau'r nef.

O! ddeigryn tyner, cu,
  Pan yn ymdreiglo i lawr
Ar rudd pechadur du,
  Mor ddwyfol yw dy wawr;
O! gwna eneinio'n gruddiau 'i gyd,
Cyn del Efe i farnu'r byd.

John Thomas Job.

## MAE'N AMSER DA YN AWR.

Mae llawer truan yn y byd
  Yn teithio'i ddyrys hynt,
Gan feio'r "dyddiau hyn" o hyd,
  A chanmol "amser gynt."
Boed i amseroedd gynt eu clod,
  Di-au ei fod yn fawr,
Ond canaf gyda hwyl, ei bod
  Yn amser da *yn awr*.

Mae tymor ie'nctyd wedi ffoi
  Er's llawer dydd cyn hyn,
A'r gwallt fu'n ddu sy'n awr yn troi
  I liw yr arian gwyn;
Ond er fy mod yn myn'd yn hen,
  A'm gogwydd tua'r llawr,
Mi ganaf eto, gyda gwên,
  "Mae'n amser da yn awr."

Mae Anian heddyw, fel erioed,
  A'i rhoddion yn ddi-ri';
Mae môr a thir, a maes a choed,
  Yn ein gwas'naet u ni;
Mae natur â thafodau fyrdd,
  Drwy'r holl gre'digaeth fawr,
Yn dweyd yn glir mewn mil o ffyrdd,
  "Mae'n amser da yn awr."

Y mae cyfeillion, cywir, llon,
  A pherthynasau cu,
Mor anwyl im' y fynyd hon
  Ag mewn un amser fu;
A phan y byddom oll yn nghyd
  O gylch yr aelwyd fawr,
Fy nghalon sydd yn dweyd o hyd,
  "Mae'n amser da yn awr."

I gynorthwyo'r weddw dlawd,
  A gwrando cwyn y gwan,
I ymddwyn atynt megys brawd,
  I ddadleu ar eu rhan;
I wneuthur lles i ddynol-ryw,
  I fod yn fendith fawr,
A gogoneddu enw Duw,
  "Mae'n amser da yn awr."

*Utica, N. Y.* J. D. Morgan.

Digitized by Google

## Y DDANODD.

Y ddanodd yw pen pob penyd—ar ddyn,
Gordd enwog ddychrynllyd;
Oranian-boeth, neu ddwrn enbyd,
Yw'n pwnio gweill trwy'n pen i gyd.
H. MORGANWG.

## Y LLYFRGLAWR.

O! 'r enwog Llyfrglawr union—o'f fewn ef
E fwynheir danteithion;
A'i ddiliau i'r meddylion
Rydd aml saig er melus son.
*Dell Roy, O.* LLYWARCH.

## TEIMLAD MR. S. J. BASSETT

Ar derfyn yr Wythfed Mlwydd o'i Yrfa Briodasol gyda'i Hoffus Wraig.

Wyth mlynedd o fyth ymloni—gefais,
O dy gyflawn gwmni;
Agored Ion fy nghariad i,
Ar donau cariad Annie.
*Youngstown, O.* LEGANWY.

## YR AMRANT.

Tyner len ffenestr yr enaid—iesin
Achosa ein hamnaid,
A'i nawdd byw ynddi, heb baid,
Yn cynal ei gwawl canaid.

Mesurydd chwim amseriad—gwasgedig
Drwy gwsg ydyw'n wastad;
Hudd amlwg dros ein llwg llad,
Wisg hygar fyw ysgogiad.
MACHRAETH MON.

# Y Maes Cenadol.

GAN Y PARCH. W. F. DAVIES, NANTICOKE, PA.

### CYNYDD Y BLYNYDDOEDD DIWEDDAF.

Hynaws ddarllenydd.—Y mis hwn a'r nesaf, bwriadaf osod ger dy fron lawer iawn o rifnodau, er dangos cynydd y gwaith yn y chwarter canrif diweddaf. Er cael ychydig o les a gwybodaeth, bydd yn ofynol i ti fyned drostynt yn bwyllog ag ystyriol. Nis gellir dysgwyl eu bod oll yn hollol gywir; ond o bosibl eu bod mor agos i hyny ag mae yn ddichonadwy eu gwneyd; eto, bydd myned drostynt fel y maent, yn sicr o roddi i ti wybodaeth fuddiol am y gwaith, ac egni mwy ynot o'i blaid. Gwnawn ddechreu gyda'r cyfrifon a gawn yn gyhoeddedig yn y flwyddyn 1855. Yn y flwyddyn a nodwyd yr oedd yn Asia 577 o genadon, a 8.372 o aelodau eglwysig; ond yn y flwyddyn 1881 yr oedd yno 2,180 o genadon, a 143,054 o aelodau. Yn Affrica mae y cynydd wedi bod yn yr un cyfnod o 135 o genadon yn 1855 i 886 yn 1880; ac mae rhif yr aelodau yn 1880 yn 156,978, yn lle bod yn 27,241 fel yn 1855. Cenadon ar y cyfandir hwn, (a pheidio cyfrif yr Unol Dalaethau na Canada). Yn 1855 oeddynt 283, ond yn 1880 yr oedd eu rhif yn 676, a rhif yr aelodau yn lle bod yn 94,693, yn 123,186. Oceanica, rhif y cenadon yno yn 1855 oedd 65, yn bresenol mae yno dros 800, a rhif yr aelodau wedi cynyddu yno yn yr un cyfod o 17,100 i 191,184. Cyfanswm y cenadon yn y meusydd uchod yn 1855 oeddynt 1,060. Mae yno yn bresenol dros 4,543, felly gwelir fod eu rhif wedi cynyddi 3,483. Rhif yr aelodau yn y gwledydd uchod yn 1855 oeddynt 144,406, yn bresenol mae ynddynt 619,415, felly mae y cynydd yn 472,-000, a thros hyny. Fel y dywedwyd eisoes, nid yw y rhifnodau uchod yn hollol gywir, nac yn cynwys yr holl gynydd. Mae llawer o gymdeithasau ar ol o roddi cyfrif cyflawn a manwl, ac ychydig nad oes cyfrif genym o gwbl am danynt. Ond, ddarllenydd anwyl, onid yw y cyfrif yn synfawr fel y mae! Wrth edrych, gweli fod pedwar cenadwr ar y maes heddyw am bob un oedd saith mlynedd ar hugain yn ol, a phump o bleidwyr i'r gwirionedd, "fel y mae yn yr Iesu," ac o ganlynwyr yr "Addfwyn Oen," am bob un ag oedd yn ei bleidio yn 1855, yn y gwledydd dan sylw.

Tair blynedd-ar-hugain yn ol yr aeth y genad gyntaf a gair y digelwyddog Dduw i drigolion Japan. Dechreu y flwyddyn bresenol yr oedd yno 136 o genadon. Nid oedd yno yr un eglwys y pryd hwnw, ond yn bresenol y mae

yno 83 o eglwysi, a 3,811 o ddynion mewn oed yn aelodau ynddynt. Mae heddyw 38 o weinidogion ordeiniedig, a 150 o bregethwyr o blith y brodorion. Yn y flwyddyn ddiweddaf prynodd y Japanëaid werth $16,000 o Destamentau a rhanau gwahanol o air Duw. Mae y swm uchod yn llawer mwy pan ystyriom nad yw gweithwyr cyffredin yn Japan yn enill ar gyfartaledd ond tua 30 cents y dydd, a'r dosbarth blaenaf ond tua 50 y dydd. Yn 1833 yr aeth y cenadwr Americanaidd cyntaf i Siam. Yr oedd yno yn 1855, 9 o genadon a 35 o aedodau eglwysig. Yn y flwyddyn ddiweddaf yr oedd yr enwog Dr. Dean a'i wraig yno yn llafurio fel cenadon, a chanddynt 450 o gristionogion selog o dan eu gofal. Yn y flwyddyn 1839 yr aeth y Presbyteriaid gyntaf i Siam. Buont wrthi yn llafurus a goddefgar hyd 1855, ond yn hollol aflwyddianus. Er yn aflwyddianus, parhasant i lafurio, ac yn 1881, yr oedd ganddynt 22 o genadon a phregethwyr brodorol, a 206 yn aelodau yn eu heglwysi. Nid oes neb ond y Presbyteriad a'r Bedyddwyr wedi danfon cenadon i'r wlad sydd dan sylw. Burmah sydd yn neillduol yn faes y Bedyddwyr. Gwir fod Eglwys Loegr a'r Methodistiaid Esgobol wedi gwneyd ychydig yno, ond dim i gydmaru ag eiddo y Bedyddwyr. Yn 1855 yr oedd genym 31 o genadon, a 145 o bregethwyr brodorol, ac 8,736 yn aelodau yn yr eglwysi. Erbyn 1881 yr oedd y ffigyrau uchod wedi cynyddu i 68 o genadon, 452 o bregethwyr brodorol, a 22,222 o ddychweledigion, rhwng Burmahiaid a Kareniaid. Yn Persia, yn mhlith Nestoriaid, yn 1855, yr oedd 9 o genadon yn gofalu am ychydig o Brotestaniaid. Yn y flwyddyn ddiweddaf yr oedd yno 12 o genadon, 1.376 o gymunwyr, y rhan fwyaf yn cael gofalu am danynt gan eglwysi Presbyteraidd America. Yn ngwlad y Twrc ychydig yw y llwyddiant sydd wedi bod yn mhlith y Mahometaniaid, ond yn mhlith yr Armeniaid mae yr efengyl wedi cael derbyniad lled frwdfrydig mewn llawer man. Ymddengys nad gwaith hawdd yw perswadio neb o ganlynwyr y Gau-Brophwyd i dderbyn y Ceidwad. Bernir nad oes mwy na 100 o honynt yn Gristionogion yn mhob man, ac yn ddiweddar iawn y dychwelwyd llawer o'r rhai hyny. Y Bwrdd Americanaedd (Cynulleidfaolwyr), yw yr unig enwad sydd yn cario yn mlaen ar raddfa eang, waith cenadol yn Twrci. Yn 1855 yr oedd ganddynt 34 o genadon yno, 17 o bregthwyr brodorol, a 395 o ganlynwyr. Yn 1881 yr oedd nifer eu cenadon yn 163, y pregethwyr brodorol yn 66, a rhif yr aelodau yn 6,617. Cymerwyd meddiant o Syria a gwlad Canaan yn gyntaf gan y bwrdd uchod, yn 1820. Ar ol hyn rhoddwyd y gwaith i fyny i'r Presbyteriaid. Mae enwadau eraill wedi ymdrechu peth i efengyleiddio y gwledydd hyn. Yn 1855 yr oedd ynddynt 13 o genadon, 13 o fenywod, 4 o bregethwyr brodorol, ond ychydig iawn oedd nifer y dychweledigion. Yn 1881, yn perthyn yn neillduol i'r Presbyteriaid Americanaidd ag Eglwys Loegr, yr oedd 110 o genadon, heblaw gwragedd cenadon, 21 o bregethwyr brodorol, a 1,317 o gymunwyr. Yn araf iawn mae y gwaith da wedi bod yn Affrica am flynyddoedd. Beth bynag, yn ystod y deng mlynedd, neu feallai yn fwy priodol, y pum' mlynedd diweddaf mae adfywiad cyffredinol wedi bod ar y cyfandir hwn. Dichon mae yr achos mwyaf neillduol o hyn yw, y ffeithiau a'r darganfyddiadau rhyfeddol mewn cysylltiad a'r wlad dan sylw, ag sydd wedi eu gwneyd yn hysbys i'r byd gan y teithwyr byd-enwog Livingstone, Stanley, ac eraill. Ymdrechir yn egniol gan allu cryf i gyrhaedd canolbarth y rhan dddeheuol o'r cyfandir. Mae nifer y cenadon wedi cynyddu yn ngorllewinbarth Affrica o 120 yn 1855 i 150 yn 1881. Yr aelodau yn bresenol 30,000, yn lle bod yn 13,154 yn 1855. Gwaith anhawdd yw cael y cyfrifon o bob man, ond yn ol yr hyn sydd yn ein meddiant, mae y cynydd wedi bod yn debyg yn y parthau eraill ag ydyw wedi bod yn y gorllewin. Mae hyn yn galonogol iawn. Mae gan y Morafiaid yn Affrica heddyw yn agos i 11 o gy-

Digitized by Google

munwyr am bob un oedd ganddynt yno yn 1855. Mae Cymdeithas Genadol Llundain wedi colli tir yn Affrica yn y cyfnod dan sylw, ond wedi enill llawer yn Madagasgar. Nid oes ganddi yn Affrica yn bresenol ond un am bob pedwar o gymunwyr a fu ganddi. Mae y Wesleyaid wedi cynyddu yno yn yr amser hwn o 3,300 i 16,603. Mae Abyssinia wedi aros yn yr un man trwy yr holl dymor hwn. Yn 1855, yr oedd y Cristionogion yn Madagasgar, fel yn ail gychwyn wedi erledigaeth chwerw. Bernir y gellesid cyfrif tua mil o gymunwyr yno y pryd hwnw; cafwyd cryn adfywiad yno tua dechreu 1870; ond yn Madagasgar heddyw mae uwchlaw 70,000 yn crefyddu yn selog, ac yn dra egniol o blaid y "ffydd a roddwyd unwaith i'r saint." Bydd genym ragor i osod ger bron y mis nesaf, ond dyma ddigon i gredu y daw "teyrnasoedd y byd yn y man yn eiddo ein Harglwydd ni a'i Grist ef."

## HANESION CARTREFOL.

### Cymanfa

*Bedyddwyr Cymreig Ohio a Gorllewinbarth Pennsylvania.*

Cynaliwyd y Gymanfa uchod eleni yn Palmyra, Ohio, Hydref 20—22. Daeth y gweinidogion a'r cenadon o'r gwahanol eglwysi yno yn lluosog ac yn brydlon, a da genyf allu dweyd fod y frawdoliaeth fechan yn Palmyra yn barod yn mhob ystyr i'w derbyn a'u croesawu.

Boreu dydd Sadwrn, am 10½, dechreuwyd y gynadledd trwy weddi gan y brawd A. Phillips, Church Hill. Ar ol darllen llythyrau ac ystadegau yr eglwysi am y flwyddyn, etholwyd y brodyr canlynol yn swyddogion y Gymanfa am y flwyddyn ddyfodol:

Llywydd—Parch. E. Jenkins, Palmyra.

Ysgrifenydd—Thomas Thomas, Sharon.

Trysorydd—Thomas M. Mathews, Hubbard.

*Penderfynwyd—*

1. Ein bod yn rhoddi derbyniad gwresog i'r brawd D. Rhoslyn Davies i'n Hundeb Gymanfaol ar sail llythyr a dderbyniwyd oddiwrth Ysgrifenydd Cymanfa Dwyreinbarth Pennsylvania.

2. Ein bod yn rhoddi gwahoddiad i'r brodyr William Williams, Church Hill, Thomas Morgan, Thomastown, a Thomas Evans, diweddar o Gymru, i gydeistedd a chydweithredu â ni yn y gynadledd.

3. Ein bod yn ffurfio pwyllgor o dri i dynu allan linell derfynol parth y brodyr hyny sydd yn aelodau mewn eglwysi Seisnig, ac yn dal aelodaeth yn y Gymanfa hon.

*Pwyllgor*—Allen J. Morton, Parisville; Charles Jones, M. A., New Straitsville; a David Evans, Wheatland.

Wedi i'r pwyllgor ddyfod a'u hadroddiad i mewn,

4. Penderfynwyd, Ein bod yn gadael y mater hwn ar y bwrdd am flwyddyn arall.

5. Ein bod yn caniatau llythyr gollyngdod i eglwys tref Ebensburgh o'r Gymanfa hon, i ymuno â Chymanfa Seisnig.

6. Ein bod yn penodi pwyllgor o dri i edrych dros Gyffes Ffydd eglwys Dell Roy.

*Pwyllgor*—David Probert, Youngstown; Thomas E. Parry, Hubbard; ac Evan T. Davies, Parisville.

7. Ein bod yn cymeradwyo cais eglwys New Straitsville, sef i gael trysorfa i gynorthwyo eglwysi gweiniaid i godi addoldai.

8. Ein bod yn ffurfio pwyllgor o saith i ofalu am y drysorfa.

*Pwyllgor*—Thomas E. Parry, Hubbard; Lewis Morgan, Weathersfield; Thomas J. Owen, Pittsburgh; John E. Jones, Pomeroy; Edward Edwards, Mason City; John Lloyd Jones, Centreville; a Thomas Gittings, Parisville.

Swyddogion y pwyllgor am y flwyddyn hon—Thomas E. Parry, Hubbard, yn Ysgrifenydd, a Thomas J. Owen, Pittsburgh, yn Drysorydd.

9. Fod dau o'r pwyllgor i fyned all-

Digitized by Google

an bob blwyddyn, a dau arall i'w hethol yn eu lle.

10. Ein bod yn ystod y flwyddyn yn gwneyd casgliad cyffredinol trwy yr eglwysi, a'r holl arian a gesglir i'w hanfon i Drysorydd y Pwyllgor, sef Thomas J. Owen. Washington street, Allegheny City, Allegheny Co., Pa.

Daeth y pwyllgor ar Gyffes Ffydd eglwys Dell Roy a'u hadroddiad i mewn.

11. Ein bod fel pwyllgor wedi edrych yn fanwl dros y Gyffes Ffydd, ac yn unfrydol o'r farn ei bod yn gyson ag egwyddorion y Bedyddwyr, ac felly yn cymeradwyo yr eglwys i dderbyniad gwresog yn ein plith fel Cymanfa.

12. Ein bod o lwyrfryd calon yn derbyn adroddiad y pwyllgor, ac yn eu rhyddhau.

13. Ein bod yn barnu yn briodol i gynal y Gymanfa o hyn allan yn ei hamser arferol, sef yn mis Mai.

14. Ein bod yn penodi pwyllgor i dynu allan *blanks* llythyr cymanfaol, i'w hargraffu a'u hanfon i bob eglwys yn nghylch y Gymanfa.

*Pwyllgor*—Y Cyn-Lywydd Charles Jones, M. A., a'n Hysgrifenydd, Thos. Thomas.

15. Ein bod yn caniatau rhyddid i'r brawd Edward Jenkins, Palmyra, i gasglu trwy gylch y Gymanfa at gapel Niles, Ohio.

16. Ein bod yn anghymeradwyo unrhyw berson y tu allan i Ysgrifenydd y Gymanfa i anfon hanes y Gymanfa neu Gyfarfod Tri-misol yr enwad i'r wasg Gymreig, ac yn taer gymell pob golygydd i beidio cyhoeddi dim ond a fydd yn dyfod yn swyddogol trwy law yr Ysgrifenydd priodol.

17. Ein bod yn penodi pwyllgor o dri i dynu allan benderfyniad i gymeradwyo y WAWR.

18. Fod y Cyfarfod Tri-misol nesaf i'w gynal yn Church Hill, Ohio.

19. Fod Cymanfa y flwyddyn 1883 i'w chynal yn New Straitsville, Ohio.

Daeth pwyllgor y WAWR a'u hadroddiad i mewn.

20. Ein bod fel cynadledd yn anog yr eglwysi i wneyd ymdrech ac egni i hyrwyddo lledaeniad ein misolyn, lluosogi ei dderbynwyr, talu am dano, a chynorthwyo ei olygydd â chynyrchion llenyddol, er prydferthu ei du dalenau.

Ein bod yn mawr gymeradwyo ei chynyrchion yn y gorphenol, chwaeth y golygydd, a'i ymdrech i ddal ein hegwyddorion yn eu purdeb ger bron y cyhoedd.

Ein bod yn teimlo yn ddiolchgar i'n hanwyl frawd Griffiths am ei ymdrech diflino i'w dwyn allan yn brydlon, a'r aberth (yn ol pob tebyg) mewn ystyr arianol, y mae yn ei wneyd yn ei dygiad allan.

21. Ein bod yn derbyn adroddiad y pwyllgor ac yn eu rhyddau.

Dymunwyd arnaf i hysbysu hefyd ein bod fel Cymanfa yn teimlo yn alarus ar ol yr hen frawd parchus David Jenkins, Hubbard, yr hwn a gymerwyd oddiwrth ei waith at ei wobr, ychydig fisoedd yn ol. Hefyd, ein bod yn cydymdeimlo yn ddwys â'r brawd parchus David Nicholas, Youngstown, yn ei gystudd, ac yn dymuno iddo adferiad buan.

MODDION CYHOEDDUS.

Nos Wener, am saith o'r gloch, darllenodd a gweddiodd un o'r brodyr, a phregethodd y brodyr Thomas M. Mathews, Hubbard, a Charles Jones, M.A., New Straitsville. Yr oedd hwn yn gyfarfod dymunol, a'r pregethu yn dda.

Nos Sadwrn, am saith o'r gloch, darllenodd a gweddiodd yr hen frawd parchus D. Evans, Wheatland, a phregethodd y brodyr Thomas Morgan, Thomastown, a Iago W. James, Dennison. Wrth wrando ar y brodyr ieuainc hyn yn pregethu gyda y fath nerth, medr, a dylanwad, teimlwn fy enaid yn llawn o lawenydd, a chredwyf fod y gynulleidfa luosog yn yr un teimlad. Ewch rhagoch fy mrodyr anwyl.

Boreu Sabboth, am naw o'r gloch, cyfarfod gweddi hynod effeithiol, y brodyr yn gweddio gyda'r taerineb mwyaf, a'r nefoedd fel pe yn gwenu ar y cyfarfod.

Am ddeg o'r gloch, darllenodd a gweddiodd y brawd John Lloyd, (A.,)

Digitized by Google

Shawnee, a phregethodd y brodyr J. R. Jones, Houtzdale, William Williams, Church Hill, a D. Rhoslyn Davies, Pittsburgh. Yr oedd gan y blaenaf bregeth dda, cyfansoddiad cryno, meddyliau tlws, a cherddediad ystwyth. Yr oedd gan yr ail bregeth ymarferol, hynod o bwrpasol, un o'r rhai goreu a wrandawais yn y cyfeiriad hwnw er's llawer o amser. Am y diweddaf digon yw dyweyd ei fod yn deall ei waith, yn deall pa fodd i gyfansoddi, a pha fodd i draddodi cynyrchion ei feddwl yn dderbyniol a dylanwadol; felly y teimlwn wrth ei wrando. Dymunwn o galon ei lwyddiant yn ei faes newydd.

Am ddau o'r gloch, darllenodd a gweddiodd y brawd Thomas Jones, (A.,) Ebensburgh, a phregethodd y brodyr C. Jones, M.A., New Straitsville, Allen J. Morton, Parisville, a John W. James, Mineral Ridge. Yr oedd y brodyr hyn fel arfer yn pregethu yn alluog, grymus, a dylanwadol. Cyfarfod rhagorol drwyddo.

Am haner awr wedi chwech, darllenodd a gweddiodd y brawd A. Phillips, Church Hill, a phregethodd y brodyr Thomas Thomas, Sharon, D. Evans, Wheatland, a David Probert, Youngstown. Am y brawd cyntaf nid oes genyf ddim i ddyweyd am dano, ond am y ddau hen frawd diweddaf dywedwn eu bod yn ddynion o'r iawn ryw, yn bregethwyr rhagorol, ac yn meddu ar gymeriadau di-fwlch, fel y maent yn adlewyrchu anrhydedd ar ein Cymanfa, ac ar ein henwad trwy y wlad. Yr wyf yn meddwl na ddywedwn ormod wrth dyweyd fod hon yn un o'r Cymanfaoedd mwyaf dylanwadol a gawsom er's blynyddoedd. Hyderwn y bydd i effeithiau daionus aros ar ol y Gymanfa. Teimlwn o dan rwymau i ddiolch i'r brawd E. Jenkins a'r eglwys sydd dan ei ofal, am eu hymdrech i wneyd y dyeithriaid i deimlo mor gartrefol a chysurus yn ystod y Gymanfa. Hefyd, i'r eglwys Annibynol a'r gweinidog parchus, am roddi benthyg eu capel i ni gynal ein Cymanfa, a dangos y fath sirioldeb a charedigrwydd i ni yn mhob ystyr arall. Teimlwn yr un fath at bob enwad arall yn y lle, oblegid ymddangosai pawb fel un llaw i gynorthwyo i gynal y Gymanfa, mewn arian, ymborth, a llety. Hefyd, teimlwn o dan rwymau neillduol i'r brawd E. Morddal Evans a'i briod hawddgar, am ddangos y fath sirioldeb ac haelfrydedd tuag atom yn ystod y Gymanfa. . Bendith Duw fyddo yn aros ar y lle.

THOMAS THOMAS, *Ysg.*

---

BRACEVILLE, ILL.

*Mr. Gol.*—Yn gymaint a bod pethau y byd hwn yn gwisgo agwedd mor gysurus yn y lle hwn, mae hyny yn cael ei argraff ar bethau crefydd hefyd, trwy fod nifer yr aelodau yn lluosocach nag y maent wedi bod, a chwaeth yr aelodau yn dyfod yn goethach, fel ag y maent yn gwerthfawrogi gweinidogaeth alluog, ac yn ymestyn i ddyfod i fyny â'r safon y sonia yr Apostol am dani, sydd yn meddiant canlynwyr yr Archoffeiriad mawr, sef rhoddi heibio yr ymadrodd sydd yn dechreu rhai yn Nghrist, a myned rhagddynt at berffeithrwydd. Ac i'r dyben o gael un ag sydd yn alluog i roddi bwyd cryf, sef athrawiaeth bedyddiadau, ac adgyfodiad y meirw, a'r farn dragywyddol, Penderfynwyd anfon cais at y byd enwog Dr. Parry, Bevier, Mo., i ddyfod am ddau Sabboth i'n plith, yr hyn a wnaeth; a derbynied y frawdoliaeth yn Bevier ein diolchgarwch gwresocaf am eu caredigrwydd yn amddifadu eu hun o'r mwynhad a'r hyfrydwch sydd i'w gael o dan y fath weinidogaeth goeth, alluog, ac efengylaidd. Ond diolch, fe fu eu colled hwy yn enill i ni, canys cawsom amser hyfryd tra y bu yn ein plith yn cyfranu yn helaeth o air y bywyd, fel ag yr oedd rhai galluocaf yr ardal ond megys ei ganlyn o hirbell, gan dreiddgarwch a gwreiddioldeb ei syniadau hedegog. Bryd arall yr oedd yn trin ei bwnc mor syml fel y gallasai y meddwl gwanaf ymborthi ar y danteithion gwerthfawr, canys yr oedd yn dlws iawn; felly cafodd y cryf a'r gwan wledd nad anghofir am dani yn fuan; canys yr ydym yn

Digitized by Google

credu i Dduw gael ei ogoneddu a Seion ei hadeiladu. A'n gweddi a'n gobaith yw, am i'r had da gael dyfnder daear, fel y byddo y ffrwyth yn sancteiddrwydd a'r diwedd yn fywyd tragywyddol i lawer o'r newydd. Cawsom hefyd yr hyfrydwch o glywed dwy ddarlith ganddo, sef un ar "Gog a Magog, neu Ddychweliad yr Iuddewon," a'r llall ar "Genedl y Cymry, yn ei dylanwad yn Ffurfiad Llywodraeth a Llenyddiaeth Groeg." Gellir symio y cyfan i fyny yn y geiriau hyny, mai da iawn oedd y cwbl; ïe, mor dda fel y mae y gymydogaeth yn awyddus am gael y fath wledd eto, ac yn foddlawn rhoddi yn helaeth o bethau y byd hwn er mwyn cael y fraint o glywed y gwirioneddau yn cael eu hegluro gyda'r fath ddeheurwydd a nerth; a llais y gymydogaeth yw, Dyma weinidogaeth yn werth i wneyd ymdrech, ac i roddi yn helaeth o dda y byd hwn er mwyn ei mwynhau, ac nid sain heb sylwedd, fel sydd i'w gael hyd yn nod gan rai sydd wedi cael y corn olew. Yr Arglwydd a fendithio lafur ei was. er ei ogoniant ei hun a lles pawb a fyddo dan ei weinidogaeth. Eglwys Bevier, mawrhewch eich braint.—*Un o'r Lle.*

---

## DIOLCHGARWCH.

*Mr. Gol.*—A welwch chwi yn dda gyhoeddi yn y WAWR fy niolchgarwch cynes a gostyngedig i'm caredigion yn Palmyra, am eu rhoddion haelfrydig i mi ar yr 20fed o Hydref, sef *suit* o ddillad o'r brethyn goreu yn *store* Mr. Jones, *merchant tailor*, Girard, Ohio, a hefyd i Mr. Jones am eu gwneuthuriad campus.

Eto, nos Sadwrn, tra yr oedd gwasanaeth y Gymanfa yn myned yn mlaen, gosodwyd blwch bychan ar y pwlpud gan ryw un anhysbys i mi, a fy enw i arno; ac wedi ei agor ar ddiwedd y cyfarfod cafwyd ynddo bâr o wydrddrychau aur, gwerth saith dolar, a phapyr ysgrifenedig fel y canlyn:—"Y rhodd hon sydd i chwi, fel arwydd, oddiwrth amryw gyfeillion, o'u parch tuag atoch, am eich llafur a'ch ffyddlondeb yn ein plith.—*Cyfaill.*"

Anwyl a hoffus gyfeillion, bydded i chwi dderbyn fy nghydnabyddiaeth ddiffuant am eich rhoddion, y rhai a roddasoch yn hollol annysgwyliadwy, ac o dan amgylchiadau anffafriol. Fy ngweddi ar Dduw yw, y caf gymorth i fyw a llafurio yn eich plith yn y fath fodd fel na leiheir dim o'ch parch a'ch ymddiried ynwyf fel cenad cyhoeddus yn yr efengyl; a hefyd y gwel yn dda fendithio fy ymdrechion gwan er iachawdwriaeth i'ch eneidiau. Diolch yn fawr i chwi oll. Eich ufudd wasanaethwr—*Edward Jenkins, Gweinidog.*

---

## *BEDYDDIWYD—*

Yn Coalburgh, O., Hydref 1, bedyddiwyd pedwar o ferched ieuainc, deiliaid ein hysgol Sul, yn mhresenoldeb tyrfa luosog o edrychwyr. Yr ydym yn mawr obeithio fod y gwersyll ar gychwyn yn Coalburgh. Y mae y rhagolygon yn gwella llawer, y gynulleidfa ar ei chynydd, a'r gwrando yn fwy astud.—*W. J. Williams.*

---

## *GANWYD—*

Tachwedd 5, 1882, ganwyd bachgen braf i John S. a Harriet Jones, New Straitsville, O. Gelwir ei enw ef John.

---

## *PRIODWYD—*

Yn Freedom, Swydd Cattaraugus, N. Y., Mehefin 10, 1882, gan y Parch. W. M. Evans, yn ei dy ei hun, Mr. Evan W. Morgan, Arcade, Swydd Wyoming, N. Y., a Mrs. S. A. Vanname, Centerville, Allegany, N. Y.

Tachwedd 22, 1882, yn nhy rhieni y briodasferch, yn Remsen, N. Y., gan y Parch. Owen F. Parry, Mr. David J. Williams, o Freedom, Cattaraugus, N. Y., a Miss Jennie E. Lewis, Remsen, N. Y.

Tachwedd 13, 1882, yn ei dy ei hun, gan y Parch. D. S. Thomas, Mr. John E. Davies a Mrs. Ann Davies, oll o Shenandoah, Pa.

Tachwedd 8, 1882, yn Ridgeway, Wis., yn nhy mam y briodasferch, gan y Parch. John Thomas, Mr. James T. Rees, a Miss Margaret J. Roach. Yr oedd yr anrhegion yn lluosog a gwerthfawr a gyflwynwyd gan y cwmni i'r pâr ieuanc. Hir oes i'r ddau siriol.

Digitized by Google

Yn Farmersville, Swydd Cattaraugus, N. Y., Medi 6, 1882, yn nhy rhieni y briodasferch, sef Mr. John E. Paynter a'i briod, gan y Parch W. M. Evans, Mr. Charles P. Adams a Miss Lizzie Paynter. Yr oedd tua baner cant o wahoddedigion yno ar swper, ac yn cyfranogi o'r danteithion darparedig. Cafodd y briodasferch luaws mawr o roddion gwerthfawr a gwir ddefnyddiol. Hir oes i'r pâr ieuanc i gyd-fyw yn llawen a llwyddianus.

Tachwedd 14, 1882, gan y Parch. T. Prosser Morgan, yn ei dy ei hun, Mr. Benjamin F. Holvey a Miss Sarah Robins, y ddau o Thomastown, Ohio.

---

## *BU FARW—*

### MRS. ELIZABETH EDWARDS.

Yn Freedom, Swydd Cattaraugus, N. Y., Awst 4, 1882, yn 92 mlwydd oed, bu farw Mrs. Elizabeth Edwards Yr oedd ein chwaer ymadawedig yn enedigol o Lansannan, Sir Ddinbych, G. C. Ymfudodd i'r wlad hon er ys tua 56 o flynyddoedd yn ol, a sefydlodd yn South Trenton. Yn mhen ychydig amser symudodd i Steuben i gartrefu; ac yn olaf i'r lle hwn, lle y treuliodd dros 30 o flynyddau olaf ei hoes hirfaith mewn parch ac edmygedd pawb a'i hadwaenai.

Cafodd ei bedyddio ar broffes o'i ffydd yn Mab Duw gan y diweddar Barch. J. Stevens, yn South Trenton. Cymerodd hyn le yn fuan wedi ei dyfodiad i'r wlad hon. Yr oedd llawer o bethau yn nghymeriad ein chwaer ag ydynt yn wir deilwng o sylw ac efelychiad. Meddianai ar feddwl bywiog, treiddgar, gwreddiol ac annibynol. Darllenai ei Beibl, a llyfrau crefyddol eraill, yn astud a manwl, fel y daeth yn feddianol ar grynodeb pur gyflawn o wybodaeth fuddiol. Nid darllen yn arwynebol a wnelai hi, eithr darllenai er mwyn cofio, trysori, myfyrio a deall. Uchel-Galfinaidd ydoedd o ran ei barn, a llawer dadl boeth gafodd yr ysgrifenydd â hi ar wahanol bynciau; ond ymadawem bob tro yn gystal cyfeillion ag erioed. Hoffai gartrefu gydag ochr y Nefoedd i gadwedigaeth pechadur. Llyfr yr arfaeth a'r bwriadau tragywyddol, ac etholedigaeth dragywyddol, personol a diamodol, a roddent gysur a dyddanwch i'w henaid. O! fel y gwreichionai ei llygaid pan yn amddiffyn egwyddorion trefn gras. Byddai bob amser yn ddidderbyn wyneb. Yr oedd yn ddigon gwrol i ddatgan ei barn am ddyn, nid yn ei gefn, ond yn ei wyneb. Yr oedd ganddi barch diffuant i weinidogion y gair. Derbyniai hwynt bob amser gyda y serchogrwydd mwyaf i'w thy ac at ei bwrdd, a byddai wrth fodd ei chalon tra yn ymddyddan â hwynt ar wahanol faterion perthynol i grefydd Iesu Grist. Cyfranai yn hael, yn ol ei gallu, at gynal gweinidogaeth y Testament Newydd. Ni chlywais hi erioed yn dyweyd un gair anmharchus am weision y Duw Goruchaf Yr oedd yn Fedydd-wraig selog a phenderfynol. Nid oedd fel ceiliog y gwynt, yn troi gyda phob awel; na, safai bob amser, ac yn mhob man, dros yr hyn a gredai. Er iddi gael ei chodi yn nghanol y Methodistiaid Calfinaidd, ffieiddiai y "bedydd bach," fel y galwai ef, â'i holl enaid. Soniai gydag anwyldeb a pharch am y diweddar John Edwards, Rhuthyn, yn talu ymweliad â Llansannan, i bregethu egwyddorion pur y Testament Newydd, ac am y dylanwad a gafodd y gwirionedd, o dan ei weinidogaeth, ar ei meddwl a'i chalon.

Parhaodd yn ffyddlon gyda phob rhan o waith yr Arglwydd tra y caniataodd Duw nerth corphorol iddi. Gweinyddwyd pob peth a allesid iddi yn y blynyddau a'r misoedd olaf o'i bywyd daearol. Bu ei merch, Jane Edwards, yn dyner a gofalus iawn am dani hyd y diwedd. Dangosodd amynedd a chariad dwfn wrth wasanaethu ar ei mam yn ei henaint. Ni chyll ei gwobr.

Gadawodd ein hanwyl chwaer chwech o blant, sef pedair merch a dau fab, ar ol yn myd y galar. Mae ei mab, Thomas Edwards, o Attica, yn Fedyddiwr selog a thra adnabyddus.

Rhoddwyd gweddillion ein chwaer i orphwys hyd y dydd mawr, pan y dadebrir y meirw, yn mynwent Ebenezer, capel y Bedyddwyr, pryd y gweinyddwyd ar yr achlysur, yn absenoldeb yr ysgrifenydd, gan y Parch. Everingham, Sandusky. Bydded i nawdd Preswylydd mawr y berth aros ar y perthynasau oll, a'u tywys i fyw er gogoniant i Dduw, fel y gwnaeth eu mam o'u blaen. W. M. EVANS.

### MRS. ANN EVANS.

Medi 18, 1882, am 1 o'r gloch y boreu, o'r darfodedigaeth, yn Dallas, Swydd Luzerne, Pa., bu farw Mrs. Ann Evans. Ganwyd hi ar y 5ed o Fehefin, yn y flwyddyn 1854, yn Llwynpiod Farm, ger Llandybie, Swydd Gaerfyrddin, D. C. Merch ydoedd i Joseph a Mary Williams, Llwynpiod. Mae ei rhieni yn byw yn y fferm uchod hyd y dydd heddyw. Dydd Gwener, yr 8fed o fis Medi, yn y flwyddyn 1876, priododd â William J. Evans, mab i John a Rachel Evans, o'r *Travellers' Well*, Cwmaman, yn yr un Sir. Gadawsant Cwmaman am America ar y 28ain, o Fawrth, 1881, a thiriasant yn y wlad hon ar y 9fed o Ebrill, 1881. Wedi aros am ychydig yn Plymouth, Swydd Luzerne, Pa, symudasant i Dallas, lle y terfynodd hi ei thaith ddaearol.

Cafodd ei bedyddio yn mis Mai, yn y flwyddyn 1871, pan oedd yn 17 ml. oed, yn nghapel Soar, Llandyfaen, plwyf Llandeilo Fawr, Sir Gaerfyrddin, D. C., gan y Parch. Thos. Jones, gweinidog y Bedyddwr yn Casllwchwr, ger Pontarddulas; ond ar yr amser y bedyddiwyd hi oedd yn weinidog yn Soar, Llandyfaen. Y mae ei thad a'i mam yn aelodau selog yn eglwys y Bedyddwyr yn Soar, Llaandyfaen hyd

Digitized by Google

y dydd heddyw, a dygasant eu merch i fyny yn ofn Duw, a bu hithau oddiar ddydd ei hymuniad ag eglwys Iesu Grist fyw yn addurn i'w phroffes hyd ddydd ei marwolaeth, a bu farw yn fuddugoliaethus ar ddychrynfeydd angau. Pan yn ymyl marw, dywedai wrth ei hanwyl briod (yr hwn a fu yn dyner iawn iddi trwy ystod ei saldra), "Yr wyf fi yn myned i farw yn fuan, ond peidiwch chwi a gofidio gormod. Nid oes arnaf ddim ofn marw. Byddwch yn ofalus am y plant bach." Ac ychydig fynydau cyn marw, dywedodd, "ei bod hi yn marw," ac yna bu farw a'i phwys ar yr anwyl Iesu.

Gadawodd dri o blant ar ei hol, ond bu farw yr ieuengaf o honynt, a chladdwyd hi yn ymyl ei mam, ar y 27ain o Hydref, 1882. Bydded Tad yr amddifaid yn dyner o'r ddau blentyn sydd yn fyw, ac o'u tad, yw dymuniad calon un sydd yn dymuno iddynt bob daioni.

Dydd angladd Mrs. Evans, gweinyddwyd gan weinidog yr M. E. Church, yn Saesoneg, a'r ysgrifenydd yn Gymraeg.

*Plymouth, Pa.* DAVID RHYS JONES.

### MRS. CATHERINE LEWIS.

Rhagfyr 25ain, 1881, yn Weathersfield, O., yn ei 63 mlwydd oed, bu farw Mrs. Catherine Lewis. Fe'i hadnabyddid hi yn gyffredin trwy ei galw ar enw ei gwr cyntaf, yn "Kitty Parry." Abraham Parry oedd ei enw ef. Cafodd Abraham ei ddiwedd lawer o flynyddoedd yn ol yn Pomeroy, O. Daeth hi ac yntau i'r wlad hon tua dwy-a deugain o flynyddoedd yn ol, o Rhymney, Sir Fynwy, D. C. Bendithiwyd hwy â phump o blant; y mae pedwar o honynt yn fyw, a'r llall wedi myned i "ffordd yr holl ddaear." Yn mhen blynyddoedd symudodd Catherine Lewis i gymydogaeth Youngstown, a phriododd eilwaith gyda J. E. Lewis, yr hwn hefyd a fu farw flynyddoedd yn ol. Bu iddynt un mab yr hwn sydd yn gwneyd i fyny bum' o blant, pa rai sydd heddyw yn cyd-alaru oblegid colli mam dyner a gofalus. Gellir dyweyd yn ddibetrus am y chwaer ymadawedig, ei bod yn un hynod o ran ei thynerwch a'i gofal; ac oblegid hyn, gwnaeth ran mam i lawer plentyn heblaw i'w phlant ei hun. Ymunodd â'r Bedyddwyr yn Penuel, Rymney. Bedyddiwyd hi gan y Parch. Morgan James; ac o hyny allan am bum' mlynedd a deugain, bu yn ffyddlawn yn ngwinllan ei Harglwydd, gan ymddwyn yn wastad â'i phroffes. Cyfarfyddodd ag aml dro digon chwerw. Yr oedd mordaith ei bywyd yn fynych yn hynod arw, ond daliodd ei llestr yn yr iawn gyfeiriad ar hyd y fordaith, nes cyrhaedd yr hafan dymunol. Yr oedd ei phrofiad crefyddol yn un dymunol iawn; teimlai ei hun yn gwbl hyderus yn yr Arglwydd. Dyoddefodd gystudd blin am flynyddoedd yn hynod o ddirwgnach, a pharhaodd felly hyd y diwedd. Merch ydoedd i'r Parch. Morgan Dafydd, Tredegar, pan yn Nghymru. Hi a ehedodd ymaith gan adael brawd, pump o blant, amryw berthynasau, a lluaws o frodyr a chwioryd i crefyddol i alaru ar ei hol. Dangoswyd tuag ati bob ymdrech a gofal yn ystod ei chystudd maith. Claddwyd hi ar y 27ain, yn ymyl capel y Bedyddwyr. Ac er fod yr hin yn anffafriol, daeth torf barchus yn nghyd i hebrwng ei gweddillion marwol i dy eu hir gartref. Gweinyddwyd ar yr achlysur gan yr ysgrifenydd. Hefyd, traddododd bregeth angladdol iddi yn mhen pythefnos ar ol hyny. Rhoddodd y M.C. ei cyfarfod heibio ar yr achlysur. J. W. JAMES.

### MR. W. J. WILLIAMS.

Hydref 16, 1882, yn Mahanoy City, Pa., yn 63 mlwydd oed, bu farw Mr. W. J. Williams. Brodor o Cwmbach, D. C. ydoedd. Ymbriododd â Miss Margaret Evans, yn Llangwie, D. C. Ganwyd iddynt 14 o blant, mae 5 o honynt yn fyw, ac yn cyd alaru â'u mam ar ol tad tyner a phriod gofalus. Daethant i'r wlad hon yn 1854. Buont yn byw am dymor yn Eagle Hill, ger Pottsville, Pa., ond yn Mahanoy City y treuliodd y brawd Williams yr 21 ml. olaf o'i oes. Bedyddiwyd ef yn aelod o eglwys Bedyddwyr Mahanoy City, tua 9 mlynedd yn ol. Meddai ar nodweddion crefyddol y byddai yn dda i eraill eu hefelychu. Bu farw yn gadarn yn y ffydd a'i lygaid yn gweled iechydwriaeth yr Arglwydd. Claddwyd ei gorph yn Mahanoy City Cemetery, Hydref 18. Gweinyddwyd yn y ty gan y Parch. D. S. Thomas, Shenandoah, ac yn y capel ganddo ef a Mr. Keiser. Duw'r dyddanwch fyddo yn gysur i'r galarwyr.

---

## GEMAU.

—Gwybodaeth mewn cydmariaeth, nid yw ond ychydig o werth hyd oni addfedo i *ddoethineb*.

—Dyn a llawer o eiriau sydd anfynych yn ddyn a llawer o *feddwl*. Y mae sŵn a gwagder yn gymdeithion cyffredin.

—Yr enwog a'r dysgedig Gibbon, ychydig cyn ei farwolaeth, a wnaeth y gyffes hon: "Pan edrychaf ar holl bethau y byd, y maent oll yn ehedeg; pan yn edrych yn ol y maent wedi ehedeg; pan yn edrych yn mlaen y mae pob peth yn dywyll ac amheus." Mor ddigysur i enaid dyn i wynebu y byd mawr yw egwyddorion anffyddaidd! Y fath ddynion gwynfydedig yw y rhai sydd yn adnabod Crist, ac yn profi dyddanwch yr efengyl!

Digitized by Google

## NODION CYFFREDINOL.

—Yr wythnos ddiweddaf yn mis Hydref dathlwyd y 200fed flwyddyn o laniad William Penn, yn Philadelphia, gyda gwychder mawr. Parhaodd y dathliad bedwar diwrnod, a chynwysai orymdeithiau o bob math, yn nghyda bron bob math o ddyfais a ellid eu dychymygu i wneyd y dathliad yn foddhaol. Cymerodd y Cymry ran bwysig yn ngweithrediadau yr achlysur mewn canu corawl cystadleuol am wobrau mawrion o $400, $600, $800, a $1,200. Bernir fod 200,000 o ymwelwyr â'r ddinas ar y pryd. Cymerodd damwain alarus le noson gyntaf y dathliad yn ystod arddangosiad *fire works* yn Fairmount Park, trwy ffrwydriad tân-belen, yr hyn a laddodd wyth o bersonau, ac anafwyd chwech neu saith eraill. Cor Plymouth a Nanticoke enillodd y wobr uchaf.

—Cynaliwyd yr etholiadau Talaethol yn y rhan fwyaf o'r Talaethau ar y 7fed o'r mis diweddaf, gyda chanlyniadau tra anffodus i'r Gwerinwyr. Yn Nhalaeth New York etholwyd Grover Cleveland (Democrat) yn Llywodraethwr, trwy fwyafrif yn ymylu ar ddau can' mil!! Mae y Ddeddfwrfa hefyd yn Ddemocrataidd. Aeth Massachusetts, Connecticut, Pennsylvania, Indiana, a Thalaethau Gwerinol eraill hefyd yn Ddemocrataidd; ac hyd yn nod mewn Talaethau a gariwyd gan y Gwerinwyr (ond trwy fwyafrifau llawer llai nag arfer), y maent wedi colli llawer o aelodau o'r Gydgyngorfa; a bydd y Gydgyngorfa nesaf yn Ddemocrataidd. Ceir engraifft nodedig o fawredd y chwyldroad, yn Sir Oneida, N. Y. Mae y Sir hon yn arfer rhoi o 1,500 i 2,000 o fwyafrif Gwerinol; ond yn awr y mae wedi rhoddi dros 5,000 o fwyafrif i Grover Cleveland. Swm y cwbl yw, fod y wlad wedi myned i ddwylaw y Democratiaid. Beth yw yr achos o hyn oll? Onid twyll, ac ymyraeth yr Arlywydd?

—Mae llawer o philosophi Cristionogol yn gynwysedig yn y sylwadau a wnaed gan y diweddar Mr. Marquand, o Connecticut, yr hwn tra yn fyw ydoedd yn gyfaill llawagored i bob gwaith da: "Ni ddylai Cristion byth ofidio," meddai, "pan y gofynir iddo roddi. Os nad all roddi, da y gall ofidio; ond os nad yw yn ewyllysio rhoddi, dylai fwy na gofidio —dylai ddychrynu. Nid yw diffyg arian mewn un modd mor bruddaidd a'r diffyg o duedd i gyfranu o'r hyn sydd genym. Mae dyn yn fynych yn cau y drws yn ngwyneb ei gyfaill goreu pan yn nacâu gwrando ar apeliad i'w haelfrydedd."

—Mae yn debyg mai y gefeilliaid hynaf yn awr yn byw yn y Talaethau Unedig yw Bernard a John Kepler, y rhai ydynt yn byw yn Plumstead, Bucks Co., Pa., lle y ganwyd hwynt Mawrth 27, 1792. Ni buont erioed yn wahanedig oddiwrth eu gilydd am ddiwrnod, ac ni buont erioed allan o'r Sir ond unwaith, pan yn 1860 yr ymwelasant a Philadephia am amser byr. Pleidleisiasant dros yr Arlywydd Madison i'w ail dymor, ac yn mhob etholiad Arlywyddol o'r pryd hwnw hyd yn awr.

—Mae gwaith rhyfeddol y Bedyddwyr Americanaidd yn mhlith y Telegus, yn India, yn parhau i fyned yn mlaen gyda nerth mawr. Er dechreuad y flwyddyn, mae y Parch J. S. Clough, o Ongale, wedi bedyddio cynifer a 1,500 o ddychweledigion.

—Dywed y *Jewish Messenger* fod yr elfen foesol yn fynych yn absenol mewn addysgiaeth Hebreig ddiweddar, a bod mwy o sylw yn cael ei dalu i'r syniadau dealldwriaethol na'r rhai moesol.

—Mae Mary Booth, Negroës, 14 mlwydd oed, dan ddedfryd marwolaeth yn Surry Co., Va., am wenwyno dau berson i farwolaeth rai misoedd yn ol. Hi yw y fenyw ieuangaf a ddedfrydwyd erioed i'w chrogi yn Virginia.

—Dychrynwyd Mary Cooper, o Philadelphia, gymaint wrth weled meddwyn mewn fit o'r *delirium tremens* yn ei phresenoldeb, fel yr aeth yn fud. Bu am bythefnos yn analluog i siarad gair, gan fod ei pheirianau llafar wedi eu parlyseiddio. Dechreuodd ddysgu y *mute's alphabet*, gan gredu na chai byth adferiad, pan y dychwelodd ei llafar mor sydyn ag y darfu iddi ei golli

—Gwnaeth dyn ar ei wely angeu yn Indiana, archiad rhyfedd, sef ar ol iddo farw, iddo gael ei roddi mewn *vault* yn eistedd ar gadair esmwyth.

—Mae gan Mrs. Mary Gravely, Buck's Co., Pa., fuwch, yr hon tua phedwar mis yn ol a gollodd un o'i choesau blaen islaw pen ei glin, trwy i gerbydres ei tharo. Triniodd meddyg anifeiliaid y fuwch mor fedrus fel y gwellaodd y clwyf yn fuan, ac yna gwnaed coes bren iddi, gyda'r hon, ar ol ychydig ddyddiau o ymarferiad, y cerddai y fuwch yn lled gysurus.

—Mae yr Iuddew haelfrydig, Syr Moses Montefiore, o Lundain, newydd gyrhaedd ei 98ain flwyddyn. Dathlodd yr amgylchiad yn ei ddull arferol ar y cyfryw achlysuron, trwy gyfranu rhoddion elusengar yn mhlith y tlodion.

—Dathlodd Mr. a Mrs. Josiah Hurd y 70ain flwyddyn o'u priodas, yn Bennington Co., Vt., yn ddiweddar. Eu hoedran yn awr yw 91 ac 89, ac y maent yn iach ac yn fywiog. Maent yn byw yn awr yn yr un ty ag y dechreuasant eu bywyd priodasol.

—Mae gan Dalaeth New York boblogaeth o tua 5,000,000. Mae gan Loegr boblogaeth o tua 25,000,000. Mae gan Dalaeth New York eisoes fwy o lysoedd, mwy o farnwyr, a chyhoedda yn flynyddol fwy o adroddiadau cyfreithiol na holl Loegr.

Digitized by Google

—Darlunia Cardinal McClosky mewn cylchlythyr a gyhoeddodd yn ddiweddar, sefyllfa y Pab yn lled anghysurus. Dywed: "Mae angenion yr Esgobaeth Sanctaidd, fel y gwyddoch yn dda, y foment hon yn fwy nag erioed. Yn nghanol lluosog erledigaethau yr eglwys, gwrthgiliad cenedloedd oddiwrth ufudd-dod y ffydd, ac anniolchgarwch ei blant gwrthryfelgar, calon ei Sancteiddrwydd yw y prif ddyoddefydd. Wedi ei amddifadu o'i dreftadaeth gyfreithlawn, mae yn dibynu ar gariad a ffyddlondeb ei wir blant."

—Mae y Weinyddiaeth Aiphtaidd wedi penderfynu mynu cyfreithwyr Seisonig i weithredu dros y Llywodraeth yn mhrawf arweinwyr y gwrthryfel. Dywedir fod darganfydd iad newydd wedi ei wneyd o bapyrau o bwys yn amddiffyniad Arabi Pasha. Dywedir eu bod yn dangos fod y Sultan yn ei bleidio yn ddirgelaidd.

—Darllenwyd papyr yn ddiweddar mewn cyfarfod gweinidogion yn Boston, gan y Parch. Dr. Laurie, gynt yn genadwr yn Syria, yn yr hwn y cymerodd y tir na bu erioed un math o win nad ydoedd yn feddwol yn adnabyddus yn Palestina. Meddylia fod arferion presenol y Dwyrain yn taflu goleuni mawr ar y gorphenol.

—Mae dau o'r meddygon a weinyddent ar yr Arlywydd Garfield yn ei afiechyd, yn awr yn glaf fel ag i achosi pryder yn eu cylch, sef Ex-Surgeon General Barnes a Dr. Woodward. Dywedir fod afiechyd y ddau feddyg wedi bod yn gwaelu ar ol eu gwasanaeth o naw wythnos ar yr Arlywydd.

—Yn llywyddiaeth Madras (India), yn ystod 1881, talwyd $10,000 yn wobrwyon am ddinystrio 138 o dywalgwn (*tigers*), 75 o *panthers* a llewpardiaid, a bwystfilod eraill. Cofodd 1,302 o bersonau, ac 8,328 o anifeiliaid eu lladd gan fwystfilod gwylltion a seirph —dywalgwn yn lladd 135 o bobl, a 3,328 o wartheg. Yr oedd y gwartheg a laddwyd gan fwystfilod gwylltion yn y Llywyddiaeth yn werth $40,000. Y mae dinystr bywyd gan seirph gwenwynig a bwysfilod gwylltion yn rhandir Bengal, bob blwyddyn, yn llawer mwy. Mae cynifer a 11,000 o bersonau wedi cael eu lladd fel hyn mewn un flwyddyn.

—Mae penderfyniad cyfreithiol diweddar yn Lloegr yn taflu rhyw faint o oleuni ar y pwnc dyrys o oed Eglwys Loegr. Cafodd dernyn o eiddo ei brydlesu (*lease*) yn y flwyddyn 883 am 999 o flynyddoedd. Honid ef yn ddiweddar gan yr Eglwys drwy hawl ymchweliadol (*right of reversion*), a daliodd y Llys fod yr hawl yn dda. Yr oedd Alfred y Saxon ar orsedd Lloegr pan weithredwyd y *lease* hono: felly mae yr Eglwys Sefydledig yn rhagddydd io coroniad Henry VIII. gan fwy na 626 o flynyddoedd.—*N. Y. Observer*

—Gadawodd cwmni o 53 o genadon Mormonaidd New York yn yr agerlong "Wyoming" yn ddiweddar. Arosa rhai o honynt yn Lloegr, a bwriada eraill fyned i wahanol barthau o'r cyfandir, i wneyd dychweledigion, ac y mae yn debyg y dychwelant cyn hir gyda chanoedd o honynt, i'w hychwanegu at boblogaeth annymunol ein gwlad.

—Bu farw Mrs. Letitia Howard, y dydd o'r blaen, yn Allegheny City, Pa., yn 105 mlwydd oed. Meddianai ei chyneddfau i raddau helaeth iawn. Gadawodd ddau fab ar ei hol, un yn 75 a'r llall yn 80 mlwydd oed, y ddau yn iach a heinyf, ac yn cyflawni llawn waith yn *yard* y Pittsburgh, Fort Wayne & Chicago Railroad Co.

—Bwriada Henry M. Stanley ddychwelyd i Affrica yn gynar y gwanwyn nesaf.

—Mae y Llywodraeth Rwssiaidd wedi gorchymyn i naw o longau rhyfel gael eu hadeiladu yn uniongyrchol; bwriedir hwynt i wasanaethu yn y Baltic a'r Mor Du. Mae amddiffynfeydd Cronstadt i gael eu cadarnhau yn fawr hefyd. Mae y symudiadau diweddar fel yn rhagarwyddo rhyfel.

—Yr oedd hanesion am ddifrodiadau y dwymyn felen yn parhau yn Pensacola hyd ganol y mis diweddaf.

—Mae y newyddiaduron Seisnig yn rhoddi y bai o orchfygiad y blaid Werinol ar Arthur a Conkling.

—Mae ymweliad yr efengylwyr Moody a Sankey â Paris wedi cynhyrfu cryn ddyddordeb yno, nid yn unig yn mhlith y Saeson a'r Americaniaid, ond yn mysg y Ffrancod hefyd, a gorfuwyd cael dyn i gyfieithu anerchiadau Mr. Moody iddynt, a llenwid yr ystafell fwyaf a feddai y Protestaniaid yn y ddinas, yr hon a gynwysai oddeutu dwy fil.

—Dau fachgen yn Boston yn dymuno gwybod pa un o honynt a feddai y penglog trwchusaf, a darawsant eu penau yn nghyd mor ffyrnig, fel y bu un o honynt farw y diwrnod nesaf, a gwnaed y llall yn beryglus o glaf.

—Cafwyd bachgen 12 mlwydd oed, yn St. Louis Co, Mo., yn euog o lofruddiaeth yn y radd gyntaf am ladd ei dad.

—Mae yn hawddach dysgu anwybodaeth na rhagfarn, o herwydd rhaid i ragfarn anghofio yr oll y mae yn wybod yn awr cyn y gall ddysgu dim yn ychwaneg.

—Un boreu yn ddiweddar lladdodd Mrs. Margaret Seguin, gwraig meddyg adnabyddus yn New York, ei hun a thri o'i phlant, gyda *revolver*, mewn ffit o wallgofrwydd.

—Dywedir fod yn awr am y tro cyntaf yn hanes Coleg Yale fwy na haner aelodau y *Sophomore Class* yn Gristionogion proffesedig.

Digitized by Google

## DYDDANION.

—Gofynodd boneddiges unwaith i Coleridge, y bardd, a ydoedd efe yn credu mewn ysbrydion. Atebodd, "Nac ydwyf, madam; yr wyf wedi wedi gweled gormod o honynt i gredu ynddynt."

— Atebiad lled synwyrol ydoedd hwnw a wnaeth lodes fechan i'w hathrawes, pan ofynodd iddi, "Sut, fy anwylyd, nad wyt ti yn deall y peth syml hwn?" Atebodd yr un fechan ffraeth, "Y mae genyf gynifer o bethau i'w dysgu, fel nad oes genyf amser i ddeall."

— Pan ddarfu un o freninoedd Ffrainc geisio hudo M. Bourgier, yr hwn oedd Brotestant, i gydymffurfio a'r grefydd Babaidd, gan addaw gwobr mawr iddo, efe a atebodd, "Syr, pe gellid fy nhemtio i fradychu fy Nuw er mwyn swydd yn y llywodraeth, buaswn yn bradychu fy mrenin am lawer llai." Onid yw yn bur amlwg mai rhai cydwybodol am wneyd eu dyledswydd i Dduw yw y rhai mwyaf gofalus am wneyd eu dyledswydd i'w cydddynion?

—Adrodda Mr. Johnson, cenadwr y Bedyddwyr yn China, y ffaith hon am un o'r dychweledigion brodorol. Pan oedd yn ceisio perswadio ei gydwladwyr i roddi i fyny eu heilunod, a chredu yn Nghrist, fe gafodd ei ddifrio a'i ddirmygu ganddynt yn y fath fodd, hyd nes y darfu iddynt ei luchio â llaid a cheryg, nes oedd y gwaed yn llifo o'r tyllau oedd yn ei arleisiau. Mr. Johnson, wrth ei gyfarfod, a ddywedodd, "Yr ydych wedi cael triniaeth ddrwg heddyw." Atebodd, dan wenu, "Gallant fy lladd os mynant, os carant yr Iesu." Mor debyg i'w gilydd yw gwir Gristionogion yn mhob oes a gwlad.

— Pan oedd morwr duwiol mewn ystorm beryglus, yn gallu bod yn eithaf tawel er na fedrai nofio, fe ofynwyd iddo pa fodd yr oedd efe yn gallu bod mor ddiofal. Efe a atebodd, "Pe bawn yn suddo i waelodion y môr, ni wnawn ond disgyn i gledr llaw fy nhad; oblegid y mae efe yn dal yr holl ddyfroedd yno." Un arall a ddywedai, "Y mae fy mywyd yn crogi ar un edef, ond y mae yr edef hono yn llaw tad." Mor ddedwydd yw y bobl y mae yr Arglwydd yn Dduw iddynt!

—"Paham yr wyt ti yn peidio cymeryd rhai o'r afalau yna?" meddai un bachgen wrth y llall, "nid oes neb yna i dy weled di." "Oes, y mae," meddai yntau, "yr wyf fi yma i weled fy hun; ac nid wyf fi byth yn bwriadu edrych arnaf fy hun yn gwneyd tro gwael, annheilwng."

—"Penglog pwy yw hwn?" gofynai dyn ryw dro yn y *British Museum*. "Penglog Oliver Cromwell yw hwna," oedd yr atebiad. "Wel, onid yw yn fychan iawn?" gofynai yr ymwelydd, mewn peth syndod. "O, ei benglog ef pan ydoedd yn fachgen ydyw hwna," oedd yr atebiad.

—Galwodd Siarls II. un diwrnod i weled Milton, y bardd enwog. O ran cywreinrwydd yn ddiau y gwnaeth efe hyny, ac nid o barch tuag ato. Yr oedd Milton y pryd hwnw wedi colli ei olwg, ac mewn sefyllfa isel. Yn ystod yr ymddyddan gofynodd y brenin, "A oedd efe ddim yn meddwl fod ei ddallineb yn farnedigaeth arno am ysgrifenu yn erbyn ei dad ef?" sef Charles I. I'r hyn yr atebodd y bardd gonest, "Nac ydyw; os ydych yn credu fod drygau fel hyn yn brawf o ddigofaint y nefoedd, beth a feddyliwch am ddiwedd eich tad? Ni chollais i ond fy *llygaid*, ond collodd ef ei *ben*."

—Gorchymynodd brenin Ffrainc i'r Tywysog De Conde gymeryd ei ddewis o dri pheth—y cyntaf, myned i'r offeren; yn ail, marw; a'r trydydd, cael ei garcharu am ei oes. Rhoddodd y Tywysog yr atebiad byr a phenderfynol a ganlyn: "Yr wyf yn hollol benderfynol nad af byth i'r offeren; ond am y ddau arall, yr wyf yn hollol ddiofal yn eu cylch, ac yn gadael y cwbl at ddewisiad eich Mawrhydi."

Digitized by Google

# Y WAWR.

CYF. VII.] IONAWR, 1883. [RHIF. 10.

## EGLWYSI HEB WEINIDOGION

Y mae yn ffaith fod nifer lluosog o'n heglwysi "mewn amryfal fanau," yn amddifaid o freintiau gweinidogaeth y gair; ac y mae llawer o'r eglwysi hyn, trwy hir gynefindod, wedi ymfoddloni yn y cyflwr annymunol hwn. Cynelir tipyn o ysgol yn Sabbothol, bron yn hollol yn yr iaith Saesneg, a thipyn o gwrdd gweddi yn flaenorol neu yn ddilynol, yn y Gymraeg. Dyna i gyd. Y mae yr achos yn darfod yma, meddynt, ac nid gwiw i ni ddysgwyl pethau gwell. Mae y Cymry yn ymadael o'r lle, a ninau wedi myned yn ychydig mewn nifer, fel nad oes gobaith am nemawr lewyrch ar yr achos Cymreig yma mwy. Y mae yr ymadroddion yna yn swnio yn burion, yn neillduol pan yn cael eu hynganu gan bersonau fyddont eto yn aros yn gorlanau unig. Y gwirionedd yw, y mae ochr arall i'r ddalen mewn llawer iawn o engreifftiau. Yn fynych gadewir y praidd Cymreig gan bersonau fyddont wedi eu haddfedu i hyny yn yr awyrgylch gwynfanus. Mae y fath ysbryd yn lladd ar bob llaw. Yn y lle hwnw dichon y bydd dau neu dri, ac weithiau bedwar o bregethwyr cynorthwyol, heb neb yn gofyn iddynt i ba beth y maent yn dda. Anaml y deuant i'r addoliad. Llusgant yno yn guriedig ambell dro. Y mae ganddynt hwy wmbredd o achwyniadau yn erbyn y frawdoliaeth a'u hesgeulusant; ac y mae gan y frawdoliaeth, hithau, wmbredd o achwyniadau yn eu herbyn hwythau. Os dygwydd i ddyn dyeithr ddod heibio, mae yr achwyniadau yn barod i'w hadrodd, a dangosir dawn hylithr wrth fyned trostynt wrtho. Yn awr, ni fynem ar un cyfrif i "daflu dw'r oer" ar deimladau unrhyw frawd sydd yn ymdrechu cadw yr achos yn fyw o dan anhawsderau. Na fynem. Gwyddom am engreifftiau canmoladwy iawn o frodyr ymdrechgar; ond nid felly pawb. Mae y bai mewn mwy nag un man. Yn gyntaf oll mewn esgeulusiad o weinidogaeth. Wedi *dechreu* byw heb weinidogaeth, o'r diwedd cynefinir. Mewn cysylltiad â hyn mae y ddawn o gyfranu yn cael ei cholli. Ymsynir yn fewnol fel hyn: Yr ydym yn gwneyd yn weddol iawn fel hyn; gwnaethom y Sabboth diweddaf heb bregethwr; cawsom gwrdd gweddi, a phasiodd yn dda ddigon. Ac y mae y drafferth o dalu pregethwr yn y modd hwn yn cael ei hysgoi. Fel hyn wrth

Digitized by Google

esgeuluso cael gweinidogaeth, mae ysbryd cybyddlyd yn meddianu eglwysi; ac fel rheol, mae y diffyg o weinidogaeth a chybydd-dod yn cynyddu yn gyfartal i'w gilydd. Y mae bai trist weithiau ar lawer o bregethwyr cynorthwyol. Y maent yn fyr o wneyd eu hunain yn ddefnyddiol yn gyffredinol. Yn lle dysgwyl cael "gweyd ticyn" ar hyd y misoedd a blynyddoedd, dylent ymroi i fod yn ddefnyddiol mewn pethau bychain—îe, ymroi ati hi i helpu yr achos gwan yn ei flaen, yn lle myned i rwgnach, ac i achwyn nad yw yr eglwys byth yn ceisio ganddynt hwy bregethu. I beth mae pregethu da? I achub eneidiau, i adeiladu yr eglwysi, ac i wasgaru perarogl crefydd Mab Duw yn mhell ac yn agos. O'r goreu. I beth mae cyflawni mân ddyledswyddau da? Mae yn cymwyso dyn i wneyd y pethau hyny yn fwy effeithiol. Y mae *steps* y pwlpud yn rhy uchel a bras i'r diwaith a'r hunanol i'w dringo yn ddestlus. Nid gwrthddrych dymunol i'r gynulleidfa lygadog i dremio arno am awr o amser ydyw dyn diarebol o ddiwaith dros grefydd, tu allan i'r man cysegredig hwnw y saif arno. Pan y mae dyn ifanc yn cael ei dderbyn i'r athrofa, dysgwylir gan yr awdurdodau, wrth chwilio i'w gymwysderau, ei fod wedi arfer gweithgarwch crefyddol; wedi bod yn selog gyda'r ysgol, yn dilyn y moddion yn gyson, yn fyfyriwr Ysgrythyrol, yn ddichlynaidd ei foesau, yn ymroddgar i wneyd daioni yn mhob cyfleusdra, yn barablwr derbyniol, yn ddyn dengar, yn berchen dealltwriaeth uwchraddol, yn Gristion gloew. Eithaf priodol. Mae y cyfryw bethau yn angenrheidiol, a llawer o bethau eraill, i wneyd dyn yn alluog i iawn gyfranu gair y gwirionedd, yn gystal ag i gael derbyniad i athrofa.

Mae eisiau llai o "swn gwirion, plentynaidd," yn mhlith rhai o'n pregethwyr. Mae eisiau i les yr achos fod yn nes at ein calonau oll, a llai o "didlach" mewn ffordd o ddigio wrth hwn a'r llall. Yr Arglwydd a'n cynorthwyo, frodyr bach, i fod yn fwy o ddynion. Mae ein Meistr yn dysgwyl am i ni *wneyd* rhywbeth yn ei winllan. Paham y safwn ar hyd y dydd yn segur, os na wel yr awdurdodau eglwysig yn dda i agor i ni ddrws y pwlpud? Dringwn yno ar hyd grisiau gweithgarwch crefyddol. Byddwn yn bobl weithgar, yn *awyddus* i weithredoedd da. Helpwch y gweinidog (os bydd un), goreu y galloch. Bydd ganddo ef, druan, ddigon o rwystrau yn nghyflawniad ei waith pwysig ef. Da chwi, gwnewch hyn. Helpa yntau chwithau. Calonogwch ef. Peidiwch a "sori" er dim. Byddwch yn elyn i bob peth fyddo yn rhwystr i efengyl Crist.—Gwnewch y *seat* yn bwlpud i ddysgu gweddusder wrth wrando yr efengyl. Gadewch i'r frawdoliaeth eich clywed yn daer wrth yr orsedd am lwyddiant yr achos. Gofalwch am beidio talu'r pwyth yn ol os gwnaeth rhywun eich cablu. Bendigedig a fydd hi arnoch yn y pwlpud wed'yn. Teimlwch eich hunain yn ddylanwad yno. Peidied y brodyr da, ffyddlon, a duwiol o bregethwyr cynorthwyol a chamsynied ein dyben yn hyn. Na, frodyr, *ewch chwi yn mlaen*, gan chwanegu cryfder. Yr ydym ni yn amcanu siarad â brodyr *gweiniaid* o bregethwyr cynorthwyol ydynt byth a hefyd yn achwyn ar yr eglwysi am na chânt bregethu, ac eto heb fod yn haner teilwng o'r anrhydedd a'r fraint.

Digitized by Google

Ond ein penawd yw, "Eglwysi heb Weinidogion." Dymunwn awgrymu am iddynt wneyd eu goreu, fel y mae llawer yn gwneyd, i gael gweinidogaeth sefydlog a chyflogedig iddynt, yn holl-ol neu mewn undeb â chwaer eglwys gyfagos. Y mae yn ffaith eglur fod yr eglwysi a feddant weinidogion da, llafurus, yn llawer mwy llewyrchus a llwyddianus na'r corlanau sydd heb arnynt fugail. Os yn rhy wan, da chwi gwnewch y goreu o'r pregethwyr cynorthwyol a ddichon fod yn eich plith neu yn agos atoch. Peidiwch a bod yn rhyw awyddus am y talentau mawrion. Na roddwch ormod pwys ar "odidawgrwydd ymadrodd, neu ddoethineb ddynol" mewn personau wrth draethu i chwi gyngor Duw. Pleidiwch bregethwr syml, efengylaidd. Cyneliwch y gweiniaid. Mae llawer brawd heb fod yn weinidog a wna ddaioni dirfawr fel pregethwr, pe cawsai ei barchu. Lleddir llawer i frawd da drwy wneyd *remarks* llac, cegog, am ei ddoniau a'i bregethu. Dysgwn barchu ein gilydd. Yr eglwysi sydd wedi codi y brodyr cynorthwyol, ac ni ddylent droi yn ol a thaflu anmharch arnynt. Peidiwch a diystyru yr un o'r rhai bychain hyn. Mae eisiau i'r eglwysi wneyd y defnydd goreu o'r doniau sydd ganddynt. Ni ddylai fod y pwlpud yn wag. Mae cyfarfod gweddi yn dda—yn angenrheidiol—ond nid yw i gymeryd lle pregethu. Os gellir, fodd yn y byd, bydded y pwlpud yn gaerfa i ymosod ar y drwg, ac i gefnogi y da—yn furiau i gyhoeddi yn eofn a gorfoleddus hollol gyngor Duw.

CYFAILL PREGETHWR.

---

Edrychwch ar ol pa beth y rhedoch.

## MATHETES.*

[O *Seren Gomer* am Hyd., 1882.]

Nodwedd arbenig gan mwyaf o feibion talent ac athrylith Cymru ydyw eu bod wedi ymgodi o amgylchiadau cyffredin bywyd i'r safleoedd uchaf o anrhydedd a dylanwad yn mhlith eu cydgenedl. Rhengau dinodedd a thlodi ydynt y mwyaf cynyrchiol i godi tywysogion i Gymru. Pwy yw mawrion llenyddiaeth a'r pwlpud Cymreig? Onid y sawl fuont yn unigrwydd y bryniau yn bugeilio y defaid, neu ar y maes yn dal yr aradr, neu ar y môr cythryblus a throchionawg yn dringo hwylbrenau y llong ysgwydedig, neu yn yr efail yn morthwylio ar yr eingion glochaidd, neu o flaen y ffwrnes eirias, o dan haul tesog ac awyr lewygol haf poethlyd, yn boddi yn eu gwres llosgawl, neu yn hollti y creigiau ac yn symud y mynyddoedd oddiar eu sylfaeni tragywyddol, neu ynte yn ymdreiddio i ddyfnderoedd y ddaear ddu i ddatod ei choluddion, a dwyn i'r goleuni ei thrysoran cuddedig? Ie, y rhai hyn a'u cyffelyb ydynt fonedd llenyddiaeth ac areithyddiaeth y Cymry.

Gan nas gall unrhyw enwad edwica athrylith a thalent, gall y Bedyddwyr yn ogystal ag unrhyw enwad yn Nghymru ymffrostio yn eu meibion athrylithgar a thalentog, a ymgodasant o amgylchiadau cyffredin bywyd i enwogrwydd a dylanwad yn eu henwad eu hunain, ac yn mhlith eu cydgenedl. Iẽ, gallant ymffrostio mewn rhai a wnaethant hyn yn ngwyneb yr anfanteision a'r gwrthwynebiadau mwyaf. Nid y lleiaf yn mhlith y tywysogion anrhydeddus hyn yw Mathetes. Gwelid ef unwaith yn cael ei yru gan amgylchiadau croes o ardal brydferth ei enedigaeth, ac o gartref anwyl, ond tylawd, i chwilio am fywoliaeth mewn cymydogaeth weithfaol; gwelid ef yno yn disgyn i'r pwll du, ac yn gweithio yn galed fel mwnwr; ond gwelid ef

* Hyderwn y bydd yr erthygl hon ar Mathetes yn dra derbyniol gan ein darllenwyr. Y mae ôl llaw fedrus ar y gwaith. Ceir y gweddill mewn rhifynau dyfodol.—GOL.

Digitized by Google

wedi hyny yn esgyn o'r dyfnder du i ben pinacl enwogrwydd ac anrhydedd. Cyfarfyddodd yn ei fywyd ag amgylchiadau gwrthwynebus yn ddigon i suddo y galon ddewraf i anoddyn diadlam digalondid; ond gorchfygwyd y cyfan gan ei benderfyniad unplyg a'i ymroad diorphwys. Un athronydd paganaidd feddyliai nad oedd golygfa fwy dyrchafedig i'r nefoedd na'r ddaear na dyn mawr yn ymdrechu yn erbyn anhawsderau. Os felly, nid oes amheuaeth ynom nad oedd y nefoedd yn sylwi yn edmygol ar Mathetes, drwy ymdrech egniol, yn gorchfygu anhawsderau; ac yn yr ymdrech hono, yn dadblygu rhai o neillduolion gwerthfawrocaf a mwyaf dyrchafedig dynoliaeth waredigol. Ac ar y ddaear, bu miloedd yn sylwi yn edmygol arno yn brwydro ag anhawsderau a gorchfygu rhwystrau; ac er ei fod wedi ymadael a ni er's tro bellach, y mae perarogl ei fywyd diorphwys, cydwybodol, a phur yn awr yn llanw ein heglwysi, ein cymanfaoedd, a'n cynadleddau. Byth ni ddilëir dylanwad bywyd Mathetes; gwelir ei olion ar draethelloedd tragywyddoldeb. Wele wrthddrych teilwng i'r ieuanc ei astudio. Dyma gofgolofn o'r hyn y gall penderfyniad di-ildio, ymroad diorphwys, a gras Duw ei wneyd. Gall y ddaear ymffrostio ynddo, ac y mae yn addurn i'r nefoedd.

Teimlwn ein hanallu i wneyd dim fel cyfiawnder â gwrthddrych mor fawr a theilwng. Mae ein clorian yn rhy ysgafn i'w bwyso; mae ein galluoedd yn rhy weinion i'w amgyffred. Ond honwn un cymhwysder at y gwaith yr ymgymerwn ag ef, sef edmygedd diffuant, a chariad diragrith tuag at ein gwrthddrych.

Ganwyd Mathetes tua diwedd y flwyddyn 1821, mewn tyddyn bychan o'r enw Tan-yr-helyg, yn Aberarad, pentref bychan tua milldir o Gastellnewydd-Emlyn, swydd Gaerfyrddin. Yn fuan wedi yr amgylchiad pwysig hwn, galwyd ef yn "John Jones." Ei enw llenyddol yw "Mathetes,"—gair Groeg yn dynodi dysgybl—nodweddiadol iawn o hono ef. Cyntafanedig Roger a Mary Jones oedd John. Bu i'r rhieni bedwar o blant—tri bachgen ac un ferch. Nid oes amgen un o honynt yn awr yn fyw, yr hwn sydd deiliwr yn Abertawe, o'r enw Dafydd Jones. Dyn tawel, diddrwg, cyffredin ei gyrhaeddiadau oedd tad Mathetes; ond ei fam oedd wraig o gyneddfau cryfion, gwybodaeth ysgrythyrol eang, yn meddu ar farn annibynol, a thyb grefyddol o'r un nodwedd a'i mab enwog. Gwelsom ei hen Feibl gan Mrs. Jones, gweddw Mathetes; a phrofai ei gloriau ystwyth a phlygedig, ei ddail melynion a rhyddion, fod defnydd mawr wedi cael ei wneyd o hono—fod ei ddail wedi cael eu troi yn ofalus filoedd o weithiau, a bod llawer o feddwl a phryderu wedi bod uwchben ei ddyfnion bethau. Darllenai yn ofalus a meddylgar bob rhan, fel y deuai allan or' wasg, o *Eiriadur* ei mab ffyddlon a charuaidd. Mab ei fam oedd Mathetes mewn ymchwiliadaeth a meddylgarwch. A hyn yn mhell i brofi yr haeriad mai i'r mamau yr ydym ddyledus am blant athrylith a thalent.

Pan anwyd Mathetes, ac am rai blynyddau wedi hyny, yr oedd amgylchiadau ei rieni, o bobl gyffredin, yn weddol gysurus. Cadwent ychydig dir, dwy neu dair o wartheg, a phlanigfa (*nursery*). Pan oedd Mathetes yn ieuanc, symudasant i ardal Blaenffos, swydd Benfro; ond nid hir y buont cyn dychwelyd drachefn i'w hen gartref. Yr ychydig ysgol gafodd Mathetes yn moreu ei oes oedd gydag un Davies, Castellnewydd-Emlyn. Ni wyddom ddim am allu Davies fel ysgolfeistr; ond tybiwn ei fod ef, fel llawer o ysgolfeistri yr hen ffasiwn, yn credu yn ngoruchwyliaeth y *ruler* i guro addysg i'r pen: o leiaf, defnyddiodd ef at Mathetes—tarawodd ef ar ei glust â hono nes yr effeithiodd ar ei glyw am rai blynyddau. Rhoddodd yr ergyd creulawn a barbaraidd hwn derfyn ar ysgol Mathetes y pryd hwnw. Dysgodd ddarllen ac yrgrifenu yn yr ysgol hon, ac efallai rifyddu ychydig, er nad rhyw lawer o rifyddwr y bu erioed. Hyn, ac addysg yr Ysgol Sabbothol, yn nghyd ag addysg yr aelwyd,

Digitized by Google

oedd ei holl addysg foreuol. Dywedir nad oedd dim neillduol yn nodweddu Mathetes pan yn blentyn, rhagor rhyw blentyn arall, heblaw fod ei siarad yn debycach i ddyn mewn oed nag i blentyn. Ond hwyrach fod meddylgarwch yn dechreu ymddadblygu yn y siarad dynol hwn, fod yma fesur a phwyso geiriau ac ymadroddion, nad oedd yn foddlon cymeryd dim yn ganiataol cyn ei brofi—nodwedd neillduol yn perthyn iddo ef, er fod y cyffredin yn methu gweled yr eginyn meddylgarol yn ei ddadblygiadau ieuengaidd.

Wedi terfynu ei ysgol, cynorthwyai Mathetes ei dad ar y tir ac yn y blanigfa. Elai pethau yn mlaen yn gysurus hyd nes i'w dad yn ei ddiniweidrwydd gymeryd ei lusgo i gyfraith. Perswadiodd rhywun Roger Jones y delai yn gyfoethog, ond iddo ei gynorthwyo mewn rhyw gynghaws cyfreithiol. Yn yr awydd dall am gyfoeth, cymerodd ei ddenu i lwybr dinystr sicr; collwyd y gyfraith, gwerthwyd ei eiddo i dalu y costau; torwyd cartref Mathetes i fyny, gwgai tylodi ar y teulu; penderfynodd yntau, yn yr oedran tyner o 16 oed, ymadael a chymydogaeth ei enedigaeth, a myned i'r gweithfeydd i enill bywoliaeth iddo ei hun, a chynorthwyo, os gallai, ei rieni angenus. Un boreu, dacw y llanc bychan, teneu, llwyd, yr hwn a ymddangosai yn ieuangach nag oedd mewn gwirionedd, ac addasach i aros gyda'i fam am ychydig flynyddau yn rhagor nag i wynebu ar daith wrtho ei hun i wlad ddyeithr, gyda phenderfyniad gwr yn taflu ei becyn bychan ar ei gefn, a dim ond haner coron yn ei logell, yn ymadael ag ardal brydferth ei enedigaeth, ac â rhieni anwyl a brodyr caruaidd, a ffwrdd ag ef â'i wyneb tua Dowlais. Hynod mor ofalus oedd rhag gwario ar y ffordd ddimai o'r haner coron. Meddyliai, os methai gael gwaith yn Nowlais, y buasai yn rhaid iddo wrth yr haner coron i'w gynorthwyo i gael bwyd a llety yno. Wedi teithio o Gastellnewydd, cyrhaeddodd Dowlais yn lluddedig. Yno cyfarfyddodd â rhywun yr adwaenai. Aeth ei gyfaill ag ef i dafarn at y *gaffer* i geisio am waith. Edrychai hwnw yn ofalus arno, a dywedodd wrtho nad oedd yn credu y gallai ef wneyd llawer o waith. O'r diwedd, beth bynag, cytunwyd ar waith, a gorchymynodd y *gaffer* i Mathetes ddyfod i'w gyfarfod ef mewn man penodol y dydd dilynol. Hyny fu, a gosodwyd Mathetes, neu "John bach," fel y gelwid ef yn awr, i weithio ar hur fel mwnwr o dan y ddaear; a buan y profodd, os oedd yn fach, teneu, a llwyd yr olwg, fod ynddo fetel o'r iawn ryw. Bu yn gweithio yn galed yn Nowlais am rai blynyddau, a chynorthwyai ei rieni yn ol ei allu. Er clod bythol i'w enw, gofalodd yn dyner am ei fam hyd ei bedd. Er fod ganddo ef deulu i'w gynal, a'i gyflog oddiwrth y weinidogaeth ond bechan, bu yn "ffon cynaliaeth" ei hen fam dduwiol ac anwyl ar hyd ei hoes.

Yn Nowlais, mynychai Mathetes gapel Caersalem, lle y gweinidogaethai y gwr da, gonest, a phoblogaidd W. R. Davies. Y pryd hwn, nid oedd Mathetes yn proffesu crefydd, ond ymgadwai oddiwrth oferedd a gwagedd, ac ymdrechai fyw yn sobr ac yn gyfiawn. Mynychai yr ysgol Sul; ac yn llanc yn y dosbarth, dangosai annibynyniaeth meddwl a barn. Ni ymorphwysai ar dyb ei athraw, fel pe b'ai hwnw yn anffaeledig. Chwiliai a barnai drosto ei hun, ac amheuai yn onest yr hyn a dybiai nad oedd yn ol gwirionedd. Os na ddeallai ryw bwnc oedd dan sylw bron yn drwyadl, gorchwyl rhy anhawdd i'r athraw na neb arall oedd ei ddarbwylio i lyncu y cyfryw. Pan yn laslanc, yr oedd yr ysbryd Bereaidd yn anorchfygol ynddo.

Pan ystyriom fod Mathetes wedi ei godi ar aelwyd grefyddol, y dyddordeb a deimlai mewn pethau crefyddol, nis gallwn lai na chredu fod mater enaid yn pwyso yn drwm ar ei feddwl am dymhor cyn iddo ymuno â phobl yr Arglwydd. Ond un nos Sul cymundeb, cafodd y fath argyhoeddiad dwfn, fel y penderfynodd roddi ei hun yn llwyr i'w Waredwr. Os iawngofiwn ei eiriau, tebyg i hyn y bu:—Wedi i'r cyfarfod pregethu fyned dros-

Digitized by Google

odd, aeth y gwrandawyr allan, a Mathetes gyda hwy, tra yr arosai yr Eglwys yn y capel i gofio am farwolaeth yr Arglwydd. Wedi myned allan, meddyliodd y dylasai aros yn y capel nes elai y cymundeb drosodd. Yn meddwl hyn, penderfynodd ddychwelyd i'r *gallery*. Wrth fwrdd y cymundeb yr oedd gwres angerddol yn nheimladau, a dylanwad anorchfygol yn ngeiriau W. R. Davies. Y noson hon, yr oedd ar ei uchelfanau. Aeth ei eiriau fel saethau i galon Mathetes; a phenderfynodd y pryd hwnw ymadael a'r byd a byw i Dduw. Dyma eiriau Mathetes ei hun pan yn cyfeirio at yr amgylchiad hwn:—"Yr oedd [W. R. Davies] yn wlithog iawn wrth fwrdd y cymundeb; yma, mewn gweddi, ac wrth ryw 'ddyfroedd lawer,' yr oedd yn pelydru danbeidiaf yn ei gymeriad cyhoeddus; carai gymydogaeth Gethsemane, hoffai anadlu yn awyrgylch y groes. Diflanai gogoniant y byd yn yr olwg ar y Meichiau yn gogwyddo ei ben, a boddai holl seiniau y ddaear yn swn y gair 'Gorphenwyd.' Gwna yr ysgrifenydd gofio yr argraff a wnaed ar ei feddwl dan weinidogaeth Mr. Davies wrth fwrdd y cymundeb unwaith, tra yr ochr hyn, ac y mae yn debyg tu draw i'r Iorddonen; areithiai gyda'r fath arddeliad fel ag yr oedd yn ddigon i doddi calonau o adamant, a sugno dagrau o lygaid o bres. Yn fuan wedi hyny, ymunais â chanlynwyr y Gwaredwr" (SEREN GOMER 1851, tud. 64, 65).

Nid oes amheuaeth ynom nad i Gaersalem, Dowlais, yr aeth Mathetes i'r gyfeillach. Mae yr hanesyn canlynol a adroddid yn fynych gan Mathetes ei hun yn myned yn mhell i brofi hyn. Pan yn ieuanc, gweithiai yn y talcen glo gyda hen wr crefyddol, yr hwn oedd flaenor yn un o'r capeli, ond yn bur anwybodus, mae'n debyg. Deallodd yr hen wr fod "John Bach" wedi aros yn y gyfeillach yn Nghaersalem; ac yn amser "chwiff" wrth y "partin croes," dywedodd wrtho fod yn dda ganddo glywed ei fod wedi meddwl am grefydd; "A gobeithio, John bach," ebe fe, "dy fod ti yn teimlo dy hun yn un o'r penaf o bechaduriaid." "Y fi," ebe yntau, "yn un o'r penaf o bechaduriaid! Nac ydw i yn wir. Dyna Ianto'r Glatshen yn hen bechadur deugain oed, yn tyngu a rhegu, meddwi ac ymladd ar hyd ei oes. Nid wi i erioed wedi tyngu a rhegu, meddwi nac ymladd. Ac a ydych chwi yn meddwl y dylwn i deimlo fy hun yn fwy pechadur na hwnw? Lol i gyd! Darllenwch eich Beibl, y dyn." Dyna Mathetes yn ei berffeithrwydd. Yn yr adeg yma, gwaelodd iechyd Mathetes, fel y gorfu arno fyned gartref i'w adferyd; ac yn yr adeg hon, bedyddiwyd ef yn Nghastellnewydd-Emlyn gan yr hybarch Timothy Thomas, yr hwn a goffâai wedi hyny iddo gael yr anrhydedd o fedyddio un o ddynion mwyaf Cymru. Cymerodd hyn le, gallem feddwl, tua chanol haf 1839.* Wedi adferiad ei iechyd, dychwelodd Mathetes i Ddowlais, ac ymaelododd yn Nghaersalem. Anogwyd ef yn awr i arfer ei ddawn yn gyhoeddus. Tystia hen frodyr Caersalem na welsant neb yn dechreu mor wan a chrynedig. Yn fuan wedi ei fedyddio, galwyd ef yn mlaen i weddi yn gyhoeddus; ond wedi tori ychydig eiriau, aeth yn dywyllwch Aiphtaidd arno, a methodd yn deg fyned yn mlaen. Mor wahanol i'r Mathetes a adwaenem ni, yr hwn, yn ol ei dystiolaeth ei hun, ni hidiai fwy am wynebau dynion nag am fonion *cabbage!* Ond er y gwendid, a'r cryndod, a'r methiant, gwelai y Caersalemiaid fod gallu yn "John bach," a chymhellasant ef i ddechreu pregethu. Erbyn y gyfeillach un nos Iau, yr oedd ganddo bregeth fechan wedi ei pharo-

* Tyb gyffredin yn mhlith cyfeillion Mathetes yw, mai yn Nowlais y bedyddiwyd ef gan y Parch. W. R. Davies. Hyn yw barn hen aelodau Caersalem. Nodir hyn yn Hanes Eglwys Caersalem, gan y diweddar E. Edwards, a ymddangosodd yn *Y Ffenestr*. Ond pan yn edrych dros Lyfr Eglwys Caersalem, daeth y Parch. T. Morgan, y gweinidog, yn ddamweinol o hyd i nodyn ynddo yn llawysgrif E. Edwards, a'r crybwylliad hwn ynddo:—Parch. J. Jones (Mathetes), a symudodd i Ddowlais yn y flwyddyn 1837; ac aeth i roddi tro i'r wlad, a bedyddiwyd ef yno." Wedi ysgrifenu i'r *Ffenestr*, tebyg i E. Edwards gael ei gywiro gan Mathetes ei hun.

Digitized by Google

toi yn ofalus iawn; yr oedd wedi ei hysgrifenu bob gair; a dacw fe yn codi yn y gyfeillach, a'r papyr ysgrifenedig yn ei law, ac yn darllen ei bregeth bob gair. Yr oedd hen frawd hynod yn Nghaersalem y pryd hwn, o'r enw Henry Vaughan, yr hwn oedd elyn anghymodlawn i'r "papyr;" a dywedodd wrtho, "John bach, os na alli di fyn'd yn mla'n heb yr hen bapyr yna, gelli fentro rhoi'r cwbl i fyny." Effeithiodd y cynghor llym a gwynebagored hwn gymaint ar Mathetes nes y taflodd heibio y papyr; a byth wedi hyny, amcanodd at *bregethu*, ac nid *darllen* pregethau. Yn mhen blynyddau wedi yr amgylchiad hwn, canmolai Mathetes yr hen frawd am ei onestrwydd. Tua diwedd 1841 y dechreuodd Mathetes bregethu yn gyfhoeddus. Yn Hirwaun y traddododd y bregeth gyhoeddus gyntaf. Caiff ef ei hun adrodd yr hanes. "Wedi i mi ddechreu pregethu ychydig yn y gyfeillach yn Nowlais, cymhellodd [W. R. Davies] fi gydag ef i Hirwaun un dydd Sadwrn. Cydsyniais, wrth gwrs, a da gael y cynyg. Ar y ffordd, dywedai wrthyf: 'Wel, John bach, mae yn rhaid i ti bregethu dipyn o fy mlaen i nos yfory yn Hirwaun.' Dywedais inau y buasai y Caersalemiaid yn ein dysgyblu am hyny, ac y buasai yn well i mi 'ddechreu yn Jerusalem.' 'O, O, paid di â gofalu am hyny,' ebai yntau; 'gofala di am bregeth, mi wnaf fi o'r goreu â nhw.' . . . . Ymostyngais inau i'r hyn a orchymynai efe yn hytrach nag i'm teimladau fy hunan." (SEREN GOMER 1851, tud. 59.) Dechreuodd Mathetes ac un o'r enw T. Morgan bregethu tua'r un amser yn Nghaersalem. Thomas oedd y mwyaf derbyniol a phoblogaidd o ddigon yn dechreu. Ystyrid John yn bregethwr bach sych iawn gan y lluaws. Thomas oedd dyn y lluaws; ond barn y gwybodus a'r llygadgraff oedd mai "John bach" oedd y callaf a'r mwyaf tebygol i gyrhaedd safle o bwys a dylanwad yn y byd. Barnent yn gywir, o herwydd pan oedd Thomas mewn dinodedd haeddianol, yr oedd "John bach" wedi dod yn "Mathetes fawr." Diwerth iawn yn aml yw barn y lluaws. Yn rhy aml, y pregethwyr mwyaf gwagsaw yw y pregethwyr mwyaf poblogaidd. Os gellir swyno clustiau y lluaws, nid oes eisieu dim i foddloni y deall. Bloeddier dwlni, a cheir Amen; ond siarader synwyr, a bydd pawb yn fud.

Bellach, rhaid i Mathetes feddwl am fyned i'r athrofa. Mae yn penderfynu myned i'r *Grammar School* i Aberteifi am dymhor, i barotoi ei hun er cael derbyniad i'r *Academy* yn Hwlffordd. Yr amser hwn, dangoswyd iddo lawer o gydymdeimlad ymarferol gan Eglwys Caersalem. Er ei fod yn "bregethwr bach sych," yr oedd ganddynt hwy a'u gweinidog olwg fawr arno. Amlygwyd teimladau dwysion pan yr ymadawodd a Dowlais. Pan yr oedd un hen wraig ddoniol, dduwiol, yn ffarwelio ag ef, a gruddiau y ddau yn ymgystadlu am yr arddangosiad goreu o ddagrau, dywedai, "Ffarwel, John bach; welwn ni byth mo'n gilydd mwy ar y ddaear, ond ni gwrddwn yn y nef." Yr oedd teimladau da yr hen wraig wedi trechu ei synwyr. Mae teimladau didwyll o'r fath yma yn profi fod Mathetes, yn ddyn ieuanc, wedi enill sylw a serch rhagorolion y ddaear. Yr oedd yn gydwybodol grefyddol, a pharhaodd felly hyd ei fedd.

Nis gwyddom pa cyhyd y bu yn Aberteifi yn yr ysgol, ond nid ydym yn meddwl iddo fod dros o dri i chwe mis. Yn Awst 1843, cafodd dderbyniad i'r *Academy* yn Hwlffordd. Treuliodd yn agos i dair blynedd yma. Bu yn ddiwyd ac ymdrechol fel myfyriwr, ac yr oedd ei gynydd yn fawr mewn rhai pethau. Dylid cofio nad oedd safon ein colegau mor uchel yr amser hwnw ag ydyw yn awr. Clywais Mathetes ei hun yn dweyd y carai ef pe buasai wedi cael y manteision athrofaol sydd gan ddynion ieuainc yr oes hon. Dywedai na ddysgodd ef yn y Coleg ond ychydig o *English Grammar*, ac ychydig bach iawn o Roeg, ac mai wedi dyfod allan y dysgodd ef fwyaf. Nid ydym yn nodi hyn er mwyn diraddio yr hen Goleg. Gwnaeth waith ardderchog—gymaint feallai ag a allesid

Digitized by Google

yn rhesymol ddysgwyl oddiwrtho dan yr amgylchiadau; eto, teg yw nodi ffeithiau fel y cawsom hwynt oddiwrth Mathetes ei hun. Yn ol tystiolaeth un o'i gydfyfyrwyr, y Parch. R. Evans, Le'rpwl, yr oedd Mathetes yn fyfyriwr caled, ac yn un o'r gweithwyr mwyaf diwyd ac ymdrechol. Yn y duwinyddol a'r athronyddol yr oedd ei hyfrydwch penaf, ac ymlynodd wrth hyn hyd ei fedd. Edrychid i fyny ato gan ei gydfyfyrwyr fel un o dalent fawr, a barnai ei athrawon fod iddo ddyfodol dysglaer. Barnai y galluog i farnu a'i clywsant yn pregethu pan yn fyfyriwr ei fod yn deall llawer, ac yn awyddus am wybod mwy. Canfyddir oddiwrth ei ysgrifau yn ystod y tymhor hwn mai ei hoffusaf waith oedd *meddwl* ac *astudio*, ac mai at yr athronyddol a'r duwinyddol y gogwyddai ei feddwl. Tua diwedd ei dymhor athrofaol, anfonodd rai ysgrifau i SEREN GOMER, a gellir gweled ynddynt Mathetes ddiwyd a meddylgar. "Gwnawn ochelyd," ysgrifenai, "diogi meddyliol fel y gwna yr wyn ochelyd y blaidd, ac fel y gwna y llong gadw rhag y graig, gan gofio fod ymdrech a llwyddiant yn y byd llenyddawl yn dal anwahanol gyssylltiad a'r llall." Mewn ysgrif arall, dywed, "Mae yn angenrheidiol cael dyn i *feddwl* ac i *ystyried* cyn y gallo fod yn grefyddol, a meddwl llawer cyn y byddwn yn grefyddwyr da; a'r rhai fyddo yn meddwl fwyaf, ac yn ymlwybro yn ol fel y cyfarwydda eu gwybodaeth hwy i wneyd yw y crefyddwyr goreu; o herwydd peth yw crefydd sydd yn ymwneyd a'r *meddwl;* a'r achos nad ydym yn crefydda yn well yw nad ydym yn meddwl mwy." Ysgogyddion Mathetes i ymdrech feddyliol oedd awydd am lwyddiant yn y byd llenyddol, a dymuniad am fod yn grefyddwr da. Y rhai hyn oeddynt egwyddorion ysgogiadol a llywodraethol y dyn ieuanc yn dechreu ar fywyd cyhoeddus, a'r rhai hyn a'i cododd i ben pinacl ei lwyddiant llenyddol, ac a goronodd a phurdeb ei fywyd crefyddol. Pan oedd Mathetes yn yr athrofa, bu y Parch. W. R. Davies yn gynghorwr tadol iddo. "Pan oeddwn yn Athrofa Hwlffordd," meddai, "cyflwynai i mi y cynghor canlynol yn un o'i lythyron:—'Astudia yn ddiwyd, pregetha ychydig, ond *cofia weddio llawer;*' a mawr mor ddwfn y dylanwadodd y cynghor ar fy meddwl. Bendith i bob dyn ieuanc ar ddechreu ei dymhor athrofaol fyddai cael cynghorion tebyg, ac iddo yntau eu gweithio allan mewn ymarferiad. Rhyw ysfa sydd mewn llawer o'n myfyrwyr i wneyd pregethau a phregethu, ar draul esgeuluso yr hyn fyddai o fantais annrhaethol iddynt yn y dyfodol.

[*I'w barhau.*]

---

## YN Y GORLLEWIN.

"Wel, mae genych sefydliad mawr yn Blue Earth Co., Minn.," meddwn wrth ymddyddan ag un o'r sefydlwyr parchusaf, pan ar ymweliad â'r lle yn ddiweddar; "nid oeddwn wedi dychymygu fod sefydliad Cymreig mor eang a hwn i'w gael yn Minnesota." Atebai yntau, "Mae y sefydliad hwn mor hir a Sir Fon." "Iê, mor hir a Sir Fon," meddwn mewn syndod. "Wel, a ydyw hyna yn gywir mewn gwirionedd 'nawr?" ychwanegwn, "ynte tipyn o farddoniaeth ydyw?" "Ydyw, yn *right* siwr," ebai efe, wed'yn. "Wel, taid anwyl, wyddoch chwi beth, Mr. Jones, mae genoch ch'i sefydliad eang a braf iawn yma." "Yn wir, y mae," ebai yntau; "mae yn rhywle tua dwy neu dair milldir ar hugain o hyd." "Beth am ei led?—a ydyw mor *llydan* a Sir Fon?" "Wel, nag ydyw, nid yw yn llawn mor llydan, ond mae iddo led go dda—tua deuddeg milldir."

Yn awr rhoddwn dipyn o ddarluniad o'r "Sefydliad Mawr" dan sylw. Rhed-ymestyna o Mankato tua'r gorllewin. Mae yn syndod yr ymdeithio —yr ymlifo a wna pobloedd tua'r Gorllewin Mawr, yn y dyddiau presenol. Y trêns yn llawnion. Wrth glywed y dadwrdd llawen, a'r chwerthiniadau iachus yn mhlith yr ymfudwyr, dywedwch wrthych eich hun, "Ychydig y maent hwy yn ei feddwl beth sydd yn

Digitized by Google

eu haros ar y *prairies*, ond cânt wybod yn fuan." Y mae effaith atdyniad grymus cyffredinol ymfudwyr i'r Gorllewin i'w weled yn eglur yn *shape* hir y sefydliad hwn, o'r dwyrain i'r gorllewin. Yr oedd y naill sefydlwr am fyned yn mhellach na'r llall, gan y tybiai, mae'n debyg, ei fod drwy hyny yn dilyn llwybr ffawd.

Pobl o Ogledd Cymru ydyw y sefydlwyr yma bron oll, ac ar y cyfan y maent yn gwneyd yn dda. Mae y tiroedd yn freision a ffrwythlawn; y prif gynyrch ydyw gwenith. Dyoddefodd y preswylwyr yn dost, fel mae'n hysbys, yn mhell ac agos, flynyddau yn ol oddiwrth y *grasshoppers*, a choffeir yn fynych ganddynt am yr ymwelwyr costus hyny. Yn sicr yr oedd hi yn sobr arnynt, yn wir sobr yno y pryd hwnw. Y Methodistiaid Calfinaidd a bia y sefydliad hwn bron yn hollol. Mae yno ddwy eglwys fechan gan yr Annibynwyr. Prin ydyw y Bedyddwyr. Mae yno unigolion, a nifer o deuluoedd yn wasgaredig yma a thraw, ond nid oes yno yr un eglwys Gymreig. Mae amryw o honynt yn aelodau mewn eglwysi Bedyddiedig Seisnig amgylchynol. Mae yr ychydig Fedyddwyr ag sydd yno yn hynod barchus, ac yn dra ffyddlawn i'w hegwyddorion. Bu un o'r rhai mwyaf parchus a selog o honynt farw ychydig wythnosau cyn fy ymweliad a'r lle, sef y brawd Morris Lewis, a theimlwn fy ngholled yn annghyffredin na chawswn weled ei wyneb ef a mwynhau o'i gymdeithas. Sicrheid fi na fuasai dim yn well ganddo yntau na fy nghael inau am dro i'w dy ac i'r sefydliad, a chlywed un o'i frodyr Cymreig o'r Dwyrain yn traethu y gwirionedd. Mae enw Morris Lewis yn berarogl trwy yr holl gymydogaeth. Yr oedd yn Fedyddiwr rhyfeddol o selog, a mynych y deuai hyny i'r golwg mewn ymddyddan. Anaml y cyfarfyddid â brawd mwy anwyl, Cristion mwy trylwyr, a Bedyddiwr mwy cydwybodol na'r hen frawd Morris Lewis. Teimla y brawd John Rees yn hiraethlawn iawn ar ei ol, canys yr oeddynt eill dau yn dra hoff o'u gilydd; a pha ryfedd?—yr oeddynt yn hollol unfarn am bethau crefyddol, o'r un anian a greddf, ac yn selog nodedig dros eu hoff enwad. Meddir, er y byddai Morris Lewis yn "ei rhoddi hi yn hallt" i'r taenellwyr, nid oeddynt byth yn digio wrtho; teimlai pawb ei fod yn wir ddifrifol a gonest, ac yr oedd ei fywyd yn hollol gyson a'r hyn a broffesai. Gwelid ei barchusrwydd yn y sefydliad yn eglur ddydd ei angladd. Ni welwyd angladd mwy lluosog a pharchus yn y sefydliad erioed nag angladd Morris Lewis. Yr oedd y gair goreu yn cael ei roddi iddo gan wahanol weinidogion y Methodistiaid a'r Annibynwyr oeddynt yn cymeryd rhan yn y gwasanaeth crefyddol. Buom yn sefyll uwch ben ei fedd, a theimlem yn sefyll gerllaw i lanerch gysegredig. Wedi'r ymweliad hwn nid dyfalu a damcanu yn unig a wnaf am y cyfeillion Bedyddiedig a'u preswylfeydd yn y sefydliad pellenig hwn, ond byddant yn wastad ger fy mron. Gadewch i mi wel'd yn awr, er prawf a fedraf eu hadgofio ai peidio: Dacw dy y brawd Owen Herbert ar y chwith i chwi wrth fyned i fyny i'r sefydliad, ar ymyl tir dyrchafol, yn cael ei gysgodi rhag rhuthr-wyntoedd y *prairies* gan goedwigoedd tal-gangenog. Tu draw iddo, yn gyfagos, y preswylia Hugh Williams, priod yr hwn sydd chwaer i'r brawd Owen Herbert, ac yn Fedyddwraig wirioneddol. Y fath gartref ardderchog sydd gan Mr. Herbert.

Symudaf yn mlaen ddwy filldir; dyna anedd-dy Mr. D. C. Evans, masnachwr llwyddianus, a brawd i'r Parch. Meredith Evans, Dodgeville, Wis. Gwelaf ei dy yn ymyl y rheilffordd, yn y fan acw. O fewn tair milldir, ar y dde, i'r gorllewin, y mae preswylfa Mr. Humphrey E. Jones, hen frawd selog, selog. Cofiaf gyda mwynhad am dano un diwrnod yn darllen i mi o'r hen *Seren Gomer*, bregeth o waith yr enwog Barch. John Jones, Seion, Merthyr. Darllenai gyda gwrhydri ymadroddol, yn debyg neillduol i'r traddodiad gwreiddiol. Y mae blynyddau yn amlhau ar y brawd Humphrey Jones, a chwyna ef o herwydd anhwylderau ac effeithiau henaint. Yr

Digitized by Google

oedd ei lygaid yn lleithio wrth ffarwelio â ni. Y mae y meddwl yn ei weled ef gartref, fel ag yr wyf yn ysgrifenu. Mae "Sarah," ei ferch, yn "Fatis," meddai hi; ond am yr hen wraig, Mrs. Jones, Methodist tawel ydyw.

Gerllaw iddo ef mae y mab, Humphrey Jones, Ieu., a'i deulu yn byw; y mae yntau yn tueddu atom "ni."

B'le 'r awn nesaf? O fewn tair milldir dacw gartref Mr. Thomas D. Williams. Gwelaf y coed yn amgylchu y ty. Cofiaf am y diwrnod yr oeddym yn teimlo yn bur sal, y dydd Llun hwnw, ar ol llafur y Sabboth, cofiaf fel yr oedd y peirianau dyrnu yn troellchwyrnu yn mhell ac agos y dyddiau hyny. Nid oes dyn yn y sefydliad parchusach na'r brawd Thos. D. Williams; amryw droion clywsom y gair uchelaf iddo. "Mae efe a Mrs. Williams a'r ddwy ferch yn perthyn i'n pobl ni."

Ty John Rees yw y nesaf. Yno yr oeddwn yn gwneyd fy nghartref benaf. Cryn dynu a gawsom at ei fan ef. Nid oedd ein cerbydwr yn gwybod y ffordd yn rhy dda, ond cyrhaeddasom yno. Pan hysbyswyd ef pwy oedd wedi dod, dyna synu! Ond yr oedd yn ffaith fod dyn dyeithr o bell, a brawd o bell, wedi dod i'w wel'd. Cartrefais yn gysurus gydag ef. Pe yn arluniwr, gallwn yn awr dynu darlun o hono ef a'i gartref, a'i gylchoedd. Sut mae Tomi bach, tybed?

Mae Mrs. Lewis, gweddw Morris Lewis, a'i mab, Mr. William Lewis, yn byw gerllaw i'w gilydd, yr hen wraig yn y gwaelod, yn y fan acw, yn ymyl y coed, a William Lewis yn uwch i fyny, yn mhen ucha'r maes mawr cyfagos. Mae yr hen wraig yn ddigon unig arni yn siwr.

Dyna Mrs. Edward R. Jones. Gwelaf ei phreswylfod ar ben y bryn yn y fan acw. Nid oes chwaer mwy selog na hi. Gwelwch oddiwrth yr engreifftiau hyn fy mod yn cofio yn lled dda am y Bedyddwyr a'u trigfanau yn y rhan hono o'r byd mawr Americanaidd. Y mae y rhai a enwasom oll yn dderbynwyr o'r WAWR er's blynyddau, a hyny o honynt eu hunain, ac nid trwy gymell a chrefu, ac yn talu am dani yn onest. Cefais ddau dderbynIwr newydd, a dyna i gyd, ond cefais yr ychydig oedd i'w cael.

Buom yn y sefydliad hwn dros bedwar Sabboth. Mae gan y Methodistiaid saith o gapeli yno. Buont yn wir garedig a chroesawgar i olygydd y WAWR, am yr hyn yr wyf yn ddiolchgar. Dilynid ni yn ffyddlon bob Sabboth gan nifer o'r Bedyddwyr; yr oedd ymwelydd Bedyddiedig yn beth dyeithr iddynt.

Yr oeddwn yn synu wrth weled yr hen Gymraeg yn y fath fri yn y sefydliad. Yn son am farwolaeth yr hen Gymraeg, yn wir! Na, nid mor fuan, ac nid mor rhwydd. Mae'r sefydliad mawr hwn mor Gymreig ag un man yn Nghymru, ond yn unig fod yma fwy, efallai, yn gallu siarad Saesonaeg hefyd. Mae y plant oll yn cael eu dwyn i fyny i siarad Cymraeg, a'r rhan fwyaf—wel llawer o honynt yn gallu siarad dim ond Cymraeg!

Mae'r bobl yn dod yn mlaen yn gysurus, a hyny trwy ddiwydrwydd ac ymdrech. Mae y tiroedd yn cymharu yn dda ag unrhyw diroedd yn y Gorllewin. Gellir nodi, efallai, rai pethau y gallai rhai o'r amaethwyr yno wella ynddynt, megys y pethau canlynol:—Planu mwy o goed; darparu gwell cysgod i'r anifeiliaid yn y gauaf; gofalu am fanau diddos i gadw y peirianau, sef y *reapers*, &c., yn lle eu gadael ar y meusydd trwy y gauaf i rydu; gwellhau yr "hadyd." Dylid myned i'r De am hadau gwenith, ac i'r Gogledd am hadau corn. Mae y blaenaf yn hoffi lle oer, a'r olaf le cynes. Dylid cadw y grawn goreu bob amser yn had.

Wrth sylwi ar garedigrwydd, diwydrwydd, diniweidrwydd, crefyddolder, cenedlaetholdeb a Chymreigeiddiwch pobl y sefydliad hwn, teimlem yn bruddaidd wrth ymsynio beth a fyddant yn mhen haner can' mlynedd i ddod, ar ol iddynt fod o dan ddylanwad yr elfenau Americanaidd amgylchynol. Gresyn i sefydliad o'r fath gael ei lygru gan elfenau estronol; ond y mae lle i ofni yn fawr mai felly y dygwydd pethau i raddau helaeth. Gres-

Digitized by Google

yn, meddwyf eto, fod pobl mor ddiddichell yn agored i ymgydnabyddu ag "*Yankee tricks.*"

Mae yn dda genyf hysbysu ein darllenwyr, er mai ychydig ydyw nifer y Bedyddwyr Cymreig yn Minnesota, eu bod yn neillduol ffyddlon i'w hegwyddorion, ac yn ddinasyddion cyfrifol. Maent yn gwerthfawrogi y WAWR, ac yn teimlo dyddordeb mawr yn ei llwyddiant.

Dymunwyf yma ddwyn tystiolaeth i'm cyfeillion yn Minnesota, nad annghofiaf tra ar dir y byw, eu croesaw mynwesol i mi tra yn eu plith; ac yn neillduol diolchwyf i'r brawd John Rees am ei fawr ffyddlondeb a'i letygarwch.

---

## ADGOFION,

### GAN HEN WEINIDOG YN NGOGLEDD CYMRU.

---

Y mae edrych yn ol i'r gorphenol, a sylwi ar lafur a hunan-ymroddiad llawer o bregethwyr yn yr amser gynt, yn werth i'w dwyn i sylw yr oes hon, a bydd hyny yn sicr o gael sylw gan lawer yn yr oesau dyfodol. Yr wyf yn cofio am un yn dda, a bydd traethu am hwnw yn ddarlun o lawer. Y mae hwn yn bregethwr yr efengyl er's deugain mlynedd, ac wedi teithio a phregethu llawer, a hyny am ychydig o gydnabyddiaeth am ei lafur, yn neillduol felly y blynyddau cyntaf o'i yrfa weinidogaethol. Bu y naw mlynedd cyntaf heb ofal un eglwys neillduol arno, ac o herwydd hyny yn gwasanaethu mewn lleoedd ag y byddai galwad am dano. Bu lawer o weithiau yr adeg hon yn cychwyn odddicartref boreu Sul, pregethu dair gwaith, a dod yn ol, wedi cerdded ugain milltir, a'r tâl am yr holl lafur ddim ond haner coron. Bu hefyd yn cychwyn oddicartref boreu Sul, pregethu mewn tri o gapelau, a dod yn ol, wedi cerdded tair-ar-hugain o filltiroedd, a'r tâl ddim ond tri swllt. Bu hefyd amryw weithiau yn cychwyn oddicartref dydd Sadwrn, pregethu mewn tri o gapelau, dod adref dydd Llun, wedi cerdded pedair-a-deugain o filltiroedd, a'r tâl ddim ond tri swllt. Bu hefyd droion yn myned i leoedd eraill, cychwyn oddicartref dydd Sadwrn, pregethu y Sul, dod adref dydd Llun, wedi cerdded o wyth i ddeg-a-deugain o filltiroedd, a'r tâl ddim ond pedwar swllt. Bu hefyd yn myned i le neillduol arall lawer o droion, pregethu y Sul, ac yn ol dydd Llun, wedi cerdded deg-ar-hugain o filltiroedd, a'r tâl yn gyffredin ddim ond swllt neu ddau. Ond cofied y darllenydd nad oedd hyn yn un eithriad i'r rheol gyffredin. Fel hyn yr oedd yn y cyfnod hwn a'r un o'i flaen. Daeth Christmas Evans i dreulio Sul i Sir Gaernarfon tua naw-ar-hugain o filltiroedd o Llangefni, ac wedi gorphen ei waith, dyna'r diacon yn rhoddi deunaw ceiniog iddo am ei lafur, ac yn cwyno yn arw fod y tal mor fychan, ond y byddai yn sicr o gael ei dalu yn dda yn adgyfodiad y rhai cyfiawn. "Gobeithiaf hyny" meddai yr hen frawd, "ond cofia di William, fod eisiau rhywbeth i'r gaseg wen yn awr, fydd hi ddim i'w chael y pryd hyny." Cofus genym glywed yr enwog Cynddelw yn dyweyd iddo fyned i Gymanfa er iddo gerdded ugeiniau o filltiroedd, a phregethu, nad oedd yr hyn a gafodd am ei wasanaeth ond ychydig sylltau; ond addefai fod cael pregethu yn y Gymanfa am ddeg, yn gryn adgyfnerthiad iddo wedi'r cwbl y pryd hwnw. Clywais y Parch. J. Jones, Merthyr, yn dyweyd pan yn casglu at Athrofa y Feni, mae swm y casgliad mewn capel yn Lleyn oedd ceiniog-a-dimau, a dim am y pregethu; a diameu genyf i'r pregethwr talentog hwnw bregethu ugeiniau o weithiau yn ystod yr amser y bu yn aros yn y gogledd, am ychydig iawn o dâl am ei lafur.

Yr wyf yn cofio i'r diweddar D. Price, pan yn weinidog yn L'erpwl, iddo ddyfod i Gymanfa Arfon, a phregethu yn dda, a dim ond haner coron am ei lafur; ac y mae yn dra thebyg fod eraill oedd yn y Gymanfa wedi cwrdd a'r un dynged, pryd mewn gwirionedd fod gan yr eglwys lawer o bunoedd yn weddill, wedi talu pob treulion. Gallem brofi a phenderfynu

Digitized by Google

hefyd trwy resymau cedyrn, mai nid diffyg gallu oedd yr achos bod y tâl mor fychan, ond diffyg ystyriaeth briodol, o'r ddyledswydd i gyfranu yn deilwng at gynaliaeth y weinidogaeth. Yr oedd y mater hwn fel llawer o bethau eraill, yn cael ei adael i raddau mawr yn ddisylw gan flaenoriaid yr eglwys, yn y cyfnod y cyfeiriwn ato; ac y mae yn ddiameu genym pe buasai y diaconiaid yn galw sylw yr eglwysi yn briodol at y mater, y buasai pethau yn mhellach yn mlaen yn y cyfeiriad hwn o lawer nag yr oeddynt. Ond erbyn hyn y mae pethau wedi cyfnewid. Anfynych yr â pregethwr i'w daith Sabbothol na ddaw yn ol i'w gartref wedi cael tâl gweddol am ei amser a'i lafur, a chael ei gludo yn gysurus yn ol ac yn mlaen gyda'r trên. Rhyfedd y fath gyfnewidiad sydd wedi cymeryd lle yn y byd crefyddol. Mae hyn yn un cam da yn yr iawn gyfeiriad, ond eto cofiwn fod lle i ddiwygio ac i fyned yn mlaen yn hyn fel pethau eraill. Mae llawer o eglwysi yn mhell iawn ar ol o wneyd yr hyn a allent at gynaliaeth y weinidogaeth, ac yr wyf yn sicr pe byddai diaconiaid pob eglwys sydd yn ddiffygiol yn hyn, yn gosod y mater yn frawdol a rhesymol o flaen yr eglwysi, ac yn ffurfio cynllun priodol, y byddai llawer o gyfnewidiad yn cymeryd lle. "Am hyny frodyr byddwch helaethion yn ngwaith yr Arglwydd yn wastadol."

Os caf fywyd ac iechyd ymdrechaf yn y dyfodol i roddi braslun o hanes gyrfa weinidogaethol sefydlog yr hen weinidog, am yr ysbaid maith o ddeuddeng-mlynedd-ar-hugain, yn nghyda llawer o bethau hynod a ddygwyddasant yn y tymor hwnw.

Bu cwrdd blynyddol yma yr wythnos o'r blaen. J. Thomas, Caerfyrddin, ac Abel J. Parry, yn pregethu. Caed cwrdd hynod o dda, y brodyr yn pregethu yn odidog, a chymaint yn gwrando ag a welwyd yma erioed. Yr wyf am fyned i Gymanfa Pwllheli fory. Mae J. Thomas, Caerfyrddin, Jones, Llwynpia, a Morris, Treorci, i ddod yno o'r Deheu. Gobeithiaf y ceir cymanfa dda. Terfynaf ar hyn yn awr, gan addaw ychwaneg o hanes yr Hen Wlad, os byddaf byw ac iach y tro nesaf.

## HEN BERYGL YN YMADNEWYDDU.

Profiad chwerw ein henwad flynyddau yn ol oedd rhoddi ymddiried i ddynion annheilwng fel pregethwyr, a'u gwahodd i'n pwlpudau pan oeddynt wedi dwyn yr achos i warth mewn lleoedd eraill. I'r fath raddau y camdriniwyd caredigrwydd eglwysi i ddyeithriaid, fel o'r diwedd cauwyd y pwlpudau yn erbyn pob un oedd heb lythyrau ymddiriedol i ddangos ei gymeriad. Bu'r gofal dygn hwn yn foddion i wneyd y cyfryw ddynion yn fwy gochelgar, a blinwyd yr eglwysi yn llai ganddynt. Ond mae lle i feddwl fod hyfder newydd wedi cymeryd gafael yn y dosbarth hwn o bobl, ac y mae yn anhawdd gwybod sut i wneyd caredigrwydd i frawd dyeithr heb "losgi'r bysedd." Ond mae un peth gwaeth nag ymosodiadau personol dynion annheilwng ar ein pwlpudau a'n cartrefi; hyny yw, pan maent yn cael eu trwyddedu gan ddynion da a ddylent wybod yn well. Fisoedd yn ol erfyniwyd ar yr ysgrifenydd i "wneyd lle" i ddyn ieuanc i ddod yn weinidog ar eglwys fechan, barchus, oedd ychydig amser cynt wedi cael ei llarpio gan weinidog terfysglyd. Pan oeddwn yn gwneyd fy ngoreu i sefydlu y dyn dyeithr, deallais ei fod wedi gadael cymeriad drygsawrus yn yr Hen Wlad, a buasai ei sefydliad yn yr eglwys grybwylledig yn ergyd drom iddi, ac ar ei rhan yn ddinystr o'i hymddiried ynof fel dyn. Tro gwael ac isel yw gwthio dyn di-ymddiried i ymddiried un arall. Mae yn waeth i basio *dyn* drwg nag *arian* drwg, a dylid bod yn ofalus iawn i bwy y rhoddir llythyrau cymeradwyol, ac yn enwedig pwy a gymeradwyir i'n heglwysi fel gweinidogion a phregethwyr.

Amser yn ol ymddangosodd geiriau fel y canlynol yn un o'n newyddyron Cymreig, uwch ben enw adnabyddus yn mhlith ein gweinidogion. "Mae

Digitized by Google

Dr.—[*Doctor* yn wir] ! yn pregethu bob Sabboth gyda'r Bedyddwyr yn B——, a phregethwr iawn ydyw hefyd. * * Ni chlywais ieithwr rhagorach, meddyliwr treiddiolach, nac areithydd hyawdlach, nemawr erioed. Mae yn wir fawr, yn wir fawr, yn wir." A mwy o'r un natur.

Yn awr, mae y fath *gompliments* a'r uchod i *unrhyw ddyn* yn ormodiaeth sawrus. Fe allai y goddefid hwynt i gyfeirio at Joseph Cook, neu Dr. Storrs, ond digon prin. Ond pan ystyrir eu bod yn cyfeirio at ddyn ieuanc sydd wedi bod yn mhell iawn o enill ymddiried enwad parchus y Trefnyddion Calfinaidd, ac wedi ei gyhoeddi ar hyd led y wlad fel dyn anonest, ac eto yn cael ei wthio ar ein henwad fel *star of the first magnitude*, a "dedwydd fydd yr eglwys a sicrhao ei wasanaeth," mae hyn yn gamdriniaeth a'r enwad. Yr wyf yn mhell o feddwl y gwyddai y gohebydd beth oedd cymeriad y dyn a gymeradwyai ; ar yr un pryd *dylasai* wybod cyn ei gyfodi i'r gwynt. A dyn i eglwys B——, ei glywed eto yn gweinyddu yn ei phwlpud, dylent anfon i le fel Swyddfa'r *Drych*, neu at eglwys y M. C. yn Milwaukee, i wybod beth yw safon y gwr a orfolir ac a wthir ar yr enwad.

Frodyr, yr ydym mewn perygl eto o gael ein gwarthruddo gan bresenoldeb dynion annheilwng yn ein lleoedd uchel. Gwyliwn rhagddynt.

Yr eiddoch, GOFIDUS.

*** Mae yn groes iawn i'n teimladau orfod cyhoeddi dim fyddo yn anffafriol am bersonau, ond gan fod "Gofidus" yn weinidog o gymeriad a safle uchel, ac yn cyfeirio at fater mor annhraethol bwysig i'r enwad, barnwn yn ddyledswdd arnom gyhoeddi yr uchod. —GOL.

---

—Nis gwna fod dyn yn perchenogi cyfoeth ei gau allan o deyrnas nefoedd, ond cyfoeth yn ei berchenogi ef a wna hyny.

—Gwybodaeth o athrawiaeth yr efengyl yw'r ganwyll gan ffydd, heb yr hon nas gallai weled i wneyd ei gwaith.

—Ynfyd a niweidiol yw i ddyn osod ei feddwl yn fwy ar y drwg sydd yn ei gyfarfod, nag ar y moddion i symud neu liniaru'r drwg.

# MAN-DDARLUNIAU O GYMRU.

### HARRI RISIARD JOB.

Hen Gymro diniwed oedd Harri Risiard Job, yn byw mewn ardal dywodlyd ar fin y môr yn Ngwynedd. Yr oedd amser a'i helyntion wedi gwneyd *shape* dychrynedig arno yn yr oedran teg yr adwaenasom ef gyntaf. Yr oedd ei wyneb yn lled gam, a'i lais yn "fyngys." Amgylchiadau go ryfedd fuont yn amgylchynu Harri, os oeddynt yn dwyn tebygolrwydd i'w olwg ef. Ond nid yw golwg dyn bob amser yn ddrych cywir o'i fyd allanol. Y mae modd i ddyn *wneyd* llawer o bethan yr hyn na fyddont yn naturiol ; a'u gwneyd yn ysgythrog ac anffodus pryd na fyddo dim yn galw am hyny. Yr oedd "Modryb Shân," ei wraig, yn nodedig o lanwaith, dwt, gynil, ddarbodus, ac ymdrechgar am ei thamaid. Oedd, oedd ; gwisgai fenyg hanerog yn y gauaf—sef menyg yn amgau am gorph y llaw, gan adael i'r bysedd i gymeryd eu siawns. Menyg felly fyddai gan lawer o'r hen bobl dda, ddiniwed gynt, yn Nghymru ; ac yr oedd dwylaw glanach yn gwisgo y menyg di-fysedd hyny,na llawer o'r dwylaw a anrhydeddir a menyg *kid* costfawr yn y dyddiau hyn. Rhanau eraill o wisgoedd modryb Shân oeddynt yn cyfateb o ran destlusrwydd—y begdwn del iawn oedd ganddi ; cap a ffrils iddo ; a het hefyd, ond nid oedd ei hymyl yn llydan, na'i choryn yn uchel, fel eiddo merched sionc Aberteifi. Wel, waeth i chwi dewi, 'roedd yr hen wraig fy modryb, yn dwt ac yn brydferth ; ac nid oedd wele yn bertach hen ffasiwn yn holl "Morfa bychan."

Digitized by Google

Ond am Harri druan, yr oedd ef yn wahanol—yn hollol wahanol—peth rhyfedd hefyd, a'r ddau wedi cyd-fyw mor hir. Modd bynag, dyna'r ffaith. Y mae yn od iawn y wedd sydd yn myned ar ddynion wrth fath o fyw yn y byd yma! Gwelsid adeg ar Harri Risiard Job pan yr oedd yn ffurfiedig, glandeg, ac ol dwylaw natur arno. Gollyngodd ei hun mae'n debyg, ac nid mae'n debyg chwaith, mae yn sicr iddo wneyd hyny, nes iddo golli yr olwg hardd, wreiddiol, a myned yn hen ddyn hagr, ïe hagr, a'i wyneb yn anffurfiedig, un llygad yn haner cauedig, yn cnoi tybaco yn dost, ac mewn helbul dost mewn ambell anedd-dy yr ai iddo am le cyfaddas i arllwys ei boeri. Hen ddyn byr ydoedd, dipyn yn anystwyth, afrosgo, eto yn gryf. Nid llawer fedrai redeg ar ol yr hen fyd yma. Na, ni redodd Harri Risiard Job nemawr ar ei ol. Dull chwyrniadol oedd ganddo o gyfarch ei hen wraig yn fynych. Wyddoch chwi beth, yr oedd yn arfer galw fy modryb Shân, ei hen wraig, weithiau yn hurtan—"yr hen hurtan," meddai. Nid oedd, ni gredwn, am ei galw yn hurt yn ystyr gyflawnaf y gair. I ddyn dyeithr yr oedd y fath chwyrniad ymadroddol yn swnio yn rhyfedd yn wir. Ond peidiwch colli golwg ar Harri. Mae yn ddrwg genym orfod dweyd mai anfynych y byddai yn myned i foddion gras. Dichon fod a fyno hyny a'i *shape*, a'i olwg; ond paham y dywedwn dichon, mae hyny yn sicr. Pe buasai efe yn myned i'r capel fel pobl eraill, ac hyd yn nod yn ddibroffes, ni fuasai helynt y byd hwn wedi ei hagru i'r fath raddau. Crefydd sydd yn prydferthu pobl. Mae ganddi *model* heb ei bath. Mae perygl i ddyn fyned i ffraeo ag amgylchiadau bywyd; yn hytrach, dylai ddysgu y ffordd i'w hymladd yn fedrus—yn rheolaidd. Mae dysgeidiaeth yn gwneyd llawer yn y ffordd hon. Mae addysg foreuol yn gosod y sylfaen. Mae dewisiad o gynghorwyr a chyfeillion, o bwys. Ond crefydd sydd yn ben ar y cwbl. Mae ei doethineb hi yn werthfawrocach na gemau. Priodol gan hyny yw y gorchymyn am i ni wisgo holl arfogaeth Duw. Bobl ifanc, yn y dyfodol pa wedd fydd arnoch? Ewch i'r eglwys efengylaidd, ac yno cewch fantais i ddysgu yr *art* o ymladd a brwydro a themtasiynau, helbulon, a chroesau amryfath bywyd.

HEN SYLLWR.

---

## CYFEILLACH AC YMDDYDDANION CYFFREDIN.

*Personau:* ANNE, MARY, ELLEN, SARAH.

(*Anne yn myned i mewn i dy Mary: Ellen a Sarah yno yn barod.*)

ANNE.—Oes pobl i fewn?

MARY.—Mae yma *ferched* i mewn.

A.—O wel, yn wir, dyma well nag yr o'wn i yn dysgwyl. Sut yr 'ych ch'i i gyd?

M.—Wel 'rwy'n coelio ein bod yn o lew; sut 'ry'ch chwithau'ch hunan?

A.—Yn dda iawn, thanki—gystal ag y gallwn i ddysgwyl.

M.—Eisteddwch yn y fan yma ar y gadair fawr yma.

ELLEN.—Iē, wir, 'roedd yma eisieu cadeirydd er's meityn, a byddwch ch'i "*the right man in the right place* (*right woman* ddylaswn i ddweyd, onte?)

A.—Felly, yn wir, *madam;* mae'ch ffraethineb yn glynu gyda ch'i ar bob tywydd, mi wela'. Wel, ynte, diolch yn fawr i ch'i; mi eisteddaf gyda'ch cydsyniad oll yn y gadair lywyddol.

SARAH.—Garw i ch'i ddod i mewn;

Digitized by Google

'roedd gen' i, ar gyfrif fy hyd neu arall, ryw obaith swydd oni bae hyny.

A.—Wel, yn wir, y mae yn ddrwg gen' i drosoch ch'i, ond 'rwy'n ofni nad allaf fod mor hunanymwadol ag ildio i ch'i bellach.

S.—Mi geisiaf fi fod mor hunanymwadol a bod yn foddlon i ch'i, ynte.

M.—Dyna ben ar y mater yna bellach.

A.—Wel, rhag i mi fod yn fwy o rwystr nag o help, 'rwy'n cyhoeddi fod y cyfarfod hwn yn cael ei agor. Gan fod y cwbl yn ddisymwth annysgwyliadwy, wna i ddim araeth o gwbl. Dyweded rhywun beth sydd i fod dan sylw.

E.—Gyda'ch caniatad Mrs. Cadeirydd (fel yna mae dweyd, onte?), rwy'n cynyg ein bod i siarad ar *ddim*, fel yr oe'n ni cyn i chwi ddyfod i mewn.

A.—Testyn dyddorol iawn. Wel, pwy ddwed dipyn i ddechreu?

E.—Iē, ond 'does dim dechreu i fod na chanol, na diwedd; dyna'r difyrwch.

A.—O felly, yn wir; wel, y *mae* yn ddifyrwch anghyffredin. Ewch yn mlaen ynte fel y dymunoch.

E.—Ond gyda'ch caniatad, Mrs. Cadeirydd, nid myned yn mlaen ydyw, na nid myned yn ol, na sefyll yn yr un fan; dyna'r difyrwch.

M.—Yn awr, chwiorydd, 'rwy'n cael fy nghymell i waeddi TREFN! Y mae Ellen mor ffraeth, 'does fodd yn y byd fyned tu hwnt iddi hi heb dori yn rhyw fodd ar ei thraws. Y mae yn dda iawn ei bod, er hyny; gwel hi y ffordd trwy lawer achos fydd yn dywyllwch du i eraill.

S.—Da, ch'ithau, peidiwch siarad mor anghyffredin o fanwl ac ymresymiadol; mae'n peri i fi deimlo mor anghartrefol ac mor *stiff* rywfodd.

E.—Diolch i chwi, Sarah, yn wir; 'ro'wn inau yn teimlo fy hun yn pellhau o gartref; mae'r swyddogaethau yma yn oeri pobl, ac yn eu pellhau oddiwrth eu gilydd yn rhyfedd.

A.—Chwiorydd anwyl, dyma fi ynte yn ymddiswyddo o'm bodd, ac mi eisteddaf, os y mynwch, mewn cadair arall, rhag i mi fod yn gysgod o rwystr.

M.—O na, 'rwy' i yn dal at fy ngosodiad o honoch yn y gadair yna; y chwi a'i pia tra f'och yn y ty, hyd yn nod os y mynwch ymwrthod â'r swydd.—Ond, yn awr, gadewch bob lol. Siarad am y Nadolig yr oe'n ni cyn i chwi ddod i fewn, Anne, a sut 'roe'n ni wedi mwynhau y Cyfarfod Ysgolion ar y Bryn.

E.—O'r anwyl, Mrs. Cadeirydd fach, tra b'wy'n cofio, "Nadolig lawen, a blwyddyn newydd dda i chi!" "*The compliments of the season.*" *ma'm.*

S.—Dyma fenyw gall, mae'r Nadolig wedi pasio.

E.—'Rwy'n leico bod yn mla'n a ngwaith, Sarah—y Nadolig nesaf, blwydddyn i hwn, o'wn i'n feddwl. Beth sy'n well na thipyn o stoc am flwyddyn o bethau da.

M.—'Nawr ferched, 'rw' i yn gweyd y gwir, 'does dim diwedd arnoch chi, o'ch gadael yn llonydd; rhaid i mi unwaith eto eich galw i DREFN.

E.—O wel, mae'r gadair wedi newid ei chyfeiriad. Diolch i chwi Mrs. Cadeirydd yr ail, ni ddeuwn ar eich gair i DREFN.

S.—Ffordd 'ry'ch chi'n myn'd, Ellen, waeth 'rwy'n gwel'd y rhaid i mi ddod gyda ch'i.

E.—Hush.

A.—Iē, wel beth feddyliech o gyfarfod y Nadolig?

E.—Da iawn, yn wir, meddem ni, cyn i chwi ddod i fewn; ond 'rwy'n *dymuno* arnoch, ys dywed Tomos Pantteg, i beidio siarad yn ddwfn, neu ddalia *i* yr un gair. Os yr ewch ch'i yn mhell i'r "pwnc" mi'ch colla i ch'i yn union.

M.—Da ch'i, Ellen, peidiwch bod mor ddoniol. Hytrach yn ddifyn'd yr oedd y canu onte, Anne? neu beth feddyliech ch'i?

A.—Iē, am wn i, yn wir—lawer o hono, beth bynag. Yr oedd y tônau lleddf yn well na'r rhai llon, on'd oe'n nhw?

S.—Arferid mwy o ofal wrth eu canu, hyny oedd y gwahaniaeth, 'rwy'n coelio.

Digitized by Google

M.—Ac yr oeddynt yn cyfateb yn well i dymer eich ysbryd chwi, efallai.

A.—Wel, hwyrach hyny. Sut bynag, teimlwn i fy hun yn cael lles ac adnewyddiad.

E.—Dyma ch'i eto yn bygwth myned i'r dwfn. Da ch'i, peidiwch cymeryd arnoch fod mor gall. Welsoch ch'i ferched ysgol y Cefn â ribanau gleision—*sky blue* genyn nhw bron i gyd? Oe'n nhw wedi cytuno y'ch chi'n meddwl?

S.—Wfft i ch'i, Ellen, o hyd a'ch beirniadaeth barod ar bawb. Cofiwch ch'i, mi welson' hwythau rywbeth gyda ch'ithau; y'ch chi'n foddlon i fi ddweyd beth ddywedid am dano.

E.—O'r anwyl, na, peidiwch, neu hwyrach chysga i ddim drwy'r nos. Yr w' i mor wangalon, wyddoch, ac mor dyner galon.

S.—Yr y'ch chi'n wir. Dyn a'ch helpo, y gwan.

E.—Yr "het newydd fach" i chi'n feddwl, mi w'ranta; ond dyna, 'dw' i ddim am wybod. Mae gen i ddigon ar 'y meddwl heb gael ychwaneg.

S.—Dyn a'ch helpo eto.

A.—Yn wir, ferched, 'ry'ch yn ddigri', ac yn ddoniol, ond wn i faint i ni nes yn mlaen o hyny hefyd.

M.—O dyna fel mae ie'nctyd, chi, 'smaldod yw eu hanian hwy.

E.—'Smaldod, yn wir; be' chi'n gweyd fel yna? Welsoch ch'i 'mo Robert Jones, druan bach, heb un *goat* fawr ar y tywydd oer hyny?

S.—Iē, ac yntau'n bre——

E.—Yn wir, pe buasai gan un *shawl*, 'e fyddai yn brofedigaeth iddi ei rhoi am ei war, druan bach.

S.—Y *fringe* i fyny.

M.—'Nawr, y rhai drwg; mae'ch cellwair ch'i yn myn'd â'r holl amser.

E.—O ddifrif yn awr ynte, 'rwy'n cynyg fod Sarah a finau i dewi, a chwithau ac Anne i siarad.

M.—Ond pa'm nad ellwch uno â ni i siarad geiriau synwyr a phwyll?

E.—Am nad yw hyny *ynon* ni, Mary Jones fach. Iē, wir, welwch ch'i, am nad yw e' *ynon* ni.

M.—Mae *ynoch* ch'i ddigon pe gadawech iddo ddod allan.

A.—Ie'nctyd, ie'nctyd, ys dywedwch ch'ithau Mary. Rhaid esgusodi llawer o 'smaldod ie'nctyd.

S.—Diolch yn fawr Mrs. Cadeirydd y cyntaf, 'ry'ch ch'i yn bur dosturiol; ond rhaid i ninau fod yn well.

M.—Mae llawer o swyn yn amser y Nadolig, on'd oes? Ac i mi, y mae swyn arbenig yn nghyfarfodydd y Nadolig. 'Rwy'n teimlo fel pe byddai yn hawdd gen i ymroddi i'r hyn sydd grefyddol ac addolgar.

A.—Yn wir, 'rwy'n teimlo i fesur yn debyg. Er gwaethaf yr hin, y sydd fynychaf yn oer ac yn groes, mae'r Nadolig yn adeg gyfaddas iawn i gynal cyfarfodydd ynddi.

M.—Fe holodd Mr. Edwards ysgol Penrhiw yn dda, on'd do?

A.—Do, ac fe atebwyd yn dda. Hen frawd ffraeth yw Hywel Ifan y Go', mae'n bleser gen i ei glywed yn ei hagor hi.

E.—Mae'n gystal gen' i, boed fyno, glywed Jim Watkin bach y Pant; 'e fydd ei lais e'n myn'd trwyddo i bob amser. On'd yw e'n geirio yn dda?

S.—Pwy addawodd beidio dweyd dim rhagor?

E.—Ond 'roedd y mater yma yn un mor gynhyrfus, Sarah, ac yr oedd arna' i eisieu cymeryd ochr Jim.

M.—Raid i ch'i ddim, yn wir, Ellen fach, fe ofala Jim am dano ei hun yn burion, heb help neb.

E.—Y'ch chi'n meddwl?

A.—Wel waeth i ni roi fyny 'falle—'dyn ni ddim yn dod lawer yn gallach, ydyn' ni?

E.—Mi gyfrifwn i yn lwcus iawn os nad y'n ni yn myn'd yn ffolach. "Tuedd felly sy'n yr oes," meddai mamgu.

M.—Wel na, 'does fawr o argoel dod yn gallach arnon ni fel hyn. Beth bynag, mi fydda i yn ddigon awyddus am ryw gyfarfod tebyg i'r un oedd o'r blaen eto. O ran hyny, e fydd yn dda gen i gyfarfod bob amser, oni fydd yn wael iawn.

E.—O iē, 'rych ch'i o hiliogaeth y prophwydi; mae cyfarfodydd yn eich natur ch'i.

S.—Beth fyddai i ni ychwanegu at eich enwau?—eich galw chwi Mary yn

Digitized by Google

Annah, a chwithau Anne yn Deborah?

M.—Dim bai ar eich cynyg chi, chwareu teg.

A.—Braint fawr, mi feddyliwn, fyddai cael enwau newyddion gan awdurdodau mor uchel.

E.—Dyna chi wedi ein dal o'r diwedd; mae'n *rhaid* i ni dewi 'nawr.

A.—Yn gaeth neu yn rhydd, ynte, gadewch i ni obeithio am gyfarfod o rywfath heb fod yn hir eto. Mae bywyd yn unffurf iawn heb ryw newydd-deb ynddo o hyd.

M. Daw y cyfarfod canu undebol yn fuan.

E. Croesaw iddo.

M. Iē, 'rydych chi mor awyddus a neb am gwrdd, yn ddireidus fel hyn.

E. Anwyl Mrs. Cadeirydd yr ail, a gyfrifwch chi ni mewn gwirionedd yn ddireidus?

S. Nage, nage, bobl bach, "cyffyrddus" y'n ni.

A. Wel, nad gan beth, mae'n rhaid i ni eich gadael.

E. Y plant yn galw?

A. Mae'ch rhai chwi yn y gwely goelia i.

E. Er's oriau, *ma'm.*

A. Dde'wch chi yma, i fi gael gair genych, Mary Jones?

M. Yn union, Anne fach, os y rhaid i ch'i gael myn'd.

(*Y ddwy yn troi i ffwrdd.*)

E. Nos da, chwiorydd bach, a diolch yn fawr am eich cwmni a'ch cynghorion. Yn awr Sarah, wrthym ein hunain, ni fyddwn *fel* ni ein hunain, yn *gall.* Gadewch i ni fyn'd dros y dôn—Doh F. D—o—h.

(*Yn canu.*)

# Bwrdd y Golygydd.

### NEBUCHODONOSOR YN MHRIF YSGOL RHYDYCHAIN.

Dyma yr hen freuddwyd yn cydio gafael arno, a bu raid iddo fyned i Rydychain am saith mlynedd, i fyw gyda'r ychain, ac ychain oedd ei athrawon i'w ddysgu i wybod mwy nag oedd yn ei wybod. Pa hyd y bu raid iddo aros yno? Saith mlynedd, "hyd oni wypech."

Dyna fe yn y brif-ysgol yn mysg y bustych, yn pori gwellt fel hwythau. "Ac yn niwedd y dyddiau," medd efe, "myfi Nebuchodonosor a ddyrchefais fy llygaid tua'r nefoedd, a dychwelodd fy synwyr ataf fi, a daethum i ogoniant fy mrenhiniaeth, fy harddwch a'm hoewder a ddychwelodd ataf fi." "Rhagorol! A ddysgaist ti dy wers yno?" "Do" "Wel, gad i ni ei chlywed hi," ac y mae yn ei hadrodd, "Bendithiais y Goruchaf, a molienais a gogoneddais yr hwn sydd yn byw byth, am fod ei lywodraeth ef yn llywodraeth dragywyddol, a'i frenhiniaeth hyd genedlaeth a chenedlaeth." Y mae yn dyblu mawl drachefn. "Yr ydwyf yn molianu ac yn mawrygu, ac yn gogoneddu Brenin y nefoedd, yr hwn y mae ei holl weithredoedd yn wirionedd, a'i lwybrau yn farn." Pe buasai Esaiah ei hun yna, ni allasai ddywedyd ddim gwell. Dyna fe wedi gwybod; y mae efe yn gywilydd i lawer o ddysgyblion ein Rhydychain ni yn y dyddiau yma, sydd yn gwadu Brenin y nefoedd a'i lywodraeth, ac fe fydd yn rhyw dyst ofnadwy yn eu herbyn ryw ddydd a ddaw, wedi sefyll yn dyst dros Dduw i'r holl oesoedd a'r cenedlaethau, wedi gwybod y peth yr oedd Habbacuc yn gweddio am iddo gael ei wybod.—*Y Parch. William Rees, D. D.*

### PETHAU YN NGHYMRU.

—Mae y Parch. T. Lewis, Risca, yn bwriadu cyhoeddi "Hanes y Bedyddwyr yn Nghymru," ac amlygodd Undeb Bedyddwyr Cymru, yn Llandudno, gefnogaeth wresog i'r anturiaeth.

Digitized by Google

—Swm trysorfa Cymdeithas Ddarbodol Hen Weinidogion Cymru yw, £1,525 3s. 8c.

—Yn Llandudno, yn nghyrddau yr Undeb yn Hydref diweddaf, wedi darlleniad araeth y Llywydd parchus, y Parch. E. Thomas, Casnewydd, ar "Y Gymdeithas Ddarbodol," yn nghanol y brwdfrydedd sanctaidd a gynyrchwyd gan y cyfryw, trowyd cyfarfod y boreu hwnw i ddyben ymarferol, a gwnaed apeliad ar ran y Gymdeithas hono, a'r canlyniad dedwydd iawn oedd cael addewidion am £200 at gyfalaf yr unrhyw. Felly coffadwriaethwyd llywyddiaeth ein hanwyl frawd o Gasnewydd gan un o'r gweithredoedd gogoneddusaf wnaeth Undeb Bedyddwyr Cymru erioed.

—Beth feddylir am barhad yr hen Gymraeg yn Nghymru, oddiwrth y penderfyniad canlynol a basiwyd gan Undeb Bedyddwyr Cymru yn ddiweddar yn Llandudno? "That this Union is of the opinion that a greater provision should be made for the religious requirements of the rapidly increasing English speaking population of the Principality, and strongly recommends that a society should be formed for establishing and maintaining additional English Baptist churches in Wales and Monmouthshire."

—Mae y Parch. Youhanna El Karey, cenadwr genedigol o wlad Canaan, yn Nghymru yn casglu at y gwaith cenadol yn y wlad hono. Tuag ugain mlynedd yn ol bu Mr. Karey yn derbyn ei addysg yn Ngholeg Pontypool am dair blynedd; priododd â Chymraes, dychwelodd i'w wlad enedigol, a sefydlodd eglwys Fedyddiedig yn Samaria. Bu ei briod farw yn ddiweddar. Y mae wedi bod yn dra ffyddlawn a llwyddianus fel gweinidog a chenadwr, ac y mae yn derbyn cefnogaeth wresog ar ei ymweliad presenol â Chymru.

—Rai wythnosau yn ol hysbysodd y Parch. Thomas John ei fod yn rhoddi fyny ei swydd fel gweinidog yr eglwys yn Siloh, Tredegar. Y mae Mr. John wedi bod yn gweinidogaethu yn Siloh am chwe' mlynedd, ac wedi bod yn dra llwyddianus yn ystod yr amser hwnw. Enillodd gylch helaeth o gyfeillion, ac y mae hefyd yn un o aelodau Bwrdd Ysgol Bedwellty. Derbyniodd Mr. J. alwad oddiwrth eglwysi Ffynonhenry a Rhydargaeau, ger Caerfyrddin, ac mae wedi dechreu ar ei weinidogaeth yno ar y 12fed o Dachwedd.

—Mae "Trysorfa Adeiladu" Bedyddwyr Cymru, yn ol y mynegiad diweddaf, mewn cyflwr iachusol a llwyddianus. Yr oedd gan yr eglwysi yn fenthyg y flwyddyn ddiweddaf y swm o £5,174 1s. 6d.; ac mewn llaw yn weddill yr oedd y swm o £249 12s. Gadawodd Mr. J. Edwards, Llundain, yn ei ewyllys, y swm o £154 5s. 3c. yn rhodd i'r drysorfa hon.

—Hysbysir ddarfod i'r Parch. Levi Thomas, D. D., Castellnedd, gyfarfod a damwain ddrwg yn ddiweddar, drwy gael ei daflu allan o gerbyd pan ar daith yn nghwmni cyfaill.

—Yn mis Mai diweddaf rhoddodd yr hybarch John Lewis ofal eglwys Blaenau Gwent i fyny, ac yn Hydref ordeiniwyd Mr. T. Towy Evans, o Athrofa Pontypool, yn weinidog yn ei le.

—Y mae capel "Bethesda," Abertawe, wedi cael ei ail-adeiladu yr haf diweddaf. Mae Bethesda, erbyn hyn, yn un o'r capeli harddaf, ac yn sicr, y mwyaf cyfleus yn y dref. Mae wedi ei adeiladu ar yr un sylfaen ag o'r blaen; ond yn lle seddau tu ol i'r pwlpud ar y llawr, fel o'r blaen, mae yn awr dair o ystafelloedd helaeth a chyfleus, un wedi ei dodrefnu at wasanaeth y gweinidogion, a'r ddwy eraill at newid ar adeg bedyddio. Mae y cyfnewidiad hwn, yn nghyd a'r hyn a wnaed ar y *gallery*, yn gwneyd y capel gryn raddau yn llai. O'r blaen eisteddai 1,250 ynddo, ond yn awr 1,050 o eisteddleoedd sydd ynddo. Yn nglyn ag ef hefyd y mae ysgoldy eang a hardd, yn mesur 53 troedfedd o hyd wrth 25 tr. o led. Mae yn yr adeilad hwn ddwy ystafell, un uwch ben y llall. Deil yr un uchaf 370, a'r llall 200 o bersonau. Dygwyd yr holl waith i derfyniad am y gost o £3,300.

Digitized by Google

Mae yr eglwys yn awr yn ei thy newydd, a hwnw yn deilwng o'i henafiaeth a'i henwogrwydd, ac o lwch y cewri a orweddant o'i gylch. Y mae yn sicr genyf y bydd yn dda gan holl Fedyddwyr ein gwlad ddeall ein bod yn bwriadu addurno bedd yr anfarwol Christmas Evans â *monument* gorwych.

—Yn *Seren Cymru* yn ddiweddar ymddangosodd ysgrifau yn rhoddi rhai rhesymau am y lleihad yn ein rhifedi er y flwyddyn 1878, yn Sir Fynwy. Yn mhlith pethau eraill nodir y rhai canlynol:Diwygiadau cyffrous yn 1877—1878, a gwrthweithiad (*reaction*), yn dilyn y diwygiadau hyn. Dylanwad afiachus "Byddin yr Iachawdwriaeth" sydd beth arall a nodir fel achos. Tystir fod llawer o'r rhai a ychwanegwyd at ein heglwysi trwy ei chyffro, wedi syrthio yn ol at eu harferion llygredig. Ychwanegir: "Diau fod a fyno yr arafwch masnachol sydd wedi bod er's tymhor â'r lleihad sydd wedi cymeryd lle yn ein rhif. Dilynwyd yr adfywiad gwyllt mewn masnach a gymerodd le flynyddau yn ol gan ryw arafwch rhyfeddol, yr hwn sydd yn parhau i gryn fesur hyd yn awr. O herwydd y chwyldroad masnachol hwn, bu amryw weithfeydd yn ein sir, mewn rhan, ar sefyll, ac eraill yn gyfangwbl felly; ac y mae rhai yn aros felly hyd heddyw, naill ai yn rhanol neu yn gyfangwbl. Y mae hyn wedi effeithio i fesur mawr ar rifedi amryw o'n heglwysi. Cymharer rhifedi yr eglwysi canlynol yn 1878 â'r hyn ydyw eieni: Sirhowy, Tredegar, Nantyglo, Bethesda a Bethel, Bassaleg, Bethlehem, Llanelly, Pisgah, Talywain, a'r Darrenfelen. Y mae rhifedi yr wyth eglwys hyn yn llai o 371 eleni nag ydoedd yn 1878; ac fel yr ydym wedi awgrymu, y rheswm mawr am hyny yw, arafwch masnach; y gweithfeydd yn y gwahanol leoedd mewn rhan, neu yn gyfangwbl, ar sefyll, a'r aelodau mewn canlyniad yn gorfod symud i barthau eraill o'r wlad hon, neu i ryw wlad estronol, er mwyn bywoliaeth. Ac ofnwn fod lluaws o'r rhai oedd yn aelodau flynyddau yn ol yn eglwysi ein cymanfa, o herwydd y chwyldroadau masnachol dan sylw, wedi myned ar goll fel aelodau—wedi ymadael â'r eglwysi heb lythyron, gan eu bod yn myned, lawer o honynt, fel Abraham, na wyddent i ba le." Priodolir llawer o'r lleihad i gynydd yr iaith Saesneg yn y sir. Ond na ddychryned neb. Ar y cyfan mae yr enwad wedi cynyddu yn anghyffredin yn Nghymru. Dyma fel y dywed golygydd *Seren Cymru* wrth adolygu Cyrddau Undeb Bedyddwyr Cymru yn Llandudno eleni: "Yr oedd mynegiad pwyllgor yr Undeb yn ddyddorol iawn, ac yn arddangos cynydd yr enwad yn y blynyddoedd diweddaf hyn yn fawr iawn. Mae cynydd yr enwad am yr ugain mlynedd diweddaf yn destyn syndod a diolchgarwch neillduol i Roddwr pob daionus rodd."

---

## ADOLYGIAD Y WASG.

Lethe and Other Poems, by David Morgan Jones. Philadelphia: J. B. Lippincott & Co. 1882.

Ychydig o'n darllenwyr, efallai, sydd yn gwybod eto mai mab i'r hybarch Theophilus Jones, Wilkesbarre, Pa., ydyw David Morgan Jones, awdwr y gyfrol ddestlus hon o farddoniaeth. Mae yn amlwg fod y mab yn cyfranogi yn helaeth o dalent ei dad. Gwyr y Bedyddwyr Cymreig, ac eraill o'r Cymry, yn dda bellach am dalent bregethwrol y Parch. Theophilus Jones. Dywedai y Parch. Allen J. Morton wrthym yn ddiweddar, nad oedd neb yn mhlith y Bedyddwyr Gymreig ugain mlynedd yn ol yn America ddaliai i'w gymharu a'r brawd Jones. Credwn hyny; ac eto, yn wir, cystadla yn dda a'i frodyr yn y weinidogaeth. Nid yn unig mae efe yn Ysgrythyrwr cywirfarn, ond hefyd mae math o loywder ar bob peth a ddywed. Y mae llawer o'r gloywder hwn yn nghaniadau ei fab. Dichon mai nid ar unwaith y gwel y darllenydd cyffredin y rhagoriaethau a fedd y cynyrchion barddonol hyn. Fel y gellid dysgwyl, mae y brawddegau yn *terse*, a'r arddull yn farddonawl

Digitized by Google

Seisnig, fel y mae yn rhaid i'r darllenydd Cymreig gymeryd pwyll er gwerthfawrogi y caniadau yn ddyladwy. Yr ydym yn teimlo hyn ein hun; rhaid myfyrio uwch ben y llinellau er cael y synwyr. Y mae hyn yn dangos mai nid rhyw waith brysiog, byrbwyll, a geir yma, ond geiriau a llinellau wedi eu trwsio a'u caboli yn dda. Y mae amryw o'r materion hefyd yn gofyn ymgydnabyddiaeth â hwy er gallu darllen rhai o'r darnau gyda budd. Modd bynag, mae elfenau barddonawl yn tori dros ymylon pob darn. Y mae gwrthddrychau testynol Mr. Jones yn y caniadau hyn, fel Anwylyd Caniadau Solomon, i edrych arnynt megys drwy y dellt. Y mae peroriaeth yn swn treigliad ffrwd ei linellau.

Teimlwn wrth ddarllen yn mlaen fod ei awen yn ieuanc, ac am hyny nid yw bob amser yn gallu siarad yn groew. Ond o ran hyny, mae eisiau i feirdd, yn gystal a phechaduriaid, gael eu troi a'u gwneyd fel plant bychain. Y mae i'r tymor plentynaidd burdeb a lledneisrwydd na cheir mo honynt mewn oedran gwr; y mae y purdeb a'r lledneisrwydd yn amlwg yn y caniadau hyn.

Os crybwyllwn am deilyngdod cymharol y gwahanol ddarnau, rhoddwn y flaenoriaeth i'r darnau crefyddol. Hoffwn "The Holy Child," "Sabbath Bells," "Heavenly Watchers at the White House," "God and the Sea." Efallai y barna y beirniaid Seisnig "Lethe," a chaniadau eraill, yn rhagori, ond gwell genym ni y darnau crefyddol a enwyd.

Ac edrych ar y llyfr hwn fel Reuben, cyntaf-anedig ei awen, ystyriwn yr awdwr yn dra addawol fel bardd. Anogwn y beirdd Cymreig i bwrcasu y gyfrol ddestlus hon, a sicrhawn hwynt y cânt fudd a phleser o'i darllen.

---

Mae gwasg y Bedyddwyr, dan arolygiaeth yr *American Baptist Publication Society*, 1720 Chestnut Street, Philadelphia, yn llawn bywiogrwydd a gwaith. Mae amryw resymau paham y dylai prynwyr llyfrau yn mhlith y Bedyddwyr gefnogi y Gymdeithas hon:

1. Mae yn cyhoeddi, ac yn masnachu yn y llyfrau goraf. Gellir cael unrhyw lyfr a gyhoeddir yn y wlad hon, neu yn yr Hen Wlad, trwy anfon ati.

2. Mae yn Gymdeithas *Genadol*, a'r oll o'r arian a wneir dros dalu y costau a gymwysir i gario yn mlaen genadaethau efengylaidd y Bedyddwyr trwy y wlad. Mae canoedd o eglwysi, a chanoedd mwy o ysgolion Sabbothol y Bedyddwyr yn America, yn ddyledus am eu bodolaeth i'r Gymdeithas hon; ac mae ei hymdrechiadau y dyddiau presenol yn fwy llwyddianus, helaeth ac anturiaethus, nag erioed o'r blaen.

3. Dan ei gofal neillduol hi, mae y fath lyfrau yn cael eu cyhoeddi a'u gwerthu a ddylent yn benodol fod yn nwylaw ein hieuenctyd a'n hysgolion Sabbothol, ac mae llyfrgellau ein gweinidogion mewn angen neillduol o lawer o gyfrolau a geir yn ei hystordy.

4. Cyhoedda y papyrau crefyddol at wasanaeth y teulu a'r ysgol Sul, y plant, yr ieuenctyd, a phobl mewn oed—y goraf a geir yn un man yn America. Edrycher ar y pethau hyn, a phrofer hwynt. Yn mhlith y cyfrolau diweddaf a gyhoeddwyd, nodir y rhai canlynol fel yn wir werth sylw y darllenydd:

1. Cyhoeddir gan y Gymdeithas y Testament Newydd yn y Cyfieithiad Diwygiedig. Yn hwn mae diwygiadau y cysbyllawd Americanaidd wedi eu mabwysiadu, yn hytrach na'r Seisonig, a chedwir y Seisonig i'r "Nodiadau" ar ddiwedd y gyfrol. Ceir hwn am bob pris, o ugain cent i fyny. Anfoner at y Gymdeithas am dano.

2. Cyfrol arall o ddyddordeb neillduol ydyw yr *Ana-Baptists yn Switzerland*, gan y Parch. Dr. Burrage. Mae y llyfr yn waith myfyriwr caled, a dyn dysgedig, ac mae yn trafod pwnc o hanesyddiaeth sydd yn cael ei gamddeall gan yr oesau, a phwnc o ddyddordeb neillduol i bob Bedyddiwr. Llyfr dyddorol, darllenadwy, tarawiadol ac addysgiadol iawn, yw hwn mewn unrhyw lyfrgell, yn neillduol eiddo y gweinidog, neu yr ysgol Sabbothol.

3. Sylwasom fisoedd yn ol, fod y Gymdeithas wedi dechreu cyhoeddi Esboniad ar y Beibl gan wahanol awduron. Nodwyd y pryd hwnw eiddo

Dr. Wm. Clark, ar Efengyl Marc. Yn awr, mae cyfrol ar Lyfr yr Actau wedi ymddangos. Argraffiad yw y gyfrol hon o Esboniad Hackett. Nid oes eisiau gair yn mhellach o gymeradwyaeth i'r gwaith, o herwydd mae Esboniad Hackett ar yr Actau yn un o weithiau mwyaf dysgedig dynion mawr yr oes hon ar unrhyw ran o'r Beibl. Cydnabyddir hi felly yn Ewrop, yn gystal ag yn America. Mae yr enwad dan ddyled i'r Gymdeithas am argraffu y gorchestwaith hwn. H. O. R.

## GOFYNIAD O WILKESBARRE.

*Mr. Gol.*—Yr ydym fel eglwys am gael gwybod trwy gyfrwng y WAWR, A ydyw yn rheolaidd i eglwys berthynol i'r Gymanfa Gymreig dderbyn llythyr gollyngdod o eglwys Seisnig Rolling Mill Hill, Wilkesbarre, i'r hon y gwrthodwyd derbyniad i'r cyfundeb Cymreig yn Nghymanfa Nanticoke, Gorphenaf diweddaf. Rhag i'r gofyniad fyned yn ddisylw, cyfeiriwn ef at y Parch. J. P. Harris, Ysgrifenydd y Gymanfa. D. D. RODERICK.

## Y GYSEGR-WYL.

Nos Iau, Tachwedd y 23ain, 1882, darllenwyd gan un o'r brodyr i ddechreu y cyfarfod gweddi y ddegfed o Efengyl Ioan, ac y mae adnod yn y benod hono yn darllen fel hyn: "Ac yr oedd y gysegr-wyl yn Jerusalem, a'r gauaf oedd hi." Ein hamcan yma yw profi nad oedd yr wyl hono o osodiad dwyfol. Dywed yr adnod yn bendant mai yn y gauaf yr oedd y gysegrwyl hon; felly, amlwg yw mai nid gwyl cysegriad Teml Solomon ydoedd, canys yn union ar ol y cynhauaf y bu hyny. Dywedir yn 1 Bren. 8: 2, mae yn mis Ethanim yr oedd yr wyl hono, sef ein Medi neu Hydref ni; nid gwyl cysegriad yr ail deml gan Nehemiah ychwaith ydoedd, oblegid yn y Gwanwyn y bu hyny. Gwel Ezra 6: 15, 16, yma y dywedir mai yn mis Adar y cynaliwyd yr wyl, sef ein Chwefror neu Mawrth ni; felly, rhaid mae yr wyl a sonir yma oedd hono a sefydlodd Judas Maccabeus i lanhau ac adgysegru y deml ar ol ei halogi gan Antiochus Epiphanes, y brenin drwg hwnw; yr hwn oedd a'i lywodraeth o'r afon Euphrates hyd derfynau'r Aipht. Felly yr ydym yn credu mae dyma yr wyl a sonir am dani yn yr efengyl yn ol Ioan 10: 22.

SAMUEL R. JONES.
*Hyde Park, Pa.*

## MAN-LEWYRCHIADAU.

—Gofidus genym ddeall fod y Parch. John W. Williams, D. D., Hyde Park, wedi bod yn dyoddef oddiwrth y *diphtheria*, ac wedi hyny yr *erysipelas* yn ei wyneb, yn y tair wythnos diweddaf. Da genym glywed ei fod yn awr yn gwella, ac yn debyg o fod yn alluog yn fuan i gydio yn ei waith fel arfer.

—*Well done*, frodyr, yn Nanticoke, Pa., mae y gweinidog a'r eglwys wedi gweithio yn ardderchog i godi y capel newydd. Rhywbeth fel yna ydyw gweithgarwch crefyddol.

—*Pity* am y cyfeillion ar Rolling-Mill Hill! Ai tybed nad oes modd eu cael yn ol i'r gorlan Gymreig? Ceir gweled beth a ddywed y Parch. J. P. Harris yn y gofyniad ato yn y rhifyn hwn.

—Pleser i ni oedd ymgydnabyddu â Mr. D. C. Evans a'i deulu, gerllaw Mankato, Minn., yr hwn sydd yn frawd i'r Parch. Meredydd Evans, Dodgeville, Wis. Hysbysid ni fod Mr. Evans wedi gwneyd llawer dros weiniaid o Gymry, flynyddau yn ol, yn y sefydliad, pan ydoedd yn galed ar lawer wrth ddechreu byw yno.

—Gallem feddwl fod y frawdoliaeth yn Chatham Street, Pittsburgh, Pa., yn dra llewyrchus o dan fugeiliaeth y Parch. D. Rhoslyn Davies. Wrth ymweled â derbynwyr ein Cyhoeddiad yn mhlith yr aelodau, yr oeddym o dan yr argraff fod y bobl mewn gwell teim-

Digitized by Google

ladau nag arferol yn eu perthynas â'r achos yn y lle.

—Yn Coalburgh y mae y Parch. Edward Jenkins, Palmyra, yn trigianu yn bresenol; ond gwasanaetha yr un eglwysi fel o'r blaen. Gweithiwr iawn yw efe. Mae ganddo ef dipyn o *dasc* yn awr i glirio dyled capel Niles; ond daw trwyddi, os daw neb.

—Mae y frawdoliaeth fechan yn Dell Roy, Ohio, bron a thori ei chalon eisiau capel newydd. Yn wir, y mae arnynt eisiau un. Nis gwn beth a ddaw o honynt yn y gauaf oer yma wrth addoli yn yr hen felin haner-orphenedig hono.

—Teimlwn rwymau i ddiolch i'r frawdoliaeth yn Johnstown, Pa., am eu hymdrech a'u sel dros y Wawr, ac yn neillduol i'r brodyr John D. Hughes a John Griffiths. Trwy offerynoliaeth y blaenaf mae Mr. Morell yn tanysgrifio $16.00 yn flynyddol am ddeg copi o'r Wawr, ac y mae yr olaf yn dosbarthu yn ffyddlon i'r derbynwyr eraill.

—Galwasom heibio i'r Parch. Morddal Evans, pan yn Palmyra. Mae yn falch ryfeddol o'i etifedd.

—Treuliasom amser difyr yr wythnos o'r blaen gyda'r hen frawd anwyl "Llywarch," Dell Roy, O. Yr oedd ef yn un o'r rhai cyntaf i dderbyn y Wawr ar ei chychwyniad, pan ydoedd ei hunan yn y lle. Hen frawd a Bedyddiwr o'r iawn ryw yw ef.

—Y mae y frawdoliaeth yn Parisville, O., wedi bod yn dra ffortunus wrth sicrhau gwasanaeth y Parch. Allen J. Morton. Yn ddiau y mae efe yn gymhwys i "lenwi pwlpud unrhyw eglwys, pa mor bwysig bynag. Ni ddylai efe dreulio ei amser i ffarmio. Gall pob rhyw un wneyd gwaith felly.

—Ymgyfarfyddodd y Gydgyngorfa y dydd Llun cyntaf o'r mis diweddaf, a darllenwyd Cenadwri yr Arlywydd, yr hon oedd yn llawn o awgrymiadau da, a chanmolid hi yn gyffredinol gan y wasg. Y mae canlyniadau yr etholiadau diweddar i'w canfod yn eglur yn ymddygiadau aelodau y Gydgyngorfa, gan fod y ddwy blaid yn awyddus i enill ffafr y bobl erbyn etholiad Arlywyddol 1884.

# Barddoniaeth.

## ENGLYNION I HENAINT.

Aeth blodau dyddiau dedwyddion—drosodd
D'ryswyd fy nghysuron,—
Mae pob lle o'm babell hon
Ar waeth o lawer weithion.

Boreu o haf byr ei hynt —fu nyddiau,
Fwyneiddied eu helynt;
Heinif bob dydd o honynt
Y down ac awn fel dyn gynt.

Dirwynodd oed ar waneg—hyd ugain
A'i degwch ireidd-deg;
Taer redodd uwchlaw trideg,
A chwai y daeth i chwe' deg.

Pan fu wiwlanc penfelyn,—ireiddiol,
A'i ruddiau fel rhosyn;
Hwn heddyw,—oedd ddoe'n hoewddyn,
A gwedd dost, gwywodd y dyn!

Llawn dri ugain gywrain eu gwarant—heb ludd
O'm blwyddau hedasant;
Fel y niwl o afael nant
Y dison ymadawsant.

O bu'n wan faban unwaith,—y gw'chaf
Wrth gychwyn i ymdaith,
E dry'r dyn, draw ar y daith,
I boen wael maban eilwaith.

Ymredodd fy moreudeg—amseroedd
Mesurwyd eu hadeg;
Yn iach gan fyth ychwaneg,
Neu gyraedd dawn; na grudd deg.

Gorddwys yw'r hen pan gerddo,—a'i weinion
Ewynau 'n diffygio;
Gormod y benod tra bo
Lle rhedodd, allu rhodio.

Er mwynhau rhadau rheidiol,—a meddu
Pob moddion tymhorol,
Ni werthir yn ei wrthol
Ddoe i neb,—ni ddaw yn ol.

Ac i'r ffon yr ymfoddlonwyf—bellach,
A chan bwyll yr elwyf;
Blino wrth rodio'r ydwyf,
Llusgo ar ol,—llesgâu 'r wyf.

Y clyw'n wan drwstan a drydd—a'r golwg
O!'r gwaelu maent beunydd;
Mawr roddion fy moreudd-ddydd;
Pa les son, yn pylu sydd.

Hyll weled y llaw eilwaith—yn crynu
Ceir hon yn anmherffaith;
Y dda gân ni ddwg unwaith,
Neu bin du i ben y daith.

Ugeiniau yn mro Gwynedd—mae cofion
O'm cyfoed sy'n gorwedd;

Digitized by Google

A ddodwyd yn ddiadwedd,
Druain bach, draw yn y bedd.

Myned sy' raid i minau—drwy wendid,
I'r undaith a'm tadau;
Mae 'mlinion, hwyrion oriau,
A'm nos hir yn ymnesâu.

Henffych wlad! i rad rodio—a mwynaf
Man i gael gorphwyso;
Blinder, gorthrymder, na thro,
Ni bydd un, na bedd yno.

R. AB GWILYM DDU.

## MAE FFORDD I GODI.

Mi wn, fy mrawd, fod tlodi
Yn anhawdd iawn i'w ddwyn,
Ac nid wyf yn rhyfeddu
With wrando ar dy gwyn;
Ond paid a digaloni
A gwneyd dy arch,
Mae ffordd i godi
O ddyfnder tlodi
I olud mawr a pharch.

Mae genyt achos cwyno
Na chefaist fawr o ddysg,
Er cymaint sydd o foddion
Dysgeidiaeth yn ein mysg.
Ond paid a digaloni
A gwneyd dy arch,
Mae ffordd i godi
O'r fan lle sefi,
I binacl dysg a pharch.

Mae hen arferion gwrthun
Yn anhawdd iawn i'w lladd,
Byddinant yn dy erbyn
Fel gelyn, heb eu gwa'dd.
Ond paid a digaloni
A gwneyd dy arch,
Mae ffordd i godi
Uwchlaw drygioni,
A ffordd i enill parch.

Yr wyt yn wir druenus,
Dy bechod sydd yn fawr,
Mae beiau gwaradwyddus
Yn dal dy ben i lawr;
Ond paid a digaloni
A gwneyd dy arch,
Mae ffordd i godi,
O'r gwarth a'r bryntni,
I wynfyd byth a pharch.

R. J. DERFEL.

## Y CRISTION YN YMBIL A'I DAD.

'Rwy'n curo 'n awr wrth borth y Nef,
O, Arglwydd llon, erglyw fy llef;
Er mwyn y brawd fu ar y bryn,
Rho im' gael gwedd dy wyneb gwyn.

LLYWARCH.

## Y DDEILEN DDIWEDDAF.

Dywed p'le mae 'th hen gymdeithion,
Nid oes heddyw un yn fyw;
Golwg wael sydd arnat tithau,
Wedi newid mae dy liw;
Mae dy ruddiau wedi gwywo,
Yr wyt drwot oll yn grin;
Syrthio wnei, a syrthio 'n ebrwydd,
Dan chwa farwol Gauaf blin.

Cyd-chwareuaist yn yr awel
Gyda'r rhai o'th flaen a aeth;
Yfaist wlith a gwres yr haulwen,
Gwyrdd a fuost, yn llawn maeth;
Ofer heddyw i'r haul godi,
Er gweinyddu dim i ti;
Nid all gwlith na gwlaw 'th adferu,
Na dy ddwyn yn ol i ni.

Gwelaist eraill ga'dd gyd-gychwyn
Yn myn'd oll o un i un,
Tithau 'n hongian ar y gangen
Yna ar dy ben dy hun;
Mae'n llawn bryd i tithau gychwyn,
Er gwneyd lle i'r rhai a ddaw;
Gwanwyn eto byth ni weli,
Er fod hwnw bron gerllaw.

Ni fydd son am danat tithau,
Mwy na'r rhai aeth gyda'r gwynt,
Dy le 'n ddystaw a gymeri
Yn y briddell megys cynt;
Gelli fod yn gymorth bychan
I wyrddlesni 'r rhai a ddel;
Pa athronydd all dy 'nabod—
Pa fferyllydd byth a'th wel?

Oni welwn beth yw einioes,
Os edrychwn ar y dail?
Nid oes ini hir flynyddau,
Ar y ddaear mae ein sail;
Nid yw dynion oll ar unwaith
Yn myn'd byth i dy y bedd;
Er hyn marw wna'r rhai hynaf,
Trecha angau 'r iacha 'u gwedd.

CALEDFRYN.

## YR UNIG-ANEDIG FAB.

Unig-anedig hynodol—Hen fawr
Un hanfod trag'wyddol;
Un da Naf ein Duw nefol,
Hynaws drin, un nas dry'n ol.

LLYWARCH.

## Y DUWDOD.

Duw Naf rhyfeddaf yw'r Ion—Iachawdwr
A Cheidwad Merch Seion;
Duw'r llu sy' fry ger ei fron,
A Duw elw duwiolion.

LLYWARCH.

Digitized by Google

# Y Maes Cenadol.

GAN Y PARCH. W. F. DAVIES, NANTICOKE, PA.

Ti gedwi mewn cof, ddarllenydd, mai y gwaith sydd genym mewn llaw er y mis diweddaf, yw rhoddi o'th flaen fraslun o'r llwyddiant a'r cynydd sydd wedi bod ar y gwaith yn y chwarter canrif diweddaf Gophenwyd yr ysgrif ddiweddaf gydag Affrica. I fyned yn mlaen at feusydd pwysicach, ni aroswn yn hir gydag Ynysoedd y Tawelfor, ond yn unig i ddweyd fod y gallu cenadol wedi cynyddu yno yn y cyfnod dan sylw. o un i ddeuddeg. Lle yr oedd un cenadwr deuddeg mlwydd yn ol, mae yno ddeuddeg heddyw. Mae y Sandwich Islands wedi dod erbyn heddyw yn wlad Gristionogol, ac yn danfon allan genadon er efengyleiddio yr ynysoedd cylchynol. Cawn hefyd fod amryw o'r ynysoedd cymydogol bron cyrhaedd yr un sefyllfa fendigedig a dedwydd. Dichon fod India a China yn wledydd a ddangosant ddylanwad yr eglwysi, a'r cynydd rhyfeddol y soniwn am dano, yn fwy felly o bosibl, nag yr un o'r gwledydd eraill. Mae y ddwy dan sylw yn feusydd anhawdd iawn, ac yn anobeithiol ar ryw olwg i ddysgwyl ynddynt raddau helaeth o lwyddiant. Mae Brahminiaeth yn un, a Chonfuciaeth yn y llall, a'r ddau allu hyn mor wrthwynebol i'r efengyl ac i ysbryd Cristionogaeth ag y gallant fod. Hefyd, y mae y naill wlad fel y llall wedi dyoddef fwy nag unwaith oddiwrfh y galluoedd Ewropaidd a'u milwyr, yn eu hawydd am chwanegu tiriogaethau newyddion at yr eiddynt, ac eangu eu masnach. I gyrhaedd hyn mae llawer o drais, gormes ac anghyfiawnder wedi ei gyflawni, a gweithredoedd anfad a barbaraidd i'r eithaf, ag mae Ewropiaid wedi bod yn euog o honynt. Cofir am y rhai hyn gan y trigolion; a chan fod y cenadon yn dod atynt o'r un cyfeiriad ag y daeth eu gorchfygwyr, nid oes ganddynt y gronyn lleiaf o ffydd yn mhurdeb eu hamcanion. Mae China wedi ei henwi yn "Gibraltar Paganiaeth." Yn India daw gwrthwynebiad i Gristionogaeth oddiwrth y dysgedig a'r annysgedig, yr uchel a'r isel, Brahminiaid, Mahometaniaid, Parseeaid, a phob dosbarth arall ag sydd yn y wlad. Yn China mae yr un fath. Ond er hyn i gyd, yn mlaen mae y gwaith yn myned.

Chwarter canrif yn ol nid oedd yn India ond 357 o genadon, a 17,093 o gymunwyr. Yn 1880 yr oedd yno o genadon, 1,099 (heblaw gwragedd y cenadon), a 98,493 o gymunwyr. Y mae y cynydd yn y naw mlynedd diweddaf yn India, mewn aelodau, wedi bod yn 45,677. Pan y troir i China mae y lluosogiad wedi bod yn rhyfeddach byth. Aeth y cenadwr Protestanaidd cyntaf i China yn 1807. Llafuriodd am chwe' blynedd cyn fod neb yn dweyd, "Mi a af gyda chwi." Yr oedd yr holl wlad yn gloedig yn erbyn y "barbariaid tramorol." Bu cenadon am rai blynyddau yn Macao neu Singapore a manau cylchynol i China, yn dysgwyl i'r pyrth gael eu hagor, fel y gallent fyned i mewn. Yn 1842, wedi yr *opium war*, taflwyd pump o'r porthladdoedd yn agored; ond rhaid dod i lawr i'r flwyddyn 1862 cyn y cawn China yn ddigon agored i deilyngu yr enw o wlad rydd i dramorwyr. Yn 1843 nid oedd Cristionogion China yn lluosocach na bysedd dy ddwylaw. Ond yn y deng mlynedd dilynol yr oedd nifer y cenadon wedi cynyddu yno i 69, a rhif yr aelodau yn 351, yr oll yn wasgaredig mewn chwech o ddinasoedd. Yn 1869 agorwyd yno 14 o orsafoedd newyddion. Yr oedd, y pryd hwn, 153 o genadon yno, a 5,743 o aelodau eglwysig yn y wlad. Yn 1879–80 yr oedd 55 o orsafoedd cenadol, yn wasgaredig mewn pymtheg o ranbarthau, a chenadon i Fab Duw yn byw yn mhob un o honynt; ac fel hyny nid oedd ond pedwar o'r rhanbarthau yn amddifad o ryw gymaint, beth bynag, o oleuni; ac erbyn heddyw nid oes gymaint ag un. Beth bynag, ni ddylid anghofio fod rhai rhanau o China a dim ond un neu ddau o genadon i ofalu am ddegau o filiynau o eneidiau, megys yn Shense, Kursuh,

Digitized by Google

Ugan Hui, Si Chiun Kisei-Chou. Yn y flwyddyn 1880 yr oedd yn y wlad dan sylw 357 o genadon, heblaw eu gwragedd, 18,958 o aelodau. Felly fe welir fod y cynydd o 1843 i 1853 yn rhif yr aelodau, o 10 i 351; o'r flwyddyn 1853 i 1869, o 351 i 5,753, ac o 1869 i 1880, o 5,753 i 18,958. "O Dduw y daeth hyn, a rhyfedd yw yn ein golwg ni."

Cawn olwg eto ar y cynydd wrth sylwi ar y rhanau lluosog o Air Duw sydd wedi eu gwasgaru. Allan o'r 405 o gyfieithiadau o'r holl, neu ranau o'r Beibl, ag sydd heddyw mewn bodolaeth, mae 215 o honynt wedi cael eu gwneyd yn y 25 mlynedd diweddaf. Dechreuodd y Cymdeithasau Beiblaidd yn y cyfnod o 1804 i 1817, bron i gyd. Mae yr holl gymdeithasau hyn gyda'u gilydd yn gwasgaru bob blwyddyn dros 6,000,000 o gopiau o'r holl Feibl neu ranau o hono.

I ddangos cynydd y gwaith gallwn nodi hefyd y ffaith, mai o fewn y chwarter canrif diweddaf y daeth i fodolaeth bron yr oll o'r Cymdeithasau Cenadol a ddygir yn mlaen dan nawdd ac arolygiaeth chwiorydd da a Christionogol America a Phrydain. Yn wir, mae y rhan fwyaf o'r gwaith a wneir gan y gwragedd dros eu chwiorydd yn India a China wedi ei gychwyn o fewn y 15 mlynedd diweddaf. Bellach casgler yr oll ydym wedi ei nodi, a beth a ddangosir? Oni chawn yn y ffeithiau hyfryd hyn lawer o anogaeth i fod "yn sicr a diymod, ac helaethion yn ngwaith yr Arglwydd yn wastadol, a ni yn gwybod," trwy y ffeithiau hyn, "nad yw ein llafur yn ofer yn yr Arglwydd." Gallem feddwl fod llais Duw yn hyn yn galw yn uchel ar yr eglwys i ddeffroi o gwsg. Mae yn neillduol felly i ni fel Bedyddwyr yn y wlad hon. Yn y cyfnod dan sylw y mae'r meusydd a lafurir gan ein cenadon ni wedi eu bendithio mewn modd hynod o helaeth. Yr ieuengaf o'n gorsafoedd cenadol, sef Japan, sydd wedi gweled, o fewn cylch 12 mlynedd, yr un wedi myned yn gant a haner; China, o 14 yn 1853, i 1,029, a thros hyny; Siam, o 35 i 450 yn yr un cyfnod. Yn Burmah, o 8,736 yn 1854, i 22,222 yn 1881; yn India, o naw yn 1854, i 17,017. A chymeryd y meusydd cenadol sydd gan Fedyddwyr America yn Ewrop ac Affrica i ystyriaeth, cawn fod y cynydd, o'r flwyddyn 1854 hyd yn bresenol, wedi bod o 13,848 o aelodau i 89,593. Yn ystod yr un cyfnod, mae ein brodyr y Saeson wedi cynyddu o 4,313 i 33,805. Eglwys Loegr, o 15,100 i 29,630. Y mae ei chynydd hi wedi bod yn llai na'r un gymdeithas ag y gwyddom am dani, er mai hi, fel y gwelir wrth y daflen isod, sydd wedi casglu a gwario fwyaf o arian hefyd. Edrych ar a ganlyn:

| | Casglwyd. | Cenadon. |
|---|---|---|
| American Baptist . . | $290,851 | 171 |
| American Board . . . | 613,539 | 397 |
| American Presb. . . . | 585,844 | 345 |
| Amer. Meth. Epis. . . | 300,000 | 203 |
| English Baptist . . . | 226,165 | 160 |
| Church of England . | 1,140,710 | 268 |
| London M. S. . . . | 527,045 | 255 |

Gwelir wrth yr uchod nad y gymdeithas sydd wedi gwario fwyaf sydd wedi llwyddo fwyaf. Dichon dy fod yn barod i ofyn y paham o hyn. Yr wyf finau yn barod i ofyn hefyd. Pwy a etyb?

## HANESION CARTREFOL.

### Utica, N. Y.

Mae yr hen eglwys yn Broadway yn y ddinas hon yn ymegnio byw am dipyn eto, beth bynag. Mae y Parch. Morlais Evans yn ei bugeilo yn bresenol, ac yn pregethu gyda gradd helaeth o gymeradwyaeth. Mwy o undeb a gweithgarwch sydd eisiau yma fel mewn llawer man arall. O na chaem fwy o'r tân a'r brwdfrydedd nefol i'n plith fel eglwysi, megys yn yr hen amser. Brawd.

### Brown Mills, Chicago, Ill.

Nos Sabboth, Tach. 27, anrhegodd yr eglwys Gymreig yn y lle hwn y Parch, T. M. Griffiths â'r swm o $88 a 75c., fel arwydd o'u cydymdeimlad ag ef yn ei salwch presenol. Derbyniodd yntau y rhodd gyda theimladau toddedig a diolchgar. Dros y cyfarfod—*J. G. Lewis.*

Digitized by Google

## YSTADEGAU CYMANFA BEDYDDWYR CYMREIG OHIO A GOLLEWINBARTH PENNSYLVANIA AM Y FLWYDDYN 1882

| Eglwysi | Gweinidogion. | Ysgrifenyddion. | Bedyddiwyd. | Adferwyd. | Derbyniwyd trwy Lythyr. | Gollyngwyd trwy Lythyr. | Diarddelwyd. | Bu Farw. | Rhif presenol yr Eglwys. | Canolrif yr Ysgol Sul. | At draul y Gymanfa. | At draul yr Ysgrifenydd. | At y Genadaeth Dramor. | At y Genadaeth Gartrefol. |
|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|
| Pittsburgh, Pa. | D. Rhoslyn Davies | D. Lloyd Jones | 7 | 10 | 16 | 6 | 8 | 3 | 166 | 40 | $5 00 | $1 00 | .... | .... |
| Youngstown, O. | D. Probert | David Edwards | 4 | 1 | 29 | 5 | 5 | 2 | 161 | 90 | 5 65 | 1 00 | .... | .... |
| Parisville, O. | Allen J. Morton | Evan T. Davies | 12 | 2 | 2 | 2 | .. | 2 | 86 | 60 | 4 50 | 1 00 | .... | .... |
| Mineral Ridge, O. | .................. | L. Mathias | 1 | 2 | 3 | 4 | 5 | 3 | 66 | 43 | 2 35 | 1 00 | .... | .... |
| Coalburgh, O. | W. J. Williams | David Edwards | 5 | 1 | 6 | 14 | 11 | 1 | 74 | 70 | 1 80 | 1 00 | $1 11 | .... |
| Church Hill, O. | W. J. Williams | David D. Griffiths | 16 | 7 | 9 | 2 | 8 | 2 | 78 | 100 | 3 13 | 1 00 | 5 00 | $5 00 |
| Weathersfield, O. | J. W. James | Lewis Morgan | .. | 2 | 4 | .. | .. | .. | 20 | 30 | .... | .... | .... | .... |
| Hubbard, O. | Thomas M. Mathews | Thomas E. Parry | 4 | 4 | 1 | 5 | 1 | 1 | 32 | .. | 2 15 | 50 | .... | .... |
| Thomastown, O. | Thomas T. Morgan | Edward Richards | 1 | 8 | 3 | 5 | 4 | 2 | 63 | 50 | 3 00 | 50 | .... | .... |
| Sharon, Pa. | Thomas M. Evans | John Devereux | 3 | 11 | 8 | 6 | 6 | 1 | 85 | 100 | 40 | 1 00 | 4 80 | 4 80 |
| Mason City, Va. | .................. | Richard Collins | .. | 1 | .. | 4 | .. | 1 | 20 | .. | 1 50 | 50 | .... | .... |
| Ebensburgh, Pa. | .................. | Thomas Jervis | .. | .. | .. | .. | .. | .. | 19 | .. | 1 00 | 60 | .... | .... |
| Bethlehem, O. | D. S. Jones | Evan Morris | .. | .. | .. | .. | .. | .. | 20 | .. | 1 80 | .... | .... | .... |
| Brookfield, O. | .................. | David Jeremiah | 1 | 1 | 3 | 12 | 3 | .. | 26 | .. | 1 00 | 50 | .... | .... |
| Oak Hill, O. | T. E. Griffiths, D. J. Lloyd | David W. Rees | .. | .. | .. | .. | .. | .. | 24 | 25 | 2 10 | .... | .... | .... |
| Wheatland, Pa. | David Evans | William Jones | 3 | 1 | 7 | .. | 2 | .. | 35 | 50 | 1 80 | 50 | 10 00 | .... |
| Dennison, O. | Iago W. James | .................. | 17 | 3 | 9 | 1 | .. | 1 | 64 | .. | 4 00 | .... | .... | .... |
| Niles, O. | Edward Jenkins | John Howells | 4 | 12 | 7 | 2 | 1 | .. | 48 | 40 | 2 00 | 1 00 | .... | .... |
| Centreville, O. | D. S. Jones | John Lloyd Jones | 1 | .. | 1 | 4 | 2 | 1 | 30 | .. | 2 20 | .... | .... | .... |
| Palmyra, O. | Edward Jenkins | James Roach | 4 | 3 | .. | 16 | 7 | .. | 34 | 55 | 7 50 | 1 00 | .... | .... |
| New Straitsville, O. | C. Jones, M.A. | D. A. Davies | 7 | 9 | 11 | 7 | .. | 1 | 98 | 105 | 9 00 | 80 | .... | .... |
| Girard, O. | .................. | Edward Jones | .. | 2 | .. | .. | .. | 1 | 20 | 60 | .... | .... | .... | .... |
| Houtzdale, Pa. | J. R. Jones | John D. Jones | 5 | 6 | 11 | .. | 5 | 3 | 54 | 70 | 5 40 | .... | .... | .... |
| Dell Roy, O. | .................. | D. F. Davies | 1 | .. | .. | 2 | 1 | .. | 29 | .. | .... | .... | .... | .... |

GWEINIDOGION HEB OFAL EGLWYSI.—Thos. Thomas, Sharon; David Nicholas a David Hopkins, Youngstown; H. Edwards, Pittsburgh; Wm. R. Jones ac E. Morddal Evans, Palmyra; A. S. Phillips, Church Hill; D. C. Thomas a Thomas Williams, Pomeroy; a William Lawrence, Carr's Run.

SYMUDIADAU GWEINIDOGION YN YSTOD Y FLWYDDYN.—W. J. Williams yn dychwelyd o Gymru, ac yn cymeryd gofal eglwysi Church Hill a Coalburg. Thomas T. Morgan yn symud o Dalaeth Efrog Newydd i gymeryd gofal eglwys Thomastown. J. R. Jones yn symud o Pomeroy i gymeryd gofal eglwys Houtzdale. D. Rhoslyn Davies yn symud o

Kingston i gymeryd gofal eglwys Pittsburgh; a'r hen frawd parchus a llafurus David Hopkins, Hubbard, yn cael ei symud oddiwrth ei waith at ei wobr.

PREGETHWYR CYNORTHWYOL.—D. Lloyd Jones, J. Morfryn Lloyd, a J. Asaph Davies, Pittsburgh; Samuel Bassett, Youngstown; George Hague, Coalburgh; a Thomas Morris, Thomastown.

Dim llythyrau o Pomeroy a Pigeon Run, O.
THOS. THOMAS, Ysgr.

---

### HYDE PARK, PA.

MR. GOL., a lluosog ddarllenwyr y WAWR—Da genyf gael y fraint o'ch cyfarch ar ddiwedd y flwyddyn. Tybiwyf na ddigia neb o honoch wrthyf am ddweyd, fod blwyddyn y WAWR wedi bod yn flwyddyn dda. Gobeithio y cawn flwyddyn newydd dda eto, a gwawr bywyd yn, ac ar, y WAWR. Gallwn ddweyd ddarfod i ni yma dreulio blwyddyn ddedwydd, dda, yn mhob ystyr, yn neillduol mewn ystyr grefyddol. Teimlwn yn ddiolchgar i'r Arglwydd am anfon ein hanwyl frawd Williams i'n plith, ac hefyd am ei lwyddo. Gwr ydyw yn ol desgrifiad y Salm gyntaf—"Ac ewyllys yr Arglwydd yn llwyddo yn ei law ef." Ychwanegwyd at ein rhif yn ystod y flwyddyn dros gant o aelodau. Ein hychwanegiad y mis diweddaf oedd 18. Drwg genym am ei gystudd presenol; y mae er ys tair wythnos yn methu gadael ei ystafell; ei ddolur yw y *diphtheria;* ond y mae yn gwella, ac allan o berygl.

Ein gorchwyl yn awr yw cynllunio pa fodd i helaethu y capel, gan ei fod lawer yn rhy fach. Nid oes yma ond prin digon o le i'r eglwys. Duw a fendithio y WAWR, a'i lluosog ddarllenwyr. EBENEZER LLOYD.

---

### DIRWEST YN EGLWYS YOUNGSTOWN, O.

Mae yn dda genyf allu dweyd, fod yr eglwys hon yn ymdrechol iawn i ddarostwng ac ymlid o'r lle brif bechod ein hoes a'n cenedl, sef meddwdod, yr hwn sydd wedi tynu coron anrhydedd oddiar benau miloedd, tlodi eu teuluoedd, gwanhau eu hiechyd, yspeilio eu synwyr—llanw ein carcharau â throseddwyr—yspeilio y wlad o'i meddianau, gan arwain dynion wrth y miloedd i drueni tragywyddol. Pan edrychwyf dros ansawdd a sefyllfa Youngstown, mae meddwdod yn uchel ei ben. Troaf fy ngolwg lle y mynwyf, gwelaf le i werthu y gwirodydd meddwol braidd yn mhob man. Ond diolch am hyny, teimlodd rhyw rai sydd wedi gweled y niwed o hono dros y rhai oedd, ac sydd yn gorwedd yn hen gors meddwdod, a chododd y rhai canlynol fel un gwr, gan sefydlu Cymdeithas i'r amcan, yr hon a elwir, Cymdeithas Ddirwestol Youngstown. Enwau rhai o honynt yw, William John, David John, David Edwards, William Davies, yn nghyd a'u gwragedd, a llawer eraill, oedd yn cychwyn yr achos da yma. Neillduwyd William John yn Llywydd, a David Edwards yn Ysgrifenydd. Er mai nifer fechan oedd yn y dechreu, mae wedi cynyddu i raddau mawr, fel y rhifa yn awr yn mhell dros ddau gant o aelodau, ac mae yma ffyddlondeb diflino o'i phlaid. Er cynal cyrddau yn wythnosol, mae y cynulliadau yn dal yn dda, a rhyw rai yn feunyddiol yn ardystio yn erbyn y gwirodydd, gan ddod allan i bleidio sobrwydd, a rhodio llwybrau rhinwedd. Ydwyf, yr eiddoch—*D. Probert.*

---

### AUDENRIED, PA.

Dydd ag yr hir gofir am dano oedd Dydd Diolchgarwch i bobl y lle hwn, o herwydd y dylanwad a deimlwyd a'r undeb a ddadblygwyd gan holl enwadau yr ardal, o bob cenedl, trwy roddi eu presenoldeb yn nghapel y Bedyddwyr Cymreig, am 10½ y boreu. Yr oedd cyfrinfa y *Patriotic Sons of America* yn bresenol, y rhai oeddynt wedi gwneyd cais at ein gweinidog i bregethu iddynt hwy yn Saesneg, â'r hyn y cydsyniodd. Dechreuwyd gwaith y dydd trwy i Mr. McNair, gweinidog y Presbyteriaid ddarllen *Proclamation* yr Arlywydd a Llywodraethwr y Dalaeth mewn perthynas i'r dydd. Wedi hyny darllenodd ran o air Duw a gweddiodd yn hynod o afaelgar. Yna cafwyd y bregeth gan weinidog y Bedyddwyr.

Digitized by Google

Ei bwnc oedd Diolchgarwch. Aeth drwy ei waith yn rhagorol. Yr ydym wedi bod yn gwrando ar y brawd hwn yn siarad Saesneg o'r blaen er pan mae yn y lle, ond ni chlywsom ef yn debyg i'r hyn oedd y diwrnod hwn. Y mae effaith y bregeth yn aros ar yr eglwys a'r gynulleidfa. Wedi y bregeth offrymwyd gweddi gan Mr. Clippinger, gweinidog y M. E. Yna canwyd yr Hen Ganfed, a gollyngwyd yn y drefn arferol. Cyfarfyddodd eglwys a chynulleidfa y Bedyddwyr am 2 ac am 6, i ddiolch am roddion a dderbyniasant yn ystod y flwyddyn. Yr eiddoch—*B. D. Evans, Ysg.*

---

### Agoriad Capel Newydd i'r Bedyddwyr yn Nanticoke, Pa.

Ar y 25ain, 26ain a'r 27ain o Tachwedd, agorodd yr eglwys Fedyddiedig yn Nanticoke ei chapel newydd. Yn pregethu, yr oedd y Parchedigion J. W. Williams, D. D., Hyde Park; D. R. Jones, Plymouth; Theophilus Jones, Wilkesbarre; J. P. Harris, J. Edwards (A.); W. J. Hill (M. C.), a J. P. Harsen (P.).; y pedwar diweddaf o Nanticoke. Cafwyd cyfarfodydd rhagorol o'r dechreu i'r diwedd—gwleddoedd nad anghofir am amser hir gan yr eglwys a'r gymydogaeth; ond gwyr pawb sydd yn adnabod y brodyr da uchod, mai felly y mae bob amser lle byddont hwy.

Mae y capel a agorwyd yn mesur 60 troedfedd wrth 36 tr. Hefyd, *vestry* gyfleus y tu cefn iddo, yn 30 tr. wrth 18 tr., at gyfarfodydd yr wythnos. Yn y *basement* mae ty rhagorol a chyfleus, lle preswylia y teulu sydd yn gofalu am y capel; ac hefyd ffwrnes anferth â'r hon y gwresogir yr adeilad. Mae yr adeilad mewn man canolog o'r lle, yr hwn sydd yn tra rhagori ar y man lle yr oedd yr hen gapel. Gwyr pawb sydd yn gyfarwydd a'r hen addoldy, fod y newydd yn agos gymaint arall o faintioli a hwnw. Eto, mae yn gysur i allu dweyd, nad yw ronyn yn ormod, oblegid llenwir ef bob Sabboth, yn enwedig y nos. Costiodd dros bedair mil o ddoleri. Pan oedd yr adeiladu yn myned yn mlaen, yr oedd yr eglwys a'r gweinidog ar eu heithaf yn casglu arian ato, a thrwy eu hymdrech unol, casglasant dros $2,000. Felly yr oedd dwy fil yn aros ar ddiwrnod yr agoriad. Bu y gweinidog, yn cael ei gynorthwyo gan frodyr yn y weinidogaeth, ac eraill, a'u holl egni yn y cyfarfodydd yn casglu arian ac addewidion, a chodwyd yn ystod y cyrddau tua $750; ac erbyn y Sabboth canlynol, yr oedd Mr. Davies, y gweinidog, wedi chwyddo y swm i dros $900, trwy ymweled a rhai na roddasant yn ystod y cyrddau. *Well done*, yn wir. Bwriedir codi mil yn awr, a diamheu y gwneir hyny, os ceir yr un parodrwydd yn mhawb i dalu ag a gafwyd ynddynt i addaw. Deallwyf fod Mr. Davies wedi bod ar ymweliad a rhai o eglwysi y cylch, megys Providence, Olyphant, a Charbondale, a chael pawb yn barod i gynorthwyo. Bydd yn Hyde Park a Taylorville ddechreu Rhagfyr, a bydd iddo alw heibio yr holl eglwysi cyn gorphen. Mae yr eglwys a'r gweinidog yn deilwng o gefnogaeth, a gall pawb fod yn sicr nad ydym yn gwneyd hyn ond wedi i ni wneyd hyd eithaf ein gallu gartref yn gyntaf.

Mae y brawd Davies wedi bod yn hynod lwyddianus gyda phob peth y mae wedi gosod ei law wrtho yn y lle hwn, a chredwn y llwydda yn y peth hwn erbyn yr amser penodedig. Y Duw sydd wedi rhoddi iddo ei wenau a'i gynorthwyon mor helaeth yn y gorphenol, fyddo yn nerth a nawdd iddo yn y dyfodol, yw dymuniad—*Brawd.*

---

### Mount Carmel, Pa.

Y 12fed o fis Tachwedd y corphorwyd eglwys y Bedyddwyr yma, yr hon oedd yn gangen o eglwys Ashland. Da genyf allu hysbysu ein bod wedi cael Sabboth rhagorol ac wrth ein bodd, ac arwyddion fod Preswylydd mawr y berth yn ein plith. Y gweinidog fu yn ein gwasanaethu oedd y Parch. J. Griffiths, Ashland, Pa., a phregethodd dair gwaith yn rhagorol.

Am ddeg yn y boreu pregethodd ar Natur Eglwys oddiwrth Act. 11 : 22.

Digitized by Google

Aeth drwy ei bwnc yn anrhydeddus; a gofynodd rai gofyniadau perthynol i'r corphoriad, ac atebodd y brawd John Edwards dros y gangen yn foddhaol.

Am ddau, awd yn mlaen â gwaith y cyfarfod. Dewisodd yr eglwys o blith eu hunain, yn ol y cynllun apostolaidd, un o'r brodyr yn ddiacon. Aeth y brawd John Phillips, un o ddiaconiaid y fam-eglwys trwy y gwaith o siarad a'r swyddog newydd gan ei gynghori yn ddwys a phwyllog. Yna rhoddwyd deuheulaw cymdeithas iddo i'w gydnabod yn swyddog ordeiniedig. Yna pregethodd ein hanwyl frawd Griffiths ar Ddyledswydd y Swydd Ddiaconaidd oddiwrth 1 Tim. 3—13. Aeth drwy ei waith yn fanwl a phwyllog, gan anog y brawd i gyflawni ei swydd yn ofn Duw trwy ein Harglwydd Iesu Grist.

Am chwech, dechreuwyd y cyfarfod gan y Parch. R. Edwards, Pottsville, a phregethodd y brawd Griffiths oddiwrth Rhuf. 12 : 4, 5. Pregethodd yn effeithiol a grymus, gan anog yr eglwys ieuanc i undeb a chydweithrediad crefyddol. Dangosodd y brawd y lles a'r llwyddiant a ddeillia wrth i bob un adnabod ei le ei hun yn yr eglwys ac aros yno, yn lle ymwthio o'r cylch y bwriadwyd iddo gan Ben mawr yr eglwys; ac na feddylied yr hwn sydd yn euog o hyn y derbyn efe un fendith ysbrydol oddiwrth yr Arglwydd. Gobeithio y caiff y bregeth ardderchog hon ei hargraff briodol ar bob un o honom, er gogoniant Duw a'n lles ninau trwy Iesu Grist ein Harglwydd.

D. H. Birch.

---

## *BEDYDDIWYD—*

Rhag. 17, 1882, yn Mineral Ridge, O., bedyddiwyd un brawd gobeithiol ar broffes o'i ffydd yn Mab Duw, gan yr hybarch D. Probert, Youngstown. Yr Arglwydd a'i cynalio yn ffyddlon hyd y diwedd.—*Gohebydd.*

Rhag. 21, 1882, bedyddiwyd pedwar gan ein parchus weinidog. Mae y gwaith da yn myned yn ei flaen yma. —*Brawd.*

## *PRIODWYD—*

Tachwedd 21, 1882, yn Audenried, Pa., gan y Parch. T. D. Evans, yn ei dy ei hun, Mr. Thomas Jones a Miss Lizzie Davies, y ddau o Yorktown, Pa.

Tachwedd 8, 1882, yn Springville, Erie Co., N. Y., yn nhy mam y briodasferch, gan y Parch. W. M. Evans, Mr. Arthur J. Everett, East Pike, N. Y., a Miss Ellen A. Rees, o'r un lle.

Tachwedd 15, 1882, yn Freedom, Cattaraugus Co., N. Y., gan y Parch. W. M. Evans, yn ei dy ei hun, Mr. Charles E. Leonard a Miss F. A. Charles, y ddau o Freedom. Boed bendith y nefoedd i'w dilyn.

Tachwedd 22, yn Thomastown, Ohio, yn ei dy ei hun, gan y Parch. T. Prosser Morgan, Mr. Joseph Sawyer a Miss Mary E. Thomas, y ddau o'r lle uchod.

Tachwedd 9, 1882, gan y Parch. D. Evans, Mr. David L. Davies a Miss Margaretta Jones, y ddau o Youngstown, Ohio

Tachwedd 16, 1882, gan y Parch. D. Evans, Mr. John Edmunds a Miss Eline Jones, y ddau o Wheatland, Mercer Co., Pa.

Mawrth 23, 1882, yn Youngstown, O., gan y Parch. D. Probert, Mr. Robert L. Owens a Miss Alice M. Jones, y ddau o Mineral Ridge.

Hydref 6, 1882, yn Youngstown, O., gan y Parch. D. Probert, Mr. Evan Bowen a Miss Mary H. Waitt, y ddau o Youngstown.

Rhagfyr 16, 1882, yn Youngstown, O., gan y Parch. D. Probert, Mr. Samuel Davies a Miss Rachel Jones, o Youngstown.

Rhagfyr 16, 1882, yn Youngstown, O., gan y Parch. D. Probert, Mr. William James a Miss Mary A. Jenkins, y ddau o Youngstown.

Rhagfyr 21, 1882 yn Youngstown, O., gan y Parch. D. Probert, Mr. David Rosser a Miss Maria Leyshon, y ddau o Weathersville,

Rhagfyr 25, 1882, yn nhy rhieni y priodfab, yn Remsen, N. Y., gan y Parch. Owen F. Parry, Mr. George N. Reed, o Remsen, a Miss Mary N. Evans, o Steuben, N. Y.

---

## *BU FARW—*

### MRS. ELIZABETH WILLIAMS.

Tachwedd 22, 1882, yn Sharon, Swydd Mercer, tua 50 mlwydd oed, bu farw Mrs. Elizabeth Williams, priod Mr. Lewis Williams, yr hwn sydd aelod a diacon parchus o eglwys y Bedyddwyr Cymreig yn Sharon. Cafodd ergyd neu ddau gan y parlys tua blwyddyn cyn iddi farw, a gwanychodd yn raddol o hyny hyd ddydd ei marwolaeth, fel, ar y dydd a nodwyd, yr ymadawodd â'r fuchedd hon tua

Digitized by Google

haner awr wedi deg y noswaith hono, gan adael priod a naw o blant i alaru ar ei hol. Bu iddynt ddeuddeg o blant, tri o'r rhai sydd wedi marw. Mae tri o'r naw sydd yn fyw wedi priodi, a'r gweddill gartref gyda'u tad.

Dydd Sadwrn canlynol i'w marwolaeth, cafodd ei chladdu yn y *cemetery* perthynol i'r dref. Cyflawnwyd y gwasanaeth angladdol yn y capel gan yr ysgrifenydd a gweinidog y Bedyddwyr Seisonig.

Genedigol oedd Mrs Williams o Bentre Bach, ger Merthyr Tydfil, D. C., a merch i John a Mary Thomas, o'r lle uchod. Bu ei mam farw pan oedd hi tua 10 mlwydd oed. Yn y flwyddyn 1854, ymfudodd ei thad a'r plant i'r wlad hon, a'r lle cyntaf y darfu iddynt sefydlu oedd Danville, Pa. Bu ei thad farw yn fuan wedi dyfod i'r wlad, a phregethwyd ar achlysur ei gladdedigaeth gan yr ysgrifenydd, yr hwn oedd yn weinidog yno yr adeg hono. Yn fuan wedi eu sefydliad yn Danville, ymunodd y chwaer Mrs. Williams mewn priodas â Mr. Lewis Williams, yr hwn ddaethai i'r wlad tua'r un amser a hwy, o Troed-y-rhiw, Merthyr, yr hwn sydd yn bresenol mewn dwfn alar ar ei hol. Yn mhen enyd ar ol hyny, ymunodd y ddau ag eglwys y Bedyddwyr, a bedyddiwyd hwy yr un amser gan yr ysgrifenydd; a phriodwyd hwy genyf fi hefyd.

Wedi byw rai blynyddau yn Danville, aethant oddiyno i Johnstown, Cambria Co., ac yno drachefn buont yn aelodau ffyddlon a dichlynaidd, ac yno y cafodd ein hanwyl frawd Williams ei neillduo i'r swydd ddiaconaidd, yr hon y mae wedi wasanaethu yn ffyddlon, ac i foddlonrwydd mawr, hyd y dydd hwn, trwy yr hyn y mae wedi enill iddo ei hun radd dda, a hyfdra mawr yn y ffydd sydd yn Nghrist Iesu. Yn mhen blwyddyn wedi hyny, aethant o Johnstown i Wheatland, Pa., ac o Wheatland i Sharon, lle gorphenodd ein chwaer anwyl Mrs. Williams ei gyrfa ddaearol.

Yr oedd yn y chwaer dda hon lawer o rinweddau teilwng. Ei phrif nodweddau fel gwraig a mam oeddynt: Yr oedd yn gwarchod gartref yn dda, ac yn talu sylw neillduol i wneyd ei chartref yn gysurus yn mhob modd. Yr oedd yn ofalus am gadw pob peth yn gryno ac yn lanwaith. Meddai ar serch mawr at ei phriod a'i phlant, a dymunai eu gwneyd yn hapus yn mhob peth, ac yr oedd hyny i'w weled yn amlwg yn y galar a'r teimladau drylliog, a'r dagrau heilltion a dywalltwyd ar ddydd ei hangladd gan ei phriod a'i phlant. Nid wyf yn meddwl fod neb erioed wedi byw yn fwy cysurus yn eu cysylltiad priodasol na hwy, a hyny am dymor lled faith, sef tuag wyth neu naw mlynedd ar hugain, yr hyn sydd yn dyfnhau hiraeth a galar ei phriod ar ei hol. Ond er mor ddedwydd oeddynt yn nghymdeithas eu gilydd, ac er cymaint oedd eu gafael yn eu gilydd, eto yr oedd yn rhaid tori y cysylltiad, ac ymadael am byth. "Nid oes bwrw arfau yn y rhyfel hwnw."

Fel Cristion, yr oedd Mrs. Williams yn ffyddlon a rheolaidd iawn. Nid un o'r rhai hyny oedd ein chwaer, fel y dywedir am lawer un, eu bod i mewn ac allan, nid un felly oedd hi. Wedi iddi ddyfod i mewn i dy Dduw, nid aeth allan mwyach. Ni fu allan o gymundeb erioed, nac ychwaith o dan gerydd yr eglwys, ond parhaodd yn ffyddlon hyd y diwedd, a chredwn iddi dderbyn coron y bywyd. Nid wyf yn deall ei bod wedi dweyd dim neillduol o barth ei phrofiad crefyddol yn ei horiau diweddaf. Dywedodd wrth ei phriod, ei bod yn myned i ymadael ag ef yn awr, er mor galed oedd hyny, ac am iddo ofalu am y plant mor bell ag y gallasai. Nid profiad gwely angau yw yr esboniad goreu ar gyflwr neb, ond ei fywyd cyffredinol. Y pren a adwaenir wrth ei ffrwyth.

Nos Sabboth ar ol ei chladdu, pregethodd yr ysgrifenydd ei phregeth angladdol, i gynulleidfa fawr a golygus, oddiar Mat. 10: 22, tra yr oedd yr holl berthynasau yno, yn nghyd ag eraill ag oedd wedi dyfod o bell i'w chladdedigaeth. Teimlir galar cyffredinol ar ei hol gan yr eglwys a'r ardalwyr. Yr Arglwydd a ofalo am, ac a gysuro ein hanwyl frawd Williams a'r plant oll, sydd wedi eu hamddifadu o'i chymdeithas. DAVID EVANS.

MRS. MARY WILLIAMS.

Awst 29, 1882, bu farw y chwaer Mary Williams, yn yr oedran teg o 87 mlwydd, 5 mis a 27 o ddyddiau, sef gweddw y Parch. David B. Williams, hen weinidog Ebenezer, Gallia Co., Ohio. Yr oedd yn enedigol o blwyf Llanegwad, D C. Daeth i'r wlad hon gyda'i phriod yn y flwyddyn 1842. Wedi glanio yn New York, daethant i sefydliad Jackson a Gallia, a sefydlasant yn ymyl capel Ebenezer, Swydd Gallia, a bu ei thy yn agored bob amser i bawb o'r braidd oedd yn dyfod i'r capel, a derbyniodd yn serchus a dirodres bregethwyr yr enwad am yn agos i ddeugain mlynedd. O herwydd henaint a methiant, yr oedd wedi myned at ei merch, Mrs. Edwards, a'i phriod, Edward D. Edwards, er's tua dwy flynedd, a chafodd bob tynerwch, nid yn unig gan ei merch a'r brawd Edwards, ond yr oedd y plant yn hynod dirion iddi, a gofalus am dani. Merch fabwysiedig yw y chwaer Edwards o'r teulu bychan hwn, a'r unig ferch. Daeth yn un o'r teulu pan yn ieuanc, cyn ei ymadawiad â Chymru. Er mai mabwysiedig ydoedd, ni welsom erioed y berthynas naturiol yn cael ei dadblygu gyda mwy o dynerwch nag yn yr engraifft hon.

Yr oedd y chwaer Williams yn ddynes hynod rinweddol—ei thy yn lanwedd a chynil, yn y teulu yn ofalus a thyner, fel cymydoges yn garedig, heddychol, a chymwynasgar—i ddyeithriaid yn lletygar—bob amser yn ei lle yn y capel, yn wythnosol a Sabbothol, os yn iach, ac yn barod i wneyd a allasai bob amser gydag achos y Gwaredwr. Yr oedd yn bur yn ei chymdeithas, nid oedd yn derbyn beiau a

Digitized by Google

cholliadau neb i'w hail adrodd, ond meddai ddawn i ddweyd y gwir yn ngwyneb troseddwr heb ei ddigio. Yr oedd yn hoff iawn o ddarllen y Beibl, yn benaf y Testament Newydd; yn Efengyl Ioan y ceid hi yn gyffredin, yn enwedig y 14eg benod o'r efengyl hono. Nid oedd o wybodaeth Feiblaidd fanwl, ond yn brofiadol ac ymarferol. Ni chafodd ond un wythnos o gystudd. Yr oedd yn feddianol o'i meddwl hyd ei marwolaeth, a'i chof yn dda, adroddai hen hymnau profiadol pan oedd braidd yn methu parablu. Bu farw fel y bu fyw, a'i phwys ar y Gwaredwr.

Awst 31ain, wedi y gwasanaeth arferol yn y ty, cychwynwyd tua'r gladdfa sydd yn ymyl hen gapel Ebenezer Gweinyddwyd ar yr achlysur gan yr ysgrifenydd a'r Parch. John Rhydderch (M. C.), yn y capel ac wrth y bedd. Gosodwyd ei gweddillion i orphwys yn ymyl ei phriod. Cafodd gladdedigaeth parchus a lluosog, a phawb yn teimlo ar ol yr hen fam Williams, yn neillduol ei hanwyl ferch a'i theulu oll. Heddwch i'w llwch hyd udganiad yr udgorn diweddaf, a chwythed yr awel yn dyner ar y llecyn y gorphwysa.

D. S. JONES.

MR. GEORGE LEWIS.

Tachwedd 10, 1882, yn Audenried, Pa., o'r *typhoid fever*, bu farw George Lewis. Cafodd gystudd byr, ond trwm iawn. Yr oedd wedi ymadael ag Audenried dair wythnos cyn ei farwolaeth, a sefydlu yn Pittsburgh. Cymerodd y dolur hwn afael ynddo tra wrth ei waith fel *brake-man* ar y *railroad*. Cyngorodd y meddyg ef i ddychwelyd adref, a chyrhaeddodd adref nos Lun, a chafodd bob tynerwch; ond marw a wnaeth, wedi poenau dirfawr. Ganwyd yr ymadawedig yn y Blaenau, D. C., yn 1856. Ymfudodd ei rieni i'r wlad hon yn yr un flwyddyn ag y ganwyd ef. Buont yn trigianu yn Tamaqua a Bear Gap, wedi hyny symudasant i'r lle hwn. Mab ydoedd i Edward a Sarh Lewis. Rhyw ddwy flynedd yn ol, claddodd y teulu hwn fab arall o'r un dolur.

Ionawr 7, 1882, unasai George mewn priodas â Lizzie Jones. Claddwyd ef ddydd Sul, Tach. 12fed, yn Janesville. Hawdd oedd deall oddiwrth olwg y dorf fod un anwyl yn cael ei gladdu. Ni welwyd angladd mwy parchus a lluosog yn myned o'r lle hwn o'r blaen. Yn y ty, darllenodd yr ysgrifenydd yn Saesoneg a gweddiodd y Parch. B. Nicholas yn Gymraeg, yna pregethodd yr ysgrifenydd yn Saesoneg. Canodd y côr amryw donau ar y ffordd.

Nawdd y Nef fyddo ar y weddw a'r amddifaid, y rhieni a'r plant, yw fy nymuniad.

T. D. EVANS.

---

—Diangodd naw o garcharorion o garchar Pleasanton, Texas, yn ddiweddar, a chreasant deyrnasiad dychryn mewn rhai ardaloedd trwy ladrata ceffylau, saethu dinasyddion, &c.

# NODION CYFFREDINOL.

—Aeth y deddfau newyddion a elwir y *penal code* i weithrediad yn y Dalaeth hon ddechreu y mis diweddaf. Yn ol y deddfau hyn, y mae cosb i gael ei weinyddu am gymeryd enw Duw yn ofer, &c, mewn lleoedd cyhoeddus, am fasnachu ar y Sabboth, &c., &c. Hyd yn hyn, lled anmherffaith y mae y *code* newydd yn cael ei gario allan, ac nid oes neb yn fwy hyf yn diystyru y gyfraith na'r *saloon keepers*. Mae tuedd lled gyffredinol i wawdio y *code*, a'i alw yn "*Blue Laws of Connecticut*," &c. Pasiodd Bwrdd *Aldermen* New York benderfyniadau trwy bleidlais o 14 i 5, yn condemnio y *code*, ac yn galw am ei ddiddymiad. Gwna llawer o newyddiaduron yr un peth.

—Ymddengys fod elfenau dinystriol yn mhlith yr Undodwyr yn y wlad hon, ag ydynt yn rhagfynegu y syrthia eu ty i'r llawr cyn hir. Maent yn ymranu yn erbyn eu gilydd. Mae Dr. Ellis a lluaws gydag ef, yn dal fod y Beibl yn ffynonell y ffydd *orthodoxaidd*; ac y mae yr aden arall o honynt yn dal fod "Undodiaeth wedi rhoddi i fyny amddiffyniad Beiblaidd, ac wedi cymeryd tir uwch ac eangach. Gynt y Beibl oedd prawf gwirionedd; yn awr gwirionedd sydd i brofi y Beibl." Mae hyn yn ddadblygiad cyflym o angrhediniaeth; ond y mae yn enill i'r gwirionedd i'w elynion ddangos lle y safant. Ysgrifena gohebydd i'r N. Y. *Evening Post*, o Lundain: "Mae yr hen gynulleidfaoedd Unitaraidd yn Llundain yn lleihau bob blwyddyn. Mae y rhan fwyaf o'r bobl o feddwl difrifol a geid unwaith yn y cynulleidfaoedd hyn wedi ymgilio, a cheir hwynt yn awr mewn corlanau eraill. Mae '*Liberal Christianity*' wedi myned bron heb gyd-drefniad sectol yn Llundain."

—Mae lodes fach yn Glendale, Mo., wedi derbyn *free pass* am ystod ei bywyd gan y Missouri Pacific Railraod. Gwelodd y lodes ddwy drên yn agoshau at eu gilydd lle yr oedd tröad (*curve*) yn y rheilffyrdd, a thrwy ysgwyd ei ffedog yn egniol, llwyddodd i gael un trên i sefyll, a felly rhwystrodd ddamain i gymeryd lle, a fuasai yn ddinystriol.

—Ar yr ail o'r mis diweddaf bu farw Archibald Campbell Tait, Archesgob Canterbury, Lloegr, yn 71 mlwydd oed. Ganwyd yn ef Edinburgh, Rhagfyr 22, 1811. Cyflawnodd lawer o waith da yn ei fywyd. Yr oedd yn awdwr amryw lyfrau, ac yn wrthwynebwr gwresog drwy ei oes i lawer o athrawiaethau Dr. Pusey. Pan fu farw Dr. Longley, yn 1868, apwyntiwyd Dr. Tait yn olynydd iddo fel Archesgob Canterbury. Gweinyddodd ddyledswyddau ei swydd gyda doethineb, ac yn dderbyniol i fwyafrif mawr o bobl Eglwys Loegr, er ei fod yn gryf o blaid egwyddorion efengylaidd. Er nad oedd yn ddyn o alluoedd dysglaer, meddai yr ansawdd uwch o ddoethineb. Edrychir ar

Digitized by Google

apwyntiad olynydd i Dr. Tait gyda dyddordeb mawr, os nad pryder, trwy yr holl eglwys Gristionogol. Ar gymeriad ac egwyddorion eglwysig yr olynydd dibyna i fesur helaeth hanesiaeth dyfodol yr eglwys hono. Gweddied pawb ydynt yn caru teyrnas Crist am i'r galluoedd apwyntiol gael eu cyfarwyddo yn iawn.

—Ceir yr ystadegau canlynol mewn perthynas i chwareudai, yn un o newyddiaduron New York:—"Mae yn y wlad hon 40,000 o bersonau yn dal cysylltiad â'r *stage*, fel galwedigaeth, y rhai ydynt yn derbyn yn flynyddol fel cyflogau $32,000,000. Nifer y chwareudai yw 4,500. Derbyniadau arianol y chwareudai hyn gyda'u gilydd sydd tua $162,000,000. Nid yw y ffigyrau uchod yn cymeryd i fewn bob math o ddifyrwch, ond yn unig yr hyn a elwir yn arddangosiadau chwareuyddol."

—Yn nheyrnasiad Charles I., danfonodd *Mayor* Norwich ddyn i garchar am ddweyd i Dywysog Cymru gael ei eni heb un crys am dano.

—Mewn dawns a gynaliwyd yn Brooklyn, y 18fed o'r mis diweddaf, nid oedd neb yno mwy llawen na dyn ieuanc o'r enw Robert Cooney; ond tra yr ydoedd yn dawnsio mewn *waltz*, syrthiodd i lawr mewn llewyg, a bu farw yn y fan.

—Mae yn debyg na chafodd amaethwyr hopys erioed o'r blaen y fath brisiau uchel am eu hopys a'r tymor diweddaf. Dywedir fod dros $1,000,000 wedi eu rhoddi yn ariandy Cobleskill, Schoharie Co., gan godwyr hopys.

—Dywedir fod canoedd o ffarmwyr yn Pennsylvania wedi troi eu sylw at godi pysgod. Mae llawer wedi llenwi eu llynoedd a'u ffrydiau â hwynt, ac yn y rhan fwyaf o amgylchiadau maent wedi bod yn llwyddianus, ac mewn ychydig o flynyddoedd dibynant gymaint ar bysgod at eu cynaliaeth ag unrhyw gynyrch arall oddiar y ffarm.

—Terfynodd prawf Arabi Pasha, a dedfrydwyd ef i farwolaeth, ond newidiwyd ei ddedfryd gan y Khedive i alltudiaeth am ei fywyd.

## YR EISTEDDFODAU.

MR. GOL.—Dyma gynhauaf yr Eisteddfodau wedi dod eto, a thrwy eich caniatad, y mae arnaf eisiau dweyd gair am danynt. Yr wyf wedi cael fy mlino yn dost yn y misoedd a basiodd gan waith corau yn *practicio* erbyn yr Eisteddfod. Nis gwn beth i feddwl o beth fel hyn, yn wir. Sarnu dydd yr Arglwydd! Nos Suliau, pan y mae hyn yn myned yn mlaen, 'does dim modd cael dim llun ar y cwrdd addoliadol. Os pregeth, rhaid i hono fod yn fer, a ffwrdd a hi. A dyna wrando difater a fydd gan wyr y canu. A druan o'r gweinidog, rhaid iddo ef fod yn ddystaw, fel llygoden o dan balf y gath. Yr wyf wedi sylwi fod brodyr diwerth iawn fel aelodau yn yr eglwys yn sel i gyd gyda yr Eisteddfod. Wrth wneyd y rhagdrefniadau, maent yn ysgrifenyddion, neu yn rhyw swyddwyr pwysig eraill. Ac ar ol i'r hwyl Eisteddfodol fyned drosodd, edrychant yn *flat*—prin y gellir eu dysgwyl i'r moddion am Sul neu ddau. Yn wir, dylai peth fel hyn gael sylw yr eglwysi yn ddioed. Mae yr Eisteddfod yn lladd crefydd yn y moddau hyn. Ond ychwaneg na hyn, yr wyf yn teimlo yn ddrwg tuag at yr Eisteddfodau ac Eisteddfodwyr oblegid y ffraeo diddiwedd sydd yn eu canlyn.

Felly y bydd hi eleni mi w'ranta. Bydd rhywrai wedi cael cam, ac am hyny yn buganad yn anghyffredin yn y papyrau. Dylid cymeryd gwialen at yr anfoddlonwyr a'r enllibwyr Eisteddfodol. Da chwi byddwch yn ddystaw eleni. Treiwch, da chwi, wir. 'Newch chwi? Pan y mae pregethwyr a gweinidogion yn myned i gweryla yn nghylch y trifflach Eisteddfodol mae pethau dros ben o ddrwg. Yn siwr, bydd yn harddach i chwi fel gwyr y pwlpud fod yn ddystaw. Gwyr y canu a'r beirdd ydynt y rhai gwaethaf am gadw twrw. Mae'r traethodwyr yn fwy pwyllog a rhesymol, a chredwyf, yn fwy crefyddol, fel rheol. Wrth eu ffrwythau yr adnabyddwch hwynt. Ond waeth tewi rhybuddio, perswadio, a chrefu fel hyn, ffraeo mawr yn y papyrau a fynir eleni. Wel, os pigo eich gilydd a fynwch, a lluchio llwch i'r awyr yn y papyrau; da chwi peidiwch rhoi enwau drwg ar eich gilydd; a gofalwch beidio rhoi y bai ar y beirniaid cyn edrych gartref yn gyntaf. Modd bynag, fy nymuniad i yw ar i chwi ymbwyllo gyda yr hen Eisteddfodau yna, a rhoi eich dylanwad a'ch gweithgarwch o blaid crefydd a duwioldeb. Yr eiddoch,

TANGNEFYDDWR.

Digitized by Google

# Y WAWR.

CYF. VII.] CHWEFROR, 1883. [RHIF. 11.

## Y BEDYDDWYR CYMREIG.

GAN DR. PRICE, ABERDAR.

*Anerchiad a Draddodwyd yn Nghyfarfod Undeb Prydain Fawr a'r Iwerddon, yn Liverpool, Hydref, 1882.*

I.

*Mr. Cadeirydd a Chyfeillion Cristionogol*——Rai blynyddau yn ol, ymddangosodd dau foneddwr ar gyfandir Ewrop--boneddigion o safle uchel o ran dysg a dylanwad. Y mae y ddau wedi datgan eu barn am y Bedyddwyr. Un a ddywedai "fod dechreuad y Bedyddwyr wedi ei guddio mewn niwl a thywyllwch," tra y dywedai y llall, "fod i'r Bedyddwyr ddyfodiant gogoneddus." Trwy garedigrwydd y pwyllgor trefniadol, yr wyf fi yn sefyll rhwng y ddau ddyn hyn.

Mae y Bedyddwyr Cymreig yn hoff iawn o hen bethau. Meddant y gallu i edrych yn ol trwy y niwl a'r tywyllwch, er canfod y goleu eglur a dysglaer sydd yr ochr draw. Yn wir, y maent yn ddigon didaraw yn gallu myned yn rhwydd oddiar lanau yr Iorddonen at Gomer, mab Japheth, ac wyr i Noah, ac nid ydynt yn gwbl sicr nad Cymraeg oedd yn cael ei siarad yn yr arch, yn ystod y misoedd y bu yn nofio ar wyneb y dyfroedd. Nid oes dim rhagfarn a all rwystro y Bedyddwyr Cymreig i weled y bachgen a anwyd, yn ei hen ddyddiau, i Zecharias ac Elizabeth, yr hwn fachgen, ar gais yr angel, a enwyd yn Ioan. Pan gyrhaeddodd y bachgen Ioan ei ddeng mlwydd ar hugain oed, mae ysbrydoliaeth ddwyfol yn ei gyflwyno i sylw y byd yn y geiriau hyn: "Ac yn y dyddiau hyny y daeth Ioan Fedyddiwr gan bregethu yn niffaethwch Judea." Mat. 3: 1. Dyma ffaith nad oes modd ei gwadu, sef fod Ioan, fab Zacharias ac Elizabeth, yn Fedyddiwr. Mae Ysbryd Glan Duw yn ei ddwyn i sylw fel y cyfryw. Ei brif waith oedd pregethu edifeirwch, a bedyddio y credinol. Mae ysbrydoliaeth yn darlunio ei waith fel y canlyn: "Yna yr aeth allan ato ef Jerusalem a holl Judea, a'r holl wlad o amgylch yr Iorddonen; a hwy a fedyddiwyd ganddo ef yn yr Iorddonen, gan gyffesu eu pechodau." Mat. 8: 5, 6. Nid oes modd, ar dir teg, i wadu y ffaith, mai Bed-

Digitized by Google

yddiwr oedd Iesu Grist. Mae yr hanes am dano ef yn eglur iawn; dyma yr hanes: "Yna y daeth yr Iesu o Galilea i'r Iorddonen at Ioan i'w fedyddio ganddo." Mat. 3 : 13. Mae bedydd Crist ar y ddaear yn derbyn cymeradwyaeth y Nefoedd; mae yr Ysbryd Glan yn dyfod i lawr, ac yn disgyn arno. "Ac wele lef o'r nefoedd yn dywedyd, Hwn yw fy anwyl Fab, yn yr hwn y'm boddlonwyd." Mat. 3 : 16, 17.

Mae yn amlwg iawn hefyd, mai Bedyddwyr oeddent ddysgyblion Crist yn ystod ei weinidogaeth ddaearol. Fel hyn y maent yn cael eu darlunio gan Luc (7 : 29, 30): "A'r holl bobl a'r a oedd yn gwrandaw, a'r publicanod, a gyfiawnhasant Dduw, gwedi eu bedyddio â bedydd Ioan; eithr y Phariseaid a'r cyfreithwyr, yn eu herbyn eu hunain, a ddiystyrasant gynghor Duw, heb eu bedyddio ganddo." Dysgir ni gan Ioan yr Efengylwr, fod Crist yn gwneuthur ac yn bedyddio mwy o ddysgyblion nag Ioan. Ioan 3 : 1. Mae Crist, yn y comisiwn mawr, yn dysgu y dysgyblion, fod y bedydd Cristionogol yn rhan bwysig o'r trefnniant efengylaidd. Mae pob cyfeiriad a geir yn y Testament Newydd am yr ordinhad o fedydd, yn profi yn ddiymwad mai eglwysi Bedyddiedig oedd yr eglwysi a sefydlwyd gan yr apostolion a'u canlynwyr am y canrifoedd cyntaf o'r cyfnod Cristionogol. Mae y brofedigaeth yn fawr i olrhain hanes y Bedyddwyr o'r oes apostolaidd hyd y ganrif bresenol; ond y mae amser yn pallu ar hyn o bryd.

Bydd i ni gymeryd yr hyfdra i nodi rhai ffeithiau yn hanes y Bedyddwyr Cymreig flynyddau cyn y cyfnod a roddir yn destyn i ni yn y cyfarfod presenol. Yn y flwyddyn 1650, neu 232 o flynyddau yn ol, cynaliodd y Bedyddwyr gymanfa yn Ilston, yn gynwysedig o dair eglwys, sef yr eglwysi yn Olchon, Gelligaer, ac Ilston. Yn y flwyddyn 1663, sef 219 o flynyddau yn ol, cynaliodd y Bedyddwyr Cymreig gymanfa yn Aberhonddu. Yr oedd yn y gymanfa hon 13 o eglwysi rheolaidd yn cael eu cynrychioli. Ar ol y gymanfa hon dyoddefodd y Bedyddwyr Cymreig erledigaethau creulon yn amser Siârls II., fel na feiddient gynal cymanfa am wyth mlynedd ar hugain; felly ni chynaliwyd un Gymanfa gan y Bedyddwyr Cymreig o'r fl. 1663 hyd 1700.

Yn y fl. 1689, y flwyddyn y pasiwyd 'Deddf y Goddefiad' (*Toleration Act*), cynaliwyd cymanfa yn Llundain, er cynrychioli Bedyddwyr y Deyrnas Gyfunol. Yr oedd yn y gymanfa hon saith o eglwysi Bedyddiedig o Gymru yn cael eu cynrychioli. Am yr un mlynedd ar ddeg dilynol, bu y Bedyddwyr Cymreig mewn undeb cymanfaol â'r brodyr Seisnig. Bu y cyfarfodydd blynyddol yn cael eu cynal yn gyntaf yn Llundain, yna yn Nghaerodor, ac yn ddiweddaf yn Taunton.

Yn y cyfnod hwn o un mlynedd ar ddeg, cododd y Bedyddwyr yn y Gelli (Hay), fath o dy er addoli ynddo. Y mae yn debyg mai hwn oedd yr adeilad cyntaf ag oedd yn hollol at wasanaeth crefyddol er y gwrthgiliad mawr yn y seithfed ganrif. Ond yn y flwyddyn 1695, adeiladwyd capel bychan tlws yn Llanwenarth, yr hwn oedd y cyntaf a godwyd wedi yr erledigaeth o dan Siarls II.

Yn y flwyddyn 1700, agorwyd cyfnod newydd ar y Bedyddwyr Cymreig. Ar ol cyfnod o 28 mlynedd ag y bu-

Digitized by Google

ont heb un gymanfa, maent eto yn dechreu eu cynal yn Nghymru. Yn y fl. 1701, cynaliwyd cymanfa yn Llanwenarth, yn yr hon yr oedd wyth o eglwysi yn cael eu cynrychioli. Dyma, y pryd hwnw, oedd nerth yr eglwysi *digymysg* yn Nghymru. Yr ydym yn defnyddio y term *digymysg*, am fod yn bodoli amryw o eglwysi cymysg o Fedyddwyr ac Independiaid. O'r flwyddyn 1700, y mae'r Bedyddwyr Cymreig wedi cadw y cymanfaoedd yn dra rheolaidd, fel y gallwn gyda llawer o sicrwydd, ddilyn eu hanes drwy y ddeunawfed ganrif.

Yn y flwyddyn 1736—y flwyddyn y daeth Mr. Howell Harris i'r maes am y tro cyntaf—yr oedd gan y Bedyddwyr Cymreig digymysg un-ar-bymtheg o eglwysi rheolaidd, heblaw amryw gangenau pwysig. Yr oedd hefyd, ar y pryd hwnw, o saith i naw o eglwysi cymysg, yn mha rai yr oedd llawer o Fedyddwyr; ond y mae yr oll o'r rhai hyn wedi eu colli i'r Bedyddwyr, fel canlyniad naturiol cymundeb cymysg. Mor bell ag y mae Cymru yn myned, nid yw wedi enill dim wrth gymundeb cymysg; ond o'r tu arall, mae wedi colli eglwysi, capeli, eiddo, a lluaws o aelodau, ar draul bradychu egwyddorion y Testament Newydd. Yr oedd y Bedyddwyr Cymreig yn dal safle uchel, ac o ddylanwad mawr yn y wlad, yn y cyfnod dan sylw, sef o'r flwyddyn 1700 yn mlaen am flynyddau lawer.

Yn y flwyddyn 1715, y Dr. John Evans a gymerodd lawer iawn o bwyll a thrafferth i gasglu ystadegau yr Anghydffurfwyr trwy y Deyrnas Gyfunol. Gwnawd y tafleni a'r ystadegau hyn i fyny yn y flwyddyn 1716 a'r flwyddyn 1717. Mae yr ysgrif wreiddiol, yn llaw-ysgrifen y Dr. Evans, yn awr ar gael yn llyfrgell Dr. Williams, yn Llundain. Yn y tafleni hyn, mae eglwysi Bedyddiedig Cymru yn cael lle ffafriol iawn. Nis gallwn ond cymeryd dwy neu dair yn engreifftiau o amryw eraill. Yn gyntaf, cymerwn Hengoed. Yr oedd yr eglwys hon yn cynwys yn mhlith ei haelodau ddau wr boneddig, deg o grefftwyr, deugain o rydd-ddeiliaid (*yeomen*), pump a phedwar ugain o ffermwyr, a chant a deugain o lafurwyr. Yr oedd ugain yn meddu pleidlais dros Sir Forganwg, dau ar hugain yn meddu pleidlais dros Sir Fynwy, a thriugain yn meddu pleidleisiau dros y bwrdeisdrefi.

Mae tafleni eglwys Llanwenarth yn debyg i eiddo Hengoed. Yr oedd eglwys Llanwenarth yn cynwys dau o ysweiniaid, deg o wyr boneddigion, pedwar ar ddeg ar hugain o rydd-ddeiliaid, un ar bymtheg ar hugain o grefftwyr, saith ar hugain o ffermwyr, pedwar ar ddeg ar hugain o lafurwyr, dau ar bymtheg ar hugain yn meddu pleidlais dros y Sir, un ar ddeg o bleidleisiau dros Sir Frycheiniog, pymtheg a deugain yn meddu pleidlais dros fwrdeisdref Mynwy, ac un bleidlais dros ddinas Caerodor.

Yr oedd eglwys Blaenau Gwent mewn ardal deneu, a'r eglwys heb fod mewn bodolaeth ond 20 mlynedd cyn gwneyd y cyfrif dan sylw. Y mae y tafleni yn dodi y ffeithiau canlynol o'n blaen:—Yr oedd aelodau yr eglwys hon yn cynwys cant a chwech ar hugain o rydd-ddeiliaid, pedwar ar ddeg a deugain o grefftwyr, cant a thri ar ddeg o lafurwyr, cant a thri ar hugain yn meddu pleidlais dros Sir Fynwy, un yn meddu pleidlais dros Sir Frycheiniog, chwech ar hugain yn dal y bleidlais dros fwrdeisdref Mynwy; y cwbl, yn cynwys eu gwragedd, meibion, a merched, yn

Digitized by Google

rhifo mil o eneidiau. Dyma dystiolaeth y diweddar Dr. John Evans am sefyllfa y Bedyddwyr Cymreig yn y cyfnod hwnw; ac y mae ei dystiolaeth yn gwbl anmhleidiol.

Mae y flwyddyn 1779 yn un nodedig yn hanes Bedyddwyr Cymru. Yn y flwyddyn hono y corphorwyd yr eglwys Fedyddiedig gyntaf yn y Gogledd er y gwrthgiliad mawr yn y seithfed ganrif. Cafodd nifer o bersonau eu bedyddio ar broffes o'u ffydd yn Nghrist, mewn afon yn Sir Fon, yn mis Ebrill, 1779, a chorphorwyd eglwys yno yn Mehefin, yn yr un flwyddyn.

Mae y flwyddyn 1787 yn anwyl i ni hefyd fel Bedyddwyr Cymreig, fel y flwyddyn a roddodd enedigaeth i'r ysgol Sul yn y Dywysogaeth. Yr oedd hyn flwyddyn cyn i'r enwog Mr. Charles, o'r Bala, sefydlu yr ysgol Sul yn Ngogledd Cymru. Wrth wneyd y gosodiad hwn, nid ydym yn anghofio yr ysgolion cylchynol a sefydlwyd gan yr enwog Griffith Jones, Llanddowror; a'r ysgolion a sefydlwyd gan Dr. Williams, o Wrexham; ond nid oedd y rhai hyn yn dyfod i fyny â'r hyn a ddeallwn ni wrth ysgol Sul. Yr ysgol Sul gyntaf a sefydlwyd ar Hengoed, yn Sir Forganwg, gan y duwiol a'r anfarwol Morgan John Rhys, yn y flwyddyn 1787.

---

## TARDDIAD BEDYDD.

GAN Y PARCH. WM. JONES, WISCONSIN.

Mr. Gol.—Gwelaf gais ataf yn y Wawr am Rhagfyr, i ddangos "Tarddiad bedydd, ac o ba le y cafodd Ioan y drychfeddwl am fedydd, ai oddiwrth y trochiadau Iuddewig?" Gofynir, "Ai tybed fod y weithred allanol wedi ei chymeryd i fyny gan y bedyddiwr, a'i hysbrydoli ag ystyr newydd?" Mewn atebiad, dywedaf, fy mod yn barnu fod tarddiad bedydd yn unig o Dduw. Y bedyddiwr cyntaf y mae genym son am dano oedd Ioan, ac am dano ef, dywed ei hun yn bendant, mai "Duw a'i danfonodd i fedyddio â dwfr" (yn hytrach *mewn* dwfr, pe buasai y gair wedi ei gyfieithu yn gywir). Credaf, fel y dywed Matthew Henry, "mai Duw roddes i Ioan ei weinidogaeth a'i genadwri." Dr. Adam Clark hefyd a ddywed, ar Ioan 1: 33, "Fod Ioan wedi derbyn, nid yn unig ei alwad a'i genadwri ar y cyntaf, ond hefyd bob cyfarwyddyd drwy ddigyfrwng a diamwys ysbrydoliaeth." Yr wyf yn credu, Mr. Gol., yn debyg i'r ddau daenellwr enwog uchod; nid wyf yn hoffi gwahaniaethu oddiwrth y taenellwyr ar y pwnc o fedydd, ond pan y byddaf yn cael fy ngorfodi gan y gwirionedd. Ni buasai Ioan yn meddwl am fyned i ddiffaethwch Judea i bregethu, oni bai i Dduw ei alw i fyned yno, ac ni fuasai yn gwybod pa beth i'w bregethu ar ol myned, oni buasai i Dduw ei ddysgu i bregethu ffydd yn y Messiah oedd i ddyfod ar ei ol ef, ac edifeirwch tuag at Dduw. Ac ni fuasai yn gwybod dim am fedydd credinwyr edifeiriol, oni bae fod Duw wedi ei ddanfon i fedyddio yn gystal a phregethu. Pa un a oedd gan Dduw olwg ar ryw arferiad oedd mewn bodolaeth o'r blaen yn ei ddewisiad o fedydd, nis gwn, ac nis gwyr neb arall; ond am Ioan, nid wyf yn meddwl fod ganddo un drychfeddwl am fedydd—yr oedd yn gwbl yn llaw Duw, ac o dan ei gyfarwyddyd, am ei athrawiaeth a'i fedydd.

Yr oedd gan yr Iuddewon gynt ddulliau o ddefnyddio dwfr, sef taenelliadau, tywalltiadau, a golchiadau. Mewn per-

Digitized by Google

thynas i'r ddau arferiad cyntaf, nid oedd dim yn debyg ynddynt i fedydd Ioan. Gwaed, neu ddwfr cymysgedig â rhywbeth arall, a arferid yn y ddau arferiad a nodwyd; ond dwfr glân a digymysg a ddefnyddiai Ioan yn ei fedydd. Nid oeddynt yn debyg yn eu dull, oblegid trochi yr oedd Ioan, ac nid taenellu a thywallt, fel y profais mewn ysgrifau blaenorol, trwy awduron Iuddewig a Christionogol.

Tybir gan rai taenellwyr fod bedydd Ioan yn olynydd i'r bedydd Proselytaidd; ond profir gan daenellwyr yr un mor enwog, nad oedd y fath beth yn bod a bedydd Proselytaidd am ganoedd o flynyddoedd ar ol y cyfnod Cristionogol.

Gyda golwg ar y golchiadau Iuddewig, yr oedd y rhai hyny yn gyffelyb o ran dull i fedydd Ioan. Profais eisoes trwy yr awdurdodau goreu mai trochiadau oedd y golchiadau Iuddewig. Hefyd, dwfr glân a digymysg a ddefnyddid yn ngweinyddiad y rhai hyn; ond gwahaniaethent mewn pethau eraill oddiwrth fedydd Ioan. Yn un peth, am mai personau yn seremoniol aflan a'i harferent, fel rheol gyffredin, a'r rhai hyny a drochent eu hunain, ac nid cael eu trochi gan eraill. Yn y ddau beth a nodwyd ddiweddaf, gwahaniaethai bedydd Ioan oddiwrth y golchiadau Iuddewig. Felly yr oedd bedydd Ioan yn sefydliad newydd, wedi tarddu yn gwbl a hollol o Dduw; am hyny y dywedir, fod y rhai a'i diystyrent yn "diystyru cyngor Duw," pan yn gwrthod cymeryd eu bedyddio â bedydd Ioan. Rhaid, o ganlyniad, fod bedydd yn gyngor Duw, yn drefniant wedi ei sefydlu gan Dduw.

Nid wyf yn barnu mai Crist a sefydlodd fedydd; derbyniodd, ac ufuddhaodd i sefydliad ei Dad, a gorchymynodd ymarferiad parhaus o hono i'w apostolion trwy holl oesoedd y byd. Duw a drefnodd waith y prynedigaeth, a Christ a weithiodd y trefniant allan, fel awdwr ein hiachawdwriaeth; a chan fod y trefniant i gael ei weithio allan trwy ddyoddef, marw, claddu a chyfodi Crist, pa ryfedd, wrth feddwl am hyn, i'r Tad sefydlu ordinhad ag sydd yn gosod y gwirioneddau hyn allan mor brydferth a gogoneddus? Ac onid hyn oedd meddwl Crist, pan y dywedodd wrth Ioan yn yr Iorddonen, "Gad yr awr hon, canys fel hyn mae yn weddus i ni gyflawni pob cyfiawnder?"

Yr oedd Crist, wrth gymeryd ei fedyddio gan Ioan, nid yn unig yn dangos ei barch i sefydliad ei Dad, ond hefyd megys yn cymeryd arno ei hun i weithio trefn ei Dad yn achubiaeth y byd trwy ei ddyoddefiadau, ei farw, a'i adgyfodiad o'r bedd. Wrth feddwl am hyn, pa ryfedd i'r Drindod gydgyfarfod i arwyddo eu boddlonrwydd ar adeg bedyddiad Crist gan Ioan? Y Mab yn ymostwng dan ddwylaw Ioan i gael ei soddi tan ddyfroedd yr Iorddonen, yr Ysbryd Glan yn disgyn arno yn rhith corphorol colomen, a'r Tad yn cyhoeddi o'r nef mewn llais eglur, "Hwn yw fy anwyl Fab, yn yr hwn y'm boddlonwyd."

Pa un a rydd fy ysgrif hon foddlonrwydd i chwi, Mr. Gol., ac i darllenwyr parchus a lluosog y Wawr, nis gwn, ond pa un bynag am hyny, mae yn cynwys fy marn mwyaf ystyriol a phwyllog ar y pwnc, a gobeithiwyf ei bod yn unol a'r gwirionedd, ac y rhydd foddlonrwydd cyffredinol i'r sawl a'i darlleno. Terfynaf, gyda dymuno llwyddiant i'r Wawr a'i darllenwyr oll.

Digitized by Google

## LLINELLAU

**Er Coffadwriaeth am Mr. Morris Lewis, Judson, Swydd Blue Earth, Minn., yr hwn a fu farw Medi 15, 1882, yn 73 mlwydd a 6 mis oed. "Coffadwriaeth y cyfiawn sydd fendigedig."**

---

Pan y cwympai dail yr Hydref,
  Gan sisialu nodau mad,
Tra yn gollwng eu gafaelion
  O'r cangenau trwy y wlad,
Cwympodd pabell hen bererin,
  Cywir iawn a mwyn ei wedd,
Oddiar frigau pren cymdeithas,
  Lawr i fynwes oer y bedd.

Beth yw'r llu a welaf acw?
  Beth yw'r holl gerbydau hyn?
Beth yw'r cyrchu a wna pobloedd?
  Pawb yn bruddaidd ac yn syn.
"Myn'd i angladd Morris Lewis,"
  Ebai un, "mae pawb yn nghyd,
Cerid ef gan fawr a bychan
  Trwy'r holl ardal hon i gyd."

Ni bu organ aml-bibellau
  Yn fwy unol yn ei thôn
Na'r llefarwyr yn ei angladd
  Pan am dano ef yn son;
Nid oedd neb yn ofni canmol
  Yn ddifloesg yr anwyl ddyn;
Ofni peidio canmol digon
  Arno ef a wnai pob un.

O, mor wag yw'r bwthyn bychan,
  Yn fan draw gerllaw y coed;
O, mor ryfedd yw y llwybrau
  Yn mhob cwr heb ôl ei droed;
Mae yr adar mân oddeutu
  Yn llawn trallod yn eu côl,
A chre'duriaid hoff y buarth
  Frefant hiraeth ar ei ol.

Brady's Bend, yn Pennsylvania,
  Yno flwyddi bu yn byw,
Gyda Wooley a'r brawd Probert—
  Cristionogion o'r iawn ryw;
Fel adgofion am Baradwys,
  Lle y cafwyd mwyniant mawr,
Yw'r adgofion o'r pryd hyny,
  Gan y rhai sy'n fyw yn awr.

Ond y serch a glwyfwyd benaf
  Gan yr ergyd hon yn wir,
Ydyw serch ei anwyl briod
  Sydd o'i ol mewn anial dir;
Y ddofn archoll fydd yn gwaedu
  Gan ddwfn hiraeth lawer tro,
Ac wrth gofio ei rinweddau,
  Mewn dychymyg gwelir o.

Cwyno mae John Rees yn arw
  Ar ei ol yn drwm ei wedd,
Teimlo'n unig ac annifyr,
  Tra mae 'i gyfaill yn y bedd;
A chyfeillion eraill hefyd,
  Luaws sydd a'u bronau'n brudd,
Wedi 'i golli ef o'r ardal,
  Nid 'run peth yw goleu dydd.

Gwnaeth ei enw yn berseiniol
  Trwy ei fywyd dysglaer, pur,
Yr hwn brofwyd o'r fath oreu
  Lawer tro dan galed gur;
Ac am hyny miwsig peraidd
  Ydyw sain ei enw ef,
Felly yn awyrgylch daear,
  Ond mwy felly yn y nef.

Ef ni wyddai beth oedd gweniaeth,
  Selog ydoedd dros y gwir;
Fel Bedyddiwr ni chanfyddid
  Ei ffyddlonach yn y tir;
Gwrthwynebwyr gydnabyddent
  Ei ddidwylledd ar bob pryd,
A chydwybod dawel feddai,
  Sydd yn fwy o werth na'r byd.

Un o filwyr goreu Iesu
  Ydoedd ef pan ar y llawr,
Ac ni ddygodd neb ei goron,
  Mwyach bydd ei wobr yn fawr.
Pan yn myned i ogoniant,
  Croesaw mawr a gafodd ef,
Newydd geinciau a ddatgenid
  Ar delynau aur y nef.

Wrth ddiweddu hyn o ganiad,
  Fy nymuniad goreu yw,
Am i'r plant sydd yn galaru
  Feddu cysur uchel ryw—
Meddu crefydd eu rhieni
  Yn ddilai y byddont hwy,
A chyrhaeddyd nef yn angau,
  Trwy haeddianau marwol glwy.

G.

---

—Diwygia ynot dy hun yr hyn sydd yn dy anfoddio yn eraill.

Digitized by Google

## LLENYDDIAETH Y DYDD.

### Y Dyn Cyntefig.*

Mae y llyfr hwn a deitlir "*Y Dyn Cyntefig,*" gan y Duke of Argyle, yn traethu ar bwnc sydd wedi creu llawer iawn o sylw yn y blynyddau diweddaf, ac yn debygol o barhau felly am amser maith i ddod. Cyfansoddwyd y llyfr amryw flynyddau yn ol, fel ymchwiliad i ddamcaniaethau diweddar. Cyhoeddasai yr Archesgob Whately ddarlith ar "Ddechreuad Gwareiddiad," ac yn ganlynol cyhoeddodd Syr J. Lubbock atebiad iddo. Dadleuai Whately nad yw anwariaid yn alluog i effeithio hunan-wareiddiad, a bod y dyn cyntefig yn y fath gyflwr o eiddilwch meddyliol a moesol ag oedd yn gofyn am addysgiaeth Ddwyfol; tra y mae yr olaf yn sefyll dros y ddamcaniaeth mai anwariad oedd y dyn cyntefig, ac mai ymddyrchafu a wnaeth trwy ei alluoedd naturiol ei hun. Ac yn erbyn y ddamcaniaeth hon, yn benaf, mae y llyfr hwn gan y Duke of Argyle yn traethu.

Yn y rhagymadrodd dywedir fel hyn: "Ni fu pwyntiau gwahaniaethol y pwnc yn cael eu trafod o'r blaen gan neb gyda'r manylrwydd dyladwy, o fewn cylch ein gwybodaeth ni. Er hyny y mae ymresymiad teg yn ymddibynu ar fod y pwyntiau gwahanol hyn yn cael eu cadw mewn golwg. Os yw y golygiad a gymerir arnynt yma yn gywir, maent yn cyfansoddi gwrthglawdd nad ellir myned drosto ar ffordd tynu rhai casgliadau byrbwyll a dybir sydd yn canlyn ffeithiau a ddarganfyddwyd yn ddiweddar. A dweyd y lleiaf, nis gellir mabwysiadu y casgliadau hyn heb gael rhesymau a phrofiadau newyddion." Yn canlyn rhoddwn fraslun o'r gwaith. Dechreua yr awdwr fel hyn:

Dichon y tybia amryw fod y pwnc hwn yn rhy ddyrys i'r meddwl dynol i'w drafod, ac nad oes modd cael gafael ar y gwirionedd mewn perthynas iddo. Mae un peth yn eglur; pan y mae dynion o safle Archesgob Dublin yn myned i'r maes hwn, gan ddatgan fod rhai casgliadau yn anocheladwy, yn annibynol ar bob tystiolaeth Ysgrythyrol, nis gellir gwahardd eraill i'r un maes, na'u hatal i dynu y casgliadau a allont. Ystyriaethau pellach a ddengys *na ddylid* tybied y mater hwn yn waharddedig. Nid yw y meddwl dynol wedi crwydro cymaint o'r ffordd mewn dim ag a wnaeth wrth ystyried rhai pynciau yn gyfreithlon i'w myfyrio, a'r lleill yn anghyfreithlon. Amryw o ddeddfau natur, ydynt yn awr mor adnabyddus, wrth egluro y rhai y cyflawnodd y dealltwriaeth dynol y fath orchestwaith, a ystyrid gynt gan yr athronwyr Groegaidd boreuol, fel yn perthyn i ddirgeledigaethau penaf Duw. Tybient, efallai nid yn annaturiol, fod llanerch oedd mor agos atynt, sef eu natur eu hunain, yn hawddach i'w deongli nag unrhyw olygfeydd allanol. Ac am hyny suddasant i holl ddyfnderau athroniaeth feddyliol. Ond nid oes unrhyw ddirgelion mor ddyrys a'r rhai sydd yn y meddwl ei hun. Wrth chwilio iddo ei hunan mae y meddwl yn dyfod i daro gyntaf yn erbyn y pared. Llafuriodd y dynion galluocaf welodd y byd erioed mewn athroniaeth feddyliol, gan adael pynciau eu myfyrdodau bron mor dywyll yn y diwedd ag yn y dechreu. Gwnaeth yr or-duedd hon at ymchwiliad fewnol alanastra dirfawr ar dduwinyddiaeth yr Eglwys yn Alexandria gynt, trwy ymgysylltu a chyfriniaeth y Dwyrain. Yr oedd personau yno yn ceisio trafod pynciau nid yn unig oeddynt uwchlaw y rheswm dynol, ond hefyd tu draw i derfynau Datguddiad Dwyfol.

Ystyria rhai, efallai, wendid y dealltwriaeth dynol fel rheswm digonol dros adael y pwnc hwn am ein dechreuad, yn llonydd; ond amlwg yw, y gellir dadlu hyny yn ffafr cyfeiliornad yn ogystal a gwirionedd. Nid mewn rhyw un peth yr ydym yn cyfarfod â phynciau dyrys, ond yn mhob peth. Ni ddylem byth ofni ymchwil; yn hytrach dylem bob amser ofni rhyfyg. Dylid cadw rheswm o fewn terfynau ei allu,

* *Primeval Man:* An Examination of some Recent Speculations, by the Duke of Argyle. 34 Paternoster Row, London.

Digitized by Google

ond ni ddylai fod un pwnc yn waharddedig iddo. Mae y dynion fo yn gwahardd ymchwiliad, bob amser i'w hofni; y tebygolrwydd yw fod pethau gwerthfawr na hoffir ganddynt i'w cael gerllaw. Mae llawer ffurf o dwyll offeiriadaeth. Gadewch i ni sefyll at y rheol, na fedrwn byth wybod yn sicr beth sydd heb fod yn agored i reswm, hyd nes y bo y ffordd wedi ei phrofi. Pwy, tybed, sydd i benderfynu yn mlaen llaw beth sydd yn esboniadwy a pheth sydd heb fod felly? Ar y tir hwn, gan hyny, gellir honi fod pob pynciau yn agored i'w chwilio i'r graddau mae y meddwl dynol yn alluog i hyny. Fe allai nad anfuddiol, cyn myned yn mhellach, fyddai gwneyd crybwylliad neu ddau am gysylltiad cyflwr cyntefig dyn a dysgeidiaeth y Beibl.

Gyda golwg ar Amser, mae yn dra hysbys fod y cyfrifiadau a seilir ar y Beibl yn dra amheus ac anhawdd eu penderfynu. Mae yr Hen Destament yn ei dair ffurf, yr Hebreig, y Samaritanaidd, a'r Groeg, yn arwain i ganrifoedd o wahaniaeth. Nid yw yn sicr pa un a fwriedid i hanes dyn yn yr Hen Destament fod yn hanes cyflawn, ynte amlinelliad, yn cynwys cynrychiolaeth o ddynion a chenedlaethau.

Y mae geiriau Sant Austin ar hanes y creu, yn ardderchog ac yn llawn ystyr. Ebai efe, "Yr wyf yn dweyd gyda hyfder, ac o waelod fy nghalon, pe buaswn i yn ysgrifenu rhywbeth a fuasai i feddu awdurdod uwchraddol, buaswn yn benaf oll yn dymuno ar fod fy ngeiriau yn cynwys yr ystyr mwyaf eang, ac na fuasent yn gyfyngedig i un ystyr yn unig; yn cau allan bob ystyron eraill, hyd yn nod pe buasai rhai o honynt yn groes i'r eiddo fy hun. Yn mhell oddiwrthyf fi, O Dduw, fo y byrbwylldra i dybied na ddarfu i'r fath Brophwyd mawr dderbyn trwy dy ras hyd yn nod y fath ffafr! Oedd, yr oedd ganddo mewn golwg, ac yn ei ysbryd, pan yn ysgrifenu y geiriau hyn, y cwbl a fedrwn byth ddarganfod o'r gwirionedd, hyd yn nod pob gwirionedd sydd wedi dianc rhagom hyd yn hyn, neu a ddianga rhagom yn bresenol, ond yr hyn, er hyny, a ellir ei ddarganfod ynddynt eto."

Mae yn sicr, gan nad pa olygiadau a allwn yn awr goleddu am ddechreuad ac awdwr y benod gyntaf yn Genesis, ei bod yn sefyll ar ben ei hun y'mhlith traddodiadau dynolryw yn symlrwydd rhyfeddol ac urddasolrwydd ei geiriau. Tra neillduol a gwirioneddol wyrthiol yr ymddengys y nodwedd eangfawr hon a adawa yn agored i reswm yr oll a fedr gyrhaedd. Mae y geiriau hyn yn Genesis yn ymddangos bob amser yn meddu ystyr sydd o flaen gwyddoniaeth—nid oblegid y rhagnodant ddarganfyddiadau gwyddoniaeth, ond oblegid eu bod yn annibynol arnynt, ac yn rhedeg megys o amgylch terfynau pellaf darganfyddiadau.

Wedi hynyna o gyfeiriad at yr hanes Ysgrythyrol wrth basio, awn yn mlaen gan drin y pwnc hwn yn ngoleu gwyddoniaeth. Ni thalodd awdwyr sylw dyladwy i'r ffaith fod cyflwr cyntefig dyn yn ymranu i dri chwestiwn gwahanol; cwestiynau, er yn gysylltiol, y gellir ac y dylid eu trafod ar wahan. Yn gyntaf, *dechreuad* dyn fel rhywogaeth—dull ei greadigaeth a'i gyflwyniad i'r byd. Yn ail, hynafiaeth dyn, neu yr amser mewn hanesyddiaeth ddaearegawl a pharotoawl y ddaear, pryd y cymerodd y greadigaeth hon, neu y cyflwyniad hwn, le. Yn drydydd, ei gyflwr meddyliol, yn foesol a deallol, pan y crewyd ef.

I. Dechreuad Dyn.—Ni fedd yr hil ddynol fwy o wybodaeth nac adgoffâd o'i dechreuad ei hun nag sydd gan blentyn am ei enedigaeth ei hun. Ond mae plentyn yn meddu profiad wrth dyfu, a charia adgofion dyddiau boreuol gydag ef. Nid oes genym ni gymaint a hyny o brofiad o ddechreuad ein hiliogaeth ni, nac o'r un arall. Effeithir amrywiaethau bychain yn ffurf ychydig o anifeiliaid, trwy eu cartrefoli, a thrwy arfer gofal cyson wrth eu magu; ond dygwydd yr amrywiaethau hyn o fewn terfynau penodol, a pha bryd bynag y peidia y gofal dynol am danynt, ad-ddychwelant i'w ffurf gyntefig. Mae dygiad i fodolaeth ffurfiau newyddion o greaduriaid,

Digitized by Google

trwy uniad rhywogaethau gwahanol, hyd yn nod pan yn tebygoli i'w gilydd, yn cael ei wahardd yn bendant gan natur yn y ddedfryd o anffrwythlondeb a nodwedda holl hiliogaethau cymysgryw. A'r canlyniad yw, na chafodd dyn. erioed weled dechreuad unrhyw rywogaethau. Creadigaeth trwy enedigaeth ydyw yr unig greadigaeth a welodd efe. Ni welodd yr un rywogaeth newydd yn tarddu o'r math hwn o greu Ac eto gwyr oddiwrth weddillion daearegol ddarfod i fathau newyddion o greaduriaid gael eu dwyn ar esgynlawr amser yn ddilynol gyson am gyfnodau anfesuradwy. Ond pa fodd y bu hyn? Eithaf naturiol yw tybied ddarfod i'r rhywogaethau newyddion hyn gael eu bodolaeth yr un modd ag unigolion, trwy gael eu geni. Ar y dybiaeth hon yr adeiladir yr athrawiaeth o *Ddadblygiad*, hyd yn nod yn ei ffurf ddiweddaraf gan Darwin. Nid oes dim yn anghyson yn y ddamcaniaeth hon a'r grediniaeth mewn llywodraeth ddwyfol. Mae hyn yn eglur oddiwrth y ffaith na chanfyddwn un anhawsder i gysylltu ymyraeth y Creawdwr â deddfau cyffredinol cenedliad anifeiliaid a llysiau. Felly nid oes dim yn groes i grefydd yn y ddamcaniaeth o ddygiad rhywogaethau newyddion i fôd trwy ddeddf dadblygiad; yr anhawsder mawr yw cysoni hyny â dysgeidiaeth gwyddoniaeth. Methir gweled mewn gweddillion daearegol fod rhywogaethau newyddion wedi eu dwyn i fodolaeth yn raddol: yn lle hyny ymddangosant ar chwareufwrdd bywyd mewn perffeithrwydd ar unwaith.

Sut y mae pethau yn y *presenol?* Medda creaduriaid ar allu i gynyrchu bywyd, ond bob amser un fel yr eiddont eu hunain. Ni chynyrchir rhywogaeth newydd.

Mae y gwahaniaeth a fodola rhwng dyn a chreaduriaid israddol iddo mor fawr fel mai ofer yw gwrthod edrych arno fel rhywogaeth neillduol. Wrth edrych ar ddyn ar wahan oddiwrth israddolion, dylid cymeryd i ystyriaeth nid yn unig ei neillduolion corphorol, ond hefyd ei rai meddyliol, yr hyn sydd wedi ei esgeuluso gan rai gwyddonwyr. Dylid cofio fod ei nodweddau corphorol yn dwyn y cysylltiad agosaf â'i nodweddau meddyliol, a'r naill a'r llall yn gwneyd dyn yn rhywogaeth arbenigol. Swm yr ymresymiad yw hyn: I'r graddau yr adnabyddir nodweddau rhywogaethol dyn yn ngoleuni natur, i'r un graddau y cynydda yr anhawsder i ddeall sut y bu i'r gagendor gael ei chroesi oddiwrth rywogaethau eraill trwy unrhyw weithrediad trawsfudol neu ddadblygol.

II. Hynafiaeth Dyn.—Wrth fyned oddiwrth bwnc dechreuad dyn at ei hynafiaeth, yr ydym yn myned o dywyllwch hollol bron at gwestiwn sydd yn gymharol agored i reswm ac archwiliad. Gellir casglu tystiolaethau yn cynwys goleuni ar y mater hwn ar hyd gwahanol lwybrau gwyddoniaeth, ac y mae y rhai hyn oll yn tueddu i'r un pwynt, ac yn cyfeirio at yr un casgliad cyffredinol. Yn gyntaf daw tystiolaeth hanesyddiaeth, yn cymeryd i mewn holl faes llenyddiaeth; yna daw olion gweithredoedd dynol; yn cydio wrth y rhai hyn daw daeareg, gan ddatguddio gweddillion o'r corph dynol; yn nghyda'r cyfnewidiadau diweddaraf yn arwynebedd a hinsoddau y ddaear. Wedi hyn daw tystiolaeth iaith, a'r deddfau a reoleiddiant ei dadblygiad. Ac yn olaf, ceir tystiolaeth ymfudiaethau, a'r effeithiau o hyny ar gyrph, meddwl, a chyflwr pobloedd. Wrth fyfyrio hanesyddiaeth dylid gwahaniaethu rhwng amser, fel y mesurir ef wrth flynyddau, ac amser yn cael ei fesur wrth nifer o ddygwyddiadau yn dilyn eu gilydd. Amser, fel y mesurir ef wrth flynyddau, yn unig sydd yn cynwys hanesyddiaeth. Amser yn yr ystyr arall, o ddilyniad dygwyddiadau, ni ddywed ychwaneg na'r drefn y cymerasant le. Nid oes un hanes ond yr hanes Beiblaidd yn proffesu myned yn ol at greadigaeth dyn, neu roddi cyfrif o'r dygwyddiadau a gysyllta genedloedd y ddaear â thad cyntaf dyn. Ymddengys mai unig ddyben yr hanes hwnw ydyw rhoddi amlinelliad o ddygwyddiadau cysylltiedig â gwirioneddau crefydd. Mae yr awgrymiadau a roddir yn mhenodau cyntaf Genesis am

Digitized by Google

faterion bydol, yn ddygwyddiadol ac yn hynod o dywyll. Ac eto nid ydynt yn dywyllwch i gyd. Mae digon yn cael ei ddweyd er awgrymu fod llawer o bethau yn gorwedd tu allan i gylch yr hanes a roddir.

Ystyrir fod hanesyddiaeth yn taflu goleu tra chlir dros gyfnod o ddwy fil o flynyddoedd cyn Crist. Tu draw i hyny ceir llanerch lwyd-oleu yn cyrhaedd yn ol ryw saith gant y flynyddau. Yn nechreu y cyfnod hwnw gellir gweled megys mewn goleu gwanaidd fod breninoedd a thywysogion ar y ddaear eisoes; yn mhellach na hyn ni allwn gyfrif wrth y blynyddau. Ond y mae pwynt lle mae tystiolaeth olion gweithredoedd dynol yn dechreu, cyn i dystiolaeth hanes derfynu. Ceir llanerch lle y mae y ddau fath o dystiolaethau yn cyd-gyfarfod, ac anhawdd yw gwahaniaethu rhyngddynt. Yr oedd gan yr Aiphtiaid yr arferiad o gofnodi dygwyddiadau mewn ffurf o ddarluniau. Byddai eu harferion teuluol, eu rhyfeloedd tramor, eu credoau crefyddol, yn cael eu cofnodi yn y dull hwn.

Yn mhlith yr amrywiol ddarluniau cofnodol hyn, ceir darluniau yn portreadu gwynebau dynol, yn dwyn tebygolrwydd agos i wynebau dynol ein dyddiau ni. Ynddynt mae hyd yn nod y Negro yn dwyn bron yr un ddelw ag y mae yn awr.

Rhaid fod y cofebau hyn wedi eu gwneuthur yn nghylch mil a phedwar cant o flynyddau cyn Crist, a thua tair mil o flynyddau yn ol. Tystir y dyddia rhai o honynt ddwy fil o flynyddau cyn Cred. Ceir darluniau o filwyr Negroaidd yn cael eu defnyddio gan y Brenin Aiphtaidd mor foreu ag amser Abraham. Yn gymaint a bod y Negroaid yn meddu yr unrhyw ffurf mor bell yn ol, faint o amser, tybed, a raid basio arnynt yn flaenorol er eu gwneyd mor wahanol i ddynion gwynion, a chaniatau eu bod wedi disgyn o'r un cyff? Rhaid i'r amser hwnw fod yn aruthrol faith. Gwahaniaeth mawr y Negro yw lliw, ac nid ffurf. Mae lliw mewn creaduriaid eraill yn fynych yn newid yn fuan ac yn ddisymwth. Ond nid felly eiddo dyn—arafaidd iawn y newidia ei liw ef; ac y mae heb ei brofi eto fod yr hil Negroaidd erioed wedi bod yn wyn. Awdwr enwog a hona mai hanes dechreuad y dyn gwyn a geir yn Genesis, a bod y Negroaid yn bodoli yn flaenorol. Dysga y posiblrwydd y gallai y ddau fath—y gwyn a'r du—feddu hanfodion dyn, er y gallent darddu o gyffion gwahanol. Hyn sydd sicr, maent yn gyd-epiliadol, yr hyn na fodola yn mysg creaduriaid cymysgryw. Mae yn amlwg i'r graddau y profwn fod y dyn gwyn a'r du wedi tarddu o'r un gwreiddyn, i'r un graddau y rhaid caniatau meithder amser i'r gwahaniaeth mawr rhyngddynt gymeryd lle.

Yn nesaf, daw tystiolaeth Iaith. Mae y dysgedigion ydynt wedi myfyrio deddfau dirgelaidd a reoleiddiant dyfiant iaith yn ymgolli mewn dyryswch wrth geisio dyfalu faint o amser oedd yn ofynol i roddi bodolaeth i'r fath greadigaeth hynod ag iaith ddynol.

Ar ol hyn, daw tystiolaeth Daeareg, yr hon hyd yn ddiweddar oedd yn analluog i siarad dim yn ddealladwy am hynafiaeth dyn. Tystiolaeth unol Daeareg yw, mai dyn oedd yr olaf a grewyd o'r holl greaduriaid a fuont erioed yn preswylio daear. Profa Daeareg fod creadigaethau a distrywiadau olynol wedi cymeryd lle—hen ffurfiau o greaduriaid yn diflanu, a rhai newyddion yn cymeryd eu lle—a bod holl wyneb natur wedi ei newid lawer gwaith yn olynol. Ond hyd yn ddiweddar, tybid fod cyfnewidiadau mawrion wedi terfynu cyn i ddyn wneyd ei ymddangosiad. Modd bynag, deallir yn awr fod llawer math o greaduriaid wedi diflanu er amser creadigaeth dyn. Drwy hyn cadarnheir y dystiolaeth, fod amser maith wedi pasio yn y cyfwng, sef o amser creadigaeth y dyn cyntaf hyd yn awr.

Metha daearegwyr gyduno, i ba raddau yr oedd achosion cyfnewidiadau daearegol gynt yn fwy nerthol a chyflymach yn eu gweithrediadau nag ydynt yn bresenol. Os oeddynt yn llawer mwy nerthol, rhaid fod y cyfnewidiadau yn gyflymach, ac yn gofyn llai o amser i'w heffeithio.

Digitized by Google

Yn nesaf, daw tystiolaeth gwasgariad yr hil ddynol. Anhawdd penderfynu i foddlonrwydd pa mor gyflym y gwasgarodd tylwythau dynol i wahanol barthau y ddaear. Modd bynag, y mae prawfion fel yn cyduno i gadarnhau y dybiaeth ddarfod i'r ymfudiadau hyny a'u heffeithiau ddygwydd yn ystod cyfnodau tra meithion. Ni wyddis am un gwirionedd crefyddol na moesol yn dibynu ar gyfrifiaeth byr o hynafiaeth dyn. Yn y gwrthwyneb, mae cyfrifiad maith o'r hynafiaeth hwnw o werth mawr i helpu penderfynu cwestiwn pwysicach, sef, Unoliaeth yr Hil Ddynol. Nid yw yn hawdd gwahanu y cwestiwn hwn oddiwrth rai o brif wirioneddau crefydd. Ac yn hollol i'r graddau y byddom yn prisio ein crediniaeth yn unoliaeth yr hil ddynol y dylem fod yn barod i dderbyn prawfion fyddont yn mwyhau oedran dyn ar y ddaear. Po bellaf yn ol y gwneir ein dechreuad, hawddaf oll fydd credu ddarfod i genedloedd y byd ddisgyn o'r un rhiant.

III. Cyflwr Cyntefig Dyn.—Cynwysa y pwnc hwn y cwestiynau hyn: Pa ymwybodolrwydd a feddai y dyn cyntaf o rwymedigaeth foesol, a pha gymundeb a ddaliai a'i Greawdwr? Beth oeddynt ei gyneddfau deallawl? Beth oedd ei gyflwr gyda golwg ar wybodaeth, pa un a oedd yn ganlyniad o feddylgarwch, neu ynte addysgiaeth? Diffyg mawr yn ngweithiau Archesgob Whately a Syr John Lubbock ydyw, nad yw y cwestiynau hyn yn cael eu cadw ar wahan. Siarada Syr J. Lubbock am y dyn cyntefig fel mewn cyflwr o farbareiddiwch hollol. Ond nid oes gan neb hawl i ddefnyddio y fath dermau a "barbareiddiwch," a "gwareiddiad," heb egluro eu hystyr. Beth oeddynt y cyneddfau hyn a wnaethant y dyn cyntefig oedd yn eu meddu yn deilwng i'w alw yn ddyn? Meddwl, yn alluog i resymu, yn tueddu i resymu, ac yn alluog i gyrhaedd, i gasglu ac i drosglwyddo gwybodaeth—dyma nodwedd arbenigol dyn. Rhaid fod y bôd cyntaf, teilwng i'w alw yn ddyn, yn meddu y fath feddwl. Ond ni fyddai yn briodol dweyd am y fath fôd, ar y tir ei fod yn anwybodus o'r celfau, ei fod mewn cyflwr o "farbareiddiwch hollol," os ydoedd yr un pryd yn ymwybodol o rwymedigaethau moesol, ac yn ufudd iddynt. Nid oes unrhyw gysylltiad hanfodol rhwng cyflwr o blentyneiddiwch mewn gwybodaeth a chyflwr o "farbareiddiwch hollol." Gall gweddillion barbareiddiwch fodoli yn mhlith cenedloedd gwareiddiedig awgrymu fod y cenedloedd oddiwrth ba rai y tarddasant wedi myned trwy gyflwr o farbareiddiwch, ond nid yw yn un prawf mai cyflwr ofarbareiddiwch oedd cyflwr cyntefig dyn, mwy na Feudaliaeth yn neddfau Ewrop heddyw, yn brawf fod y fath beth wedi ei eni gyda'r hil ddynol.

Ffaith amlwg yn y bywyd dynol yw, fod dyn yn agored i hunan-lygriad yn foesol, deallawl a chorphorol. Mae hyn yn wir am ddyn yn y lluosog ac unigol. Mae rhai parthau o'r byd yn orchuddiedig gan weddillion gwareiddiadau ydynt wedi diflanu. Gallwn fod yn sicr i ddyn ddechreu ei yrfa yn rhyw barth neu barthau o'r ddaear, tyner o ran hinsawdd, cyfoethog mewn ffrwythau naturiol, a galluog i dalu yn dda am bob llafur. O dan y fath amgylchiadau y mae hawddaf deall sefydliad cyntaf yr hil ddynol. Yn wir, o dan y fath amgylchiadau yn unig y mae modd dirnad o gwbl am ddechreuad bywyd dynol. Pan ddechreuodd dynion amlhau, y canlyniad fu i'r tylwythau gwanaf orfod cilio ymaith i barthau pellenig mwy anffafriol i ddadblygiad dynol, ac felly yn fwy yn barhaus, nes oedd gwareiddiad cyntaf yr ymgilwyr yn dyfod yn anmhosibl, ac yn cael ei golli.

Gellid nodi hefyd, fod camsyniad yn *un* o brif egwyddorion crefydd yn arwain i bellafoedd anfesuradwy o'r ffordd wrth ei ddilyn, megys mae gosodiad anghywir mewn rhesymeg.

Mae y dybiaeth fod y dyn cyntefig yn farbariad, yn anhygoel i'r eithaf yn ngoleuni y ffaith fod rhai o brif ddarganfyddiadau dynol wedi eu gwneyd yn mhellach yn ol na therfynau pellaf hanesyddiaeth. Cyfeiriwn, fel engraifft, at dyfiant grawn. Mewn cym-

Digitized by Google

hariaeth i'r ddyfais hon, mae dyfeisiadau penaf gwareiddiad yn ymddangos fel chwareu plant. Nid yw yn briodol, gan hyny, barnu fod y dyn cyntefig yn farbariad. Mae athroniaeth y bywyd dynol, tystiolaethau hanesyddiaeth, ac anianyddiaeth, yn ffafrio y dybiaeth i ddyn ddechreu ei yrfa, nid mewn cyflwr o farbareiddiwch, ond mewn cyflwr o blentyneiddiwch mewn gwybodaeth, ac eto yn meddu argyhoeddiadau cyffrous o rwymedigaethau moesol, a thuedd addolgar tuag at ei Greawdwr.

Rhag blino y darllenydd, ni ychwanegwn. Gwasanaethed yr hyn a ysgrifenwyd fel amlinelliad o'r llyfr rhagorol hwn. Er fod yr awdwr yn ymresymu yn benaf yn ngoleuni gwyddoniaeth, mae y cwbl a ddywed yn ffafriol i ddysgeidiaeth y Beibl.

## MATHETES.

### II.

Pan ar orphen ei dymor Athrofaol, derbyniodd Mathetes alwad unfrydol oddiwrth eglwys Bethlehem, Porthyrhyd, Swydd Gaerfyrddin. Yntau a'i derbyniodd hi; ac ar y 26ain a'r 27ain o Fai, 1846, cynaliwyd cyfarfodydd ei ordeiniad. Nos y dydd cyntaf, gweddiodd y brawd J. P. Jones, Coleg Ponty-pwl; pregethodd y brawd B. Thomas, Penrhiwgoch, a B. Price (*Cymro Bach*), gynt o'r Drefnewydd. Am 10, y dydd dilynol, gweddiodd y brawd B. Price, a thraddododd y brawd W. Hughes, Glanymor, araeth ar Natur Eglwys; yna gofynwyd yr holiadau arferol gan y brawd Daniel Jones, Felinfoel, i ba rai y rhoddodd y gweinidog ieuanc atebion boddhaol a dyddorawl. Wedi hyny dyrchafwyd yr Urdd Weddi mewn modd syml, taer a gwresog, gan Mr. Daniel Jones, gyda gosodiad dwylaw y gweinidogion. Anerchwyd y gweinidog ieuanc gan ei athraw, y Parch. T. G. Jones, Hwlffordd. Am 2, gweddiodd y brawd T. Richards, Caerfyrddin, a phregethodd H. W. Jones, Caerfyrddin, i'r eglwys, a J. Spencer, Llanelli, i'r gynulleidfa. Am 6, gweddiodd y brawd W. Hughes, a phregethodd y brodyr J. Spencer a Daniel Jones, Felinfoel. Dywedodd un o'r gweinidogion ar yr achlysur, "fod y cyfarfod hwn yn cyflwyno i'n sylw un o'r golygfeydd hyfrydaf, a mwyaf cynhyrfus a dyddorawl—gweled gwr ieuanc yn mlodau ei ddyddiau, yn nerth ei gyfansoddiad, ac yn mywiogrwydd ei gyneddfau eneidiol, yn cysegru y cyfan at wasanaeth crefydd ein Harglwydd Iesu Grist; wedi dyfod o'r Athrofa ar derfyn ei amser, ac nid wedi ei wrthod yn y Coleg a *slime* drygioni ar ei ol; ond daeth a'i gymeriad yn ddysglaer, a'i wisg yn ddifrychau, a'i athraw mewn modd parchus yn ei gymeradwyo, a'r holl weinidogion cymydogaethol yn cyflawni gwahanol ranau y gwasanaeth. Pethau fel hyn oeddynt ddymunol, ac yr oedd yr eglwys hefyd yn un yn yr alwad, fel nad oedd eisiau gwthio i mewn."

Cawn Mathetes yn awr yn llawn aidd, egni a phenderfyniad, yn taflu ei hun i waith y weinidogaeth. Trethai hyd yr eithaf ei alluoedd corphorol ac eneidiol, a gwnai i ardal Porthyrhyd deimlo fod ei galon yn ei waith, a'i fod yn gymwys i'w swydd. Cydnabyddent ei dalent a'i ras. Deuai cynulleidfaoedd lluosog i'w wrando bob Sabboth. Bu ei weinidogaeth yn hynod lwyddianus yma i enill degau i wisgo am danynt yr Arglwydd Iesu yn y bedydd. Gwisgai yr eglwys wisgoedd ei gogoniant dan ei weinidogaeth. Yr oedd yn uchel yn meddwl yr eglwys fel gwas da i Iesu Grist, ac yn cael parch a sylw mawr gan y cymydogion yn gyffredinol. Yr oedd ar gapel Porthyrhyd pan aeth Mathetes yno £300 o ddyled—dyled fawr iawn y pryd hwnw, yn neillduol i eglwys fel hon. Ymroddodd ef i'w chlirio, a chyn pen tair blynedd yr oedd wedi talu o honi £250; a phe yr arosasai chwe' mis arall cyn ymadael, llwyr dalesid y ddyled. Gweithiai â'i holl egni i godi yr ysgol Sul i safle o effeithiolrwydd ac enwogrwydd, a thrwy ei weithgarwch diflino, enillodd lawer o hen segurwyr anystyriol yr ardal yn bleidwyr selog iddi, ac yn weithwyr

Digitized by Google

difefi ynddi. Elai oddiamgylch y pentref i chwilio am y sawl a arosent gartref ar brydnawn Sul, er eu cael i'r ysgol. Pan yn myned oddiamgylch un prydnawn Sul, daeth o hyd i amryw o'r cymeriadau hyn yn rhywle, a cheisiai ganddynt ddyfod i'r ysgol. Yr oedd gan bob un o honynt ei esgusawd dros beidio myned i'r ysgol, ac yntau a'i ateb yn barod yn eu chwalu. O'r diwedd daeth ar draws un Wil Philip Bach; ac er mwyn ei orchfygu, yn ol fel y tybiai ef, dywedodd yn fawreddog iawn wrtho, nad oedd ganddo un het i'w rhoddi am ei ben, ac nas gallai ddyfod yn ben-noeth i'r ysgol. Yn y fan tynodd Mathetes ei het ei hun oddiar ei ben, a gosododd hi ar ben Wil. Drwy ei ymdrech hunan-ymwadol, llwyddodd yr ysgol Sul, fel y gallesid rhifo ynddi bob Sul tua 150 o ddysgyblion. Ysgol fawr, onide, mewn pentref bychan, gwledig?

Yr oedd Mathetes yn ddirwestwr selog yn Mhorthyrhyd. Yr oedd yn elyn calon i'r cwrw. Siaradai, pregethai a gweddiai, yn erbyn meddwdod. Llwyddodd i gael gan dafarnwyr Porthyrhyd gau drysau eu tai ar y Sabboth. Cydnabyddai hen ddiotwyr fod rhyw ddychryn ac arswyd yn eu meddianu, nes y rhwystrid hwynt, hyd yn nod ar ddydd gwaith, i wynebu drws y dafarn, os dygwyddai Mathetes fyned drwy y pentref ar yr adeg. I egluro ei ddylanwad ar y cymeriadau hyn, a dangos haelionusrwydd ei galon, nodwn un hanesyn dyddorol mewn perthynas iddo. Caiff y Parch. D. Jones, gweinidog presenol Llandilo a Phorthyrhyd, adrodd yr hanesyn: "Pan ar ei daith i bregethu i'r Felinfoel un boreu Sabboth, dygwyddodd Mathetes gyfarfod â theiliwr o'r gymydogaeth hon yn dwyn pac ar ei gefn. Yr oedd y teiliwr wedi bod yn gweithio yr wythnos flaenorol yn Llanelli. Wedi gorphen ei waith prydnawn Sadwrn, cychwynodd i'w daith, gan fwriadu cyrhaedd ei deulu mewn amser cyfaddas. Daeth rhai o'i hen gyfeillion i'w hebrwng hyd bentref y Felinfoel; ond cyn ymadael â'u hen gyfaill, yr oeddynt am ddangos eu parch iddo, trwy roddi iddo lasiad er ei nerthu i deithio y ffordd yn rhwyddach gartref. Wrth yfed a siarad, aeth y gymdeithas yn rhy felus i'w thori i fyny, a'r canlyniad fu, i'r hen walch dderbyn gormod o garedigrwydd, nes meddwi, ac anghofio myned gartref nos Sadwrn. Fodd bynag, pan ddechreuodd ddyfod ato ei hun boreu y Sul, penderfynodd fyned gartref a'r pac ar ei gefn. Pan yn dyfod i lawr i Bont Morlais, o fewn chwarter milldir i Hermon, Llanon, daeth yn ddiarwybod i gyffyrddiad â Mathetes. Clywais yr hen deiliwr yn dweyd lawer gwaith, y buasai yn dda ganddo gael rhyw dwll i ymguddio o olwg Jones. Gofynodd Jones iddo yn lled brysur, beth oedd y rheswm ei fod yn teithio ar y Sabboth a phac ar ei gefn? 'Wel, Syr,' ebai y teiliwr, 'y mae chwe' diwrnod yn rhy fach i enill digon at gynal y teulu lluosog sydd gartref.' "F'allai,' ebe Jones, a ffwrdd ag ef. Dranoeth wedi i Mathetes ddychwelyd i'w lety, anfonodd genad i nol gwraig y teiliwr ato. Wedi gweled y wraig, a gwybod ei hamgylchiadau, archodd iddi fyned i'r felin i hel bwsiel o haidd wedi ei falu (bara haidd oedd yn gyffredin yr amser hwnw), a chosyn o gaws yn ei enw ef, a myned gartref i roddi bwyd i'r plant. Meddienid y wraig â syndod, a methai ddeall beth oedd wedi achosi y fath garedigrwydd, a hwythau heb fod yn aelodau gyda Jones. Gynted daeth y gwr oddiwrth ei waith, dywedodd Mari y cyfan wrtho; a chyn pen fawr o amser, torodd William allan i wylo. Daeth i'w feddwl yn y fan ei fod wedi digio Duw trwy dwyllo ei was. Methodd fyned i'r gwely y noson hono cyn myned at Jones i gyfaddef ei fai, a chyffesu iddo mai y cwrw achosodd iddo fethu cyrhaedd gartref nos Sadwrn. Cymerodd Jones fantais ar yr adeg yma i ddangos i'r teiliwr y perygl oedd yn canlyn yr arferiad o gyfeddach a diota. Bu hyn yn foddion i'r teiliwr ymwrthod â'r cwrw, a daeth ei wraig ac yntau yn bobl grefyddol, a byth oddiar hyny y maent yn ymdrechu cadw yn sanctaidd y dydd Sabboth." Yr oedd y "cwrw bach" mewn bri mawr pan aeth

Digitized by Google

Mathetes i Borthyrhyd; ond ymladdodd yn ei erbyn nes ei lwyr ladd, ac ni chafodd fantais byth wedi hyny i godi ei ben llygredig a dinystriol yn y gymydogaeth.

Teimlai ddyddordeb mawr mewn addysg. Gwaedai ei galon wrth weled y plant yn cael eu magu mewn anwybodaeth. Gwnaeth ymdrech mawr y flwyddyn ddiweddaf y bu yn Mhorthyrhyd i gael ty hardd a chyfleus yn y pentref at gadw ysgol ddyddiol er dwyn manteision addysg o fewn cyrhaedd y plant. Llwyddodd i gael y tir yn weddol rad. Casglodd addewidion da iawn, a chafodd gan ffermwyr y cylch addaw cario pob peth angenrheidiol at adeiladu heb geiniog o dâl am hyny. Gwelwyd dau neu dri llwyth o galch wedi eu gosod yn y fan y bwriedid adeiladu y ty ysgol; ond ar yr adeg hon ymadawodd Mathetes â Phorthyrhyd, diflanodd pob gobaith am gael ty ysgol, gan na chafwyd neb arall hyd heddyw yn ddigon gwrol a phenderfynol i weithio allan y bwriad clodwiw a llesol.

## DECHREU BLWYDDYN.

GAN Y PARCH. D. C. THOMAS (CHRISTOPHER BACH), POMEROY, O.

Frodyr Anwyl—Dyma ni wedi cael y fraint werthfawr o ddechreu blwyddyn newydd—blwyddyn 1883. O! 'r miloedd gladdwyd yn y flwyddyn 1882!—lluaws mawr o gyfeillion hynaws—ond dyma ni yn aros. Pa hyd, nis gwyddom. Bydd raid i ni fyned; ac mor werthfawr y byddai pe caem syniadau dwysach nag erioed. Pan ddel ychydig ddyddiau eto, bydd raid i ninau ymado—myned i ffordd yr holl ddaear, o'r hon ni ddychwelwn. Taith hynod fydd hon, ïe, hynod iawn; y daith sydd yn ein haros ni oll—taith bwysig ryfeddol. Beth bynag fyddant y golygfeydd a ymagorant o'n blaen, myned fydd raid. Beth bynag y teimladau a'n meddianant ar y pryd, myned fydd raid—dim troi yn ol—dim bwrw arfau yn y rhyfel hwnw—dim llonyddwch. Pwysig iawn, onidê? Y mae ynom hyder, er hyny, y bydd yn y daith ddiogelwch—y bydd buddugoliaeth—os dygwydd i'w chanol fod yn arw, y tonau yn chwyddo yn ffrochwyllt, yn arw yr ochr hon, y bydd yn dawelwch mawr yr ochr draw. Pa argraff, tybed, wna ein hymadawiad ar y gymydogaeth, lle ein trigfa, pan ddel angau a'i ddwrn plwm i'n taro yn farwol? Mae y Beibl yn ein dysgu ni y bydd y daith hon yn golled fawr i rai; "Gwae yr anwir, drwg fydd iddo"—y bydd yn enill mawr i eraill—marw yn elw. O! am syniadau dwysach nag erioed o'r blaen.

Dechreuwn y flwyddyn gyda phenderfyniad i ymadnewyddu yn mhob peth, a chyda phob rhan o waith yr Arglwydd. Cofiwn y bydd i ni wrthwynebiadau a rhwystrau—y bydd i ni ein Patmos—a chofiwn hyn hefyd, os poethir y ffwrn saith poethach nag arferol, y gofala yr Arglwydd am i'r dyoddefydd fod saith deg o weithiau yn hapusach na chyn ei brofedigaeth fawr. Y rhai hyny sydd a'u hymgais at wneyd yr hyn sydd dda yn ngolwg Duw (er, efallai, na bydd felly yn ngolwg dynion), a goronir â marwolaeth ddiogel a dedwydd.

Pan y mae dyn yn dyfod i'r byd hwn, daw yma i fyw bywyd byr, yna marw. Pan y bydd plentyn Duw yn ymadael â'r byd, bydd farw i fyw eilwaith, am byth mewn nef wen. Beth yw yr aur waeth o'r tân fu yn ei buro? Dim. Gallai Paul a Silas ganu yn y carchar! Gwir, fod ein hamser yn fyr. "Dyn a aned o wraig sydd fyr o ddyddiau, a llawn o helbul"—yn ansicr—wyddom ni mo'r dydd na'r awr—yn bwysig iawn, am fod byd arall ar ol hwn. Am hyny dylem brynu yr amser, h. y., gwneyd iawn ddefnydd o hono. Da yw i ni gofio, er i ni hau yr had mewn dagrau, y cawn fedi y cnwd mewn gorfoledd. Diolch am hyn. Yn y nef y mae wmbredd o gyfoeth, ond ni cheir yn ei holl ororau hi dlodion i'w derbyn. Yn uffern y mae torf o dlodion, gwir dlawd; ond ni cheir yno ddim cyfoeth er gwella eu cyflwr. Y mae yn warth i lawer dyn cyfoethog yn y

Digitized by Google

byd hwn, ei fod wedi derbyn y fath helaethrwydd o gyfoeth, ac yntau yn cyfranu mor brin, mor lleied i'r tlodion. Nid yw mawredd a helaethrwydd o gyfoeth y byd hwn yn un rheswm fod yr hwn a'u meddiana yn meddu ar galon dda; nac ydyw yn wir. Ceir llawer dyn nad yw o fawr les i neb tra yn fyw—byw iddo ei hun y mae. Y dyn a rydd bris arno ei hun yn ol y cyfoeth a feddiana, ac nid yn ol yr hyn ydyw, sydd yn debyg i bictiwr ar ddarn o *din* mewn ffrâm o aur—yn rhoi pris ar y pictiwr yn ol y ffrâm sydd o'i gylch. Gall aur a chrefydd fyw gyda'u gilydd, ond di-os genyf fod y gronyn lleiaf o ras yn y galon yn fwy dewisol na'r gadwen aur harddaf fu am wddf dyn erioed.

Yn y byd hwn ceir hi yn ddrwg ar y dyn duwiol—yn dda ar yr annuwiol. Y rhai sydd yn mwynhau mwyaf o Dduw yn y byd hwn a gânt waethaf y byd yn fynych. O dan y ddeddf, y golomen oedd yn dderbyniol, ac nid y mochyn. Gwir, y mae cyfoeth yn effeithiolach i wendid moesol nag i gryfhad y galon. Y mae cyfoeth wedi gwneyd llawer dyn gweddol yn ddyn gwael; eto am gyfoeth y mae ein cân. Anfynych y gwna cyfoeth ddyn drwg yn ddyn da. Os gwneir y Cristion yn ddedwydd yn y byd, cofiwn mai nid y byd a'i gwna felly.

Blwyddyn newydd dda i olygydd y Wawr, yn nghyda'i gohebwyr, a'i holl ddarllenwyr.

---

## DYFYNIADAU

O "Ystyriaethau ar Ddiwygiad o'r Testament Cymraeg. *Gan y Parch. W. Edwards, B. A.*, Llywydd Athrofa Pontypwl."

---

"Nid wyf yn gwybod am unrhyw beth yn y Gymraeg yn dilyn ar yr un llinell a'r llyfr bychan hwn; ac yr wyf yn hyderu y bydd o les a chymorth i laweroedd, yn enwedig i athrawon ac ysgolheigion addfetaf ein hysgolion Sabbothol. Yr wyf wedi ymdrechu rhoddi yn y modd mwyaf syml fy rhesymau dros ddiwygiad mewn gwahanol gyfeiriadau. Yr wyf hefyd yn credu y bydd i'r darllenydd weled, pan yr ystyria yr holl resymau a ddygir yn mlaen, fod eisiau Cyfieithiad Diwygiedig o'r Testament Cymraeg. Yr wyf yn gwybod fod llawer yn wrthwynebol i'w gael, ac y mae rhai wedi datgan eu gwrthwynebiad mewn iaith gref. Yr ydym yn parchu teimlad y rhai hyn, ond ni feddyliwn mor uchel am eu barn. Mewn un ystyr, mae yn drueni gosod bys beirniadaeth ar 'Feibl Mawr fy Mam;' ond wedi'r cwbl, y peth iawn yw gwneyd ein goreu i berffeithio, mor bell ag sydd bosibl, ein Cyfieithiad o 'Feibl Glan fy Nuw.'"

"Yn y diwedd, yn y flwyddyn 1620, deuddeg mlynedd ar hugain ar ol cyhoeddiad Beibl Dr. Morgan, cyhoeddodd Dr. Parry ei Feibl, yr hwn yw ein Beibl presenol ni. Y mae wedi bod yn llusern Cymry am 261 o flynyddau. Y mae yn 'Air doeth, yn gyfoeth i gyd,' ac wedi rhoddi ymborth a chysur ysbrydol i filoedd lawer o Gristionogion gloewon ein gwlad. Y mae fel teml gysegredig yn yr hon y mae cenedlaethau wedi bod yn addoli, ac y mae heddyw yn sefyll yn gadarn ar ei sylfaeni. Nid oes neb yn meddwl am ei thynu i lawr, a'i hadeiladu o'r newydd, ond ei hadgyweirio ychydig yma a thraw, lle y mae angen am hyny. Saif ei phileri fel o'r blaen, ni syflir ei cholofnau; dyrchafa ei phinaclau eu penau i entrych glas nen cariad Duw fel cynt; ni cha ei hallor ei symud, na'r aberth ei gludo ffwrdd; ni thynir ymaith yr un edefyn a berthyn i'r llen, ac ni theflir ffwrdd yr un gareg a osodwyd gan Ysbryd Duw; ni cha yr addolwyr eu terfysgu pan y bydd y gwaith o adgyweirio yn myned yn y blaen; ond gobeithiwn yr addolant mewn teml well, a harddach, wedi i wê cyfieithiadau a darlleniadau anghywir gael eu symud, pan y bydd ei ffenestri wedi eu glanhau unwaith eto, a phan y bydd goleuni y nef yn dyfod trwyddynt yn bur a bendithlawn."

"Yr ydym wedi gweled yn barod y sylfaen ansicr ar yr hon y cafodd y Testyn Derbyniedig ei godi, sef ychyd-

Digitized by Google

ig iawn o lawysgrifau, a'r rhai hyny yn hynod ddiweddar. Ni wyddai neb am fodolaeth y pedair ysgrif henaf. Ni thalodd y golygwyr sylw dyladwy i Codex D. Nid oedd yr hen gyfieithiadau wedi cael eu hastudio, ac nid oedd gweithiau y tadau wedi cael eu chwilio. Yr oedd beirniadaeth destynol yn ei mabandod, ac nid oedd defnyddiau ar law i'w gwneyd yn wyddoniaeth. Heddyw y mae yn hollol wahanol. Y mae llawysgrifau wedi eu darganfod a gawsant eu hysgrifenu mor foreu a chanol y bedwaredd ganrif. Y mae y rhai hyn wedi eu cydgymharu gan ysgolheigion a dysgawdwyr goreu yr oesoedd diweddaf hyn. Y mae yn agos i 1800 o wahanol ysgrifau wedi eu gosod dan dreth, er mwyn rhoddi i ni Air Duw mor bur ag sydd bosibl yn yr iaith wreiddiol. Y mae cyfrolau lluosog a helaeth y tadau wedi eu myfyrio yn fanwl, ac y mae yr hen gyfieithiadau wedi cael eu dwyn allan o'u cuddfa oesol, ac y maent wedi taflu goleu newydd ar lawer rhan o'r Gyfrol werthfawr. Mae y dysgedigion penaf bron yn unol yn nghylch yr hyn ddylai ffurfio y Testyn Cysegredig, yr hwn, yn lle cael ei adeiladu ar y tywod, sydd megys adeilad harddwych yn ymorphwys ar graig nas gall magnelau beirniadaeth ei niweidio, na thonau gwrthwynebiad ei syflyd. Ugeiniau o weithwyr cydwybodol a ffyddlon ydynt wedi bod yn llafurio yn annibynol y naill ar y llall, ac eto wedi dod i'r un penderfyniad boddhaol! Fel hyn y mae Testyn Groeg y Testament Newydd mewn sefyllfa wahanol iawn yn awr i'r hyn oedd yn agos i 300 o flynyddau yn ol, pan y cafodd ein cyfieithiad ei wneyd; ac yn lle rhyw ddeg neu ugain o lawysgrifau diweddar ac israddol, y mae genym yn agos i 1800 at ein gwasanaeth—rhai o honynt yn cyrhaedd yn ol fel llinynau arian drwy yr Oesoedd Tywyll, ac efallai o fewn 250 o flynyddoedd i'r cyfnod apostolaidd; y mae yr hen gyfieithiadau o Peshito yr ail ganrif i lawr fel colofnau grymus yn cynal i fyny yr adeiladwaith ddisyfl; ac y mae ysgrifeniadau y tadau o ddyddiau Irenæus fel cynal-furiau yn rhoi nerth i'r oll."

"Nid yw swydd Beirniadaeth Destynol ond *ailraddol* a *nacaol*. Nid yw ond ailraddol, oblegid nid yw o ddefnydd ond pan fyddo gwallau yn y Testyn. Mewn perthynas i'r rhan helaethaf o lawer, ni chyfarfyddir â gwahaniaeth o gwbl; ac felly, ni cha beirniadaeth le i osod ei throed i lawr. Ni choleddir unrhyw amheuaeth am burdeb saith o bob wyth o'r geiriau. Yn ol cyfrif Westcott a Hort, rhyw *un* gair o bob *mil* a gynwysa wahaniaeth pwysig. Wrth ystyried hyn, y mae rhai yn barod i ddywedyd, gan fod y camddarlleniadau ydynt o bwys mawr mor ychydig, 'Nid ydynt o werth y drafferth a gymerir i'w symud, a gosod y gwir ddarlleniadau yn eu lle.' Yr un modd gellid dywedyd, nad oedd y Bugail Da ond ffol am gymeryd y fath drafferth, a dangos y fath amynedd wrth chwilio am y ddafad a gollasid, gan fod ganddo namyn cant yn ddiogel yn ei gorlan; a gellid galw y fenyw a gollodd y darn arian yn fyr o synwyr cyffredin ac ymarferol, ac yn ymylu ar benwendid, am iddi chwilio mor ddyfal am y drachma fychan, a chadw y fath rialtwlch gyda'i chymydogion, pan yr oedd ganddi naw o ddarnau arian yn ei meddiant yn ddiogel. Y mae beirniadaeth destynol, trwy grwydro trwy anialwch dyrys yr hen lawysgrifau ac ysgrifeniadau eraill, wedi bod yn alluog i ddwyn yr hyn oedd wedi ei golli o Air Duw yn ol drachefn, a'i osod yn ei le priodol. Y mae rheolau neu ganonau wedi eu gosod i lawr, y rhai a'n cynorthwyant yn fynych i gael allan y gwir ddarlleniad, pan na byddo yr awdurdodau allanol yn ddigon o honynt eu hunain i benderfynu y gwir destyn. Cynyrch astudiaeth fanwl o'r prif lawysgrifau yw y rheolau hyn. Ni ddylid eu cymwyso yn gyffredinol, oblegid nid egwyddorion gwirebol ydynt, ond casgliadau a dynir ar ol myfyriaeth eang a phrofiad dwfn. Ceir eu bod o wasanaeth mawr, ac o rym diymwad yn mhenderfyniad llawer iawn o ddarlleniadau. Gosododd Bentley i lawr ddeg o'r canonau hyn. Trefnodd Griesbach hwynt, ac ysgrifenodd yn helaeth arnynt."

***

Digitized by Google

# Bwrdd y Golygydd.

## DR. PRICE, ABERDAR.

Mae yn bleser mawr genym hysbysu ddarfod i'r Parch. Ddr. Price, Aberdar, dderbyn y rhodd werthfawr o £150 o'r *Royal Bounty Fund.* Y Parch. Lewis Evans, Merthyr, a Mr. John Vaughan, cyfreithiwr, Merthyr, a gymerasant y mater mewn llaw, a'r canlyniad fu i Mr. Gladstone, yn gyson â'i ddyngarwch, arferol, ganiatau y rhodd o £150 i Dr. Price, o'r Drysorfa a nodwyd. A ganlyn sydd ohebiaeth a gymerodd le, yn dal cysylltiad a'r rhodd:

"Ashton, Clinton, Dec. 18, 1882.

*Dear Sir*—On the 25th of October last, you wrote to me concerning the Rev. Dr. Price, of Aberdare, requesting me to use any influence I might have with the Prime Minister on behalf of so good a man. I instantly did so; and I am convinced that it will be a source of no small satisfaction to Dr. Price, to you, and his many friends, to learn that Mr. Gladstone has very generously granted a sum of £150 for his assistance, out of the Royal Bounty Fund. Will you be kind enough to let me know to whom this money should be paid, and I will communicate with the proper authorities.

Yours faithfully,
CYRIL FLOWER.

Rev. L. Evans, Merthyr."

"10 Downing Street, Whitehall,
December 16, 1882.

*My Dear Flower*—Some time ago you brought under Mr. Gladstone's notice the case of Dr. Thomas Price, for assistance from the Royal Bounty Fund; and I am glad to inform you that Mr. Gladstone has given directions for the issue to him of a sum of £150 in aid of the subscriptions which have already been raised by Dr. Price's friends. You will kindly let me know to whom the money should be sent, the necessary steps will be at once taken in the matter.

Yours sincerely,
HORACE SEYMOUR.

Cyril Flower, Esq., M. P."

## HEN GYFEILLION.

Yn gymaint a bod tysteb yn cael ei gwneyd yn Nghymru i Dr. Price, Aberdar, a Mr. Gladstone wedi cyfranu mor ardderchog tuag ati, oni ddylem ninau fel Bedyddwyr Cymreig yn America, wneyd rhywbeth yn y cyfeiriad hwn? Mae yn y wlad hon yn ddiau ganoedd o gyfeillion i'r Dr. Price, a llu o rai fuont yn aelodau yn ei eglwys, ac a gawsant eu bedyddio ganddo—a fuont yn wrthddrychau neillduol ei ofal a'i serch, ac a dderbyniasant argraffiadau cyntaf crefydd o dan ei weinidogaeth. Ni allwn lai na chredu nad oes y'mhlith y rhai hyny yn neillduol, luaws fuasent yn teimlo yn dda i roddi eu cyfran, pe ond bechan, tuag at chwyddo y dysteb dan sylw, a sirioli meddwl a chalon y Dr. Price pan y mae blynyddau yn amlhau arno. Y mae efe yn haeddu gwneuthur o honom hyn iddo; a'r peth lleiaf a allem wneyd fyddai bwrw ein hatling i'r drysorfa.

Rhag y bydd hyn yn syrthio i'r llawr heb gael ei roi gan arall yn ffurfiol o flaen y cyhoedd yn y wlad hon, yr ydym ni yn cynyg gwneyd a allwn er sicrhau tanysgrifiadau. Yr ydym, gan hyny yn addaw derbyn unrhyw symiau a anfonir i ni yma, a chyhoeddi y symiau gyda'r enwau yn y WAWR, fel y delont i law, ac yna trosglwyddo yr arian i'r person priodol yn Nghymru. Lle mae hen gyfeillion y Dr. Price? Profwch eich hunain felly, a gadewch i ni glywed oddiwrthych yn fuan.

Cyfarwydder pob llythyrau atom i Utica, fel arferol.

Digitized by Google

## Y "LLAW-LYFR MOLIANT."

Mae y llyfr hwn yn cael ei werthfawrogi yn fawr, yma yn America, yn gystal ag yn Nghymru. Mae archebion am dano yn dod i law yn feunyddiol. Yr ydym wedi anfon am gyflenwad newydd, a dysgwyliwn .y bydd wedi ein cyrhaedd yn mhen chwech wythnos. Fel y canlyn y dywed Mr. Humphrey Jones, Judson, Minn., yr hwn sydd yn gantor rhagorol, ar ol derbyn copi o'r "Llaw-lyfr Moliant" yn ddiweddar: "Mae y llyfr mwyaf hwylus a ddaeth i fy llaw erioed, a golygu y tônau a'r emynau gyda'u gilydd. O, mae yn dwt a phert iawn, yn wir."

## ADOLYGIAD Y WASG.

Ystyriaethau ar Ddiwygiad o'r Testament Newydd Cymraeg. Gan y Parch. W. Edwards, B. A., Llywydd Athrofa Pontypool Aberdar: Argraffwyd gan Jenkin Howell, Commercial Place.

Yn ychwanegol at y dyfyniadau o'r gwaith hwn a welir yn y rhifyn presenol, ychwanegwn rai sylwadau adolygiadol. Un o'r pethau sydd ar ffordd y werin i ddeall hanes yr Ysgrythyrau—y testynau gwreiddiol a'r cyfieithiadau oddiwrthynt, a'r ffordd y darganfyddir ac y diwygir cam-ddarlleniadau, ydyw, fod y dull y trinir hwynt yn ddysgedig, yn drofaog, yn fanwl a dyeithr, fel y mae yr anghyfarwydd yn digaloni, yn blino ac anobeithio, wrth geisio eu deall, a'u cael yn glir i'w feddwl. Yr ydym wedi teimlo hyn ein hunan lawer tro. Un o ragoriaethau "yr ystyriaethau" hyn ydyw, eu bod yn rhoddi hanes y llawysgrifau a'r cyfieithiadau, a'r dull y darganfyddir gwallau, ac eu symudir, mewn modd syml, difyr a phoblogaidd. Ond i'r darllenydd sylwi ar y "dyfyniadau" a wneir yn y Wawr hon, mae yn hawdd iddo weled fod hyn yn wir. Mae y mwynhad a geir wrth ddarllen hanesyddiaeth, hynafiaethau, rhamant, barddoniaeth, rhesymeg, yn gymhlethedig yn "yr ystyriaethau" gwerthfawr hyn.

Pan ddarllenodd yr awdwr fraslinelliad o'r gwaith o flaen Undeb Bedyddwyr Cymru, yn Nhreorci, flwyddyn i'r Hydref diweddaf, cymerodd y cyfarfod "*by storm.*" Yr oedd hyn i bawb fel codiad haul o'r uchelder. Cymellwyd yr awdwr yn y fan i'w ddwyn allan yn llyfr, gydag ychwanegiadau. Y mae hyn yn awr wedi ei wneyd yn ardderchog. Pwy bynag sydd yn awyddus am gael hanes yr Ysgrythyrau, y llawysgrifau, y cyfieithiadau, a'r ffordd i gael testyn cywir, myner y llyfr hwn. Yr ydym wedi anfon am nifer o gopiau, a dysgwyliwn y byddant wedi ein cyrhaedd yn fuan. Pawb fyddo am danynt, anfonwch mewn pryd. Dyma y cynwysiad:

I. Braslun o hanes y Testament Cymraeg.

II. Hanes ffurfiad y testyn derbyniedig Groeg.

III. Sefyllfa bresenol y testyn Groeg.

IV. Crynodeb o hanes y prif lawysgrifau, cyfieithiadau, ac ysgrifeniadau y tadau, ydynt o bwys yn ffurfiad y testyn Groeg.

V. Achosion gwahanol ddarlleniadau.

VI. Canonau beirniadaeth destynol.

VII. Gwrthwynebiadau i ddiwygiad.

VIII. Darlleniadau anmhur ac amheus.

IX. Amrywiol engreifftiau o gamgyfieithiadau.

X. Camgyfieithiadau, &c., o enwau priodol.

XI. Camgyfieithiadau o deitlau a swyddau.

XII. Camgyfieithiadau o fesurau, pwysau, a darnau o arian.

XIII. Y dymunoldeb o ddefnyddio, fel rheol, yr un gair Cymraeg am yr un gair Groeg.

XIV. Y dymunoldeb o arddangos yr amrywiaeth a ganfyddir yn y testyn Groeg.

XV. Camgyfieithiad o'r fannod.

XVI. Camgyfieithiadau o arddodiad.

XVII. Gwallau yn nghyfieithiadau lleisiau, moddau, ac amserau berfau.

XVIII. Y defnydd a wneir o Italigion.

Digitized by Google

XIX. Gwallau gwahannodaeth, a rhaniadau i benodau ac adnodau.

XX. Geiriau anarferedig.

## MAN-LEWYRCHIADAU.

—Galwn sylw at yr hysbysiad a welir ar du dalen olaf amlen y rhifyn hwn, am lyfr newydd, gan y Parch. D. S. Thomas, Shenandoah, Pa. Y tebygolrwydd yw y bydd hwn yn llyfr gwerthfawr, yn cynwys llawer o oleuni ar bynciau angenrheidiol eu gwybod, a hyny mewn arddull ddarllenadwy i'r cyffredin. Mae yr awdwr yn ddyn ieuanc llafurus, a thra theilwng o gefnogaeth yn yr anturiaeth hon.

— Gwelir oddiwrth ohebiaeth yn mhlith yr Hanesion Cartrefol y mis hwn, fod yr eglwys Fedyddiedig Gymreig yn Oshkosh, Wis., heb daro eto ar weinidog newydd, a bod yr eglwys yn barod i ohebu ag unrhyw frawd da yn y weinidogaeth a fuasai yn teimlo ar ei galon i symud i'r gorllewin. Mae yno le gwerth ei gael i ddyn o gymwysderau gweinidogaethol derbyniol, ac yn gallu pregethu tipyn o Saesneg pan fyddai angen.

— Bydd yn dda gan gyfeillion y Parch. John Seth Jones, Remsen, ddeall ei fod yn parhau yn serchiadau pobl ei ofal. Nid oes eisiau gwell prawf o hyny na'r *donation* ardderchog y maent yn ei wneyd iddo bob blwyddyn, a'r un fath eleni eto.

—Mae Mr. D. Lloyd Jones, Pittsburgh, Pa., Ysgrifenydd Pwyllgor Cofgolofn y diweddar Barchedig Moses Wright, yn cymell, mewn man arall, ei hen gyfeillion ac eraill i anfon tanysgrifiadau i mewn mor fuan ag y gellir.

—Mae y Parch. W. M. Evans, Freedom, Cattaraugus, N. Y., yn canmol pobl ei ofal. Deallwn fod yr achos goreu yno mewn cyflwr tra chysurus.

—Lle mae Ednyfed, tybed? Bydd ein darllenwyr yn dysgwyl cael llith ganddo cyn hir bellach.

—Un rhifyn eto, a bydd y seithfed gyfrol o "Doriad y Dydd" wedi ei chwblhau. Diolchwn yn galonog i'n goruchwylwyr a'n derbynwyr am eu cefnogaeth, ac erfyniwn am barhad o'r unrhyw yn y dyfodol.

—Anogwn ein darllenwyr meddylgar i "gymeryd pwyll" wrth ddarllen "Llenyddiaeth y Dydd," yn y rhifyn hwn.

—Gorfodwyd ni, o herwydd prinder gofod, i oedi cyhoeddi Adolygiad y Wasg, Barddoniaeth, ac amryw Gofiantau. Mae amynedd yn rhinwedd.

## "Y BAI RHY DEBYG."

*Mr Gol.*—Ychydig flynyddoedd yn ol bu llawer o ysgrifenu ar "y bai" hwn; ond mewn ystyr arall yr edrychwn arno yn bresenol. Yn y WAWR am Rhagfyr diweddaf gwelais englyn i'r "Tafod," a rhyfedd mor "debyg" ydyw i englyn Dewi Wyn o Essyllt, yr hwn a ymddangosodd yn y *Western Mail* tua saith mlynedd yn ol. Wele englyn Dewi:

Seiniedydd ein syniadau—a gwridog
Greawdydd ein geiriau,
Yw'r tafod croch—yn gloch glau,
Eneidiol ei thôn nodau.

Dyma eto yr englyn a ymddangosodd yn y WAWR:

Seiniedydd ein holl syniadau—allwedd
Drws cell ein meddyliau,
Yw'r tafod croch, mae'n gloch glau,
Eneidiol ei thôn nodau.

## GOFYNIAD O WILKESBARRE.

*Mr. Gol.*—Gofyna Mr. D. D. Roderick i mi, dros eglwys Wilkesbarre, "A ydyw yn rheolaidd i eglwys berthynol i'r Gymanfa Gymreig dderbyn llythyr gollyngdod o eglwys Seisnig Rolling Mill Hill, Wilkesbarre?" Dywedaf fy marn bersonol yn y mater—nid yn swyddogol fel Ysgrifenydd y Gymanfa.

Deallwyf fod yr eglwys grybwylled-

Digitized by Google

ig wedi ei derbyn yn aelod o Gymanfa Americanaidd y Wyoming—ei bod wedi ei chydnabod gan eglwysi a gweinidogion y Gymanfa hono fel eglwys *Seisnig* reolaidd. Deallwyf hefyd mai yn yr iaith Gymraeg y mae gan amlaf yn dwyn yn mlaen ei gwasanaeth crefyddol. Os felly, *false pretense* ar ran yr eglwys oedd y mudiad. Nis gwn fod yr eglwysi Cymreig, na phwyllgor y Gymanfa Gymreig wedi cael eu galw i gydymgynghori parth y corphoriad. Nid wyf fi yn ei chydnabod fel eglwys reolaidd tra yn dwyn yn mlaen ei gwasanaeth crefyddol yn yr iaith Gymraeg. Yn gyfryw, ystyriwyf hi yn afreolaidd, a llythyr gollyngdod oddiwrthi yn ddiwerth yn nghylch ein cymanfa ni.

J. P. Harris.

---

## "GOFIDUS" AC EILON MON.

*At y Parch. H. O. Rowlands, M. A., Oshkosh, Wis.*

Anwyl Frawd—Tybiwyf i mi, trwy ymholi, gael allan, ar seiliau lled sicr, mai chwi ydyw y gwr "Gofidus" a ysgrifenodd yr erthygl a ymddangosodd i harddu lliw y Wawr am fis Ionawr, eleni, dan yr enw Gofidus, yn yr hon yr ydych yn tuchan ac ochain, ac yn bytheirio, mewn ofn a dychryn mawr, rhag i ryw "Hen berygl ymadnewyddu" yn nghylch rhywbeth a barodd i ryw rai "losgi eu bysedd," flynyddau yn ol. Gan eich bod yn awgrymu yn ddigon eglur, er yn ceisio cadw fy enw allan mewn modd llechwraidd a llwfr, annheilwng o weinidog y First Baptist Church, Oshkosh, mai gosod eglwysi y Bedyddwyr ar eu gwyliadwriaeth rhag cymeryd eu llygru genyf fi, trwy fy mod yn "gwthio dyn diymddiried" i bwlpudau y Bedyddwyr. trwy fy mod wedi dyferu gair ffafriol i Eilon Mon, mewn ysgrif fechan o'm heiddo, ar fater arall, i'r *Wasg*, rai misoedd yn ol, mai myfi yw y dyn peryglus hwnw. Yr ydych chwi, anwyl frawd, yn gwybod, neu fe ddylech wybod, nad oes neb perthynol i enwad y Bedyddwyr mwy aiddgar dros anrhydedd yr enwad nag ydwyf fi. Mae yn syndod genyf eich bod chwi, anwyl frawd, yn medru ymostwng eich hun i arfer dull mor isel a gwawdlyd at ddywediadau "brawd a chyfaill" yn y weinidogaeth, fel yr ydych yn arfer arddelwi eich hun yn eich perthynas â mi er's blynyddau bellach, megys, "Mae Doctor (Doctor yn wir!) * * * yn cael ei wthio ar ein henwad fel *star of the first magnitude*."

Yn awr, anwyl frawd, dylech wybod nad myfi a roddes yr urdd-enw ar Eilon Mon, ond ei fod wedi ei enill yn deg trwy ymroddiad a llafur, a derbyn y *diploma* o *Eclectic Medical College* Chicago, Ill. Mae Eilon Mon yn *Ddoctor* mor reolaidd ac anrhydeddus ag ydych chwithau yn *M. A.* Ffolineb creadur anwybodus a hunanol oedd galw Eilon Mon yn D. D. yn un o'r llythyrau bryntion a gwawdlyd a ysgrifenodd plant cenfigen am dano i'r *Drych* a'r *Wasg*. Dynion na wyddent ragor rhwng M. D. a D. D. Dyna *stamp* gwawdwyr Eilon Mon!

Am ieithyddiaeth Dr. Hughes, nid wyf yn proffesu fy mod yn gwybod dim, namyn ei fod yn adnabyddus o'r Hebraeg a'r Groeg i'r graddau ag y mae pregethwyr cyffredin, fel chwi a minau, yn gwybod yr ieithoedd hyny. Am y Lladin, ni chawsai y *diploma* heb ei fod yn gydnabyddus a hi. Gyda golwg ar y *modern languages*, nis gallaf farnu, yn mhellach nag ei fod yn siarad y *French* a'r *German*, ac yn hysbys o frawddegau a thermau yr Eidalaeg a'r Hispaenaeg. Byddai yn llawer anrhydeddusach i chwi, ac i bawb sydd yn gofidio o herwydd dysgeidiaeth Eilon Mon, roddi prawf ar ei alluoedd a'i fedr, cyn dechreu ei fychanu a'i wawdio. Medrodd Pilat wawdio yr Arglwydd Iesu, gan ddywedyd yn ddirmygol, "Beth yw gwirionedd?" Rhoddwch brawf ar Eilon Mon yn gyntaf.

Gyda golwg ar ei gymeriad, ni soniais air am y fath beth yn fy ysgrif i'r *Wasg*, yr hon sydd wedi eich poeni, eich gofidio a'ch syrffedu gymaint! Nid oedd genyf ddim i'w ddywedyd am dano yn yr ystyr hwnw, o herwydd

Digitized by Google

nid oedd wedi bod ddigon o hyd gyda y Bedyddwyr i ddadblygu ei gymeriad fel dyn a Christion; ac nid oes a fyn y Bedyddwyr a dim o'r hyn oedd Eilon Mon pan yn Fethodist. Methodistiaid a genedlasant Eilon Mon; Methodistiaid a daenellasant Eilon Mon; Methodistiaid a dderbyniasant Eilon Mon i'w heglwys; Methodistiaid a godasant Eilon Mon i'r pwlpud. Bu Eilon Mon yn pregethu ddigon o hyd gyda y Methodistiaid iddynt wybod am ei gymeriad; ac os nad oedd yn deilwng, paham y codasant ef i'w pwlpud? Os yw Eilon Mon wedi eu gadael, beth sydd a fyno y Methodistiaid ag ef mwyach? Ai wrth ewyllys y Methodistiaid y mae y Bedyddwyr i weithredu? Ai "swyddfa y *Drych*" sydd i ddyweyd i'r Bedyddwyr pwy sydd i fyned i'w pwlpudau? A ydyw y Parch. H. O. Rowlands, gweinidog parchus First Baptist Church Oshkosh, yn derbyn aelodau i'w eglwys trwy lythyrau cymeradwyaeth oddiwrth y Methodistiaid, neu ryw daenellwyr eraill?

Beth bynag oedd Eilon Mon pan yn Fethodist, nid oes a fynom ni a hyny. Bedyddiwyd ef yn rheolaidd, gan weinidog rheolaidd, ac eglwys reolaidd. Derbyniwyd ef yn rheolaidd i'r eglwys, codwyd ef i bregethu yn rheolaidd gan yr eglwys. O hyn allan, y mae Eilon Mon yn aelod o enwad y Bedyddwyr, trwy ei fod yn aelod rheolaidd, a bydd gan y Bedyddwyr hawl arno i'w ddysgyblu, os na fydd yn byw yn deilwng o'i broffes uchel a sanctaidd; ac os yn byw yn deilwng, mae ganddo yntau hawl i gydymdeimlad ac amddiffyniad yr enwad.

Rhaid i mi ddyweyd wrthych, anwyl frawd, nad ydych yn gwybod a deall trefn eglwys fel y mae y Bedyddwyr Cymreig yn ei dal i fyny trwy yr oesau. Nid rhyfedd hyny, canys gyda y Methodistiaid y codwyd chwi i ddechreu, ac ni fuoch awr erioed yn weinidog gyda y Bedyddwyr Cymreig. Gwyddoch chwi, a gwn inau, a gwyr eglwysi Bedyddwyr Wisconsin, nad oes nemawr o help i'w gael i'r Bedyddwyr Cymreig oddiwrthych. Pe deuech i gynadledd Cymanfa Gymreig, ni byddai genych fwy o hawl i siarad ynddi, heb ganiatad y Gymanfa, mwy na phe baech yn Fethodist, neu ryw enwad arall. Oni fyddai yn well i chwi, anwyl frawd, dynu eich cyrn atoch, rhag y byddant yn eich dal mewn dyrysni, fel hwrdd Moriah i Abraham gynt?

Nid oeddwn heb wybod beth i wneyd pan yr ysgrifenais air o blaid galluoedd mawrion Eilon Mon, oblegid yr wyf yn dyweyd eto, mai dyn gwir fawr a galluog yw Eilon Mon, a byddai yn *star of the first magnitude* yn wybren pregethwrol y Bedyddwyr Cymreig, oni bae eich bod chwi, anwyl frawd, a chydymdeimlwyr â Methodistiaeth, yn benderfynol i'w ladd a'i ddyfetha. Rhodder chwareu teg iddo am ei fywyd, pryd nad yw efe wedi gwneyd dim yn haeddu angau, er pan y ganwyd ef o ddwfr y bedydd i fywyd newydd, gyda'r Bedyddwyr. Os na fydd Eilon Mon yn byw yn deilwng i'w broffes lân, yr wyf yn sicrhau i chwi, ar g'oedd gwlad, y cewch chwi glywed mai myfi fydd y cyntaf i'w argyhoeddi. Ond tra y byddo yn byw yn deilwng o grefydd Mab Duw, yr wyf yn rhoddi i chwi fy ngair na chewch chwi na neb arall ei ladd, tra y byddo genyf hawl gweinidog yn enwad y Bedyddwyr, heb beri archollion rhy ddyfnion i'r oes bresenol allu eu gwellâu.

Gyda golwg ar y *charge* a ddygwch yn erbyn Eilon Mon, "fel dyn anonest," mae yn debyg mai mewn llys gwladol y byddwch yn profi hyny, oblegid gormod peth yw tori cymeriad dyn ieuanc dysgedig a galluog, fel dinesydd Americanaidd, heb i awdurdodau gwladol yr Unol Dalaethau benderfynu rhwng yr enllibwyr a'r enllibiedig. Cwynwch yn arw fod eich *interference* ag eglwys Salem, Oshkosh, wedi lleihau ymddiriedaeth y bobl yn eich egwyddor a'ch anrhydedd. Nis gwn ddim am hyny, ond gwn mai arnoch chwi yr oedd y bai i *interferio* mewn peth nad oedd yn perthyn i chwi. Gwyddai dynion eraill yn dda beth oedd y dyn dyeithr hwnw; ond diys-

Digitized by Google

tyrwyd y dynion hyny, ac ymgyngorwyd a chwi; a'r canlyniad fu, i chwi gael clwyf. Nid gormod *compliment* i Eilon Mon fyddai dweyd, mai dedwydd fyddai y Second Baptist Church Oshkosh, pe yn sicrhau gwasanaeth Eilon Mon fel gweinidog. Byddai hyny yn iechyd i Oshkosh, ac yn lles i Fedyddwyr y Dalaeth. Dywedwch chwithau, "Gwyliwch rhagddo, oblegid gwnaf fy ngoreu yn ei erbyn."

Eich serchog frawd,

*Bevier, Mo.* H. O. PARRY.

# Barddoniaeth.

## DYDD Y FARN.

Efallai pan b'o natur
Mewn gwisg ardderchog fwynbur,
Yn harddwych wenu,
Pan byddo clôg y coedydd
Yn gain mewn gwawr ysblenydd,
Yn mwyn olygu,
Y bydd it' ddarllen ar ryw ddydd
Fy ngwirddwys ganiad, ar ymddatodiad
Holl anian lwysfad a'i rhaniad; pan y rhydd
Yr hanes i ti syndod,
Dan gysgod teg y gwŷdd;
Ond daw yr amser llawn o fraw:
Y gwir ymadrodd, Duw a'i llefarodd,
Yr hwn a ffurfiodd, a luniodd nef a'i law;
Yr hwn wna'r gwynt i bwyllo,
A'r môr i dreio draw.

Y creigiau cedyrn mawrion
Ar enyd yn ysgyrion
Roir ar wasgariad;
A chwymp yr uchel fronydd,
Yn nghyd a'r talion elltydd,
Ar un ysgogiad:
Yn dân, aiff harddwch natur lân;
Ein daear dodda gan wres erchylla',
Trwy 'i pharthau mwyna' a hagra'n ddiwahân;
A gwyddion lysiau 'i gerddi,
A'i meini 'n ulw mân.
Rhyw ddydd, ofnadwy iawn a fydd!
Dydd braw a gwelwi, dydd mawr y cyfri',
Dydd barn Duw Celi, sydd ini'n rhoddi'n
Uchelbris ddoniau glwysfad [rhydd,
Mewn cariad heb ddim cudd.

Daw Iesu gyda'i weision,
Gôr harddwych o angylion,
Ar y cymylau;
Ac udgorn yr archangel
Rydd ddolef gadarn uchel,
Trwy'r ban wybrenau;
A'r rhai fo'n gorwedd yn y clai,
A than y tonau mewn cudd ogofau,
Dd'ont yn filiynau, o'u holl garcharau'n chwai,
Ryw dyrfa fawr o feirwon,
Rifedi meillion Mai:
I'r lan yn glau e'u cyrchir, pan
Y cânt eu dedfryd, mewn trag'wyddolfyd,
Yn bur ddedwyddyd, a rhwyddfyd byth i'w
Neu ynte wau truenus, [rhan,
Mewn llwyr anfoddus fan.

Y rhai fu yma 'n rhodio
Yn ngwyddfod Duw, gan bwyllo,
Yn wâr eu llwybrau,
A pharchu 'r Arglwydd Iesu,
Yr hwn a ddaeth i'w prynu,
O'i gariad gorau;
Y rhai'n yn dorf wynfydig gain,
A gânt roesawiad i mewn i'r fwynwlad,
Lle mae y ganiad o felus wiwfad sain,
Uwch glyn dychrynllyd angau,
Uwch ofnau drygau drain:
Mewn gwledd, o amgylch Duw a'i sedd,
Cânt weled Iesu, fu yma 'n gwaedu,
Gan, yn anwylgu, iawn wenu yn ei wedd,
Mewn mwynder o'r hwylusaf
Dros byth â hoffaf hedd.

Y rhai fu yma 'n gwatwor
Eu Duw, heb wneyd ei gyngor,
Na phrisio'i eiriau,
Gan ffolaf gau eu llygaid
Yn erbyn goleu tanbaid
Efengyl orau,
Gan fyw 'n rhy ffiaidd, er yn nghlyw
Glân air y nefoedd, gair Duw y lluoedd,
Sy'n gwa'dd yn gyhoedd i'r lleoedd hardd eu
A chymell pawb i bwyllo, [lliw,
A pheidio digio Duw.
I'r llyn, llawn gwaeau ca'r rhai hyn
Yn glau eu danfon, yn hyll gaethweision,
At uffernolion i boenau salwan syn:
Rhyw barch, er hir amynedd,
I'w fawredd Duw a fyn.

Tydi sy'n rhodio llwybrau
Llwyr groesion i reolau
Y Nef oreulan,
Mewn pechod yn ymrwydo,
Pa beth wyt ti'n ei addo
I'th daith annyddan?
Mae Duw (a'i air gwirionedd yw)
Yn eglur 'wedyd fod dydd dychrynllyd
I ddod ar enyd—cyn delo'r clefyd clyw,
Peth tost yw poen trag'wyddol,
Iawn geisia fythol fyw.
Mae 'th Dad, yn caru dy iachâd,
Fil, mil o weithiau yn well na'th boenau;
Cais di'n wir forau feddianu'r muriau mad,
Sydd iti'n barod anrheg,
O fewn ei loywdeg wlad.

*Hyde Park, Pa.* S. R. J.

Digitized by Google

## "IDRIS,"

**Mebyn i Mr. DANIEL MORGAN a'i Briod, Freedom, Cattaraugus Co., N. Y.**

**Idris yn bert a edrych—un o'i ail**
**Ni welir yn fynych;**
**Un mwyn yw, y mae yn wych,**
**A chanoedd wna ei chwenych.**

**Idris, os daw i oedran—a syna**
**A'i swynion wlad lydan;**
**Un dewr ei lais, a daw i'r lan**
**O'i gryd i fywyd yn fuan.**

CYFAILL.

# Y Maes Cenadol.

GAN Y PARCH. W. F. DAVIES, NANTICOKE, PA.

### LLOFFION.

Bwriadwn roddi i ti, ddarllenydd, y tro hwn loffion oddiar y gwahanol feusydd; cymer dithau afael ynddynt, a myfyria ychydig arnynt, a chei fod ynddynt ymborth iachus a meithrinol.

*Ewrop.*—Cawn fod llawer rhan o'r cyfandir hwn, er yr ysbryd cryf a'u nodweddant o aros yr un fath, eto yn rhoddi ffordd i ddiwygiadau mawrion. Y mae cyfraith newydd addysg yn Ffrainc yn tirio yn gyflym o dan sylfeini y sefydliadau a ddelir i fyny gan y *friars* a'r *nuns*. Collodd y rhai hyn yn barod 32,000 o blant eu hysgolion, ac y maent yn colli yn barhaus. Ceir fod llong genadol yn awr yn hwylio dros donau y Seine, yn llwythog o air Duw, ac ar ei bwrdd bedwar o genadon, y rhai a bregethant y gair, ac a wasgarant yr had da lle bynag y bydd cyfleusdra i wneyd hyny. Duw yn unig a wyr y daioni a wna hyn i Ffrainc anffyddol yn yr amser a ddaw. Nid yw Ffrainc wrthi ei hun yn y symudiadau cyflym a'r argraffiadau dwfn y mae gras Duw yn wneyd arni; ond cawn fod Spaen yn derbyn yn helaeth o'r un dylanwadau. Gwelir hyn yn amlwg yn y ffaith fod cymaint yn fwy heddyw nag oedd ychydig amser yn ol yn pregethu yr efengyl yno, ac yn ymddibynu yn hollol am gynaliaeth tra yn gwneyd hyny, ar gyfraniadau rhyddion oddiwrth y rhai y llafuriant yn eu plith. Teimlir yn fwy cyffredinol yno yn bresenol nag erioed o'r blaen, egwyddorion mawrion a byw yr efengyl, a deallir hwy yn well hefyd.

Teimla y Twrc yn Ewrop fod Cristionogaeth yn allu ag sydd yn gofyn ei wylied yn fanwl, a'i gadw draw os yn bosibl; a hefyd gwneyd yr oll a all er gwrthweithio ei ddylanwad ar feddwl y bobl. I'r dyben hwn gosodwyd i fyny yn ddiweddar argraffwasg yn Constantinople, dan nawdd y Llywodraeth, er dwyn allan yn rhad brif waith y duwinyddion Moslemaidd, a'u gwasgaru yn mysg y dinasyddion. Barn unfrydol y cenadon yn Twrci yw, mai y prif rwystr i lwyddiant Cristionogaeth yno ydyw, y tebygolrwydd ymddangosiadol a fodola rhwng y ddwy grefydd. Profa y gwahaniaeth mawr yn nylanwad y ddwy gyfundraeth, mai yn yr ymddangosiad yn unig y mae y tebygolrwydd.

Nid yw Rwssia, ychwaith, wedi ei gadael yn ddisylw. Credir, a hyny gan y rhai sydd wedi trigianu am amser yn eu plith, fod y pedair miliwn Iuddewon sydd yn y wlad dan sylw, drwy eu gwasgfaon diweddar wedi eu dwyn yn llawer mwy agored i ddylanwadau yr efengyl nag oeddent o'r blaen. Yn Rwssia, yn wahanol braidd i bob man arall, mae llawer o'r dosbarth uchaf a chyfoethocaf yn derbyn y gair, ac yn credu a'u holl galon.

Yn Asia, o'r saith eglwys oedd yno yn nyddiau Paul, nid oes ond un yn fyw heddyw, sef Smyrna. Pwy a wyr na chyneuir eto dân ar yr hen aelwydydd, a hyny yn fuan, ac y daw "hen eglwysi penigol Asia," cyn nemawr o amser, âg offrymau cymeradwy i'r Arglwydd ein Duw ni. Cyfrifir fod 139 o bentrefydd o amgylch Damascus, ond mewn tri yn unig mae enw o Gristionogion yn byw. Mae Eglwys Loegr wedi anfon cenadwr yn ddiweddar i Sara, pentref ag y mae ei hanes yn ymestyn yn mhellach yn ol na galwad Abraham.

Teimlir gwerth addysg yn nhiriogaeth y Twrc yn fwy yn awr nag erioed o'r blaen; felly hefyd yn Rwssia, Ar-

Digitized by Google

menia, a manau eraill. Sefydlir yn bresenol, ar raddfa eang, ysgol yn Armenia, gan foneddwr Armenaidd a drigianai yn St. Petersburgh. Cyfranodd i ddechreu yr ysgol chwarter miliwn o ddoleri. Yn sicr awgryma hyn amser gwell i'r gwledydd dan sylw.

*India.*—Bwriedir cymeryd, yn ystod y flwyddyn hon, gyfrifiad o'r meusydd cenadol, a bernir pan ddaw i mewn y dengys gynydd yn India, Ceylon, a Burmah, o ddau can' mil yn y deng mlynedd diweddaf, yr hyn a chwydda rif y Cristionogion yn y tair gwlad a nodwyd, i 500,000. Dywedir fod un filiwn ar hugain o wragedd gweddwon yn India, y rhai gan arferiad y wlad a waherddir i briodi mwy. Edrychir ar y trueiniaid hyn gyda dirmyg a gwawd, a 'does dim yn eu haros ond bod yn gaethion weddill eu hoes.

Yn y gwahanol orsafoedd cenadol yn India nid peth anfynych yw cyfarfod â phregethwr brodorol ag sydd unwaith wedi bod yn offeiriad Brahminaidd.

Dywedir fod yn y wlad dan ein sylw 120,000 o wragedd a merched, ac nad oes yn ol y cyfrif mwyaf rhydd ddim mwy nag un am bob 12,000 o honynt yn gwybod dim am unrhyw radd o ddylanwad Cristionogol.

Un o'r pethau synfawr i ni yn y gwledydd paganaidd, ydyw y cynydd sydd wedi cymeryd lle yn ddiweddar mewn cysylltiad a rhif y newyddiaduron a gyhoeddir ynddynt, a lluosogiad swyddfeydd argraffu. Yn Burmah Brydeinig mae rhif yr argraffdai wedi cynyddu o un yn amser yr anfarwol A. Judson, D. D., i 15. Mae dau o'r rhai hyn yn perthyn i genadon, 11 i bersonau unigol, a dau i'r llywodraeth. Argraffir pedwar papyr yn Saesneg. a phedwar yn y Burmaeg, yn gyson. Y mae masnach yn y wlad hon wedi cynyddu 117 y cant yn y deng mlynedd diweddaf. Gwelir wrth hyn fod efengyleiddio y pagan yn talu yn fasnachol, yn gystal a phob modd arall.

Y newyddiadur hynaf yn y byd yw y *Peking Gazette*. Cyhoeddir ef dair gwaith yn y dydd. Darperir yr argraffiad cyntaf ar gyfer y rhan fasnachol o'r boblogaeth, a'r ddau argraffiad arall ar gyfer pawb yn gyffredinol. Costia tuag ugain cent y mis. Y mae yno rai eraill, ac yn meddu cylchrediad go helaeth, rai o honynt.

Nodweddir yr eglwys sydd o dan nawdd y Bwrdd Cenadol Americanaidd yn Japan, â haelionusrwydd a ddylai beri i'r rhan fwyaf o'r eglwysi yn America wrido a chywilyddio wrth feddwl am dano. Dywedir eu bod wedi cyfranu y flwyddyn ddiweddaf at achosion crefyddol, ar gyfartaledd, $4 yr aelod, yr hyn sydd gydradd i $20 yn y wlad hon. Pan yn myned i'r cwrdd gweddi nos Lun cyntaf o'r mis nesaf, boed i ni feddwl am hyn yn ddifrifol

Dywedir fod symudiad ar droed yn yr Argentine Republic, America Ddeheuol, i wahanu crefydd a materion gwleidyddol oddiwrth eu gilydd, ac i roddi i bawb ryddid cydwybod perffaith a hollol. Cyfrifir fod poblogaeth gwahanol wledydd America Ddeheuol dros 25,000,000. Mae bron yr oll o'r rhai hyn yn feddianol ar grefydd sydd wedi colli bron y cyfan oddigerth ei phaganeiddiwch.

Ar un o'r Ynysoedd Deheuol taflodd y Frenines, yr hon sydd yn Gristionogol, ei holl heddgeidwaid allan o swydd, am na fuasent yn rhoddi atalfa ar y meddwi oedd yno. Yn eu lle gosododd fenywod, ac mae argoelion am ddiwygiad effeithiol i ddilyn y cyfnewidiad. Parod ydym ninau i ddweyd Amen.

---

## GWLADYDDIAETH Y MIS.

GAN Y PARCH. J. EDRED JONES.

Gan fod golygydd y WAWR yn gwybod fod darllenwyr llygadgraff ei gylchgrawn hoff yn teimlo cryn ddyddordeb yn helyntion eu gwlad fabwysiedig, fe ymdrechir yn y dyfodol i roddi crynodeb byr ond cynwysfawr o'r prif bynciau gwladyddol a fyddont o ddyddordeb i'r cyffredin. Y mae rhai mesurau pwysig wedi, ac yn cael sylw ein deddf-wneuthurwyr yn Washington, yr eisteddiad presenol. Ymddeng-

Digitized by Google

ys fod y chwyldroad etholiadol diweddar wedi deffroi rhai o honynt, a'u bod yn teimlo yn awr ei bod yn llawn bryd iddynt basio mesurau ag mae'r wlad wedi hawlio mewn llais nas gellir ei gamsynied heb dynu arnynt eu hunain ddinystr buan. Felly mae amryw o fesurau pwysig wedi cael sylw y Gydgyngorfa yn ddiweddar; ac nid y lleiaf mewn pwysigrwydd ydyw y mesur er diwygio y

*Gwasanaeth Gwladol.*

Y mae hwn yn hen destyn, ac wedi bod yn bêl droed i'r pleidiau politicaidd am amser hir. Gosodid ef bob blwyddyn yn mhob banlawr o bwys, er tawelu y cyhoedd ymddiriedol ac amyneddgar, a dyna y peth diweddaf a glywid am dano i ddim pwrpas. Ond yn fuan wedi dechreuad y *session* bresenol, cymerodd y Senedd y mesur i fyny o ddifrif, ac er mawr syndod i'r wlad yn gyffredin, cafodd y mesur ei basio yn lled unfrydol, heb ond ychydig iawn o ddadlu a checru. Wedi hyn anfonwyd ef i Dy y Cynrychiolwyr, oddiyno i law pwyllgor rheolaidd, ac ni fu yn llaw y pwyllgor ond ychydig o amser cyn iddo gael ei ddychwelyd yn ffafriol i'r Ty drachefn, gyda dymuniad y pwyllgor ar iddo gael eu sylw yr wythnos hono. Ar ei dderbyniad, cododd Mr. Cox ar ei draed, gan ddweyd, "Why not pass it *now?*" Derbyniwyd yr awgrym gyda banllefau o gymeradwyaeth, gosodwyd y mesur ar ei daith, ac er syndod byd ac eglwys, pasiwyd ef yn mhen haner awr gyda mwyafrif teilwng o'i bwysigrwydd, a hyny air yn ngair fel y daeth i lawr o'r Senedd! Dyma beth anghyffredin yn hanes y ddau Dy. Er nad yw y mesur hwn yn berffaith, nac yn bobpeth a ellid ddymuno, eto y mae yn gam pell tua'r iawn gyfeiriad, ac yn gwireddu yr hen ddywediad, mai "Trech gwlad nag arglwydd."

Mae y mesur hwn yn amcanu at burdeb y gwasanaeth gwladol--i wneyd *cymwysder* a chymeriad yn fwy anhebgorol i swyddogion y llywodraeth, na gallu i gyflawni pob bryntwaith etholiadol, er lles personau hunanol, am swyddi a dylanwad. Byth oddiar amser Jackson, yr hen *fotto* ydoedd, "To the victors belong the spoils;" ond y mae'r mesur hwn yn ergyd angeuol iddo. Cymwysder yw yr allwedd fydd mwyach yn agor y drws i swyddau tan y llywodraeth, ac nid gwiw i neb eu ceisio a'u *hawlio* fel gwobrau am ymdrechion politicaidd o natur amheus. Bydd gwasanaeth Uncle Sam bellach yr un mor agored i ddarllenwyr hoff y WAWR ag ydyw i'r *politicians* mwyaf ffafredig, ar y telerau iddynt brofi eu bod yn fwy cymwys i'w llanw na'r lleill mewn *competitive examination* agored—ornest o gymwysder ac anghymwysder, o wybodaeth ac anwybodaeth, o addasrwydd ac anaddasrwydd. Ac wedi llwyddo i enill swydd, nid oes achos mwyach i neb ofni ei cholli tra fyddo yn gwneyd ei waith, ac yn cadw ei gymeriad yn lân. Heblaw hyn, nis gall neb ei orfodi i roddi rhan o'i gyflog, yn barhaus, at amcanion politicaidd, neu beryglu ei le, fel mae wedi arfer bod hyd yn hyn. Yn sicr i chwi, mae'r byd yn gwella yn raddol, onid yw?

Ond er mor llesol i'r llywodraeth, ac i'r wlad yn gyffredinol, yw'r mesur hwn, ac er cymaint a chyhyd y galw sydd wedi bod am dano, y mae ei basiad wedi creu gwewyr mawr yn barod yn ngholuddion y blaid Ddemocrataidd. Fel hyn y dywed y Cincinnati *Enquirer* ar y pwnc: "Ar ol ugain mlynedd o ymgrwydro yn yr anialwch, a phan bron yn ngolwg tir yr addewid, y mae'r Democratiaid yn cael eu cau allan gan Arglwydd Pendleton. Rhaid iddynt edrych am eu gwobr tu draw i'r bedd." Iē, dyna hi; piti garw am y trueiniaid carpiog, newynog a sychedig, onide? Beth a ddaw o'r Gwyddelod diog ac anwybodus mwyach? Y mae *competitive examination* allan o'r cwestiwn i'r mwyafrif o honynt hwy, ac fel hyny nis gallant gael swydd, ac heb swydd, rhaid—gweithio, neu farw.

Pwnc arall sydd wedi tynu cryn sylw yn ddiweddar, yw yr ymdrech adnewyddol a wneir i adferu

Digitized by Google

*Fitz John Porter*

i'w safle flaenorol yn myddin yr Unol Dalaethau. Y mae achos y dyn hwn wedi dyfod yn bwnc *plaid* er's amser bellach. Priodolir colliad ail frwydr Bull Run i wrthodiad Porter i roddi cymorth milwrol i'r Cadfridog Pope, am y rhesymau mwyaf teneu. Bu yn euog o anufuddhau i eirchion milwrol o flaen y gelyn, a thrwy ei anufudd-dod fe gollwyd y frwydr hono. Yr oedd digon o ffeithiau a thystion i brofi ei euogrwydd o flaen y llys milwrol fu yn trin yr achos; ac er ei gael yn euog, a bod y ddeddf filwrol yn gofyn ei fywyd am y trosedd, er hyny dedfryd drugarog y llys oedd, ei alltudio o'r fyddin mewn gwarth, &c. Ond y mae ei gyfeillion Democrataidd, yn awr ac eilwaith, wedi treio pob moddion i'w adferyd i'w swydd. Dygwyd *bill* i'r Senedd yn ddiweddar i'r perwyl hwnw, a phasiodd. Pleidleisiodd *pob* Democrat, a *thri* Gwerinwr Stalwartaidd drosto. Anfonwyd y mesur i'r Ty, ond mae ei lwyddiant yno yn amheus, hyd nes bo'r Democratiaid yn ddigon lluosog yn y Gydgyngorfa nesaf. Yna nid oes amheuaeth am adferiad Porter.

Pwnc pwysig arall sydd wedi pasio y Senedd yn ddiweddar ydyw

*Yr Olyniaeth Arlywyddol.*

Y mae dynion yn y swyddi uwchaf yn agored i ddamweiniau, clefydau, ac angau, fel dynion eraill; ac nid dymunol na llesol yw fod llywodraeth, mwy na theulu, heb ben cyfreithlon, hyd yn nod am dymor byr. Cafodd y wlad brawf gofidus o hyn yn ystod afiechyd blin y cyn-Arlywydd Garfield. Er hyny ni wnaeth y Gydgyngorfa ddim tuag at lanw y diffyg yna trwy yr eisteddiad gauafol diweddaf. Ond yn yr eisteddiad presenol dygodd y Seneddwr Hoar fesur o flaen y Senedd i gwrdd a'r angen, a phasiwyd ef gyda mwyafrif canmoladwy. Os daw y mesur hwn yn ddeddf—ar farwolaeth, ymddiswyddiad, neu analluogrwydd yr Arlywydd a'r Is-lywydd—yr un amser —i lanw y swydd Arlywyddol, bydd yr olyniaeth yn disgyn ar aelodau y *Cabinet*, yn y drefn ganlynol: Secretary of State, Ysgrifenydd y Drysorfa, Ysgrifenydd Rhyfel, y Cyfreithiwr Cyffredinol, y Postfeistr Cyffredinol, Ysgrifenydd y Llynges, neu'r Ysgrifenyd Mewndirol. Rhaid fod y swyddogion hyn wedi cael eu cadarnhau gan y Senedd. Rhaid eu bod yn meddu y cymwysderau gofynol, yn ol y Cyfansoddiad, i'r Arlywyddiaeth. Rhaid iddynt beidio bod o tan erthyglau cyhuddiad gan y Ty, &c., ac nis gallant fod yn y swydd yn hwy nag adferiad yr Arlywydd, neu hyd etholiad cyfreithlon Arlywydd newydd, &c. Mae y ddeddf hon o bwys mawr i heddwch y wlad mewn cyfwng nad yw yn anmhosibl iddo ddygwydd yn y byd cyfnewidiol hwn. Gobeithio y daw y mesur hwn yn ddeddf yn fuan.

Y mae amryw bynciau dyddorol eraill y carem eu nodi, a manylu arnynt yn y rhifyn hwn, ond gadewir hwynt hyd y nesaf, pryd y byddant yn fwy addfed i'w trin yn ddeallus.

---

## HANESION CARTREFOL.

### Cyfarfod Chwarterol y Bedyddwyr yn Pa.

Cynaliwyd y cyfarfod hwn ar yr 22 a'r 23ain o Dachwedd, 1882, yn Lansford a Summit Hill.

*Cynadledd.*

Yn absenoldeb Cymedrolwr y Gymanfa, neillduwyd y brawd H. Thomas yn Llywydd.

Wedi i'r brawd J. W. Williams, D. D., Hyde Park, wneyd adroddiad o'i ymweliad â Williamstown, ger Slatington,

Penderfynwyd, Ein bod yn derbyn y *deed* ar y meddianau bwriadedig gan y diweddar frawd Henry Williams i'r enwad, ac yn cyflwyno ein diolchgarwch gwresocaf i'r etifeddion am lawnodi yr ysgrif, a throsglwyddo y capel a'r fynwent yn eiddo i'r Bedyddwyr Cymreig am byth, sef W. H. Williams a'i briod; John W. Jones a Mary ei

briod, ac Evan J. Williams a'i briod, Ellen.

Penderfynwyd, Fod pwyllgor o dri i gael eu dewis i ddarparu *charter* i eglwys Slatington, sef B. Hughes a J. W. Williams, Hyde Park, a J. P. Harris, Nanticoke.

Penderfynwyd, Fod Ysgrifenydd y Gymdeithas Artrefol Gymreig i ohebu ag Ysgrifenydd Cymanfa Reading, yn nghyd ag awdurdodau y *State Convention* parth cydweithrediad yn y mudiad.

Penderfynwyd, Fod y cyfarfod hwn yn awdurdodi y pwyllgor i gydweithredu â'r eglwysi gweiniaid yn newisiad gweinidogion i fod yn *supply* iddynt, ac yn nhaliad y cyfryw o'r drysorfa.

Boreu dydd Iau, am 10 o'r gloch, y brawd W. F. Davies yn y gadair—

Penderfynwyd, Ein bod yn y modd mwyaf cynes yn croesawu y brodyr D. W. Jones, diweddar o Athrofa Hwlffordd, a T. M. Evans, Trefforest, fel brodyr teilwng i'n plith, ar sail eu cymeradwyaethau o Gymru.

Penderfynwyd, Ein bod yn awdurdodi Ysgrifenydd y Gymdeithas Artrefol Gymreig i anfon at, a chymell ein heglwysi gweiniaid i osod eu hunain dan ofal bugeiliol rhyw frawd yn y weinidogaeth, a bod y brawd hwnw i bregethu iddynt mor aml ag y byddo amgylchiadau yn caniatau; ac i fod hefyd yn arolygu eu hamgylchiadau eglwysig hyd nes y gallant gael bugail i ofalu am danynt.

Penderfynwyd, Fod y Gymanfa Gymreig yn cydnabod Cymanfa Reading yn ddiolchgar am y cymorth a roddwyd i eglwys Lansford, ac yn dymuno parhad o'r unrhyw.

Penderfynwyd, Fod y Cwrdd Chwarter nesaf i gael ei gynal cyd-rhwng yr eglwysi yn Drifton ac Upper Lehigh, dydd Mawrth a Mercher olaf yn mis Mawrth, neu y Mawrth a'r Mercher cyntaf yn Ebrill.

O. Y.—Hysbysir yr amser yn fwy penodol eto.

*Moddion Cyhoeddus.*

Nos Fercher, yr 22ain, yn Lansford, darllenodd a gweddiodd y brawd D. S. Thomas, Shenandoah, a phregethodd y brodyr D. W. Jones, diweddar o Gymru, a J. P. Harris, Nanticoke. (Iawn yw hysbysu mai y brawd D. S. Thomas oedd i bregethu; ond o herwydd ei fod yn ei hen gartref, ar ei ddymuniad, pregethodd y brawd Jones yn ei le.)

Yr un amser, yn addoldy Summit Hill, dechreuwyd y cyfarfod gan y brawd T. M. Evans, diweddar o Trefforest, a phregethodd y brodyr Theos. Jones, yn Saesoneg, a'r brawd J. W. Williams, D. D., Hyde Park.

Dydd Iau, y 23ain, am 2 o'r gloch, yn Lansford, dechreuwyd gan y brawd W. F. Davies, a phregethodd y brodyr T. M. Evans, yn Saesoneg, a Theophilus Jones.

Am 6, pregethodd y brawd Sexton James, Allentown, yn Saesoneg, a J. W. Williams, yn Gymraeg.

Yr un amser, yn Summit Hill, dechreuwyd trwy weddi gan y brawd Jones, a phregethodd y brodyr J. P. Harris, yn Saesoneg, a W. F. Davies, ill dau o Nanticoke.

Cafwyd cyfarfodydd hwylus a gwlithog—arwyddion amlwg fod Duw gyda'r gweision. Mae gweinidogaeth y brawd Thomas yn dderbyniol iawn yn yr ardal a'r eglwysi.

J. P. Harris.

---

COFGOLOFN Y DIWEDDAR BARCH. MOSES WRIGHT.

*Barchus Olygydd y* WAWR—Caniatewch i mi ofod fechan i ddiolch yn garedig i gyfeillion diffuant yr anwylddyn uchod, ydynt wedi tanysgrifio tuag at gael cofadail deilwng i roddi uwchben ei weddillion yn mynwent Shenandoah, Pa. Amgylchiadau cyfyng llawer, yn lled debyg, sydd wedi bod yn rhwystr iddynt i gyfranu at y mudiad, ond yn wir teimlwyf nad oes digon o ysbryd cenedlgarol yn perthyn i ni fel Cymry, onide buasai y gofgolofn uchod wedi ei gosod er ys misoedd lawer bellach. Ni esgynodd i bwlpud Cymreig erioed ddyn purach ei gymeriad, haelfrydicach ei galon, nac un mwy selog dros y gwirionedd na Mo-

Digitized by Google

ses Wright. Bydd ei enw yn perarogli y cymydogaethau y bu yn gweinidogaethu ynddynt, am flynyddoedd lawer i ddyfod; a bydd careg deilwng i nodi "man fechan ei fedd," yn adlewyrchu yn ffafriol ar y genedl. Yn awr, gyfeillion hoff, y rhai sydd heb danysgrifio, a wnewch chwi hyny, *yn ddioed?*—Y mae eisiau tua haner can' dolar eto, os yn bosibl, er cyrhaedd yr amcan.

Wele enwau y tanysgrifwyr ydynt wedi anfon eisoes i fewn:

| | |
|---|---|
| Parch. Fred. Evans, D. D., Franklin | $5 00 |
| Parch. John Williams, D. D., Hyde Park | 5 00 |
| Parch. D. Rhoslyn Davies, Pittsburgh | 5 00 |
| Parch. O. Griffith (Giraldus) | 5 00 |
| " W. M. Evans, Cattaraugus | 5 00 |
| " R. C. Morgan. Connellsv. | 5 00 |
| " J. T. Griffiths, Scottdale | 2 00 |
| " E. Edwards, Coatesville | 3 00 |
| T. D. Harris, Ysw., Pittsburgh | 5 00 |
| D. Lloyd Jones, Pittsburgh | 5 00 |
| D. Dowlais Jones, Pittsburgh | 3 00 |
| R. T. Daniels, Pittsburgh | 2 00 |
| Nathaniel Williams, Pittsburgh | 1 00 |
| John Thomas, Bordwell, Utica, | 1 00 |
| James E. Jones, St. Louis, Mo., | 5 00 |
| Trwy law y Parch. G. H. Humphrey, M. A., New York | 11 00 |
| Eglwys Fedyddiedig Hyde Park, | 25 00 |
| Cyfanswm | $93 00 |

Can diolch i'r cyfeillion anwyl uchod. Brysied y gweddill, ac anfoner yr arian i'r Trysorydd,

D. Lloyd Jones,

*Ion. 15, 1883.* *Pittsburgh, Pa.*

---

### Oshkosh, Wis.

*Eglwys y Bedyddwyr, Salem, ger Oshkosh, Wis.*, a ddymuna hysbysu trwy gyfrwng y Wawr, eu bod heb un gweinidog. Gall unrhyw weinidog rheolaidd, ag sydd yn rhydd, ac awydd i ddod i'r Gorllewin, ein hysbysu trwy anfon at "Richard Bennett, Ysgrifenydd yr Eglwys, Oshkosh, Winnebago Co., Wis."

Bu y Parch. J. W. Jones, Clay Co., Iowa, yn talu ymweliad a'r eglwys hon y Sabboth olaf yn mis Medi diweddaf, a'r cyntaf yn mis Hydref, pryd y bedyddiodd dair o ferched ieuainc, ac un wraig ieuanc, a derbyniwyd hwy i gymundeb yr eglwys yr un Sabboth. Yr oedd yn achos o lawenydd i'r eglwys i weled y brawd Jones, a'i wraig garedig, yma yn ein plith, wedi bod yma yn gweinidogaethu am yspaid o wyth mlynedd. Mae yr eglwys yn dal ei thir yn bur dda, ac ystyried ei bod heb fugail i'w bugeilio. Ar y cyfan nid ydym yn foddlawn yn y sefyllfa yr ydym. Gobeithio y daw rhywun atom o anfoniad y Pen Bugail. Yr ydym yn cael ambell bregeth gan y gweinidogion yn y gymydogaeth. Yr ydym yn dysgwyl i'r Parch. R. D. Evans, Springwater, i ddod yma am rai Sabbothau yn fuan. Dros yr eglwys,

Richard Bennett.

---

### Coalburgh, O.

Y mae eglwys y Bedyddwyr yn y lle hwn wedi cael ei hamddifadu o weinidog eto unwaith. Nos Sul, Rhagfyr 31, 1882, darllenodd ein hysgrifenydd lythyr i'r eglwys oddiwrth ein hanwyl weinidog, y Parch. W. J. Williams, B. Ph., yn ein hysbysu o'i fwriad i'n gadael ar ddiwedd Ionawr, 1883. Yr oedd ef yn rhanol yma a Church Hill; gwasanaethai yma ddau Sul o bob mis. Bu Mr. Williams yma gyda ni felly am un mis ar ddeg, a chawsom lawer o fudd a graddau o lwyddiant tra y bu yma yn ein plith. Bedyddiwyd pedair ganddo ar broffes o'u ffydd, ac y mae rhai eto yn aros am yr un fraint. Cynyddodd y gwrandawyr mewn modd ardderchog. Tystiolaeth gyffredinol yr eglwys ydyw, na chafodd eglwys y Bedyddwyr yn Coalburgh erioed well pregethu at ei gilydd nag a gawsant gan y brawd Williams.

Y mae Mr. Williams yn ein gadael o'n hanfodd, fel y caed prawf amlwg ddydd Sul. Ion. 21, sef Sul ein cymundeb. Yr oedd yr aelodau bron oll yn bresenol; rhoddwyd o flaen yr eglwys ein bod yn rhoddi cais i'r brawd Williams i aros gyda ni. Cododd

pawb eu llaw ddehau ond dau. Peth anhawdd yn ein mysg ni y Cymry ydyw cael eglwys mor unfrydol yn dymuno i'w gweinidog i aros gyda hwy—dim ond dau yn erbyn. Y mae eglwys Coalburgh i'w chanmol yn hyn. Gwir y gallai un o'r ddau a ataliasant eu llaw ddyweyd ei fod yn bregethwr, a'i fod ar hyn o bryd heb ddim lle; a'r llall a allai ddweyd, y carai ef gael ei "Dad ysbrydol" i lanw y pwlpud yn Coalburgh. Wel, pobpeth yn dda.

Yr ydym ni, fel eglwys a chynulleidfa, yn teimlo yn alarus wrth golli brawd mor dda o'n plith. Un gwyneb sydd gan y brawd Williams. Gallai wneyd yn well gyda llawer pe y buasai ganddo ddau neu dri. Dymunwn ni, fel eglwys a chynulleidfa, lwyddiant y brawd Williams, pa le bynag yr elo.—*Brawd.*

---

CHURCH HILL, O.

Lled isel yw pethau yn Church Hill yn bresenol. Ychydig bach o waith a geir, gan fod y prif waith yn sefyll. "*No work, no pay,*" ac ychydig yw y tâl ar ol gweithio yn galed. Ond er tloted yr amser, mae eglwys Church Hill wedi penderfynu cynal Cyfarfod Chwarterol perthynol i Gymanfa Ohio a Gorllewinbarth Pennsylvania, Chwef. 24, 25, 1883. Cofied pawb yn y cylch am hyn, a dewch i'r wyl chwarterol. Na ddigaloned neb; os nad oes llawer o arian, bydd yma ddigon i'w fwyta, a llety-dai cysurus dros amser yr holl gyrddau. Mae yr ardal hon wedi arfer caredigrwydd erioed, ac nid yw wedi lleihau hyd y presenol. Chwi weinidogion, dewch, gan wneyd tipyn o aberth am dro. Gwnawn a allwn i'ch ad-dalu. Bydd y cyfarfodydd yn cael eu cynal fel arferol, o ran amser a threfn. Gwenau y Nefoedd a gaffom.

Dros yr eglwys,

DAVID D. GRIFFIIHS, *Ysg.*

---

PARSONS, PA.

*Mr. Gol.*—Gwn y bydd yn dda genych glywed yr hyn a ganlyn: Mae y frawdoliaeth yma yn mwynhau yn helaeth iawn o wenau y Nefoedd. Yr ydym wedi, ac yn cael cyrddau gweddi bendigedig, a'r Arglwydd yn ychwanegu llawer at yr eglwys, yn enwedig yr afradloniaid.

Hefyd, teimlwyf fod yr eglwys yn barchus neillduol i'w gweinidog, yr hyn a ddangosir mewn llawer dull a modd yn y dyddiau hyn. Mae llawer iawn o bethau da wedi dod i'm rhan yn ddiweddar o ddwylaw y frawdoliaeth, ond y goron ar y cwbl ydoedd cael can' dolar mewn pwrs prydferth noson y *Christmas tree.* Teimlwyf yn wir ddiolchgar am yr arwydd hyn o barch. Yr eiddoch yn serchog,

W. D. THOMAS.

---

MORRIS RUN, PA.

MR. GOL.—Nid yn fynych y gwelir dim yn y WAWR am y lle hwn, a diau y byddai yn dda gan lawer gael gair o hanes y lle yn awr ac eilwaith, a hyderwn na bydd yr hyn a ganlyn yn annerbyniol genych.

Y mae y gwaith yn myned yn mlaen yn rhagorol, cystal, os nad gwell, nag y mae wedi bod er ys blynyddau. Hefyd, gellir dweyd fod yr achos crefyddol mewn agwedd lewyrchus. Y mae y tair eglwys yma yn mwynhau gweinidogaeth sefydlog, yr hyn sydd fraint felus a gwerthfawr i ni fel eglwys y Bedyddwyr, yn fwy felly na'r ddwy eglwys eraill, o herwydd ein bod wedi bod cyhyd hebddi; oblegid, yn y cyffredin, y mae amddifadrwydd o unrhyw beth yn dyfod a gwerth y peth hwnw yn fwy i'r golwg. Felly y mae wedi bod arnom ni fel enwad y Bedyddwyr; ond erbyn hyn y mae yn dda genym allu dweyd, ein bod ni fel eglwys wedi llwyddo i gael un i'n bugeilio, sef y Parch. John M. Evans, Minersville gynt. Fe ddechreuodd yma ar ei faes newydd Sabboth y 24ain o Ragfyr, ac yr ydym yn credu y gwna ddaioni mawr i'r eglwys a'r ardal yn gyffredinol, i ddwyn llawer o'n cyd-fforddolion i wasanaethu ein Meistr mawr, Iesu Grist.

Dymunwn wneyd yn hysbys i'r rhai y perthyn iddynt wybod, nas gallwn

Digitized by Google

dalu am weinidogaeth achlysurol, fel yr arferem wneyd cyn cael gweinidogaeth sefydlog, o herwydd y mae genym weinidog i ofalu am dano yn awr. Yr oedd ymweliadau achlysurol brodyr da â ni yn dra derbyniol, ac arferem eu cydnabod yn deilwng, yn ol ein gallu, am eu llafur; ond nis gallwn wneyd hyny yn awr, am y rheswm a nodasom uchod.

*Morris Run, Pa.* J. W. PHILLIPS.

---

SCOTTDALE, PA.

Mae yn dda genym hysbysu fod yr achos da yn dra llewyrchus yma ar hyn o bryd, o dan weinidogaeth y Parch. J. T. Griffiths. Yr ydym wedi adgyweirio y capel yn ddiweddar—y draul yn $425, ac y mae yn edrych yn hardd oddifewn ac oddiallan. Y mae dros haner cant wedi eu hychwanegu at yr eglwys, a 27 o honynt trwy fedydd, er pan y mae ein gweinidog yma. —*Brawd.*

---

BRACEVILLE, ILLINOIS.

Talwyd ymweliad a'r lle hwn Rhagfyr 24, 1882, gan y Parch. Joseph Jones, Dodgeville, Wis., a phregethodd yn gymeradwy iawn. Gadawodd ei ddull gonest a difrifol o draddodi yr efengyl argraff ddaionus ar feddyliau y gwrandawyr, a diau y bydd y Bracevilliaid yn fwy awyddus am ei glywed y tro nesaf nag oeddynt y tro hwn. Nos Sul, traddododd fath o ddarlith bregethyddol ar yr "Ail ddull o bregethu," fel y dewisai efe alw yr ysgol Sul. Olrheiniodd y darlithydd egwyddorion sylfaenol ac ysgogiadol yr ysgol Sul yn ol i'r oesoedd tywyll, yn mhell tu hwnt i'r dyngarwr byd-enwog Robert Raikes. Yr ydoedd yn ddarlith neu bregeth hynod ddyddorol, buddiol ac adeiladol, ac ôl llafur maith a helaeth arni; ac hefyd, yr ydoedd yn hynod amserol a phwrpasol; a phe bae mwy o bregethu ar ddyledswyddau Cristionogion gyda yr ysgol Sul, diau y gwneid llawer iawn o les, canys y mae yn eithaf eglur fod lle ganddynt i ddiwygio. Trueni ydyw meddwl fod plant Braceville, fel plant llawer lle arall, yn cael eu hamddifadu o'r hyfforddiant hwnw ag sydd yn anhebgorol angenrheidiol er eu gwneuthur yn rhinweddol a defnyddiol mewn moesoldeb a chrefydd, a hyny o herwydd difaterwch a diogi y rhai y dylai eu goleuni lewyrchu yn eglur yn yr ardal y maent yn byw.

Bu Mr. Jones yn gwasanaethu yn Braidwood, ac y mae yn gymeradwy iawn yno, yn ogystal a Braceville.—*Sylwedydd.*

---

DELL ROY, O.

Mae genym bregethwr yma bob Sul yn awr. Dyn ieuanc yw o'r enw John Morfyn Lloyd, diweddar o athrofa Llangollen. Mae yn llenor a bardd gwych, a chredwyf fod ynddo ddefnyddiau pregethwr mawr. Y mae yn fachgen o deulu pregethwrol, ac o gymeriad teilwng. Yr wyf yn eu hadnabod yn dda.—*Llywarch.*

---

YSGOL SABBOTHOL MINERAL RIDGE, O.

Cynaliodd ein hysgol Sabbothol gwrdd adroddiadol a chanu yn nghapel y Bedyddwyr nos Lun, Rhagfyr 18, 1882. Anerchwyd y dorf luosog gan lawer o frodyr oedd yn bresenol, lle cawsom gyfarfod buddiol iawn wrth wrandaw ar y plant yn ein hanerch, a'r canu mor rhagorol—y brawd D. Edwards yn arwain y côr gyda y fath fedrusrwydd ac awdurdod, nes yr oedd pawb wrth eu bodd, a llawer o hen bobl, fel fy hunan, yn tystio na chlywsant y fath ganu erioed o'r blaen, wedi bod am dros ddwy awr yn cael ein difyru. Yna diweddwyd trwy weddi gan y Parch. Mr. Davies, gweinidog yr Annibynwyr. Llywyddwyd y cyfarfod gan yr hen frawd Amos Prosser.—*Brawd.*

---

LEADVILLE SHAFT, GER YOUNGSTOWN, OHIO.

MR. GOL.—Anaml y bydd dim yn ymddangos yn y WAWR o'r lle hwn, am y rheswm, mae yn debyg, nad oes yma yr un eglwys Fedyddiedig. Mae yma tua dwsin o aelodau yn perthyn i'r Bedyddwyr, y rhan fwyaf yn aelodau o eglwys Weathersfield. Dydd Sul diweddaf, cafodd Miss Mary Lloyd, o'r lle hwn, ei bedyddio ar broffes o'i ffydd yn yr Arglwydd gan y Parch. Mr. James, yn Weatherfield.

Y mae amryw o bregethwyr yr enwad yn talu ymweliad a'r lle hwn yn fynych. Ychyd-

Digitized by Google

ig amser yn ol ymwelodd y Parch. Mr. Thomas, Sharon, â ni, a Mr. Evans, Palmyra, O. Y mae y Parch. David H. Hopkins, Kyle's Corners, yn pregethu i ni yn achlysurol hefyd. Mae y Parch. Allen J Morton wedi addaw ymweled a ni can gynted ag y danfonwn am dano. Yr ydym yn erfyn cael ei glywed yn fuan. Carem weled rhagor o Fedyddwyr yn dyfod i'n plith, fel y byddem dipyn yn gryfach i gario y gwasanaeth yn mlaen. Mae brodyr Weathersfield yn garedig iawn i ni yma, trwy roddi eu presenoldeb yn ein plith yn aml. Mae y Parch. Mr. James yn ffyddlawn gyda ni.

Yr ydym yn cynal ein gwasanaeth crefyddol yn yr ysgoldy ar y Sabbothau, ac yn cael pregeth ddwywaith y mis, ac yn cynal cyrddau o amgylch y tai ar nosweithiau o'r wythnos. Yr eiddoch yn ffyddlawn—*Job Harris.*

---

## Galwad i Weinidog.

Rhoddodd eglwys y Bedyddwyr ar Mineral Ridge, O., alwad unfrydol i'r brawd J. W. Jones, yr hwn sydd newydd ddyfod drosodd o Caersalem Newydd, ger Treforris, D. C., i'w bugeilio yn yr Arglwydd, ac y mae yntau wedi ateb yn gadarnhaol, a bydd yn dechreu ar ei lafur gweinidogaethol y Sul, Ionawr 21. Mae gan y brawd lythyrau cymeradwyaeth, ac y mae rhai brodyr yn y weinidogaeth wedi eu darllen, a chael boddlonrwydd mawr ynddynt eu bod yn *credentials* o'r fath oreu.—*L. M., Ysg. yr Eglwys.*

---

## *BEDYDDIWYD—*

Yn Ashland, Pa., Rhag 24, 1882, bedyddiwyd un brawd ar broffes o'i ffydd yn Nghrist. Bu am flynyddau yn aelod gyda'r Independiaid, ond trwy drugaredd gwelodd mewn pryd yr angenrheidrwydd o ufuddhau i Dduw yn hytrach nag i ddynion. Brodor oedd o Shamokin, ac ymunodd a'r gangen berthynol i eglwys Fedyddiedig Ashland. Gweinyddwyd gan y Parch. Jeremiah Griffiths, ein gweinidog. Teg yw nodi am ymdrech y brawd; ac efe yn hyn a ymdrechodd ymdrech deg. Teithiodd yr holl ffordd ar ei draed, tua 13 milldir, ar y Sul uchod, o herwydd iddo golli y cerbyd tân. Ac wedi ei fedyddio, aeth i'w ffordd ei hun yn llawen.—*Brawd.*

*Shenandoah, Pa.*—Mae pethau yn myned yn mlaen yn gysurus a llwyddianus yma, y capel yn llawn, a'r eglwys yn lluosogi. Bedyddiwyd pump o bersonau Rhagfyr 17, 1882, ac y mae eraill ger bron yr eglwys.—*Idwal.*

---

## *GANWYD—*

Tachwedd 26, 1882, dau fachgen braf, sef efeilliaid, i William P. ac Ann Thomas, Mason City, West Virginia—un wedi marw. Gelwir enw yr un sydd yn fyw James.

## *PRIODWYD—*

Rhagfyr 20, 1882, yn Pittsburgh, Pa., gan y Parch. D. Rhoslyn Davies, Mr. Morris Jones a Miss Tydfil Thomas, y ddau o Wood's Run.

I gysuro'r mwyn gyfaill Morris—ffawd
Ddaeth a pherl uchelbris;
Bywyd dau wybu eu dewis
A heibio fel pe na bae fis.

Rhagfyr 6, 1882, yn Wilkesbarre, Pa., gan y Parch. E. Edwards, Milesburgh, Pa., Mr. John R. Johns a Miss Lizzie J. Evans, merch ieuengaf Mr. James Evans.

Rhagfyr 23, 1882, yn Thomastown, O., gan y Parch. T. P. Morgan, Mr. John Jones a Miss Mary A. Morton, y ddau o Thomastown.

Rhagfyr 20, 1882, yn Freedom, Cattaraugus Co., N. Y., gan y Parch. W. M. Evans, yn ei dy ei hun, Mr. Thomas M. Williams a Miss Esther Williams, y ddau o Freedom.

Rhagfyr 20, 1882, yn Freedom, Cattaraugus Co., N. Y., gan y Parch. W. M. Evans, Mr. George S. Davis a Miss Ada Law, y ddau o Freedom.

Rhagfyr 23, 1882, yn Kingston, Pa., gan y Parch. W. D. Thomas, Mr. William Hatchwell a Miss Maggie Evans, y ddau o'r lle uchod.

Rhagfyr 25, 1882, yn Parsons, Pa., gan y Parch. W. D. Thomas, Mr David Williams a Mrs. Elizabeth Morgans, y ddau o Plymouth, Penna.

Tachwedd 15, 1882, gan y Parch. W. F. Davies, Nanticoke, Pa., Mr. Thomas D. Lewis a Miss Mary Jones, y ddau o Nanticoke

Rhagfyr 18, 1882, gan y Parch. W. F. Davies, Nanticoke, Pa., Mr. James Evans a Miss Maria Jones, y ddau o Nanticoke.

Rhagfyr 23, 1882, yn nhy tad y briodasferch, Mr. William Morris, gan y Parch. D. S. Thomas, Mr. Charles R. Williams a Miss Fannie Morris, y ddau o Shenandoah, Pa.

Rhagfyr 24, 1882, yn ei dy ei hun, gan y Parch. D. S. Thomas, Shenandoah, Pa., Mr. George Pierce, Maizeville, Pa., a Miss Margaret Evans, Shenandoah, Pa.

Hydref 23, 1882, yn Nanticoke, Pa., gan y Parch. J. P. Harris, Mr. William J. Stroud a Miss Mary Elizabeth Watkins, y ddau o Nanticoke.

Rhagfyr 23, 1882, yn Nanticoke, Pa., gan y Parch. J. P. Harris, Mr. Morgan West a Miss Lucy Evans.

Ionawr 21, 1883, yn Freedom, Cattaraugus Co., N. Y., gan y Parch. W. M. Evans, yn nhy rhieni y briodasferch, sef Mr. D. D. Davies a'i briod, Mr. Benjamin Owens a Miss Mary Jane Davies, y ddau o Freedom.

Digitized by Google

Ionawr, 1, 1883, yn Parsons, Pa., gan y Parch. W. D. Thomas, Mr. Ambrose Rees a Miss Lizzie James, y ddau o'r lle uchod.

Ionawr 2, 1883, yn Ashland, Pa., yn ei dy ei hun, gan y Parch. Jeremiah Griffiths, Mr. John K. Morgans a Miss Mary Jane Thomas, y ddau o'r dref uchod.

Ionawr 8, 1883, yn Freedom, Cattaraugus Co., N. Y., gan y Parch. W. M. Evans yn ei dy ei hun, Mr. John A Evans a Mrs. Margaret Gibby, y ddau o Centerville, N. Y.

Ionawr 23, 1883, yn Freedom, Cattaraugus Co., N. Y., yn nhy rhieni y priodfab, sef Mr. W. H. Williams a'i briod, gan y Parch. W. M. Evans, Mr. Robert F. Williams a Miss Flora Cook, y ddau o Freedom, N. Y.

---

## *BU FARW—*

---

### MRS. RACHEL BOWEN.

Tachwedd 21, 1882, yn Mill Creek, ger Parsons, Pa., yn saith a deugain mlwydd oed, Rachel Bowen, o'r *cancer* yn y coluddion. Yr oedd yr ymadawedig yn wraig i'r brawd James Bowen, gynt o Mahanoy City. Tua phymtheng mlynedd cyn hyny daethant o Minersville, lle y cafodd ein chwaer y fraint o ymuno â chrefydd. Bedyddiwyd hi gan y Parch. J. P. Harris, yn y flwyddyn 1858. Brodor ydoedd o gymydogaeth y Llwyni. Yn fuan wedi dod i'r wlad hon, priododd â'r brawd uchod, a buont fyw yn ddedwydd gyda eu gilydd hyd nes i angeu dori y cysylltiad. Ganwyd iddynt amryw blant; ond aethant i gyd, gyda yr eithriad o un, "yn gynar iawn i orphwys i baradwys at eu Duw;" ac yr ydym yn dra hyderus fod ein chwaer wedi myned at ei hanwyliaid i'r nef.

Yr oedd Mrs. Bowen yn hynod o hawddgar, caredig a heddychol, fel cymydoges—yn ffyddlawn a selog gyda chrefydd. Priodol yw dweyd, fod ei henaid yn ngwaith ei Meistr mawr. Profwyd hyn yn hynod o amlwg pan oddiweddwyd hi gan ei chystudd blin, canys dyoddefodd yr oll mor dawel ac amyneddgar, gan roddi y cyfan yn llaw yr Arglwydd i wneyd â hwynt yn unol a'i ewyllys ei hun; bwriodd ei baich arno, gan gwbl gredu fod pob peth yn cydweithio er daioni i'r rhai sydd yn caru Duw. Cynorthwywyd hi yn fawr gan y teimlad hwn i gymodi â'r amgylchiad o adael priod anwyl a mab hoff ar ei hol am dymor eto ar y ddaear. Duw fyddo yn nodded ac yn amddiffyn iddynt yn eu trallod blin.

Claddwyd yr hyn oedd farwol o'n chwaer yn nghladdfa Forty-Fort. Cafodd angladd anrhydeddus. Gweinyddwyd gan yr ysgrifenydd. W. D. THOMAS.

### MRS. MARGARET HUGHES.

Ionawr 11, 1883, yn Oshkosh, Wis., yn nhy ei mab, John Hughes, bu farw yr hen chwaer Margaret Hughes gweddw Mr. John Hughes, Caeglas, ger Caergybi, Sir Fôn, G. C., yn 90 mlwydd oed.

Claddwyd hi y 13eg, yn mynwent eglwys y Bedyddwyr, sef Salem, lle yr oedd yn aelod er pan ddaeth i'r wlad hon gyda ei mab Henry, er's agos i 12 mlynedd yn ol. Gweinyddwyd wrth y ty a'r capel gan y Parchn. H. O. Rowlands (B.); J. R. Jones a D. Davies (M. C.). Gellir dysgwyl ychwaneg o'i hanes eto.

### MR. JOHN WILLIAMS.

Ionawr 7, 1883, yn Minersville, Pa., mewn oedran teg, bu farw yr hen frawd parchus Mr. John Williams, y crydd. Yr oedd yn aelod ffyddlawn gyda y Bedyddwyr er ys llawer blwyddyn. Claddwyd ef y dydd Iau canlynol. Nid ydym wedi derbyn manylion pellach. G.

### MRS. SUSANNAH JONES.

Tachwedd 30 1882, yn Arnot, Tioga Co., Pa., bu farw Mrs. Susannah Jones, priod Mr. David Jones, o'r lle hwn, yn 65 mlwydd oed. Ganwyd hi yn Merthyr Tydfil, D. C. Symudodd i America er ys amryw o flynyddau. Bu fyw yn grefyddol gyda yr Annibynwyr y rhan flaenaf o'i hoes. Ond wedi dyfod i fyw i Arnot, cyfnewidiodd ei barn am yr ordinhad o fedydd. Bedyddiwyd hi ar broffes o'i ffydd gan y Parch. Edward Jenkins, Plymouth, Pa., y pryd hwnw, ond yn awr Palmyra, Ohio. Cafodd gystudd blin—y dyfrglwyf. Bu yn hynod ffyddlon i ddyfod i foddion gras tra y gallodd. Nid oedd yr un tywydd yn rhy arw iddi ddyfod i dy yr Arglwydd. Bu farw yn dawel, ac mewn ystyr heb wybod iddi ei hun. Bu ffyddlon hyd angau, a diau iddi gael ei derbyn o ran ei henaid i lawenydd ei Harglwydd.

Daeth llawer i'r angladd i Blossburgh, lle yr erys hyd ganiad yr udgorn diweddaf. Gweinyddwyd yn ei hangladd, Rhagfyr 2, gan yr ysgrifenydd. W. R. JAMES.

### JAMES GARFIELD DEVEREUX.

Ionawr 9, 1883, yn Rosedale, Kansas, yn 9 mis oed, o'r *bronchitis*, bu farw James Garfield, plentyn i James a Mary Devereux.

Y dydd Iau canlynol, daeth llawer o'r cymydogion a chyfeillion yn nghyd i hebrwng y bychan i dy ei hir gartref. Claddwyd ef yn *cemetery* Westport. Gweinyddwyd yn y ty gan Mr. W. James. Y mae Mr. a Mrs Devereux yn Fedyddwyr selog, ac yn byw yn addas i'w proffes. Hwn oedd yr ail berl i goron Iesu y maent wedi cael y fraint i ofalu am danynt am ychydig amser. Bendithied Duw hwy a gras i barhau yn ffyddlon hyd y diwedd.

W. R. JAMES.

Digitized by Google

# Y WAWR.

CYF. VII.]. MAWRTH, 1883. [RHIF. 12.

## Y BEDYDDWYR CYMREIG.

GAN DR. PRICE, ABERDAR.

*Anerchiad a Draddodwyd yn Nghyfarfod Undeb Prydain Fawr a'r Iwerddon, yn Liverpool, Hydref, 1882.*

II.

Yr oedd y flwyddyn 1790 yn nodedig fel y flwyddyn y rhanwyd y gymanfa. Hyd y flwyddyn 1790, yr oedd holl eglwysi Bedyddiedig Cymru yn cael eu cynwys mewn un gymanfa. Mor bell ag yr ymddengys i mi, safai pethau fel hyn y pryd hwnw: 46 o eglwysi, heb y cangenau; 61 o weinidogion ordeiniedig; ond yr oedd hefyd nifer fawr o bregethwyr cynorthwyol. Nid oedd yr eglwysi y pryd hwnw yn hoddi cyfrif yr aelodau; ond oddirth lythyrau yr eglwysi at y gymanfa, awn fod y nifer o 544 wedi eu bedddio yn ystod y flwyddyn gymanfaol. Yn y flwyddyn hon, yr oedd y gymnfa yn cael ei chynal yn y Dolau, yn wydd Faesyfed, ac yn cynrychioli holl glwysi Bedyddiedig Cymru, gydag un it iad, sef eglwys Craig-y-Fargoed. ı y gymanfa o dan sylw, yn hollol e ychlawn, tangnefeddus, a chariad- ı , rhanwyd y gymanfa yn dair, a h dwyd iddynt yr enwau canlynol, sef y Gogledd, y De-Ddwyreiniol, a'r Orllewinol.

Yn y flwyddyn 1794, mae yr eglwysi, am y tro cyntaf, yn rhoddi i mewn rif yr aelodau. Mae cyfrifon y flwyddyn 1794 yn dangos fod y pryd hwnw yn Nghymru 56 o eglwysi, yn cynwys 7,058 o aelodau. Pedair blynedd yn ddiweddarach (1798), mae Dr. John Rippon yn rhoddi rhif yr eglwysi Bedyddiedig yn 84, yn cynwys 9,000 o aelodau mewn cyflawn gymundeb.

Ni a symudwn yn mlaen i'r bedwaredd ganrif ar bymtheg. Yn y flwyddyn gyntaf o'r ganrif hon, sef yn 1800, yr oedd yr eglwysi Bedyddiedig yn Nghymru yn rhifo 86, ac yn cynwys dim llai na 12,000 mewn cyflawn gymundeb. Yn ystod y deng mlynedd nesaf, derbyniodd yr eglwysi Bedyddiedig, trwy drochiad yn unig, y rhif o 7,438 o aelodau. Yn y deng mlynedd nesaf, derbyniwyd trwy fedydd 8,839 yn gyflawn aelodau. Yn yr un mlyn-

Digitized by Google

edd ar ddeg nesaf, yn cynwys y flwyddyn 1820 hyd y flwyddyn 1830, yr oedd y derbyniadau trwy fedydd yn 16,222.

Mae y Bedydwyr Cymreig wedi derbyn gwenau Duw mewn modd arbenig iawn. Yn nechreu y ganrif hon, yr oedd y bedyddiadau yn hynod o luosog; ac ni a gawn yr un prawfion hefyd yn y cynydd mawr mewn eglwysi a gweinidogion. Yn y flwyddyn 1800, yr oedd yr eglwysi Bedyddiedig yn rhifo 86; yn y flwyddyn 1820, yr oeddent yn rhifo 150; ac yn y flwyddyn 1830, yr oeddent yn rhifo 215. Yn y flwyddyn olaf a nodwyd, sef 1830, yr oedd gweinidogion y Bedyddwyr yn Nghymru yn rhifo 190 mewn llawn waith, yn gwasanaethu eglwysi y Duw byw. Nid ydym yma yn rhifo yr amrywiol gangenau a berthynent i'r eglwysi ar y pryd hwnw, a'r nifer fawr o bregethwyr cynorthwyol ag oeddent yn rhoddi eu llafur gwerthfawr at wasanaeth yr eglwysi. Pedair blynedd yn ddiweddarach, sef yn y flwyddyn 1834, yr oedd yr eglwysi yn rhifo 215; y cangenau yn rhifo 154; y gweinidogion ordeiniedig yn rhifo 190; a'r pregethwyr cynorthwyol 110.

Yn awr, ni a gawn symud yn mlaen i'r flwyddyn 1862. Yn y flwyddyn 1862, sef ugain mlynedd yn ol, cefais y fraint o ddarparu llythyr cymanfaol cymanfa y Bedyddwyr yn Morganwg; ac er cael cywirdeb ystadegol, danfonais gylch-lythyrau at yr holl eglwysi Bedyddiedig Cymreig trwy Gymru, Scotland, Trefedigaethau Prydeinig, a'r Talaethau Unedig yn America. A ffrwyth y casgliad hwnw oedd llythyr cymanfa Morganwg am y flwyddyn 1862. Wel, ynte, sefyllfa y Bedyddwyr Cymreig ugain mlynedd yn ol oedd fel hyn:

| | | | |
|---|---|---|---|
| Cymanfaoedd | 10 | | |
| Eglwysi | 545 | | |
| Cangenau | 120 | | |
| Gweinidogion Ordeiniedig | 351 | | |
| Cynorthwywyr | 258 | | |
| Aelodau mewn cymundeb | 64,958 | | |
| Rhif y gwrandawyr | 75,155 | | |
| Rhif y bedyddiedigion am y flwyddyn, yn diweddu yn Gorphenaf | 3,729 | | |
| Rhif y capeli | 576 | | |
| Cangenau | 181 | | |
| Ysgolion Sul | 607 | | |
| Swyddogion yn yr ysgolion | 2,608 | | |
| Athrawon yn y cyfryw | 9,209 | | |
| Ysgolheigion | 67,651 | | |
| | £ | s | c |
| Gwerth arianol | 345,601 | 0 | 0 |
| Dyledion ar yr eiddo | 85,694 | 0 | 0 |
| Gweddill yn gwbl rydd o bob gofynion | 259,907 | 0 | 0 |
| Cyfraniadau blynyddol y Bedyddwyr Cymreig am y flwydd yn yn diweddu Gorphenaf, 1861, oedd a ganlyn: | | | |
| Achosion cartrefol, yn cynwys y weinidogaeth, dyledion capeli, llogau, treulion parhaol a chydredol, a'r tlodion | 34,353 | 0 | 0 |
| Y colegau | 1,448 | 0 | 0 |
| Y cenadaethau | 1,914 | 0 | 0 |
| Yr ysgol Sul | 2,518 | 12 | 6 |
| Cyfanswm am y flwyddyn | 39,823 | 12 | 6 |

Ein Colegau.—Mae gan y Bedyddwyr Cymreig dri o golegau. Sefydlwyd y cyntaf yn y Fenni, yn 1807; yr ail yn Hwlffordd, yn y flwyddyn 1839; a'r olaf yn Llangollen, yn y flwyddyn 1862. Yn y flwyddyn dan sylw, yr oedd 77 o wyr ieuainc o dan ddysgeidiaeth rheolaidd a chyson chwech o ddynion da, a dynion Duw, ac yn gyfryw ag oeddynt wedi eu cymwyso at y gwaith o fod yn athrawon.

Yn y flwyddyn o dan sylw, sef y flwyddyn 1862, yr oedd gan y Bedyddwyr Cymreig amryw gyhoeddiadau, megys *Seren Gomer, Y Greal, Y Bedyddiwr, Yr Athraw, Llyfr y Plant, Y Gwyliedydd*, a *Seren Cymru.*

Yr oedd sefyllfa gymharol y Bedyddwyr Cymreig â sefyllfa pethau mewn unrhyw ran o'r Deyrnas Gyfunol yn dra ffafriol i'r Bedyddwyr. Yn y flwyddyn 1862, yr oedd pethau yn

Digitized by Google

sefyll yn gymharol fel hyn: Yn yr Iwerddon, yr oedd un Bedyddiwr am bob 4,475 o'r boblogaeth. Yn Scotland, yr oedd un Bedyddiwr ar gyfer pob 508 o'r trigolion. Yn Lloegr, yr oedd un Bedyddiwr am bob 117 o'r boblogaeth; tra yr oedd Cymru yn rhoddi un Bedyddiwr am bob ugain o'r preswylwyr.

Cymerwn eto ddau gyfnod yn yr ugain mlynedd olaf o'r tymor sydd o dan ein sylw. Yn ol yr *Hand Book* am 1872, cawn fod y Bedyddwyr Cymreig yn dychwelyd yr ystadegau canlynol: Er heb fod yn gyflawn iawn, eto cynwysant ffeithiau o werth ein sylw. Yr oedd y Bedyddwyr Cymreig yn y Deyrnas Gyfunol y pryd hwnw yn 12 cymanfa, yn meddu 608 o eglwysi, a 657 o leoedd addoliad; 64,348 o aelodau, a 10,270 o athrawon yn yr ysgol Sul, a 65,400 o ysgolheigion, neu ddeiliaid, yn y cyfryw ysgolion.

Yn awr, ni a gymerwn yr *Hand Book* am 1882, a chawn fod ystadegau y Bedyddwyr Cymreig yn y deyrnas hon fel hyn: Mae genym yn awr 635 o eglwysi, yn dangos enill o 27 o eglwysi; 742 o gapeli, 85 o enill yn y deng mlynedd; 41,700 o eisteddleoedd wedi eu darparu ar gyfer yr addolwyr; 80,478 o aelodau mewn cyflawn gymundeb; 9,842 o athrawon yn yr ysgol Sul; 84,454 o ddysgyblion yn yr ysgolion; 456 o weinidogion, a 304 o bregethwyr cynorthwyol. Dyma sefyllfa ystadegau y Bedyddwyr ar yr adeg bresenol, yn ystyr briodol y gair; ond mae arnaf awydd i nodi ffaith neu ddwy o barthed gweithgarwch y Bedyddwyr Cymreig am yr ugain mlynedd diweddaf.

Yn gyntaf, maent wedi sefydlu 110 o'r eglwysi newyddion, yn wasgaredig drwy siroedd Cymru, fel hyn, sef, Mon, 4; Brycheiniog, 2; Sir Aberteifi, 2; Sir Gaerfyrddin, 9; Sir Gaernarfon, 5; Sir Ddinbych, 7; Fflint, 2; Morganwg, 71; Penfro, 6; Maesyfed, 2; Mynwy, 13; cyfanswm, 113.

Yn ail, Ein Cymdeithasau. Mae y rhai hyn yn rhai gwir bwysig, megys, y Drysorfa Adeiladu, y Gymdeithas Gyhoeddiadol, y Gymdeithas Ddarbodol; y Gymdeithas Ddirwestol; ac yn olaf, ond nid y lleiaf, Undeb Bedyddwyr Cymru.

Yn drydydd, Ein Llenyddiaeth Gyfnodol. Nid yw y rhai sydd ar y maes yn awr wedi cael eu bodolaeth yn ystod yr ugain mlynedd diweddaf; ond y maent o wasanaeth mawr i'r Bedyddwyr. Mae yn awr ar y maes *Seren Gomer*, *Y Greal*, *Yr Athraw*, *Seren Cymru*, a'r *Herald Cenadol.* Heblaw y rhai hyn, mae amryw o lyfrau gwerthfawr wedi eu cyhoeddi gan frodyr galluog yn mhlith y Bedyddwyr Cymreig.

*Bedyddwyr Cymreig yn Genadon.*—Mae y Bedyddwyr Cymreig wedi cael y fraint o fagu rhai o'r cenadon goreu sydd wedi bod, ac yn bod, ar y meusydd cenadol. Mae y rhai hyn i'w cael yn India, Ynysoedd y Bahamas, China, ac Affrica.

*Ein Colegau.*—Mae yn awr dri choleg at addysgu dynion ieuainc i waith mawr y weinidogaeth.

PONTYPOOL.—Sefydlwyd yr athrofa hon yn y Fenni, yn y flwyddyn 1807, a symudwyd i Bontypool yn y flwydd. 1836; yr oedd eu derbyniadau arianol am y flwyddyn ddiweddaf yn £1,405, 19s. 8c. Rhif y myfyrwyr yw 28, o dan lywyddiaeth y Proffeswyr Edwards a Thomas.

HWLFFORDD.—Sefydlwyd hon yn 1839; y cyllid arianol yw £899 14s., 9c. Rhif y myfyrwyr yw 20. Yr ath-

Digitized by Google

rawon ydynt y Dr. Davies a'r Proffeswr Witton Davies.

LLANGOLLEN.—Sefydlwyd hon yn 1862; cyllid arianol yw £955 8s. 10., o dan lywyddiaeth Dr. Jones a'r Proff. Davies. Rhif y myfyrwyr yw 21.

*Bedyddwyr Cymreig yn America.*—Goddefer i mi gael gair am y rhai hyn. Mae yn amlwg i'r hanesydd fod Bedyddwyr Cymru wedi bod a llaw bwysig yn ffurfiad ansawdd grefyddol yr Unol Dalaethau. Yn mis Mawrth, 1639, bedyddiwyd y Cymro enwog, sef Roger Williams, ar derfynau Naragansas, yn Rhode Island; a'r canlyniad o hyn oedd, iddo ffurfio eglwys o Fedyddwyr. Yn y flwyddyn 1663, aeth John Myles, gyda nifer eraill o Fedyddwyr, o Ilston, ger Abertawy, i America, a sefydlodd yn Swanzey, yn agos i Boston, yn Nhalaeth Massachusetts, a sefydlodd eglwys Gymreig yno. Am y pymtheg mlynedd ar ol y flwyddyn 1662, darfu i rif mawr o Fedyddwyr Cymreig ymfudo i America o ardaloedd Abertawy, Glandwr, Penyfai, Llanon, Caerfyrddin, a chymydogaethau cyfagos eraill. Yn y flwyddyn 1680, daeth Mary Davies, o Maesyfed, i Pennsylvania, a bu yn foddion i sefydlu eglwys Gymreig yn Penepek. Yn y flwyddyn 1701, aeth y Parch. Thomas Griffith, gyda phymtheg eraill o Fedyddwyr Cymreig, y rhai oeddent yn aelodau yn eglwysi Glandwr a Rhydwilym, i America, a sefydlasant mewn lle a gyfenwid ganddynt, *The Welsh Tract*, yn Nhalaeth Pennsylvania, ac yma sefydlasant eglwys gref o Fedyddwyr. Yn 1710, darfu i nifer o Fedyddwyr Cymreig sefydlu eglwys yn Montgomery, yn Nhalaeth Pennsylvania. Yn 1711, darfu i nifer o Fedyddwyr Cymreig o ardal Abertawy sefydlu eglwys yn y Great Valley. Mae yn ffaith a gydnabyddir, fod o leiaf ddeg o eglwysi Bedyddiedig wedi cael eu sefydlu yn foreu iawn yn Nhalaeth Pennsylvania yn unig.

Y pryd hwn, mae y Bedyddwyr yn meddu eu capeli, pregethu rheolaidd, ysgolion Sul, a'u cymanfaoedd, yn Nhalaethau New York, Massachusetts, Ohio, Maryland, Michigan, Missouri, Wisconsin, a thu hwnt i'r Missssippi.

Er engraifft, mae yr *Year-book* am eleni yn rhoddi y rhifnodau hyn am Dalaeth Wisconsin: Eglwysi Cymreig, 8; Talaeth Ohio, 20; a Pennsylvania, 30; ond nid yw y rhai yna yn cynwys yr oll o'r eglwysi Cymreig yn America; ac hefyd, mae gan y Bedyddwyr Cymreig yno gyhoeddiad misol, y WAWR, yr hwn gyhoeddiad sydd yn glod mawr i ben a chalon y golygydd parchus, y Parch. Owen Griffith (*Giraldus*).

Nodwedd y Bedyddwyr Cymreig yw, eu bod, fel rheol, yn gymunwyr caeth. Dyma eu nodwedd yn y mynedol, yn y presenol, ac ni a obeithiwn, trwy help Duw, yn y dyfodol hefyd, gan mai dyna y ffordd i ogoneddu Duw, ac anrhydeddu Crist yn ei eglwys ar y llawr.

Daliwn ein gafael yn dyn yn egwyddorion y Testament Newydd, gan barchu y gwirionedd fel y mae yn yr Iesu, nes delo holl blant Adda i gydnabod Crist yr Arglwydd yn Ben uwchlaw pob peth i'w eglwys.

## YR HEN GREFYDD BERSIAIDD.

Mae y wybodaeth a geir am grefydd yr hen Bersiaid yn dod i ni yn benaf trwy eu llyfrau cysegredig—y *Zendavesta*. Nid oedd Zoroaster ond diwygiwr yr hen grefydd hono. Yr oedd crefydd y Persiaid ar y cyntaf yn syml.

Digitized by Google

Parhaodd crefydd Zoroaster i flodeuo hyd yn nod ar ol ymddangosiad Cristionogaeth, yn y drydedd ganrif. Yr oedd y grefydd benaf yn y dwyrain hyd nes cyfododd y gallu Mahometanaidd. Hyn sydd yn sicr, i ddiwygiadau Zoroaster ar hen grefydd y Persiaid arwain i lygriadau mwy eithafol na dim a berthynai i'r hen grefydd flaenorol.

Dysgai fodolaeth un Duw, yr hwn a greodd ddau fath arall o fodau galluog, ac a'u cynysgaeddodd â chymaint o'i natur ei hun ag a welai yn dda.

Yr oedd gwasanaeth y seremoniau a'r arferion crefyddol yn cael ei gyflawni gan yr offeiriaid, yrhai a elwid y Magiaid. Mae hanes crefyddau y cenedloedd dwyreiniol yn peri dyddordeb ychwanegol pan ddeallir eu bod yn gangenau uniongyrchol o'r genedl Aryaidd, oddiwrth ba un yr ydym ni a phrif genedloedd Ewrop wedi tarddu. Ac y mae y fath berthynas agos yn dwyn prawfion fod rhai o brif elfenau ein gwareiddiad ni yn cyrhaedd o'r cyfnod pell hwnw yn mhlith y genedl hono. Y mae gwreiddiau eu hiaith we i tyfu yn gangenau, ac y mae llawer o'u credoau syml cyntefig hwy wedi gosod llawer o'u delw ar aelodau Ewropaidd ac eraill o'r teulu Aryaidd gynt yn ngogledd India; o ganlyniad, y mae gwybod hanes y gwahanol gangenau amgylchynol agosaf at y cartref cyntefig—ac yn neillduol eu hanes crefyddol, yn meddu y dyddordeb mwyaf i'r hanesydd Cristionogol. Ar yr un pryd, alaethus ydyw dilyn y prawfion diymwad sydd ar gael o ddirywiad crefyddol yn eu plith oes ar ol oes.

Modd bynag, mae yr hwn sydd yn credu ei Feibl yn ymlawenhau wrth fod hyn yn cynwys cyd-darawiad hapus â'r hanes y mae Genesis yn ei roddi o grefydd a chyflwr boreuol dyn. Y mae yr un nodwedd ddirywiedig yn dod i'r amlwg eto yn hanes Zoroaster a'i grefydd yn Persia; yr oedd ef yn byw oddeutu 1,200 o flynyddau cyn Crist. Nid oes dim yn sicr am y lle yr oedd yn byw, neu ddygwyddiadau ei fywyd.

G.

# MATHETES.

## III.

Wedi treulio ychydig dros ddwy flynedd a haner dedwydd a llwyddianus yn Mhorthyrhyd, ymadawodd am Gaersalem Newydd yn agos i Abertawe. Yr oedd hyn tua diwedd 1848 neu ddechreu 1849. Eglwys ieuanc Fedyddiedig, tuag wyth mlwydd oed, oedd Caersalem Newydd pan ymgymerodd Mathetes â'i bugeiliaeth. Eglwys Annibynol oedd yn cychwyn; ond yn ngwyneb cyfnewidiad ei barn yn nghylch dull a deiliaid bedydd, daeth drosodd at y Bedyddwyr, a bedyddiwyd 120 o'i haelodau ar unwaith. (Gwel yr hanes dyddorol yn Nghofiant Dr. Davies Ddall, tud. 190, &c.) Rhwng yr amser hwn ac adeg dyfodiad Mathetes i Gaersalem, yr oedd yr Eglwys wedi dyoddef yn dost oddiwrth ei gweinidogion. Un yn cymeryd gofal yr Eglwys ac yn treulio llai na blwyddyn gyda hi, arall yn ymdroi mewn meddwdod a chyfeddach, yn lle gofalu am ei gymeriad a'i ddyledswyddau. Yr oedd rhai o'r blaenoriaid hefyd yn mhell o ddyfod i fyny â chymeriad "seithwyr da eu gair." Yr oedd yr ardal hefyd yn ymdroi mewn anfoesoldeb. Yr oedd y "cwrw bach" a'r "pastiod," yr ymladdfeydd a phob rhialtwch annuwiol mewn bri mawr yn mhlith y trigolion; ac yr oedd y lefain dinystriol yn gweithio drwy'r Eglwysi, ac yn gwrthweithio dylanwad, ac yn mawr boeni, y sawl oeddent yn deall ac yn ceisio byw crefydd. Yr oedd meddwdod yn uchel ei ben yn yr Eglwysi. Peth cyffredin gan aelodau crefyddol oedd cadw "cwrw bach" a "phastiod," y rhai ydynt yn mhlith yr arferion llygredicaf sydd yn gwarthruddo dynoliaeth gwympedig. Nid oedd yr ardal yn rhydd ychwaith, yr adeg dan sylw, oddiwrth syniadau Sosinaidd. Dyma faes llafur Mathetes, y dirwestwr selog, y Cristion pur, gelyn anghymodlawn "pob rhith drygioni," campwr y "gwirionedd fel y mae yn yr Iesu," a'r gwrol-ddyn mwyaf cydwybodol a

Digitized by Google

didderbyn-wyneb a sangodd y ddaear nemawr waith erioed. Dyma filwr da i Iesu Grist yn llawn gwroldeb Apostolaidd yn myned allan yn erbyn y gelyn, ei yspryd yn tanio yn erbyn pechodau yr oes, ac yn cydio yn "nghleddyf yr Yspryd" i dori ymaith yn ddidrugaredd benau anghymedroldeb ac anfoesoldeb. Ofer dysgwyl am heddwch yma tra y mae cleddyf a thân wedi eu bwrw ar yr ardal a'r Eglwys. Cyn y daw heddwch rhaid i'r cleddyf ddinystrio gelynion crefydd a'r tân buro yr ardal a'r Eglwys sydd yn sawru ag anfoesoldeb. Gynted y daeth Mathetes i Gaersalem dechreuodd ar ddynoethi a chondemnio yn y modd mwyaf difloesgni arferion niweidiol a llygredig y digrefydd a'r crefyddol. Siaradai, gweddiai a phregethai yn erbyn y "cwrw bach," "pastiod" ac arferion anfoesol ereill. Naturiol oedd i'r fath ddynoethiad gwyneb-agored dynu y rhai oeddent yn cadw y pethau hyn, a'r rhai oeddynt yn eu mynychu, yn elynion parod i'r pregethwr gonest a gwrol. Gwawdid, difenwid ac erlidid ef gan ei elynion; peidiai llawer o'r aelodau a dyfod i'w wrandaw am ei fod am ddwyn ymaith eu heilunod a gobaith eu helw; ond ni thyciai dim i'w ddigaloni; ymladdodd yn ddewr dros y gwirionedd a sancteiddrwydd, a llwyddodd yn ei amcan, er na chafodd fwynhau ffrwyth ei lafur gonest ac hunan-aberthol. Diflanodd y "cwrw bach," y "pastiod" a'r "ymladdfeydd" yn yr ardal, gwreiddiodd egwyddorion sobrwydd yn y lle; purwyd Eglwys Caersalem ac Eglwysi ereill y gymydogaeth, a llwyddodd achos Mab Duw mewn canlyniad. Teilwng yw nodi fod Eglwys Caersalem Newydd yn awr yn un o Eglwysi parchusaf Cymru, a bod ei gweinidog galluog a phoblogaidd yn ddirwestwr selog. Nid yw yn debygol y buasai Eglwys Caersalem yr hyn ydyw heddyw oni b'ai Mathetes. Efe ymladdodd, efe ddyoddefodd, efe lwyddodd.

Nis gellid dysgwyl i ddiwygiwr fel Mathetes fod yn boblogaidd mewn ardal fel oedd Caersalem Newydd pan aeth ef yno. Gwirionedd a phurdeb oedd ei nod ac nid poblogrwydd. Er hyny camsynied fyddai tybio na fu yn llwyddianus yma fel gweinidog, yn annibynol ar yr hyn a wnaeth i buro yr Eglwys a'r ardal. Bedyddiodd lawer yma, ac yn eu plith rai o hen gymeriadau hynotaf y gymydogaeth. Dywedir iddo fedyddio rhai o ddynion mwyaf yr ardaloedd. Nid yn unig yr oedd yn fychan, ond yn deneu hefyd pan yn Nghaersalem. Un tro yr oedd un o'r dynion mwyaf yn yr ardal yn ymgeisydd am fedydd. Ofnai llawer a dywedai ereill, nas gallasai Mathetes ei fedyddio. Clywodd ef am hyny, ac yr oedd rhywbeth fel hyn yn cyffwrdd â'i deimlad. Cyn myned i'r dwfr dywedodd wrth y bedyddiedig: "Paid ofni dim: os na alla' i dy fedyddio di ar unwaith, mi dy fedyddia di ar ddwywaith." Nid oedd achos ofni, o herwydd bedyddiodd ef yn ddidrafferth ar unwaith. Yr oedd dyled fawr a llethol ar Gaersalem pan oedd Mathetes yno; a gyda'r egni nodweddiadol o hono ef ei hun, aeth yn nghyd a'i dileu. Pe byddai yn ddyled bersonol iddo ef ei hun ni allasai ymdrechu mwy i'w chlirio. Tynai gynlluniau i'w dileu, a gweithiai y rhai hyny allan gyda ffyddlondeb ac effeithiolrwydd. Cychwynodd *Tea Parties* yn yr ardal; llwyddodd i gael £100 yn ddilog o Gymdeithas Adeiladu Llundain; gwnaeth i'r Eglwys weithio gartref yn ol ei gallu, ac elai yntau oddicartref i gasglu. Anfonodd gais at Gymanfa Mynwy am ganiatad i fyned drwy y Sir i gasglu at y capel, a chaniatawyd hyn iddo. Aeth drwy y Sir, casglodd £100, ac at y swm hwnw ychwanegodd yntau £5. Yn fuan ar ol hyn anfonodd gais i'r un perwyl at Gymanfa Penfro, yr hwn a ganiatawyd iddo. Aeth drwy y Sir, casglodd £60, ac ychwanegodd yntau £3 arall. Pan ystyriom y draul dillad, &c., oedd yn myned arno yn y teithiau hyn, yn nghyd â maint ei gyflog, rhyw £3 y mis, rhaid i ni gyfaddef ei fod yn gwneyd aberth mawr drwy roddi y symiau ychwanegol hyn. Drwy ei gynlluniau effeithol, ei ymdrechion dibrin, a'i haelionusrwydd dihafal, ysgafnhaodd faich y ddyled, fel yr oedd yn

Digitized by Google

gymharol rwydd ei dwyn pan aeth oddiyma.

Ymdrechai â'i holl egni yma fel yn Mhorthyrhyd dros yr Ysgol Sabothol, ac yr oedd y cyfeillachau crefyddol yn cael ei sylw neillduol. Ceisiai gael gan ddynion ieuainc i gasglu gwybodaeth a meddwl drostynt eu hunain. Rhoddai bynciau iddynt i siarad arnynt yn y cyfeillachau, anogai hwynt yn mlaen, a chynorthwyai hwynt i ymragori. Bu ei lafur i raddau yn llwyddianus i'r cyfeiriad hwn; ac y mae llawer o'i ddelw yn ganfyddadwy ar rai o'i ddysgyblion hyd heddyw.

Dywedir fod Mathetes wedi ymserchu yn fawr yn ardal ac Eglwys Caersalem Newydd, er iddo orfod hau yma mewn dagrau. Yr oedd ymadael oddiyma yn waith caled iawn iddo. Yr oedd wedi ffurfio iddo ei hun gylch o gyfeillion ffyddlon a mynwesol. Yr oedd wedi neillduo man i'w gladdu yn ymyl y capel, a bu hwnw yn ei feddwl hyd nes iddo gladdu ei ferch fechan anwyl a'i ail wraig garuaidd yn nghladdfa y Pant, lle, erbyn hyn, y tawel huna ei lwch cysegredig yntau. Ond er mor anwyl oedd Caersalem iddo ef, gwelodd nad oedd y mwyafrif yn gwerthfawrogi ei dalent a'i lafur, ac yn 1854 derbyniodd alwad oddiwrth Eglwys y Deml, yn Casnewydd, a symudodd yntau yno. Mae ei sel ddirwestol a chrefyddol yn parhau i losgi yma eto. Gwnaeth ddaioni mawr yn y Deml drwy buro amryw oeddynt yn dueddol i ormod rhysedd gyda'r gyfeddach. Llwyddodd i gael yr Eglwys i weithio a dylanwadu ar yr aelodau hyny oeddynt yn cadw tafarndai i'w cau ar y Sabboth. Llwyddodd i raddau pell iawn, ond nid yn hollol. Yr oedd Eglwys y Deml yn uchel-Galfinaidd o'i chychwyniad hyd ddyfodiad Mathetes yn weinidog arni. Felly nid oedd llawer o unoliaeth barn am yr "Athrawiaeth" rhwng Mathetes a'r Eglwys, gan ei fod yr hyn a ellir ei alw yn Armin, os oes dal hefyd ar yr enwau gwahaniaethol y bu ein teidiau yn cweryla gymaint yn eu cylch. Beth bynag, ni chredai Mathetes yn yr hyn a elwir yn "etholedigaeth ddiamodol, dragywyddol a phersonol." Ond er fod ei syniadau ef yn gwrthdaro yn echrydus yn erbyn syniadau anwylaf yr hen frodyr, ni cheisiodd eu cuddio na'u llyfnhau er mwyn eu boddhau. Boddhau yn wir! Beth ofalai ef am foddhau dynion? Cyhoeddi ei argyhoeddiadau oedd ei waith ef, a gadael i'w wrandawyr foddloni neu ddigio wrthynt. Pregethodd yn ddiamwys ei syniadau i bobl ei ofal yn Nghasnewydd, a llwyddodd i gael gan amryw o'r "hen ysgol" goleddu syniadau eangach am drefn y cadw.

Cas bethau Mathetes oedd ystumiau, hen ddywediadau ystrydebol a disynwyr, a "dweyd profiadau" gwneyd. Pan aeth ef i'r Deml, nid oedd hi yn hollol rydd oddiwrth y pethau hyn yn fwy nag eglwysi eraill. Os na all hyd yn nod dyn ieuanc anffurfio ei wyneb yn Phariseaidd, gwneyd tôn annaturiol, a dweyd ei brofiad tu fewn i ffiniau *stereotyped*, amheuir ei ras gan lawer yn ein heglwysi. Cofiwn un hen frawd yn condemnio y dynion ieuainc oeddynt yn amcanu at ddweyd synwyr yn y cyfeillachau, am eu bod yn "areithio," yn lle "dweyd eu profiadau." Mae yn debyg fod eglwys y Deml wedi ei dysgyblu i berffeithrwydd yn yr hen ddull hen ffasiwn o "ddweyd profiad," ac fod hyn wedi dyfod mor naturiol ag anadlu i'r hen frodyr. Mewn cyfeillach ar nos Fawrth, yr oedd yr hen frodyr a chwiorydd yn hynod hwyliog, yn dweyd eu profiadau a'u teimladau. Yn mhlith eraill, cododd hen frawd duwiol o'r enw Thomas Lewis, cwynai yn duchanllyd, ac achwynai yn arw ar "bla calon ddrwg a du, a meddyliau llygredig." Yn ei dduwiolfrydedd camsyniol, tynai ddarluniau gwrthun o'i gymeriad ysbrydol. Anhawdd i'r hen frawd da oedd peidio myned i'r fath eithafion disail, gan mor gryf oedd grym arferiad. Ond cyn iddo braidd gael amser i eistedd, cododd Mathetes yn bybyr, ysgydwai ei hun yn arwyddocaol a dywedai wrtho, "Thomas Lewis, gwrandewch, pe gallwn ddarbwyllo fy hun, ac eraill sydd yn bresenol, i gredu am danoch chwi y peth a ddywedwch am danoch eich hun, mi a'ch diarddelwn yn y man." Cymerodd

Digitized by Google

fantais ar yr achlysur hwn i ddangos ffoledd y fath ffurf o ddywediadau gan ddynion yn ofni Duw, yn credu yn yr Arglwydd Iesu Grist, ac wedi eu hachub gan ddwyfol ras. Cafodd y wers ddylanwad, a bu yr hen frodyr da lawer yn fwy gofalus rhagllaw rhag myned i'r fath eithafion yn y ffordd hono. Teg yw hysbysu, nad oedd Mathetes yn erbyn mynegiad o brofiad Cristionogol a gwirioneddol, ond yn erbyn hen ddywediadau camsyniol, disynwyr ac ystrydebol a arferir yn yr un dull gan filoedd yn yr amgylchiadau a'r cyflyrau mwyaf gwahanol sydd yn ddichonadwy iddynt fod ynddynt. Byr fu arosiad Mathetes yn y Casnewydd. Ei wraig oedd yr achos o'r symudiad buan oddi yma. Ond gwnaeth ei arosiad byr argraff arosol ar yr eglwys. Nis gall talent, bywyd pur, gonestrwydd, ac unplygrwydd cymeriad, wedi eu cysegru i achos crefydd, fyned yn ofer.

## LLINELLAU

COFFADWRIAETHOL AM Y DIWEDDAR BARCH. MORRIS J. WILLIAMS, REMSEN, N. Y.

Hybarch frawd, a'm hoffus gyfaill
Morris Williams, anwyl ddyn,
A orphenaist di dy yrfa,
Wyt ti'n cysgu'th olaf hun ?
Cofus genyf y tro cyntaf
Cefais olwg ar dy wedd,
Draw yn eithaf Gogledd Cymru,
Ar dy hynt fel cenad hedd.

Cofiwyf hefyd yr ymddyddan
A fu rhyngom ni ill dau,
Ac mae'r argraffiadau ffafriol
Ar fy meddwl yn parhau ;
Nid rhyw siarad gwag disylwedd
Fel y clywir llawer un,
Nes gwneyd pawb o'i gylch yn boenus,
Bernir ef yn llai na dyn.

Do, mi dreuliais amryw oriau
Yn dy gwmni dyddan di,
A phan glywais am dy farw,
Rhedai'm dagrau lawr yn lli ;
Daeth i'm cof ryw lu o bethau
Barodd im' fyfyrdod dwys,
Cyfeillion'ddaeth yn llu i'm meddwl
Sydd fel tithau dan y gwys.

Er pan ro'w'd dy lwch i gadw,
Yma'n nhir Americ fawr,
Wyf yn teimlo fel yn foddlawn
Gael fy mhriddo ynddi'n awr ;
Iē, boddlawn wyf i orphwys
Gyda thi mewn daear bell,
Sain yr udgorn a'n dihuna
Yma mewn estronol gell.

Fe gaed ynddo yr edmygol,
Pwyll, arabedd gwych a dawn,
Cymwysderau cymdeithasol,
Meddai arnynt oll yn llawn ;
Pan y gwelsid ef yn dyfod
Draw o bell ar bwys ei ffon,
Rhedai rhyw drydanol deimlad
O lawenydd i bob bron.

'Roedd yn llawn o wir amrywiaeth,
Megys bardd a llenor coeth,
Cristion pur a gwir ddyngarwr,
A chynghorwr mwyn a doeth ;
Un gwybodus a galluog
Oedd ein cyfaill anwyl ni,
A phregethwr o'r radd flaenaf,
Enill wnaeth ef barch a bri.

Pan bu gynta' 'nol yn Nghymru,
Rhoes Gymanfa fawr ar dân
Drwy ei ddawn a'i angerddolder
A dwyfol nerth yr Ysbryd Glan ;
" Hynod ydyw Duw yn Judah,"
Oedd ei destyn ef pryd hyn,
Rhyfedd sôn a fu am dano,
Aeth ei glod dros bant a bryn.

Ow ! mae'r cerub wedi tewi,
Ac nis gwelwn yma mwy,
Angel ddaeth i'w gyrchu adre,
Seion wyla dan ei chlwy'.

O ! ni wyddai er yn ieuanc
Beth oedd bywyd iach di-loes,
Ac er llawer o gynghorion,
Bu'n gystuddiol iawn drwy'i oes,
Teithiodd lawer am hoff iechyd,
Gwn ei hanes ef yn llawn,
Bu dros foroedd a mynyddoedd,
A dyffrynoedd hyfryd iawn.

Ar ei hynt daeth at ffynonau
Pell ei enedigol wlad,
Yfed wnaeth eu gloewon ddyfroedd,

Digitized by Google

Gan obeithio c'ai wellhad;
Ond er chwilio mor egniol
A diflino, truan ddyn,
Dyfod adre' o bob siwrnai
Yn ddolurus iawn a blin.

Ond ymddygai fel gwir Gristion
Dan ei holl ofidiau maith,
Dyoddefgar yn ei gystudd,
A gobeithiol drwy ei daith;
Syllai fry a gwelai dyrfa
A fu unwaith fel ei hun,
Oll yn iach a pherffaith ddedwydd
Trwy rin aberth Mab y dyn.

Erbyn hyn mae yntau hefyd
'Mhell uwchlaw pob poen a chur,
Rhodio meusydd heirdd y nefoedd,
Yfed eu hawelon pur;
Hyn yw'n cysur wedi' golli,
Megys gwin yn lloni sydd,
Arglwydd Ior, O, cofia ninau,
Gad i'n gwrdd y'ngwlad y dydd.

Gwlad brydferthaf o'r holl wledydd,
Ymerodraeth fawr yr Ior,
Gwlad a'i meusydd byth yn wyrdd- [ion,
Gwlad a'i chysur fel y mor,
Gwlad lle ceir yr amlygiadau
Mwyaf o ogoniant Duw,
Gwlad lle trig ein hanwyl Geidwad,
Dyma'r wlad mae'n brawd yn byw.

Mi obeithiais, ond fe'm siomwyd
Wrth ddod dros y llif-ddwr llaith,
Gael y pleser o'i gyfarfod
Os cyrhaeddwn ben fy nhaith;
Os dof heibio byth i Remsen,
Mynaf olwg ar ei fedd,
Arno wylaf ddeigryn hiraeth,
Ac i'w lwch dymunaf hedd.

Mynaf weled y chwiorydd,
Teulu anwyl Pen-y-bryn,
Fu mor dirion wrth fy nghyfaill
Pan yn teithio lawr i'r glyn;
Diolch iddynt, medd fy nghalon,
Nefoedd dirion fo eu rhan,
A thra byddont yma'n aros,
Boed eu gyrfa hwy yn gân.

*Johnstown, Pa.* DAVID JONES.

---

—Y mae gweddi yn dda i bob peth sydd dda, ac yn dda yn erbyn pob peth sydd ddrwg. —*Richard Baxter*.

## Y CYFIEITHIAD DIWYGIEDIG

### SAESONAEG O'R TESTAMENT NEWYDD.

GAN Y PARCH. OWEN JAMES, M. A., HYDE PARK, PA.

### V.

Yn yr ysgrif hon nodir y prif gyfnewidiadau testynol ydynt wedi eu gwneyd yn Epistolau Paul. Ni ddewiswn ond ychydig, ond bydd y rhai hyny yn ddigon i ddangos ansawdd ac effaith yr holl gyfnewidiadau. Ar un llaw ni wnant un gwahaniaeth yn yr Athrawiaethau Cristionogol; o'r tu arall y maent yn aml yn gwneyd y gair sanctaidd yn fwy eglur, ac yn fwy pwysig yn ei ddylanwad ar y meddwl.

Y cyfnewidiad mwyaf pwysig yw yr un a geir yn 1 Tim. 3:16. Yn yr hen gyfieithiad darllenir, "Ac yn ddiddadl mawr yw dirgelwch duwioldeb; Duw a ymddangosodd yn y cnawd, a gyfiawnhawyd yn yr ysbryd," &c. Yn y darlleniad newydd ceir, "Ac yn ddiddadl mawr yw dirgelwch duwioldeb; efe yr hwn a amlygwyd yn y cnawd, a gyfiawnhawyd yn yr ysbryd," &c. Yn y Groeg y gair am "Duw" yw "*Theos*," a'r gair am "efe yr hwn" yw "*os*." Y pwnc yw pa un o'r geiriau hyn a ysgrifenodd Paul. Nid oes un o'r llawysgrifau breision yn cynwys *Theos*, oddieithr fod A, ac am hon y mae yr amheuaeth bron a bod yn sicrwydd yn ei herbyn. Ni cheir y gair mewn un llawysgrifen henach na'r nawfed ganrif Nid oes un o'r hen gyfieithiadau beirniadol yn ei gynwys, ac ni ellir dyfynu un o'r tadau boreuol yn ffafr y gair. O'r tu arall, ceir y gair "*os*" yn y prif lawysgrifau breision, yn y prif gyfieithiadau, ac yn y tadau mwyaf henafol a chyfrifol. Y mae darlleniad y llawysgrif a elwir A, yn dra amwys. Saif y cwestiwn fel hyn: Byddid yn aml yn talfyru y gair *Theos*, ac yn ei ysgrifenu yn *Ths*. Er mwyn dangos mai talfyriad oedd y llythyrenau hyn, gosodid llinell uwch eu penau yn y modd canlynol, $\overline{Ths}$. Mae y gwahaniaeth rhwng *os* a *Ths* yn

y llythyrenau Groeg yn gynwysedig mewn dwy linell fechan, un drwy y llythyren O, ac un uwchben y ddwy lythyren. Y mae bron yn anmhosibl penderfynu pa un a yw y llinellau hyn hyn yn A, ai nad ydynt. Rhaid cofio fod A yn agos i bymtheg can' mlwydd o oedran, ac fod llawer o'i llinellau, o herwydd hyny yn aneglur. Ond i wneyd yr anhawsdra yn fwy, y mae rhyw berson, rywbryd, wedi gosod y ddwy linell yn y llawysgrif, heb un amheuaeth. Ond y mae wedi gwneyd hyny mewn ffordd arw, ac mewn inc o liw gwahanol i'r un a ddefnyddir yn y llythyrenau gwreiddiol. Ond nis gellir bod yn sicr pa un a wnaeth efe hyn er mwyn adferu llinellau oeddynt ar golli, neu ynte drwy fympwy dduwinyddol. Y tebygrwydd yw fod y dyn wedi cael ei gam-arwain gan gysgod llinell sydd ar wyneb arall y memrwn, i osod y ddwy linell i llawr lle nad oedd eu heisiau. Os yw y dybiaeth hon yn briodol, gwelwn fod A, fel yr hen lawysgrifau breision eraill, yn ffafrio *os*, ac nid *Ths*. Cryfheir tystiolaeth y llawysgrifau os cofir fod cystrawen y darlleniad "efe yr hwn" yn un anhawdd iawn, tra y mae cystrawen y darlleniad "Duw" yn hawdd a syml. Ar dir gramadegol nis gellir meddwl fod "*Theos*" wedi ei newid i "*os*," ond y mae yn hawdd credu fod "*os*" wedi cael ei newid i "*Theos*." Yr oedd rhagfarn dduwinyddol hefyd yn ffafriol i *Theos*, ond yn anffafriol i *os*. Gellir dweyd, ynte, heb fawr petrusdod, mai y gwir ddarlleniad yw: "Efe yr hwn a amlygwyd yn y cnawd." Ond beth all fod y synwyr? At bwy y mae "efe" yn cyfeirio? Nid at "dirgelwch," ac nid at "duwioldeb," oblegid nid yw y geiriau hyn o'r un rhyw a'r rhagenw "efe." Y mae yn fwy na thebyg fod y rhagenw *os* yn cyfeirio at yr enw *Crist* a adewir allan yma, ond a ddeallir yn hawdd gan y darllenydd a'r ysgrifenydd. Y mae yn debyg yn mhellach fod y geiriau yn cael eu dyfynu o emyn Cristionogol eithaf adnabyddus i Timotheus, ac fod Paul yn dechreu dyfynu gyda y llinell a gynwysai y rhagenw, ac fod yr enw yn y llinell flaenorol. Cofier, ynte, fod y llinellau yn ddyfyniad o emyn, a darllener hwynt fel y canlyn:

> "Yn ddiddadl mawr yw dirgelwch duwiol-
> Yr hwn a amlygwyd yn y cnawd; [deb;
> A gyfiawnhawyd yn yr Ysbryd;
> A welwyd gan angelion;
> A bregethwyd i'r cenedloedd;
> A gredwyd ynddo yn y byd;
> A gymerwyd i fyny mewn gogoniant."

Adnod ddyrys iawn yw Col. 2: 2. Yr hen ddarlleniad yw, "I gydnabyddiaeth *Duw, a'r Tad, a Christ*." Y mae y llawysgrifau yn amrywio llawer, ac yn rhoddi—

1. Dirgelwch Duw, yr hwn yw Crist.
2. Dirgelwch Duw a Christ.
3. Dirgelwch Duw.
4. Dirgelwch Crist.
5. Dirgelwch Duw, Tad Crist.
6. Dirgelwch Duw a Thad Crist.
7. Dirgelwch Duw y Tad a Christ.
8. Dirgelwch Duw yn Nghrist.
9. Dirgelwch Duw, Crist.
10. Dirgelwch Duw, a'r Tad, a Christ.

Yr olaf yw darlleniad y testyn derbyniedig, ac nid oes amheuaeth nad yw yn wallus. Yr un mwyaf tebygol i fod yn gywir yw y nawfed, yr hwn a fabwysiedir yn y darlleniad diwygiedig. Yn ol y darlleniad hwn saif Crist yn gyferbyniol i'r gair "dirgelwch." Efe yw dirgelwch Duw.

Yn 2 Cor. 1: 20, yn lle, "oblegid holl addewidion Duw ynddo ef ydynt ïe, ac ynddo ef Amen, er gogoniant i Dduw trwom ni," darllenir, "oblegid pa mor lluosog bynag ydynt addewidion Duw, ynddo ef y mae yn ïe: gan hyny hefyd trwyddo ef y mae yn Amen, er gogoniant i Dduw trwom ni." Y mae llawnder meddwl yr Apostol yn cael ei ddwyn allan lawer yn fwy effeithiol yn y geiriau hyn nag yn yr hen ddarlleniad. Cadarnheir holl addewidion Duw yn Iesu Grist, ac yn ei ymddangosiad yn y byd. Ynddo ef y mae ynIë—y cadarnhad. Am y rheswm fod Iesu yn cadarnhau holl addewidion Duw, y gwna y Cristionogion gredu ynddynt a chydsynio â hwynt. Drwyddo ef y mae yn Amen—y floedd gydsyniol ar ran y bobl. Yr offerynau yn hyn oll ydym "ni," Paul a'i gyd-

Digitized by Google

lafurwyr yn y gwaith mawr o bregethu Crist. A'r cwbl oll a ddiwedda mewn gogoniant i Dduw.

Yn Gal. 5 : 1, yr hen ddarlleniad yw, "Sefwch gan hyny yn y rhyddid â'r hwn y rhyddhaodd Crist ni; ac na ddalier chwi drachefn dan iau caethiwed." Ond y darlleniad newydd yw, "A rhyddid y rhyddhaodd Crist ni; sefwch, gan hyny, ac na ddalier chwi drachefn dan iau caethiwed;" a chysylltir yr adnod â diwedd y bedwerydd benod, yn lle dechreu y bumed. Os bydd i'r darllenydd edrych yn awr ar rediad ymresymiad yr Apostol drwy y bedwerydd benod, gwel ar unwaith gymaint yn fwy grymus yw y terfyniad fel y mae yn y darlleniad newydd nag ydoedd yn yr hen. Y syniad cywir yw hyn: Amcan mawr Crist yn ein gwaredigaeth oedd ein gwneyd yn rhydd; dylem gan hyny sefyll yn gadarn yn y rhyddid hwn.

Yn 1 Cor. 15 : 44, yn lle, "y mae corph anianol ac y mae corph ysbrydol," darllenir, "Os oes corph anianol, y mae hefyd un ysbrydol." Wrth ddarllen y benod ceir gweled ar unwaith fod yr ymresymiad yn cael ei wneyd yn fwy cyflawn drwy y darlleniad hwn.

Yn Rhuf. 4 : 19, y mae y geiriau nacaol yn cael eu gadael allan, a'r syniad yw fod Abraham, er yn ystyried ei henaint ei hun a henaint Sara, eto yn ddiegwan yn y ffydd, yn credu yr addewid, gan roddi y gogoniant i Dduw.

Yn Rhuf. 5 : 1, y mae beirniadaeth, ar ol ystyriaeth fanwl, wedi penderfynu darllen, "Bydded fod genym heddwch tuag Dduw," yn lle "Y mae genym heddwch tuag at Dduw." Y mae tystiolaeth y llawysgrifau a'r tadau yn gryf dros y darlleniad hwn; ond y mae duwinyddion wedi meddwl fod duwinyddiaeth yn ei erbyn, ac o herwydd hyny wedi petruso llawer cyn ei dderbyn. Ond wrth ystyried yn fanylach, gwelir fod y cyngor yn un eithaf priodol. Y syniad yw: Am hyny, gan ein bod wedi ein cyfiawnhau trwy ffydd, bydded fod genym heddwch tuag at Dduw, bydded i ni bara yn mlaen mewn heddwch â Duw, heb wneyd un peth i dori ar yr heddwch hwn. Yn Rhuf. 16 : 5, darllenir, "blaen-ffrwyth Asia," yn lle "blaen-ffrwyth Achaia."

Yn 1 Cor. 11 : 24, y darlleniad yw, "Ac wedi iddo ddiolch, efe a'i torodd, ac a ddywedodd: Hwn yw fy nghorph, yr hwn sydd drosoch; gwnewch hyn er coffa am danaf." Y mae y geiriau ychwanegol yn yr hen ddarlleniad wedi eu cymeryd, yn ddiau, o Mat. 26 : 26.

Yn adn. y 26ain o'r un benod, darllenir, "y cwpan," yn lle "y cwpan hwn." Yn adn. y 26ain, gadewir "yn annheilwng" allan. Y mae y gair hwn wedi ei drosglwyddo, yn ddiau, o adn. y 27ain, er mwyn unffurfiaeth. Y mae yn ddilys yn yr adnod hono.

Yn 2 Cor. 12 : 19, newidir y gair "drachefn" i "yr holl amser hwn," a darllenir: Yr ydych yn tybied yr holl amser hwn mai ymesgusodi yr ydym wrthych. Ger bron Duw yr ydym yn llefaru yn Nghrist; ond, anwylyd, y mae pob peth er eich adeiladaeth chwi."

Y mae 1 Cor. 15 : 55, wedi ei newid, ac yn darllen yn awr fel hyn: "O angau, pa le mae dy fuddugoliaeth? O angau, pa le mae dy golyn?" Gadewir "uffern" allan, a newidir trefn yr adranau. Y mae llawer iawn wedi grwgnach yn erbyn y cyfnewidiadau hyn. Ond os bydd i unrhyw un sylwi, nid yn unig ar dystiolaeth yr awdurdodau, ond hefyd ar rediad yr adnodau dilynol gwel mai mwy naturiol yw y darlleniad fel y mae nag fel yr oedd.

Y mae trefn yr adranau wedi eu newid hefyd yn 1 Cor. 3 : 5. Newidir hefyd rhyw y rhagenw, a darllenir: "Pa beth, gan hyny, yw Apolos? a pha beth yw Paul?" hyny yw, pa beth yw yr athrawon eraill yma, a pha beth wyf fi fy hunan; dim ond gweision yn ngwaith Duw.

Yn Gal. 4 : 14, newidir y rhagenw, ac yn lle, "A'm profedigaeth, yr hon oedd yn fy nghnawd," darllenir, "A'r hyn oedd profedigaeth i chwi yn fy nghnawd, ni ddiystyrasoch ac ni ddirmygasoch." Yn Eph. 5 : 30, ceir gwared o'r geiriau dyeithr, "o'i gnawd

Digitized by Google

ef ac o'i esgyrn ef," a darllenir yn syml, "oblegid aelodau ydym o'i gorph ef."

Yn Philip. 1, newidir trefn adnodau 16 a 17. Gosodir y naill yn lle y llall.

Yn Col. 2: 18, ceir adnod ansicr ei darlleniad, ac anhawdd yn ei deongliad. Y mae un peth yn amlwg, sef, yw hyny, fod yn rhaid gadael allan "nis" o flaen "gwelodd." Y mae yr apostol yn beio y rhai oeddynt yn byw yn nghylch y gweledig drwy eu tueddiadau cnawdol, ac nid yn nghylch yr anweledig drwy ffydd. Dyna yw y syniad a geir drwy ddarllen y Testament Diwygiedig, a diau fod rhyw gopiwr oedd yn methu deall yr adnod wedi gosod y negydd i mewn gan feddwl ei fod drwy hyny yn gwneyd ei hystyr yn fwy eglur.

## Y GWEITHIWR.

GAN Y PARCH. W. HADDOCK, BLAENYFFOS, DEHEUDIR CYMRU.

### *Rhan IV.*

Bu adeg ar y gweithiwr yn Mhrydain pan yr oedd mewn ystyr yn gaethwas, a braidd islaw sylw y mawrion a phenaethiaid ein gwlad. O'r braidd y buasent yn estyn bys ato, ac yr oedd ysgwyd llaw ag ef allan o'r cwestiwn. Edrychent arnynt eu hunain braidd yn anfeidrol uwchlaw iddo, felly ymddygent tuag ato fel pe byddai yn wenwyn, neu neidr. Nid oeddent fel pe byddent yn ystyried nac yn meddwl ei fod yn ddyn, yn meddu enaid, a chalon gynes yn curo dan ei fron; am hyny ni ofalent fawr neu ddim am dano, ond mor bell ag y gallent hwy wneyd elw o hono a thrwyddo. Ond darfu i'r gweithiwr dori y cadwynau, a dryllio y llyffetheiriau, a mynodd ei ryddid i siarad, areithio, ysgrifenu, a dweyd ei farn ar wahanol bynciau gwleidyddol, celfyddydol, masnachol, a chrefyddol, a gorfodwyd y byd i wrando arno; ac yn awr y mae ef yn cael ei fawrhau, ei barchu, ei anrhydeddu, a'i garu yn fawr. Dyma y rhyddid sydd yn rhoddi caniatad i'r gweithiwr i gasglu cyfoeth ac elw, ac i gael un diwrnod o saith i orphwys, ar ol llafur yr wythnos. Dyma sydd yn peri fod ei wybodaeth yn fwy eang, fod ei ddeall yn fwy goleu, fod ei gysuron yn fwy lluosog, a bod ei gyflog yn well nag y bu.

Pwnc mawr i'r gweithiwr wedi enill ei ryddid, oedd cael cadw ei ryddid ar ol ei enill. Dichon ei fod yn ddyledus am gadwraeth ei ryddid, i raddau mawr, i ddylanwad Cristionogaeth yn ei helpu. Nid yw Cristionogaeth wedi gwneyd mwy dros un dyn na thros y gweithiwr yn ei holl gysylltiadau, a dylai ef ei pharchu fel y cyfryw. Yr oedd hi yn ffrynd iddo ef yn mhell cyn y Diwygiad Protestanaidd, ac yr oedd yn tosturio wrth ei gyflwr, ac yn barod i'w gynorthwyo i godi o'i gyfyngderau, ac odditan ei orthrwm; a thrwy ddysgu hawliau dynion i'w gilydd, y mae wedi dal i ymladd o'i blaid nes ei gael i'w sefyllfa bresenol, yr hon, fe ddichon, sydd yn well nag y bu erioed o'r blaen. Yr oedd llawer gynt yn barod i droi eu trwynau i fyny ar y gweithiwr, ac i'w ddyrnu a'i droedio dan draed; ond er cymaint oedd eu sarhad, eu hawydd am y llwch aur, a'u gorthrwm, y mae ef wedi dal i godi ac enill y dydd ar ei orthrymwyr, er eu holl drais yn ei erbyn.

Wedi i'r gweithiwr enill ei ryddid, enillodd lawer o gyfeillion cynes, cywir a ffyddlon, o'i blaid. Mae ganddo yn awr gyfeillion yn y Senedd, a chyfeillion ar feinciau yr ynadon, ac yn mhlith cyngorwyr trefol, marsiandwyr, celfyddydwyr, athronwyr, pregethwyr, &c., a rhai o'r dynion hyn y dynion goreu a fedd y ddaear—dynion sydd yn myfyrio, yn astudio, ac yn gwneyd eu goreu yn mhob peth er lles ei iechyd, ei wybodaeth, a'i grefyddolder. Mae rhai o'r dynion hyn yn gwario eu miloedd o bunau yn flynyddol er cael tai cysurus iddo i fyw, a pharciau tlysion iddo i rodio, er mwyn iddo adfywio ei hunan yn ei amser hamddenol, ar ol iddo orphen ei lafurwaith dyddiol. Maent yn adeiladu tlotdai, clafdai, ysgoldai, a gwahanol adeiladau eraill, er ei les a'i gysur, ei iechyd, a'i wrteithiad meddyliol a chrefyddol.

Dichon na fu yr un yn fwy o gyfaill

Digitized by Google

i'r gweithiwr na'r enwog George Peabody. Rhoddodd ef ddau cant ar bymtheg a phedwar ugain a saith o filoedd o bunoedd er lles ei gyd-ddynion. Dosrenid hwynt fel y canlyn :

To the Public Library of Thedford, £2,000.

To the Maryland Historical Society, £4,000.

To the Massachusetts Historical Society, £4,000.

To the Lenyon College, £5,000.

To Newburyport, for a Library, £6,000.

To the Phillips' Academy, Andover, £6,000.

To the Memorial Church at Georgetown, to the memory of his mother, and Public Library at the same place, £20,000.

To the American Archeology, £30,000.

To Yale College, for Museum and Natural History, £30,000.

To Peabody's Museum at Salem, £30.000.

To the Institutes at Danvers, £50,000.

To the Peabody Institute at Baltimore, £200,000.

To the Southern Educational Fund, £600,000.

To his Kindred, £300,000.

To the London poor, £500,000.

Mae braidd yn sicr na fu yr un dyngarwr yn fwy haelionus erioed na'r gwr uchod, ac nid yw ef ond un engraifft o lawer o'r rhai sydd yn gyfeillion calon i'r gweithiwr. Y pwnc mawr sydd yn bwysig ydyw, i'r gweithiwr ddal i fod yn gyfaill iddo ei hunan, ac yna bydd iddo raddol godi i bwysigrwydd ac anrhydedd nad ydyw eto wedi ei feddianu.

Y benod nesaf fydd ar "Trallodion a Difyrwch y Gweithiwr." Llwyddiant mawr i'r WAWR a'i golygydd, a'i derbynwyr.

---

**—Nid oes dim yn werthfawrocach nag amser, na dim yn cael ei werthfawrogi yn llai.—*Bernard.***

## CYNYDD MEWN GRASUSAU CREFYDDOL.

---

GAN Y PARCH. JOHN DAVIES, BOOTLE, LIVERPOOL.

---

"A hyn yma hefyd, gan roddi cwbl ddiwydrwydd, chwanegwch at eich ffydd, rinwedd; ac at rinwedd, wybodaeth," &c.—2 PETR 1: 5—11.

Llefarwyd y geiriau hyn gan yr Apostol Petr wrth etifeddion gwerthfawr ffydd, er eu hanog i chwanegu at eu ffydd y grasusau crefyddol hyn, ac i roddi cwbl ddiwydrwydd i wneuthur eu galwedigaeth a'u hetholedigaeth yn sicr, ac felly y trefnid yn helaeth iddynt fynediad i mewn i'r dragywyddol deyrnas. Ymddengys oddiwrth y rhanau blaenaf o'r testyn, nad yw ffydd ei hunan ddim yn ddigon er bod yn gadwedig. Mae eisiau rhyw bethau gyda ffydd. "Ffydd heb weithredoedd," meddai yr Apostol, "marw yw." Ac nis gall ffydd felly ddim glanio neb yn ddiogel ar diroedd anfarwoldeb yr hyfryd wlad. Yr oedd gan y Cristionogion hyn ffydd o'r iawn ryw—ffydd o'r un natur a ffydd yr Apostolion, a ffydd yn nghyfiawnder ein Duw ni, a'n Hachubwr, Iesu Grist. Ond er eu bod yn meddu y fath ffydd ragorol, eto yr oedd yn rhaid iddynt chwanegu ati yr holl rasusau a nodir yma er gwneuthur eu galwedigaeth a'u hetholedigaeth yn sicr. Nid dyn ieuanc dibrofiad oedd yr Apostol pan oedd yn llefaru y geiriau hyn, ond henafgwr profiadol, ar ymylon byd arall, fel y gwelwn oddiwrth yr adnodau dilynol yma. Byddwn yn teimlo llawer iawn o bleser a dyddordeb wrth wrandaw ar fechgyn ieuainc talentog yn traddodi Gair y bywyd, ac yn cyhoeddi efengyl hedd i ddynion. Dylem fod yn llawen fod gyda ni y fath nifer luosog o ddynion ieuainc ar y maes. Maent yn pregethu gyda nerth ac egni. Ond yn wir, y mae gwrandaw ar henafgwr, ac ar henafgwr profiadol ar fin y bedd, ac ar ymylon byd arall, yn dra dyddorol, yn ol fy meddwl i. Mae yr olwg arno yn *interesting* anghyffredin, ei ymadrodd-

Digitized by Google

ion yn ymddangos fel perlau tlysion, a'i eiriau yn swnio yn ein clustiau fel geiriau Duw. Beth pe buasai y rhai a gawsant y fraint o wrandaw ar Christmas Evans, Thomas Rees Davies, Dr. Morgan, Gaergybi, a William Thomas, Rhydwyn, ychydig o amser cyn iddynt huno yn yr Iesu, yn gwybod eu bod yn gwrandaw arnynt y pryd hwnw am y tro diweddaf byth, gyda'r fath deimladau toddedig y buasent yn gwrandaw arnynt! Diamheu y buasai pob llygad yn craffu yn fanwl arnynt, pob teimlad yn ddrylliog, pob grudd yn wlyb gan ddagrau, a phob un o honynt yn meddwl eu bod yn canfod arwyddion nefoedd yn eu gwedd. O!'r fath ymdrech a wneid i ddal ar eu geiriau olaf, ac i gofio eu hymadroddion diweddaf cyn tewi yn yr angau, a chyn myned i orphwys at eu tadau! Ond dyma Apostol ysbrydoledig, dyn o safle uchel, ac un o genadau goruwch-raddol y Duw Goruchaf ar y ddaear, yn siarad ag etifeddion gwerthfawr ffydd am y tro diweddaf, a phan yn gwybod ei fod ar groesi afon angeu i'r anfarwoldeb mawr. Ac onid yw yn werth i wrandaw arno, ac i ymdrechu dal a chofio ei ymadroddion ef? Mae pob gair a ddywed yn deilwng o'n sylw manylaf, ac o'n hystyriaeth ddifrifolaf. "A hyn yma hefyd, gan roddi cwbl ddiwydrwydd, chwanegwch at eich ffydd rinwedd;" neu yn ol darlleniad John Williams yn yr Oraclau Bywiol, "Ac o herwydd y peth yma hefyd, gan roddi cwbl ddiwydrwydd, chwanegwch at eich ffydd wroldeb; ac at wroldeb, wybodaeth; ac at wybodaeth, gymedrolder; ac at gymedrolder, amynedd; ac at amynedd, dduwioldeb; ac at dduwioldeb, garedigrwydd brawdol; ac at garedigrwydd brawdol, gariad. Oanys os yw y pethau hyn genych, ac yn aml hwynt, y maent yn peri na byddoch na segur da diffrwyth yn ngwybodaeth ein Harglwydd Iesu Grist. Oblegid yr hwn nid yw y rhai hyn ganddo, dall ydyw, ac heb weled yn mhell, ac wedi gollwng dros gof ei lanhau oddiwrth ei bechodau gynt. O herwydd paham yn hytrach, frodyr, byddwch ddiwyd i wneuthur eich galwedigaeth a'ch etholedigaeth yn sicr; canys tra fyddoch yn gwneuthur y pethau hyn, ni lithrwch chwi ddim byth; canys felly yn helaeth y trefnir i chwi fynediad i mewn i dragywyddol deyrnas ein Harglwydd a'n Hachubwr Iesu Grist."

Oddiwrth y testyn hwn ni a sylwn,

I. *Ar y gwaith a nodir ynddo.*—"Gwneuthur ein galwedigaeth a'n hetholedigaeth yn sicr." Dyna beth yw ein gwaith ni fel Cristionogion yn y byd hwn. Ac y mae yn anhebgorol angenrheidiol i ni ei wneuthur, er bod yn blant i Dduw, ac yn etifeddion o'r dragywyddol deyrnas. Meddylia rhai mai wrth yr alwedigaeth yma y golygir, y weithred rasol hono o eiddo Duw o alw ar ddynion drwy yr efengyl i edifarhau am eu pechodau, ac i gredu yn ei Fab ef, fel yr achuber hwynt, ac y caffent fywyd tragywyddol trwyddo ef; ac mai wrth yr etholedigaeth yma y golygir, trefn, neu reol rasol Duw gyda golwg ar y rhai a gânt etifeddu iachawdwriaeth. Nid oes amheuaeth yn fy meddwl i nad yw yr alwedigaeth hon oddiwrth Dduw, ac hefyd yn arwain dynion at Dduw i gael maddeuant a thrugaredd ganddo, er mwyn ei anwyl a'i unig-anedig Fab; ac mai trefn fawr, neu reol etholedigaeth gras, ydyw cadw y rhai oll a ufuddhant iddo, ac a gredant yn yr hwn a anfonodd efe. Mae hyn mor eglur a'r haul ganol dydd goleu, yn ol fy meddwl i; canys fel hyn y dywed yr Arglwydd Iesu Grist, "Y neb a gredo, ac a fedyddier, a fydd cadwedig; a'r neb ni chredo a gondemnir." Ac meddai yr Apostol ysbrydoledig, "Hwn yw gair y ffydd, yr hwn yr ydym ni yn ei bregethu, Mai os cyffesi a'th enau yr Arglwydd Iesu, a chredu yn dy galon i Dduw ei gyfodi ef o feirw, cadwedig a fyddi." Dyna yr etholedigion, y credinwyr. Ni chaiff neb mewn synwyr ac oedran eu cadw, ond ar dir y credu a'r ufuddhau. "Oanys felly y carodd Duw y byd, fel y rhoddodd efe ei unig-anedig Fab, fel na choller pwy bynag a gredo ynddo ef, ond caffael o hono fywyd tragywyddol." Dyna reol fawr yr arfaeth, a threfn etholedigaeth gras. "Yr hwn sydd yn credu yn y Mab, y mae

Digitized by Google

ganddo fywyd tragywyddol; ond yr hwn sydd heb gredu i'r Mab, ni wêl fywyd, eithr y mae digofaint Duw yn aros arno ef."

Gellid meddwl wrth glywed ambell un yn siarad, nad yw Duw ddim yn meddwl cadw pawb a elwir ganddo drwy weinidogaeth yr efengyl i edifeirwch a ffydd, ond mai ei amcan ef yw cadw rhyw neillduolion a etholwyd ganddo i fywyd diddarfod cyn bod y byd, er ei fod yn galw ar bawb yn ddiwahaniaeth. Os wyf fi wedi fy ethol, meddai y dyn, mi a fyddaf yn sicr o gael fy achub ryw dro cyn marw. Fe ddaw yr alwad effeithiol ataf cyn bo hir, ac mi a fyddaf yn rhwym o ufuddhau i hono; ac os nad wyf wedi fy ethol, ni waeth i mi beth a wnelwyf, fy namnio a gaf fi. Athrawiaeth enbyd yw hona, mae yn arwain dynion i dir peryglus iawn, ac yn gwneyd iddynt anobeithio am drugaredd yn ddiachos. Ond nid yw Duw yn cellwair â ni fel yna, nac ydyw, ddynion anwyl—mae efe yn galw arnom ni o ddifrif, ac yn dweyd wrthym ar ei lw, "nad yw efe ddim yn ymhoffi yn marwolaeth yr annuwiol, ond troi o'r annuwiol oddiwrth ei ffordd ddrygionus a byw." "Dychwelwch, dychwelwch, medd yr Arglwydd, canys ty Israel, paham y byddwch feirw?" A dywedir ei fod "yn hir-ymarhous tuag atom ni, heb ewyllysio bod neb yn golledig, ond dyfod o bawb i edifeirwch. Ddynion anwyl, credwch Dduw ar ei air—derbyniwch ei alwad ef, ac ymddiriedwch yn ei Fab ef, a chadwedig a fyddwch yn wir. Ond y mae eraill wed'yn yn meddwl mai ein gwaith ni fel Cristionogion o fyw yn ol ein proffes a olygir wrth yr alwedigaeth yma, ac mai y rhai a fyddant byw felly ydyw yr etholedigion. Y grefft o fyw yn dduwiol ydyw yr enw a roddir ar yr alwedigaeth yma gan Mathetes yn ei Areithfa; a geilw John Williams hi yn ei attodiad yn yr Oraclau Bywiol, yn gelfyddyd. Ac yn wir, y mae y meddwl hwn yn gorwedd yn ddigon esmwyth ar fy meddwl i, oblegid y mae yn eglur mai siarad â dynion ag oedd wedi edifarhau am eu pechodau, ac wedi credu yn y Mab, y mae yr Apostol yma. Mae yn naturiol iawn meddwl, gan hyny, mai ein gwaith ni o fyw yn ol ein proffes a olygir wrth yr alwedigaeth yma, ac mai y sawl a wnant hyny a ogoneddir gan Dduw yn y diwedd. Pa fodd bynag, ymddengys yn eglur i mi na allwn ni ddim gwneuthur ein galwedigaeth na'n hetholedigaeth yn sicr heb fyw yn dduwiol, ac heb chwanegu y grasusau a nodir yma at ein ffydd. Mae yn anmhosibl i ni gyrhaedd sicrwydd ein bod yn blant i Dduw, ac yn ddynion cymeradwy yn ei olwg ef, heb hyn. Am hyny y mae yn rhaid i ni fyw i fyny a'n proffes er gwneuthur ein galwedigaeth a'n hetholedigaeth yn sicr. Nid yn sicr gyda golwg ar Dduw a feddylir, ond yn sicr gyda golwg arnom ni. Mae Duw yn gwybod yn sicr pa un a ydym ni yn ngafael iachawdwriaeth ai peidio, ac yn blant iddo ef mewn gwirionedd; ond y mae gwybod hyn o'r pwys mwyaf i ninau hefyd, oblegid ar hyna y mae ein cysuron crefyddol a thragywyddol yn ymddibynu. Gwybodaeth brofiadol ydyw hon gyda golwg arnom ni. Tystiolaeth fewnol ydyw, ein bod yn blant i Dduw. Mae cyrhaedd y sicrwydd hwn, yn ddiamheu, yn bosibl. Er, fe allai, nad yw pob dyn duwiol ddim yn ei gyrhaedd nes dyfod yn agos iawn at afon angeu, eto y mae y peth yn bosibl. Mae miloedd wedi ei gyrhaedd, ac fe'i cyrhaeddir gan filoedd eto. Gallai Paul, ddweyd, "Mi a wn i bwy y credais, ac y mae yn ddiamheu genyf ei fod ef yn abl i gadw yr hyn a roddais ato erbyn y dydd hwnw." A gallai miloedd o'r hen dduwiolion ddyweyd yn hyderus, "Canys ni a wyddom, os ein daearol dy o'r babell hon a ddatodir, fod i ni adeilad gan Dduw, sef ty nid o waith llaw, tragywyddol yn y nefoedd." Mae y peth, gan hyny, yn bosibl; a chan ei fod yn bosibl, ymdrechwn ei gyrhaedd, a mynwn afael ar y fath brawfion anwrthwynebol ein bod ni yn blant i Dduw, ac o nifer ei etholedigion ef, fel na byddo dim amheuaeth na phetrusdod yn ein meddwl gyda golwg ar ein iachawdwriaeth bersonol a thragywyddol.

Digitized by Google

Ond sylwn,

II. *Ar y ffordd i wneyd y gwaith hwn.* "A hyn yma hefyd, gan roddi cwbl ddiwydrwydd, chwanegwch at eich ffydd, wroldeb; ac at wroldeb, wybodaeth; ac at wybodaeth, gymedrolder; ac at gymedrolder, amynedd; ac at amynedd, dduwioldeb; ac at dduwioldeb, garedigrwydd brawdol; ac at garedigrwydd brawdol, gariad." Dyna y ffordd i'w wneuthur; ac nis gwyddom ni am un ffordd arall. Darlunir ffydd yma fel yr egwyddor gyntaf mewn crefydd, ac fel sylfaen ein holl weithrediadau crefyddol. Man cychwyn y Cristion o dir y colli i dir y cadw yw ffydd. Ar dir y colli yr oedd cyn iddo gredu; ond ar ol iddo gredu, efe a ddaeth i feddiant o elfenau tragywyddol fywyd.

Ond sylwn,

1. Ar y grasusau ag ydym i'w chwanegu at ein ffydd er gwneyd y gwaith o dan sylw. Mae yma saith o honynt, a'r saith yn anhebgorol angenrheidiol er gwneuthur ein galwedigaeth a'n hetholedigaeth yn sicr:

(1.) Rhinwedd, neu wroldeb. Dyna y gras cyntaf a nodir yma; ac yn wir, ni ddeuir byth i ben a'r gwaith heb hyn. Os na fyddwn ni yn meddu ar wroldeb, nis gallwn oddef y ffydd yn mhob tywydd, na chyffesu enw Crist yn mhob amgylchiad. Nis gall yr ofnus a'r anwrol byth ddyfod i ben a'i waith fel Cristion. Mae ofn yn ei ladd ef, a llwfrdra yn bwyta ei nerth fel cancr. Ofn a arweiniodd Petr i wadu ei Arglwydd; hyn a barodd i Pilat ei gondemnio i farwolaeth, a dyma ataliodd lawer o'r penaethiaid crediniol rhag cyffesu ei enw ef; a hyn hefyd sydd yn rhwystro llawer yn ein dyddiau ni i'w arddel ef yn y bedydd, ac i'w gyffesu ger bron dynion. O! ni thâl hi ddim heb wroldeb. Gwroniaid yw Cristionogion i fod, a gwroniaid a fuont trwy yr holl oesau. Meddyliwch am yr Apostolion, ac am ardderchog lu y merthyron. Dyna wroniaid! Nid oedd ar y dynion rhagorol yna ddim ofn na chywilydd i arddel eu Gwaredwr yn y bedydd, nac i wynebu ar boenydiau yr arteithglwyd, a phoenau y fflamiau ysol—cymeryd eu hyspeilio o'r hyn oedd ganddynt yn llawen, ac aberthu eu cysuron a'u bywydau hefyd er ei fwyn ef a'r efengyl. Mae yn rhaid i ninau hefyd feddu ar wroldeb er bod yn ddigon o ddynion i addef y ffydd yn mhob tywydd, ac i fynegu rhinweddau yr hwn a'n galwodd ni o dywyllwch i'w ryfeddol oleuni ef, yn mhob amgylchiad.

(2.) Gwybodaeth. Dyna y gras arall i'w chwanegu at ein ffydd. Mae arnom eisiau gwybodaeth er rheoleiddio ein symudiadau yn briodol, ac er ein cadw ar hyd llwybrau pwyll a doethineb. Peth peryglus iawn yw sêl heb wybodaeth. Sêl heb wybodaeth oedd gan yr Iuddewon pan yn erlid ac yn lladd Arglwydd y bywyd, a phan yn erlid ac yn llabyddio ei bobl ef wedi hyny. Sêl heb wybodaeth ydyw yr achos fod cymaint o gablu ar grefyddwyr, ac o wawdio o hyd ar ordinhadau crefydd. Dylem ni fel Cristionogion fod yn ddynion gwybodus iawn, a chyfarwydd iawn hefyd ag athrawiaethau crefydd, er bod yn alluog i ddystewi anffyddwyr, a chyfeiliornwyr eraill, ac er ymddwyn yn ddoeth, ac yn deilwng o'r efengyl yn mhob man, ac yn mhob amgylchiad.

(3.) Cymedrolder, neu hunan-lywodraethiad. Peidio ymollwng i drachwant, a llawenydd cnawdol a phechadurus; a pheidio tristau yn ormodol mewn gofid a thrallod fel y byd. Ymddwyn yn addas i'r efengyl yn mhob peth, gan gadw yr holl nwydau a'r tueddiadau o dan reolaeth, a theilwng o ddynion Duw. Na thwyller neb chonom, ac na chymerwn ein twyllo ar un cyfrif, canys ni chaiff na meddwon na lladron, na chybyddion, na godinebwyr, na chelwyddwyr, na'r aflywodraethwyr yma, ddim etifeddu teyrnas Dduw. Er bod yn gadwedig, rha[illegible] ymgadw oddiwrth bob drwg; ac [illegible] bod yn blant i Dduw, rhaid ymddwyn yn deilwng i'r efengyl yn mhob peth "Byddwch sanctaidd, canys sanctaid[illegible] ydyw Duw." "Ac os ydych yn gal[illegible] ar y Tad, yr hwn sydd heb dderby[illegible] wyneb, yn barnu yn ol gweithred po[illegible] un, ymddygwch mewn ofn, dros amse[illegible]

Digitized by Google

eich ymdeithiad, gan wybod nad â phethau llygredig, megys arian neu aur y'ch prynwyd oddiwrth eich ofer ymarweddiad, eithr â gwerthfawr waed Crist," &c.

[I'w orphen yn y nesaf.]

# Bwrdd y Golygydd.

## Y SEITHFED FLWYDDYN.

Anwyl ddarllenydd, wele y rhifyn diweddaf o'r seithfed gyfrol o'r WAWR yn dy law. Rhyfedd genym feddwl fod saith mlynedd werthfawr o'n hoes wedi myned heibio er pan ddechreuasom y gwaith hwn o ddwyn allan Gyhoeddiad Misol i wasanaethu ein Henwad. Nid gyda gormod o hyder yr ymgymerasom â'r anturiaeth—yr oeddym yn ofni ac yn petruso, yn wir; eto yr oeddym yn benderfynol o wneyd ein goreu. Gormod myfiaeth ynom fyddai i ni fanylu ar yr anhawsderau a'r egnion yr aethom trwyddynt o'r dechreu hyd yn awr. Gwyr y cyhoedd Bedyddiedig i ni deithio, pregethu, ac ysgrifenu, cryn lawer yn ystod y tymor hwn o saith mlynedd. Collasom ein cwsg lawer hwyr wrth barotoi ysgrifau, ac aml dro y buom yn ymgripian oddiar yr aelwyd yn nghymydogaeth y boreu, am na allem bron roddi y naill droed heibio y llall gan oerfel. Ond mae yr aberthiadau hyny ar ran ein Cyhoeddiad yn mhlith ein hadgofion hoffusaf. Dyoddefasom lawer o chwerwderau gauafol y Gorllewin, fel y gwyr ein cyfeillion yn dda mewn amrywiol barthau. Hyn sydd yn rhyfedd, mai y pethau mwyaf llafurfawr ac aberthol ydynt y pethau mwyaf melus mewn adgof. Credwn pe gwybuasai amryw o rai difraw faint o ymdrech sydd wedi bod genym i gadw y Cyhoeddiad yn fyw, y byddent yn fwy cefnogol iddo. Pe gwyddem fod caledwaith cyffelyb yn haros yn y saith mlynedd dyfodol, teimlem yn ddigalon yn sicr. Ond Ow! am y dyfodol nis gallwn ddweyd son i ddim. Mae blynyddau yn amlhau arnom, a ninau yn teimlo blinder yn ein meddianu yn nghynt nag yr arferai, fel yr ofnwn, os caniateir bywyd ac iechyd i ni am dymor eto, nad allwn ddal cystal i fyned trwy lafur cyffelyb. Ar y cyfan, teimlwn yn falch ein bod wedi llwyddo cystal mewn undeb a chefnogaeth yr Enwad. Yr ydym wedi morio trwy leoedd geirwon, er na chyfarfuasom a thymestl a hyrddid gan wynt a elwir Euroclydon. Hyd y mae ynom, yr ydym wedi ceisio dilyn heddwch â phawb. Gwasanaethu yr Enwad sydd wedi bod yn brif amcan genym wrth drefnu cynwysiad y Cylchgrawn. Yr ydym wedi cael proffiad a all droi yn fanteisiol i ni rhag llaw.

Da genym ddwyn tystiolaeth, fod y mwyafrif o dderbynwyr y WAWR yn sefyll yn gadarn o'i phlaid. Mae dosbarthwyr, gohebwyr, ac unigolion, yn haeddu canmoliaeth neillduol.

Gyda golwg ar y dyfodol, yr ydym yn bwriadu dal i fyned yn y blaen, a chwanegu cryfder, os gallwn. Y mae genym rai pethau y bwriadwn ddiwygio ynddynt; ond ni nodwn yma un raglen, rhag y bydd yn anamserol. Gwyddom os gallwn gario allan ein bwriadau, y bydd y WAWR, gyda chynorthwy unol, yn rhagori yn y dyfodol ar y gorphenol. Mae yn galondid i ni hysbysu fod rhif y derbynwyr yn cynyddu ryw gymaint yn barhaus, er na allwn ddysgwyl llawer yn y cyfeiriad hwn eto. Dymunem hysbysu nad yw y taliadau blynyddol yn gwneyd ond swm bychan dros ben talu yr argraffydd, felly ni raid i neb ofni i ni fyned yn rhyw *gyfoethog iawn* wrth wasanaethu yr enwad yn y modd hwn. Os gallwn wneyd daioni dros grefydd, dylem ystyried ein hunain yn cael tâl gwerthfawr. Yr ydym yn cofio pwysigrwydd ein safle; a theimlwn fod yr enwad anwyl a pharchus yr ydym yn ei wasanaethu yn haeddu pob gwyliadwr-

Digitized by Google

iaeth ac ymdrech oddiwrthym er bod yn deilwng o'r ymddiriedaeth a esyd arnom.

Y mae nifer go dda o'r cyhoeddiad yn myned yn fisol i Gymru, ac i ddwylaw rhai o'n prif ddynion yno, megys athrawon ein colegau, golygwyr ein papyrau a gweinidogion adnabyddus, ac mae amryw o honynt wedi ein calonogi aml i droion a'u cymeradwyaethau. Cydnabyddwn hwy yn ddiolchgar am eu geiriau cefnogol. Y mae amryw o'n dynion goreu yn y Tiriogaethau Prydeinig yn ogystal ag yn yr Unol Dalaethau wedi ein sirioli â'u geiriau cydymdeimladol lawer gwaith. Teimlasom ein calon yn ymdoddi, a'n llygaid yn lleithio wrth ddarllen llythyrau cefnogol brodyr anwyl o bell ac agos. Dymunem o'n calon wneyd yr hyn fyddo oreu ar ran y Cyhoeddiad yn y dyfodol. Pell iawn ydym o wneyd y WAWR yn organ parti—pwy bynag fyddont.

Yr ydym yma yn anog yn daer am gydweithrediad calonog ein hen gefnogwyr, yn gystal a rhai newyddion a deimlant rwymau i'n cynorthwyo. Cydnabyddir fod eisiau cyhoeddiad misol, gan ein cymanfaoedd, ein heglwysi, a'n haelodau? A gawn ni gyduno i sylweddoli yr angen? Cyn y byddo neb yn beio oblegid diffygion y cyhoeddiad, gofaled y cyfryw ei fod yn gwneyd ei oreu drosto yn barod; byddis yn barod iawn i dderbyn unrhyw awgrym a fyddo yn debyg o wneyd y WAWR yn well.

Diweddwn yr anerchiad syml hwn gan ddymuno nawdd y Goruchaf ar ein cefnogwyr oll. Mor briodol yw geiriau yr Apostol: "Am hyny, fy mrodyr anwyl, byddwch sicr a diymod, a helaethion yn ngwaith yr Arglwydd yn wastadol; a chwi yn gwybod nad yw eich llafur yn ofer yn yr Arglwydd."

## ADOLYGIAD Y WASG.

UNDEB BEDYDDWYR CYMRU A SWYDD FYNWY. Adroddiad o'r Cyfarfodydd a gynaliwyd yn Llandudno, Hydref 9fed, 10fed a'r 11eg, 1882. Llangollen: Argraffwyd gan WM. WILLIAMS. Pris Chwe' Cheiniog.

Arfera Undeb Bedyddwyr Cymru gyhoeddi yn flynyddol Adroddiad o'i weithrediadau, a'r diweddaf yw hwn. Cynwysa bapyrau ac areithiau gwir alluog, yn cael eu trafod yn fedrus a dyddorol. Bernir fod yr adroddiad yn gwella bob blwyddyn. Byddai yn werth i'n haelodau a'n dynion ieuainc ei bwrcasu. Gellir ei gael gan yr Ysgrifenydd Arianol, y Parch. H. C. Williams, Corwen.

---

SEREN GOMER: Cylchgrawn Chwarterol Undeb Bedyddwyr Cymru, Ionawr, 1883. Dan olygiaeth y Parch. E. ROBERTS, D. D., Pontypridd. Argraffwyd gan JENKIN HOWELL, Aberdar. Pris swllt.

Testyn yr erthygl gyntaf yn y rhifyn hwn yw Thomas Llewelyn, Rhigos, Morganwg, am yr hwn, ar awdurdod Iolo Morganwg, y dywedir fel hyn: "Mewn ty heb fod yn mhell, a elwir Glyn Eithinog, yr oedd bardd Cymreig enwog yn byw yn amser Edward VI., ac Elizabeth, yr hwn a adawodd ar ei ol gryn lawer o farddoniaeth Gymreig dda mewn ysgrif-lyfr. Ei enw oedd Thomas Llewelyn, ac yr oedd yn Brotestant o nodwedd uchel, duwioldeb mawr, a moesoldeb manwl. Cyfieithodd y Beibl i Gymraeg da, o gyfieithiad Saesoneg Tyndal, o gylch 1540, yr hyn oedd fwy na deugain mlynedd cyn i'r cyfieithiad Cymreig a arferir yn awr gael ei wneyd gan Dr. William Morgan. Os nad yw cyfieithiad Cymreig Thomas Llewelyn ar gael yn awr mewn ysgrif-lyfr, yr oedd yn ddiweddar iawn. Ni hysbysir i ni ddarfod i Dr. Davies a Mr. Salesbury wneyd defnydd o gyfieithiad Thomas Llewelyn, ond y mae rhesymau cedyrn dros gredu hyny. Os na chamarweinir fi gan fy hysbysydd, mae Cymraeg eu cyfieithiad hwy mor hollol a neillduol yn nhafodiaith Morganwg, neu Esyllwg, yn holl briodoleddau cystrawiad gramadegol, geiriadaeth, treigliad berfau, a phriod-ddulliau lluosog, fel nas

Digitized by Google

gellir llai na rhyfeddu pa fodd y derbyniodd y fath gymeriad, os na arferwyd ac na ddilynwyd cyfieithiad yr hen fardd yn fanwl iawn. Yr oedd Dr. Richard Davies a William Salesbury ill dau yn frodorion o Ogledd Cymru, ac heb fod erioed yn trigo yn Mynwy, Morganwg, nac un rhan arall o'r Dywysogaeth lle yr arferir y dafodiaith Essyllaidd. Yr oedd, ac y mae, y cyfieithiad hwn o'r Testament Newydd yn dra annealladwy i drigolion Gogledd Cymru."

Hysbysir ni mai yn yr hanes hwn gan Thomas Llewelyn a'i ddysgyblion difeddwl-drwg, yr ydym yn cael hanes dechreuad yr Ymneillduwyr Cymreig. Tybir yn dra sicr mai Bedyddiwr oedd Thomas Llewelyn. Pregethai yn erbyn defodau a seremoniau, a chymellai *grefydd bersonol* ar y bobl. Ebai yr awdwr, "Ond y rheswm cryfaf yn ein golwg ni i brofi mai Bedyddiwr oedd T. L., yw y ffaith fod Dr. Rees, Abertawe, a Dr. Thomas, Lerpwl, yn eu 'Hanes yr Eglwysi Annibynol yn Nghymru,' yn amheu a fu y fath bregethwr yn y wlad erioed. Gallwn ddyfalu fod y ddau hen batriarch wedi methu gweled eu ffordd yn glir i hawlio T. Ll. fel Annibynwr, yn hytrach na chyfaddef yn onest mai Bedyddiwr oedd, wedi penderfynu amheu ei fodolaeth."

Diweddir yr erthygl fel y canlyn: "Credwn fod naw o bob deg o'n darllenwyr yn foddlon cydolygu a ni, fod Thomas Llewelyn, yn ei ddydd, yn fardd galluog, yn bregethwr poblogaidd, yn Brotestant diofn, ei fod wedi cyfieithu rhanau helaeth, os nid yr oll, o'r Testament Newydd i'r Gymraeg, ac fod William Salesbury a Dr. Davies wedi gweled ac wedi defnyddio llawer o'r cyfieithiad hwnw pan yn parotoi yr eiddynt hwy i'r wasg. Ymddengys hefyd fod ei ddaliadau crefyddol yn bur debyg i eiddo Bedyddwyr y dyddiau presenol.

Awdwr yr ysgrif ydyw Jenkin Howell, Aberdar. Gwnaeth waith rhagorol. Mae y pwnc yn ddyddorol. Eisiau mwy o bethau o'r fath sydd arnom. Dylai adgyfodiad buan gymeryd lle ar yr hen gymeriadau enwog fuont yn efengyleidio Cymru, a theimlwn fod hyny fel wedi dechreu eisoes yn *Seren Gomer*.

Mae y gweddill o'r rhifyn dan sylw yn cynwys ysgrifau gwerthfawr. Mae *Seren Gomer* yn well na dim fu gan y Bedyddwyr Cymreig o'r blaen, a diau ei bod yn sefyll ar flaen y rhes yn mhlith cyfryngau llenyddol presenol Cymru. Mae yn anrhydedd i'r enwad ac i'r golygydd yn benodol.

---

Y GREAL am Ionawr, 1883. Llangollen: Argraffwyd gan WILLIAM WILLIAMS. Dan olygiaeth y Parch. O. DAVIES; Caernarfon; HYWEL CERNYW, a'r Parch. J. A. MORRIS, Aberystwyth.

Mae y rhifyn hwn yn cynwys ysgrifau rhagorol. Mae y *Greal* yn Gyhoeddiad da; felly y mae wedi bod, ac y mae yn parhau felly. Gwisga bob amser symlrwydd yr efengyl, ac ni welir byth ynddo duedd at ddim *sensational*, nac un ymgais at fod yn boblogaidd trwy ymostwng i lawr at y dichwaeth. Hir oes i'r *Greal*.

---

## HEN OLYGYDD "Y SEREN."

Galwasom heibio hen Olygydd y *Seren Orllewinol* yn ddiweddar, yn Pottsville, Pa., ac yr ydoedd yn brysur yn cysodi "Joseph a'i Frodyr," sef y Ddrama adnabyddus, gan Ieuan Ddu. Mae y Ddrama hon wedi bod mewn bri mawr flynyddau yn ol, pryd yr oedd dyddordeb mawr yn cael ei deimlo wrth wrando ei hadrodd a'i gwrando. Sonir yn fynych yn awr am adegau hapus a fwynhawyd aml i dro gan gyfeillion a fuont yn cymeryd rhan yn y gweithrediadau, ac eraill. Deallwn fod y cyfeillion Bedyddiedig yn Shenandoah yn adgyfodi y Ddrama enwog hon; y mae cwmpeini wedi cael ei ffurfi yno i'w hadrodd yn fuan, a'r elw i fyned i'r ysgol Sul yn y lle; a chysodi y Ddrama iddynt hwy yr oedd y brawd Edwards. Heblaw cyflenwi eu hangen hwy, y mae wedi barnu yn ddoeth argraffu rhai copiau dros ben, gan fod y gân allan o brint, a holi mynych am dani. Os bydd rhyw rai yn hoffi cael y Ddrama hon, gellir ei chael trwy anfon at y Parch. R. Edwards, Pottsville, Pa. Y mae ganddo Lyfrau Tonau, a llyfrau da eraill, gwerth eu meddu. Yr oedd amryw o hen adgofion dymunol yn dyfod i'n meddwl am

Digitized by Google

ein tymor yn Minersville, pryd y galwem gyda hen Olygydd y *Seren*, ac yntau yn ddiwyd yn "bodio" y llythyrenau ar gyfer y *Seren*. Mae efe yn dal i edrych yn rhyfedd o dda, a theimlwn ei fod yn haeddu llawer o barch am ei ymdrechion gyda Chyhoeddiad yr Enwad am gynifer o flynyddau. Os gelwi yn ei dy, ddarllenydd, ni chei neb yn fwy croesawgar nag ef.

## MAN-LEWYRCHIADAU.

—Go ychydig ydyw nifer y frawdoliaeth yn Minersville, Pa., ar hyn o bryd; eto parhant i gadw moddion yn gyson, a dangosant lawer iawn o ffyddlondeb.

—Mae gofal yr eglwys yn Ashland, Pa., wedi ei argymeryd gan y Parch. Jeremiah Griffiths, a'r achos yn dra llewyrchus dan ei ofal.

—Er's rhai wythnosau bellach, mae y Parch. H. Gwerfyl James wedi ymsefydlu yn Mahanoy City, Pa., fel gweinidog ar yr eglwys, a dywedir fod y rhagolygon yn addawol.

—Deallwn fod y Parch. Thos. Reeves, gynt o Risca, wedi ymsefydlu yn Providence, Pa., ac yn hynod boblogaidd yno.

—Dysgwyliwn y bydd hanes yr eglwys yn Pittston, Pa., o'r dechreuad hyd yn awr, gan y brawd Jacob W. Evans, yn ein rhifyn nesaf. Gwnaed eraill yn gyffelyb mewn lleoedd eraill.

—Teimlo yn ddigalon mae y frawdoliaeth yn Carbondale, Pa., gyda golwg ar ddyfodol yr achos yn y lle, gan fod eu nifer yn lleihau trwy farwolaethau, symudiadau, a chynydd y Saesoneg.

—Erfyniwn yn daer ar ein Dosbarthwyr yn mhob man i anfon eu cyfrifon am a basiodd i fewn yn fuan.

—Gorfodwyd ni, o herwydd prinder gofod, i adael allan lawer o bethau o'r rhifyn hwn ag y carasem eu cyhoeddi. Amynedd, gyfeillion.

# Barddoniaeth.

## CWYN Y WEDDW.

Trwm yw'r hiraeth sydd yn aros
  Ar fy nghalon nos a dydd,
Ac mae'r teulu oll yn gyfryw,
  Tan eu briw yn teimlo'n brudd,
Am yr hybarch Thomas Holland,
  F'anwyl briod hoff ei wedd,
'Rhwn sydd yn llefaru eto,
  Er ei fod ef yn ei fedd.

Priod anwyl a thad tyner,
  Mewn addfwynder hwn a fu;
Gair ei Dduw oedd ganddo'n rheol
  Awdurdodol yn ei dy;
'N ol y gair ymdrechai rodio,
  Megys cywir ffyddlon was,
Gan gyhoeddi i bechaduriaid
  Anchwiliadwy olud gras.

'R ol ei golli wylai'r ardal,
  'R eglwys hefyd gafodd glwy',
Ac er cymaint oedd eu colled,
  'R oedd fy ngholled i yn fwy;
Colli 'mhriod tyner galon,
  Ein gwir athraw oedd efe;
Yn mhlith holl drigolion daear
  Nid oes neb all lanw ei le.

Cofio'i eiriau a'i gyngorion,
  Sydd yn berlau mawr eu gwerth,
A phan byddom yn lluddedig,
  Maent yn adnewyddu 'n nerth;
Gyda'r Iesu'n gyfan gwbl
  'Roedd ei feddwl ef wrth fyw,
Aeth trwy angeu mewn tangnefedd
  Yn ei ddiwedd at ei Dduw.

'Rwy'n hyderu ei gyfarfod,
  A chael uno yn y gân
Gyda'r dyrfa ogoneddus
  I roi clod i'r Iesu glân,
Am gael hawl i'r etifeddiaeth,
  Gyda sanctaidd deulu'r ffydd,
A chael byw am byth mewn heddwch,
  Yn nedwyddwch gwlad y dydd.

MARY HOLLAND

## TRIUGAIN AC UN.

Pan fwriwyf fy ngolwg hyd lwybrau fy oes,
Canfyddaf, gwnaf, lawer o le er fy loes;
Ond hyn sydd yn gysur difesur i'r hen,
Y nefoedd wna faddeu yn fwyn gyda gwên.

Pe medrwn yrwan mi neidiwn yn ol,
Er rhodio 'r hyd llwybrau call-ddynion, nid ffol,
Yn nghwmni duwiolion, rhai doniol is nen,
A thynwn fendithion yn fyrdd am fy mhen.

Ac felly ar gynydd efrydydd yr awn,
Mewn maeth a gwybodaeth yn gyson a llawn,
Gan lyfnu y ffordd bob cam hyd fy medd,
Y fan lle gorweddaf gorphwysaf mewn hedd.

Triugain-ac-un o flynyddau yn llawn
Yw f'oedran hyd yma, a chyfrif yn iawn;
Pa nifer sydd eto yn ol i fy rhan
O flwyddi tirionlawn, caf wel'd yn y man.

CHRISTOPHER BACH.

Digitized by Google

# Y Maes Cenadol.

GAN Y PARCH. W. F. DAVIES, NANTICOKE, PA.

### CREFYDDAU CHINA.

Mae yn China dair o systemau crefyddol, sef Confuciaeth, Budhyddiaeth, a Thaoaeth. Pell yw y rhai hyn o fod yn gydradd o ran eu dylanwad, nac ychwaith o ran nifer eu pleidwyr.

Confuciaeth sydd yn cael derbyniad gan y dosbarth uchaf o'r trigolion, ac ar rai ystyriaethau gellir ei galw yn grefydd, neu eglwys wladol China. Kungfootsze, neu Confucius, yn ol fel y Lladineiddiwyd yr enw gan genadon Pabyddol, oeddynt yn oesi tua'r flwyddyn 580 cyn Crist, felly yn yr un cyfnod a Pythagoras. Gwelodd ef oleuni dydd gyntaf yn Nhalaeth annibynol Loo. Mab ydoedd i wleidyddwr o gryn enwogrwydd, a phrif ynad ei fro. Pan yn ieuanc, nid oedd chwareuon plentynaidd, yr ymhyfrydai plant eraill ynddynt. yn fawr o ddim sylw ganddo ef. Treuliai ef ei holl amser i fyfyrio gwyddoniaeth foesol a gwleidyddol. Trwy astudio yn ddyfal, daeth yn fuan i feddianu gradd helaeth o wybodaeth. Teimlid ei ddylanwad fel dyn dysgedig ac athraw doeth, ac elai llawer ar ei ol, gan alw eu hunain yn ddysgyblion iddo. Ystyrir ef gan y Chineaid y puraf o'u holl athrawon. Cadwant ei lyfrau yn ofalus, a throsglwyddir hwynt i lawr o oes i oes, a hwy yn bresenol a ystyrir yn Ysgrythyr Lan China. Mewn gwledd unwaith, dywedai Confucius, fod tri pheth y dylai pob dyn fod yn ofalus o honynt trwy ei oes, a'u gochelyd: "Pan yn ieuanc, ei chwantau; pan yn ganol oed, ei nwydau; a phan yn hen, yn neillduol cybydd-dra."

Ar amryw ystyriaethau, mwy priodol galw Confucius yn athraw gwleidyddol na chrefyddol. Er y ceir yn ei weithiau syniadau prydferth a goruchel, eto ni cheir ganddo unwaith yr awgrymiad lleiaf, na chydnabyddiaeth o unrhyw fath, am Dduw cyfiawn ac anfeidrol; ac er wedi bod am dros ddwy fil o flwyddi yn cael gwarogaeth ac addoliad drwy yr holl ymerodraeth, a chael miloedd lawer o allorau a themlau wedi eu cysegru i'w goffadwriaeth, ac i ledaenu yr egwyddorion a ddysgodd yn ei fywyd, eto ychydig, os yn wir, dim, mae China wedi godi trwy ddim a roddodd iddi yn ei fywyd, neu a adawodd ar ol. Ceir heddyw rai o'r pechodau mwyaf gwarthus yn mhlith canlynwyr ac addolwyr Confucius ag a geir yn unrhyw gongl o unrhyw wlad baganaidd o dan haul. Dysgodd ef na ddylai neb fyw o dan dywyniad yr un haul a'r dyn a lofruddiodd ei dad, yr hyn oedd gystal a dysgu y dylai dyn droi yn llofrudd os byddai i'w dad gael ei lofruddio. Pan yn ei 73 flwydd o'i oedran, casglwyd ef at ei dadau, a rhifwyd ef gyda y rhai a fu. Dywedir oddiar awdurdod dda fod dim llai na 15,000 o demlau, heblaw allorau o wahanol fathau, wedi eu cysegru i goffadwriaeth Confucius yn China. Yn gysylltiedig a'r temlau a'r allorau hyn, dywedir fod uwchlaw 60,000 o wahanol anifeiliaid yn cael eu haberthu, heblaw 27,000 o ddarnau o sidan a losgir, a hyny i foddio ei ysbryd, a'i ddarparu â gwisgoedd yn y byd arall. Gwnant y sidan yn wisgoedd cyn ei losgi, fel y byddo i'r mwg fyned i'r ffurf hono i afael ei ysbryd yn y fro ysbrydol. Dyma yr oreu o grefyddau China.

Crefydd Fo, Fu, neu Budh, a ddygwyd i China o Hindostan yn y flwyddyn 65 o'r cyfnod presenol. Gwasgarwyd hi trwy y wlad ar y cyntaf mewn llyfrau a thraethodau bychain, y rhai a ddygid o dy i dy gan ei phleidwyr. Daliant yn China at yr un syniadau marwol a choelgrefyddol a nodwedda bleidwyr Budhyddiaeth yn Burmah, Siam, Thibet, a Japan. Wrth sylwi, mae llawer iawn o debygolrwydd rhwng ymarferion offeiriaid Budha ag eiddo yr eglwys Babaidd. Mae y naill fel y llall yn byw heb briodi—yn ymprydio, yn gweddio dros y meirw, yn arfer iaith ddyeithr pan yn dwyn yn mlaen wasanaeth crefyddol, yn defnyddio y dwfr sanctaidd, yn addoli hen *relics*, ac yn arwain bywyd monachaidd. Y mae hyn wedi bod yn syndod i lawer o Babyddion pan yn dyfod ar eu traws

Digitized by Google

am y tro cyntaf. Cyfrifa rhai haneswyr am y tebygolrwydd hwn trwy ddyweyd mai dylanwad y cenadon Pabyddol a fuont yn y wlad rai canoedd o flynyddoedd yn ol yw hyn. Nis gallat fi benderfynu a ydyw hyn yn iawn neu beidio.

Y drydydd grefydd yn China ydyw eiddo TAON. Gelwir hi felly ar ol ei sylfaenydd, yr hwn a oesai tua yr un amser a Confucius. Taon yw Epicurus y Chineaid. Ni wna un cyfrif o barch, cyfoeth, nac un anrhydedd bydol. Dysgai Taon fod i unrhyw nwyd a aflonyddai neu a gynhyrfai dawelwch y dyn, gael ei gosod i lawr ar unwaith. Mae offeiriaid Taon yn galw eu hunain yn Ddoctoriaid Rheswm, neu Athrawon Ysbrydol. Perswadiant y bobl, druain, eu bod yn deall yr holl glefydau sydd yn poeni pawb, ac yn gallu eu meddyginiaethu hefyd. Nid oes dim offeiriaid gan Confuciaeth, oddigerth yr ymerawdwr yn unig; ond mae offeiriaid y ddwy system arall yn lluosog neillduol. Dywedais fod offeiriaid Budha, yn ogystal ag eiddo y Pabyddion, yn arfer iaith ddyeithr wrth ddwyn yn mlaen ryw ranau o'u gwasanaeth crefyddol. Yn hyn mae mwy o systemau crefyddol yn ymdebygu i'w gilydd nag ydym wedi arfer feddwl. Wrth ddarllen, cawn fod hyn yn ffaith am bob math o ffurfiau crefyddol i raddau mwy neu lai, ar wyneb y ddaear, oddigerth Protestaniaeth. Yn mhlith yr holl ffurfiau crefyddol a fodolant trwy wahanol ranau o Asia, cawn fod hyn yn cael ei ddysgu a'i arfer. O sedd y Pab yn Rhufain hyd Ogof y Jamaboos yn Japan, credir y ca dirgelion crefydd y parch mwyaf po leiaf o honynt a ddeallir. Mae pleidwyr y syniad hwn yn lluosog, fel y gwelir uchod; eto mae rheswm a synwyr cyffredin yn ei erbyn yn hollol. Mae iaith gysegredig Budhyddiaeth yn cael ei galw yn "Iaith y Fau," yr hwn yw enw y lle y ganwyd Budha ynddo. Nid oes braidd neb o'r Chineaid yn deall dim o honi; ac nid yw yr offeiriaid, oddigerth ychydig eiriau a brawddegau neillduol, yn deall dim o honi ychwaith. Fel rheol, mae offeiriaid Budha yn nodedig am eu hanwybodaeth. Mae llawer o honynt yn analluog i ddarllen gair; ond wedi dysgu llithiau y gwasanaeth trwy glywed eraill yn eu hadrodd y maent. Credant fod rhinwedd anfeidrol hyd yn nod yn swn geiriau yr iaith Fau, er yn methu deall gair o honi. Braint yw cael deall rhywbeth yn amgenach.

---

# Gwladyddiaeth y Mis.

GAN Y PARCH. J. EDRED JONES.

Nid yw'r ysgrifenydd yn gwybod pa un a ddysgwylia'r Golygydd iddo gyfyngu ei hun at hanesion gwladwriaethol y Talaethau Unedig a'i peidio; ond gan nad yw'r penawd yn ei gyfyngu i hyny, cymer ei ryddid, yn achlysurol, i osod o flaen darllenwyr y WAWR, rai o'r prif bethau a ddichon fod yn ddyddorol iddynt yn dramorol yn gystal a chartrefol.

*Yn Ffrainc,*

mae'r crochan politicaidd yn berwi yn wyllt, oddiar farwolaeth yr enwog a'r galluog Gambetta. Nid cynt y gosodwyd y gwladweinydd enwog hwn yn ei fedd, nag y cyhoeddodd y Tywysog Napoleon gylch-lythyrau bombastaidd, gan eu gwasgaru trwy holl ddinas Paris, yn dyweyd fod y Weriniaeth yn sigledig, ac yn debyg o gwympo; ei bod yn annheilwng o ymddiried y cyhoedd, a bod yr awr wedi dod i adsefydlu'r Ymerodraeth yn ei berson achyddol ef, &c. Ar hyn dychrynodd y llywodraeth, daliwyd a charcharwyd y Tywysog, a gwnawd y dyn nad oedd ganddo na phlaid na chanlynwyr, yn arwr y dydd. Wedi clywed am ei garchariad, brysiodd y gyn-Ymerodres Eugenie, gweddw Napoleon III., drosodd i Paris, er dangos ei chydymdeimlad â'r carcharor tywysogaidd, er nad oedd y ddau wedi bod ar *speaking terms* â'u gilydd er's rhai blynyddau. Parodd y pethau hyn gyffro mawr. Aeth *cabinet* yr Arlywydd yn deilchion. Dygwyd mesurau llymion o flaen y

Ddeddfwrfa, er alltudio'r Tywysog, ac amddifadu aelodau y teulu breninol o'u teitlau a'u swyddau milwrol. Er i'r mesur gael ei basio gyda mwyafrif mawr yn y Ty, y mae yn amheus, er hyny, a ga yr un gefnogaeth yn y Senedd. Yn y cyfamser, y mae Napoleon wedi ei ryddhau o'r carchar, ac wedi myned ar ymweliad â Mrs. Eugenie i Loegr. Dyna y dechreu, ond beth fydd y diwedd sydd fwy nas gall un dewin ddyweyd am y Ffrancod aflonydd, anfoddog ac *impulsive*. Ond hyn sydd eglur i bob dinesydd Americanaidd, fod llywodraeth werinol Ffrainc wedi dangos llawer o wendid, o lwfrdra ac o blentyneiddiwch yn yr ymdrafodaeth chwerthingar hon. Gwyr y darllenydd nad yw

*Ymerawdwr Rwssia*

wedi cael ei goroni eto. Ond y mae cyhoeddiad wedi ei wneyd yn ddiweddar, fod y seremoni wirion i gymeryd lle ar y 27ain o Fai nesaf. Ond nid yw Nihilyddiaeth wedi ei ladd na'i osod i lawr yn y wlad annedwydd hono. Y newyddion diweddaraf yw, fod adranau o'r fyddin wedi cael eu lefeinio ganddo, a bod yr Ymerawdwr wedi derbyn rhybudd difrifol, yn argraffedig ar bapyr costus, na chymer y coroniad byth le, oddieithr iddo ganiatau yn gyntaf i'w ddeiliaid ryddid cydwybod, rhyddid y wasg, rhyddid i gynulliadau cyhoeddus, hawl i feddianu tiroedd, a phleidlais gyffredinol. Gan mai "trech gwlad nac Arglwydd," ni a'i cyngorwn ef i gyduno â'r telerau rhesymol hyn, oblegid mae'n well iddo wneyd hyny a byw, na marw trwy wrthod. Mae'r

*Gwyddelod Gwaedlyd*

yn llwyddo i gadw'r Werddon yn derfysglyd o hyd. Cofus gan y darllenydd am lofruddiaeth farbaraidd Arglwydd Cavendish a'r Ysgrifenydd Burke, mewn gwaed oer yn Phœnix Park, yn Dublin, mis Mai diweddaf. Buwyd am fisoedd yn methu cael gair am y fileiniaid oeddynt yn euog o'r gyflafan, ond o'r diwedd mae'r dirgelwch wedi ei ddadguddio. Aeth aur Lloegr yn drech na llwon grymus y cymdeithasau dirgelaidd. Agorodd enau gyrwr cerbyd y llofruddion; trodd yn *states evidence*, bradychodd ei gymdeithion gwaedlyd, ac y maent heddyw mewn dalfa. 'Does dim gwir gyfeillgarwch ond yn unig rhwng dynion *da*. "Murder will out." Dwylaw glan a chydwybod onest y pia hi yn y diwedd. Tawel y cwsg cawl llaeth. Ond mae'n dda gan y byd wybod fod y llofruddion barbaraidd hyn ar eu ffordd i'w cosb haeddianol. Ond er eu crogi hwy, nid yn fuan y llonydda ysbryd terfysglyd y Gwyddelod—nid yw yr ystorom wladwriaethol drosodd o lawer. Rhydd y Werddon ddigon o waith i Barliament Lloegr am amser eto. Y ffordd rwyddaf, feraf, a'r oreu fyddai i Loegr adael iddynt gael "home rule," yna troent i ddyfetha eu gilydd. Byddai hyn yn fendith i Loegr, i Gymru ac i America—i'r byd gwareiddiedig.

Mae amgylchiadau gwladyddol yr Unol Dalaethau yn edrych, ar y cyfan, yn dra addawol. Mae ymdrechion celyd wedi bod, mewn amryw Ddeddfwrfeydd Talaethol, mewn cysylltiad ag etholiadau Seneddwyr i Washington. Mae rhai hen *stagers* wedi colli eu lleoedd breision, i gael eu llanw gan ddynion newydd. Y mae Oregon wedi anfon Bedyddiwr o'r iawn ryw i'r Senedd yn mherson Anrhydeddus H. N. Dolph. Gwelais ganmoliaeth uchel iddo fel dyn a Christion, gan un o'n prif weinidogion oddiyno yn ddiweddar.

Y pwnc o waharddiad dirwestol sy'n para i gynhyrfu awyrgylch boliticaidd Ohio ac Indiana, yn gystal a lleoedd eraill, ac ymddengys yn awr y bydd y pwnc hwn yn para i fod yn elfen bwysig yn llwyddiant neu aflwyddiant y blaid Werinol yn yr etholiad cyffredinol nesaf yn y ddwy Dalaeth uchod, a dichon mewn eraill hefyd. Synwyr, bobl.

*Y Tariff*

sy'n myned a sylw mwyaf y cynrychiolwyr yn bresenol. Gan nad yw'r Golygydd yn caniatau i'r ysgrifenydd

Digitized by Google

i athrawiaethu ar byncîau gwladyddol, ni wnaf ond dyweyd fod dwy ochr i'r pwnc pwysig hwn, a bod 1 bob un o honynt ei dysgyblion a'i chefnogwyr selog. Dadlu brwd ac anorphen sydd ar y pwnc yn bresenol yn Washington, ac felly maent yn brysio yn araf iawn. Mae'r Democratiaid, fel plaid, yn ffafriol i fasnach *rydd*, a'r Gwerinwyr yn bleidiol i dollau digon uchel ar nwyddau tramorol, i roddi chwareu teg i weithwyr a llaw-weithfeydd Americanaidd i enill cyflogau teilwng o'u llafur fel *dynion*, ac nid *serfs*. Mae ein gwlad mor fawr, ac mor amrywiol ei chynyrchion, fel mai gwaith anhawdd yw trefnu mesurau a fyddant gyfiawn i un rhan, heb wasgu ar y llall. Gan fod amser y Gydgyngorfa hon mor agos i'w ddiwedd, a bod mesurau pwysig eraill yn hawlio sylw uniongyrchol, mae yn amheus a basir unrhyw Tariff Bill yn yr eisteddiad presenol. Mae gostyngiad yn mhris

*Y Llythyrdoll*

wedi cael llawer o sylw yn ddiweddar hefyd, ac mae'r Senedd wedi pasio mesur sydd yn gostyng y pris o dair i ddwy cent yr haner owns ar lythyrau cartrefol. Heblaw hyn, mae'r Seneddwr Platt wedi dwyn mesur o flaen y Senedd yn cynyg at *free delivery* mewn dinasoedd o 10 mil o drigolion. Gan fod y Bostswyddfa yn awr yn gwneyd mwy na digon i gynal ei hun, fe ddadleuir y dylid gostwng pris cludiad llythyrau, a rhoi mwy o fanteision i breswylwyr dinasoedd. Ond ymddengys i mi y buasai yn llawer mwy o enill i'r wlad yn gyffredinol, pe gwnelid diwygiad yn hyrwyddiad a mynychdod llythyr-gludiaeth i bentrefi bychain ar hyd a lled y wlad, a gadael y doll fel y mae. Mae'r dinasoedd a'r prif bentrefi yn cael eu *mails* o 1 i 12 gwaith y dydd—y blaenaf yn eu tai gan weision y llywodraeth, tra nad yw preswylwyr y pentrefi gwledig, os na fyddant ar linell y rheilffordd, yn cael ond *un* mail y dydd—a llawer ddim yn cael hyny. Mae hyn yn ffafraeth gywilyddus.

Mae'r ysgrifenydd yn byw mewn pentref yn Lloegr Newydd, tua 5 ..il-tir oddiwrth y reilffordd; ac er fod yma amryw fasnachwyr cyfrifol, yn mysg eraill, ac yn cael ein cylchynu gan ffermwyr cyfoethog—llawer o honynt yn ddynion o chwaeth a choethder, eto nid y'm yn cael ond *un* mail mewn pedair awr ar hugain, ac amseriad hwnw y fath nad yw yn bosibl i ni gael newyddiadur dyddiol, nes y byddo dros ddiwrnod oed! Erys llythyrau i mi yn aml am ugain awr yn y swyddfa, 5 milldir oddiyma. Y mae hyn yn annghyfiawnder ag y dylid ei symud ar unwaith, lle bynag y bodola. Gwarier mwy ar y wlad, a llai o'r haner ar y dinasoedd, er cyfartalu pethau.

Pan yn son am y Bostswyddfa, dylid crybwyll fod archladron y "Star Routes" yn cael eu hail brawf yn Washington gyda phob arwyddion y cânt eu profi yn euog y tro hwn.

Y mae mesur o flaen Deddfwrfa Pennsylvania i roi gwell amddiffyniad i weithwyr y Dalaeth hono, o ran eu bywydau, pa un bynag ai ar neu tan y ddaear y byddo eu galwedigaeth. Dylai hwn, ar bob ystyriaeth, ddyfod yn ddeddf yn ddioedi; a dylai deddfau i'r un pwrpas gael eu pasio gan bob Deddfwrfa Dalaethol yn yr Undeb er amddiffyniad y gweithiwr tlawd, rhag y niweidiau ac angau, y mae cybydddod, trachwant, ac esgeulusdod corfforiaethau mawrion yn eu gosod yn agored iddynt. O! pa bryd y ca'r gweithiwr ei *iawnderau*, yr edrychir arno fel *dyn*, yr ymddygir ato yn *onest*, y peidia a bod yn gaethwas i *grasping monopolies*? Mae'r *ballot* yn *lever* rymus yn ei law, pe bai'r gweithwyr ddim ond yn gallu cydweled i gyd duebu. Hyn hyd y tro nesaf.

---

## HANESION CARTREFOL.

---

### Cymanfa y Bedyddwyr Cymreig yn Wisconsin.

Cynelir y Gymanfa hon eleni, yn dechreu yn Berlin, Mai 30. Y gynadledd i ddechreu am 10 o'r gloch dydd Mercher. Iau 31ain, pregethu trwy'r dydd. Bydd yn parhau yn

Digitized by Google

Springwater, Mehefin 2, 3. Bydd yn angenrheidiol i'r gweinidogion a'r cenador fod yn Berlin nos Fawrth, Mai 29. Dros y ddwy eglwys—*David R. Evans.*

---

MORRIS RUN, PA.

Mr. Gol.—Byddwch cystal a rhoddi ychydig o le yn eich misolyn gwerthfawr i'r llythyr bychan canlynol. Yr wyf drwy gyfrwng y geiriau hyn yn dymuno cyflwyno fy niolchgarwch mwyaf gwresog i'm cymwynaswyr caredig am eu rhoddion gwerthfawr i mi a'm teulu.

Ymsefydlais yn Morris Run ddiwedd Rhagfyr; ac ar y 4ydd o Ionawr, penderfynodd pobl fy ngofal, yn nghyd a rhai o'r Annibynwyr wneyd *pound party* i mi. Cyfarfyddasant yn gyntaf yn *basement* y capel, a gallesid meddwl wrth y pethau oedd ganddynt, eu bod yn meddwl helpu rhyw fwnwr anafus neu afiach i gychwyn store yn y fan hono. Yna ymffurfiasant yn orymdaith gan gyfeirio eu camrau tua'm ty, a rhyfedd fel y dychrynais wrth eu gwaith yn rhuthro i mewn i'm ty; meddyliais ar y foment, yn sicr, fy mod yn myned i gael fy nghosbi yn llym am feiddio ymsefydlu yn y lle. Ond wedi cael amser i weled pwy oeddynt, ciliodd fy ofnau yn y fan, oblegid gwelais mai fy ewyllyswyr da oeddynt oll, ac yr oedd y rhoddion gwerthfawr a ddygasant gyda hwy yn profi yr un peth. Yr oedd y rhoddion yn ymylu ar werth haner can' dolar o bob math o ddefnyddiau ymborth. Gwych iawn pobl Morris Run; diolch yn fawr i chwi am eich caredigrwydd.—*J. M. Evans.*

---

HYDE PARK.

*Chwefror* 18, 1883.—Mr. Gol. a darllenwyr y WAWR, fel y mae yn hysbys i chwi, cawsom flwyddyn ddymunol a llewyrchus, dymunol a da y flwyddyn ddiweddaf. Gallaf yn llawen eich cyfarch ar ddechreu y flwyddyn hon eto, a dyweyd wrthych fod hon wedi dechreu yn dda—yr eglwys yn gweddio, ein hanwyl frawd yn ymegnio, a Duw pob dawn yn bendithio. Derbyniasom y mis diweddaf 30 trwy fedydd ac o dir gwrthgiliad. Y mae y capel yn llawer rhy fach, nid yw ond prin ddigon i'r eglwys, yr hon a rifa tua 570. Y mae yr eglwys wedi dyfod i'r penderfyniad i'w helaethu, fel y byddo cymaint arall o eisteddleoedd. Nos Sul diweddaf, gorfu i lawer chwilio am leoedd yn y capeli eraill. Er fod ein gelynion yn dyweyd nad oes yma lwyddiant, llwyddo y mae o hyd—daeth yr eglwys o 360 i 570, a'r gynulleidfa yn gyfartal. Synwyf fod golygwyr y *Wasg* wedi caniatau yr ysgrif olaf, gan wrthod i neb arall gael cyfleusdra i'w chywiro.

Heddyw, cyfarfyddodd gweinidogion Luzerne a Lackawana yn y capel hwn i ddangos eu cydymdeimlad â'r eglwys a'r gweinidog, lle y pasiwyd y penderfyniadau a welir yn y rhifyn hwn.

Nos Fercher y 15fed, aeth ysgol y Fourth Ward trwy y gorchwyl o berfformio eu cantata, *Blessing of the Children*, yr hon oeddynt wedi cymeryd llafur i'w pherffeithio. Cafwyd cynulliad lluosog; yr oedd yn llwyddiant yn mhob ystyr. Yr oedd yn adlewyrchu yn dda ar ein brawd ieuanc, y cerddor galluog Thomas W. Watkins, gynt o Ferthyr Tydfil. Dos rhagot Watkins.—*Ebenezer Lloyd.*

---

THOMASTOWN, OHIO.

Y mae amgylchiadau wedi bod, ac yn parhau i achosi pobl i ymadael â gwledydd a lleoedd sydd anwyl yn eu mynwesau; felly am Thomastown. Er mor anwyl yw yr ysmotyn hwn i laweroedd, y maent o herwydd amgylchiadau yn gorfod ymadael o hono, o herwydd fod y gweithfeydd glo yn cyflym ddarfod. Effeithia hyn, nid yn unig ar fasnach y lle, ond hefyd ar yr achosion crefyddol, am fod yr aelodau yn gorfod symud oddiyma. O ganlyniad, gan fod ein heglwys ni, sef y Bedyddwyr, yn lleihau mewn nifer, analluogir ni i gynal yn ddedwydd ein gweinidog anwyl, y Parch. T. P. Morgan. Yn

Digitized by Google

herwydd hyn, y mae ef wedi ein rhybuddio y bydd yn ymadael ar ol yr ail Sabboth yn Mawrth. Y mae ef wedi bod yma flwyddyn a saith mis. Cafodd ein brawd yr eglwys mewn sefyllfa wanaidd pan yr ymgymerodd i'w bugeilio. Ond trwy lafúr caled mewn pregethu gwir alluog, defnyddiad synwyr cyffredin cryf a gwylio y praidd, cododd hi drwy gymorth o'r uchelder i agwedd lewyrchus iawn. Yn ychwanegol i hyn, yn ystod ei amser yma, adferwyd deg, bedyddiwyd tri, a derbyniwyd rhai trwy lythyrau. Hefyd, er pan y mae ein brawd yma, drwy ei ymdrech diflino, cliriwyd dyled ein capel. Y mae genym dy i Dduw yn awr yn hollol ddiddyled, yr hyn sydd goron yn nghymeriad ein brawd fel gweithiwr gwir ymdrechgar dros ei Feistr mawr. Fel mae gyda hiraeth dwys yr ymadawa efe a ni, felly gyda hiraeth dwys yr ymadawn ninau fel eglwys ag yntau. O! mor felus yw y ffaith, ei fod ef yn gallu dyweyd yn dda am y frawdoliaeth hon, a hithau yn medru dyweyd hefyd yn dda am dano yntau. Ymadawa yn ei ganlyn ddymuniadau goreu yr eglwys a'r ardal. Yr ydym yn bresenol ar ein heithaf yn gwneyd tysteb iddo cyn ei ymadawiad, ac y mae y rhagolygon yn edrych yn ffafriol. Ffarwel, anwyl frawd, os na chawn gyfarfod ar y ddaear, hyderwn y cawn gyfarfod o amgylch gorsedd y Ceidwad mawr, heb byth ffarwelio mwy. Duw fyddo gyda chwi yn y dyfodol, fel y mae wedi bod gyda chwi er pan ydych yma. Yr eiddoch yn yr Arglwydd.—*Brawd.*

---

### Helyntion Lansford, Pa.

Dywenydd fydd gan lawer o ddarllenwyr y Wawr glywed fod gwawr llwyddiant wedi tori ar Lansford o'r diwedd, a bod cyfnod yr ymbalfalu yn y tywyllwch wedi myned heibio. Bedyddiodd y Parch. Henry Thomas 17 ar broffes o'u ffydd yn y Gwaredwr, ddydd Sul, yr 11eg o Chwefror, 1882, yn ngwydd llon'd capel o ymwelwyr. Yr oedd y rhai y gweinyddwyd yr ordinhad arnynt yn amrywio mewn oedran—yr hynaf yn 20, a'r ieuengaf yn 13 mlwydd, a deallwn fod eraill eto yn aros i ddilyn yr un esiampl yn fuan. Y mae y Parch. Henry Thomas yn gymeradwy iawn yn Lansford. Pregethodd ar Fedydd ar y dyddiad uchod, pryd y dywedodd, nad oedd yn cymeryd yr un adnod neillduol fel testyn, gan fod yr oll o'r Testament Newydd at y pwrpas, yr hyn oedd yn awgrymu i bob meddwl baner effro nad oedd cymaint ag un sill o fewn i'w gloriau yn awgrymu un modd arall i weinyddu yr ordinhad nefol. Ac aeth rhagddo, gan egluro amryw o'r darluniau y mae y bedydd yn eu portreadu, fel y gallai y gwanaf ei feddwl ei amgyffred fel y cryfaf.

Gwelir mai ieuenctyd ydyw y dychweledigion uchod, a deiliaid yr ysgol Sul. Dywed rhyw un yn y Wawr am Chwefror mai pregethwr *No. 2* yw yr ysgol Sul; ond wrth ystyried meinder y weinidogaeth bwlpudaidd lawer pryd, mae tuedd gref i osod *cypher* ar ei chyffer, a *No. 1* am yr ysgol Sul; a phe byddem yn gwybod am gymaint ag un o'r Lefiaid hyny a gymerai gyngor heb dramgwyddo llawer, carem ei roddi iddo, a dyma ef, Cadwed ei lygaid yn agored, i weled pa un a yw ei weinidogaeth o'r pwlpud yn cael rhywfaint o effaith ar ei wrandawyr, neu beidio; ac os na fydd, ymostynged yn ddioed i egwyddori plant yr ysgol Sul; ac hyd yn nod pe byddai yn cael effaith ddaionus ar y gynulleidfa, ymostynged i athrawiaethu yn yr ysgol, a bydd hyny yn dyblu grym ei weinidogaeth, fel mae gyda'r brawd y Parch. H. Thomas, Lansford. Yr eiddoch yn gywir—*Herbert Herbert.*

---

### Sefydlu Eglwys Fedyddiedig,

*Ac Ordeinio Gweinidog, yn Peterton, Osage Co., Kansas, Rhag. 21, 1882.*

Mr. Gol.—Anaml a gwasgaredig iawn yw hyny o Fedyddwyr sydd yn y parthau hyn o Kansas hyd yma, felly nid oedd yma un eglwys Gymraeg i'w chael o gwbl. Mae yn debyg mai yr uchod yw yr ail yn y Dalaeth. Gan fod amryw o frodyr a chwiorydd crefyddol perthynol i'n henwad wedi dy-

fod i fyw i Peterton, ac yn methu gwneyd eu cartref yn ddedwydd iawn gyda yr enwadau sydd yma, penderfynasant ffurfio yn eglwys. Ar eu cais daeth y Parch. R. M. Richardson, Dawn, Mo., i weinyddu iddynt ac i'w cynorthwyo, a chawsom wleddoedd melus yn y gwahanol gyfarfodydd.

Boreu Sabboth, pregethodd Mr. Richardson yn Osage City; am 2, yn Peterton, pryd y ffurfiwyd yr eglwys, ac y dewiswyd swyddogion, sef Mr. J. Davies a Mr. Harvey yn ddiaconiaid; Mr. David John yn Ysgrifenydd, a Mr. J. Williams yn Drysorydd. Hefyd, cawsom bregeth ragorol ac i'r pwrpas; ac er fod yr hin mor oer, a'r ffyrdd mor arw, daeth llawer o bellder ffordd i'r cyfarfodydd hyn, ac nid yw yn edifar genym.

Am 6½, pregeth, ac ordeinio Wm. J. Davies i gyflawn waith y weinidogaeth; a rhoddodd yr eglwys yn Peterton alwad unfrydol iddo i'w bugeilio yn yr Arglwydd, yr hon a dderbyniodd, felly aeth yn briodas yn y fan. Yn nghymydogaeth Argoed, Sir Fynwy, y cafodd Wm. J. Davies ei godi, ac yn eglwys Fedyddiedig Argoed y derbyniwyd ef yn aelod, pan yn 16eg oed. Bu hefyd yn aelod yn eglwys Bargoed, Morganwg, ac oddiyno y daeth i'r wlad hon, ac i Kansas ar ei union, ychydig gyda blwyddyn yn ol, ac oddiar hyny y mae wedi bod yn pregethu gyda y gwahanol enwadau crefyddol sydd yn y parthau hyn, gyda chymeradwyaeth gyffredinol. Y mae yn ddyn ieuanc addfwyn a diymhongar. Credwn fod dyfodol dysglaer yn ei aros, os caiff fywyd ac iechyd, a gras i fyw yn dduwiol. Mae gan Mr. Davies a'i eglwys faes eang o'u blaen, a lle i wneyd llawer o ddaioni, gan fod Peterton yn cynyddu yn gyflym. Golygfa ardderchog oedd gweled 16 o wyr a gwragedd, a rhai dynion ieuainc, oll yn mlodau eu dyddiau, yn rhes o flaen Mr. Richardson, yn derbyn deheulaw cymdeithas, ac yn rhoddi eu hunain yn aelodau cyflawn i ffurfio yr eglwys. Ein dymuniad yw, i Ben mawr yr eglwys fod yn wr y ty yma gyda'i blant, ac y bydd i'r plant gadw ty glân iddo, fel y caffont dderbyn y tangnefedd hwnw roddodd Iesu Grist i'w ddysgyblion, fel y caffont eu rhwymo mewn cariad, nes y byddo y byd yn gorfod cyfaddef mai canlynwyr Crist ydynt mewn gwirionedd.

Nos Fawrth a nos Fercher canlynol, pregethodd Mr. Richardson yn Arvonia; nos Iau, yn Emporia, yn nghapel y Bedyddwyr Seisonig; nos Wener, yn y ty cwrdd Presbyteraidd, yn Gymraeg; nos Sadwrn, mewn ysgoldy yn y wlad, yn y Fowler Settlement, yn Saesoneg. Boreu Sabboth, yn y ty cwrdd Presbyteraidd, yn Gymraeg; am 2, ty cwrdd y Bedyddwyr, yn Saesoneg; am 6½, yn y ty cwrdd Presbyteraidd, yn Gymraeg; a nos Lun, yn Peterton.

Gallwn ddywedyd yn ddibetrus na chlywsom erioed well rhestr o bregethau, na mwy hwylus traddodi. Ni chawsom y fath wledd er pan diriasom gyntaf yn Kansas. Nid oedd modd croesawu neb yn fwy nag a wnaed â Mr. Richardson, trwy ddyfod i'w wrando, a'i ddilyn o le i le, nes oedd y tai cyrddau yn rhy fychain i gynwys y gwrandawyr cyn y diwedd. Anaml y mae neb o weinidogion y Bedyddwyr yn dyfod i'r parthau hyn, ac y mae yn debyg mai hon yw yr ail eglwys Gymraeg perthynol i'r enwad yn y Dalaeth. Felly cofiwch am y chwaer fechan hon yn eich gweddiau, ac yn eich ymweliadau.—*S. Morgan.*

---

CYDNABYDDIAETH.

Dymunwyf ryw gongl fechan o'r WAWR siriol i gyflwyno fy niolchgarwch mwyaf gwresog a thrwyadl i'm lluosog gyfeillion, am eu caredigrwydd tuag ataf mewn *donation* a gynaliwyd er budd i mi Ionawr 31ain. Yn y prydnawn, ymgyfarfu yr hen bobl a'r canol oed i'r *parsonage*, lle y treuliwyd rhai oriau mewn ymddyddan difyr ac adloniadol, a chyfranogwyd oddiar fwrdd yn llawn o ddanteithion amrywiol a blasus.

Yn yr hwyr, daeth torf luosog yn nghyd i Veil's Hall, Sandusky, a chaf-

Digitized by Google

wyd amser rhagorol yno. Yr oedd yno gyflawnder o ddarpariaethau er diwallu angen corphorol, a digon o fwynhad diniwed i'r bobl ieuainc. Gwnaeth y pwyllgor, a'r gwragedd a'r merched, eu gwaith yn gampus. Cafwyd 130 o ddoleri o elw i minau, am yr hyn y dymunwyf ddiolch i chwi, anwyl gyfeillion, o eigion calon. Y mae y datganiad gweithredol hwn o'ch teimlad parchus tuag ataf fi a'm teulu, a'ch gofal am ein cysuron tymorol, yn adgyfnerthiad mawr i fy meddwl yn nghyflawniad fy ngwaith pwysig yn eich plith. Bydded i'r Arglwydd o'i gyflawnder didrai ad-dalu i chwi ar y ganfed. Yr eiddoch yn serchog—*W. M. Evans.*

---

NEWBURGH, O.

MR. GOL.—Trwy eich caniatad, mi a gyflwynaf fy niolchgarwch puraf i'r eglwys sydd dan fy ngofal, yn ogystal ag i gyfeillion eraill, am eu caredigrwydd a'u haelfrydedd tuag ataf. Cefais mewn nwyddau ac arian werth triugain ac un o ddoleri ($61.00), a chyfarfod adloniadol i'r corph a'r meddwl, fel arwydd o serch a theimlad da.

Mae yma arwyddion eraill er daioni, yr eglwys yn cyfranu $10.00 y mis yn fwy nag arferol tuag at y weinidogaeth, a Duw yn rhoddi i ni ddychweledigion newydd. Mae 14 o flaen yr eglwys, a 13 o honynt yn aros am drochiad.

Yr ydym wedi cael mis o gyfarfodydd gweddi. Yr oedd y gweddiau yn deimladwy, cynes, a thaer, a'r cynulliadau yn lluosog. Llais cân a moliant oedd yn esgyn i'r nef am ein bendithio mor helaeth. Iddo Ef y byddo y gogoniant. Yr eiddoch yn yr efengyl —*James F. Richards.*

---

PARSONS, PA.

Chwefror 18, 1883, bedyddiwyd naw ar broffes o'u ffydd yn Mab Duw, gan ein parchus weinidog, ac adferwyd tri. Yr Arglwydd a'u cynalio yn ffyddlon hyd y diwedd. Mae pethau yn myned yn mlaen yn gysurus, ac argoelion am lwyddiant yn y dyfodol. Felly y byddo ein dymuniad a'n gweddi.—*Brawd.*

---

## *GANWYD—*

Chwefror 5, 1883, bachgen braf i Jonathan a Maggie Prichard, Shenandoah, Pa.

Mae gorfoledd mawr yn Schuylkill,
'Herwydd geni dyn i'r byd,
William Henry yw ei enw,
'R un mwy hardd ni ro'wd mewn cryd;
Syllu mae ei fam yn dyner
Yn ei wyneb mwynaidd, iach,
Jona sydd wrth fodd ei galon
'N siglo cryd ei angel bach.

*Johnstown, Pa.* DAVID JONES.

---

## *PRIODWYD—*

Yn Morris Run, Pa., yn ddiweddar, yn nhy tad a mam y briodasferch (sef Titus ac Ann Lloyd), gan y Parch. J. M. Evans, Mr. Eleazer Higgon a Miss Martha Ann Lloyd, y ddau o'r lle uchod. Llwyddiant iddynt, meddaf, yn eu bywyd priodasol.

Eleazer fwyn a'i Fartha
Fo'n ddedwydd iawn yn nghyd,
Boed iddynt fod yn ffyddlawn
I'w gilydd ar bob pryd;
Cyd-dynu ac ymdrechu
Y byddont dan yr iau,
Fel byddo i berffaith lwyddiant
Goroni gwaith y ddau.

J. M. EVANS.

Ionawr 18, 1883, yn Germantown, Pa., gan y Parch. Jeremiah Griffiths, yn nhy tad a mam y briodasferch, Mr. Idris Davies a Miss Annie Hughes, unig ferch y brawd ffyddlawn a charedig David Hughes a'i briod Elizabeth—y mab ieuanc o Locust Dale, a'r ferch ieuanc o'r dref uchod, ger Ashland.

Dau unwyd er daioni—yw Davies,
Oreufab i'w hoffi,
A'i Annie, addas ddyweddi,
O rywiog fron—gwraig o fri.

---

—Mae ymdrech yn awr yn cael ei wneyd i gymeryd Niagara Falls allan o ddwylaw cribddeilwyr ac yspeilwyr. Gwyr y sawl fuont yno mai prin y gall dyn droi o gwmpas, heb i hyny gostio iddo o leiaf 25 cents. Os llwyddir yn hyn, ac hefyd fel y sonir, y bydd i Dalaeth New York a Canada feddianu cwmpasoedd y Rhaiadr, a'u gwneuthur yn *International Park*, yn lle gadael i bawb brynu ac adeiladu a dilyn eu mympwyon, bydd yn hleser i dalu ymweliad a'r rhyfeddod naturiol mawr hwn.

Digitized by Google

*"Gan edrych ar Iesu, Pen-tywysog a pherffeithydd ein ffydd ni."*

# Y WAWR;

—SEF—

## CYLCHGRAWN MISOL

# Y Bedyddwyr Cymreig

## YN AMERICA.


DAN OLYGIAETH

Y PARCH. OWEN GRIFFITH, (*GIRALDUS*),

UTICA, N. Y.



CYFROL VIII.



UTICA, N. Y.

T. J. GRIFFITHS, ARGRAFFYDD, EXCHANGE BUILDINGS.

1884.



Digitized by Google

# MYNEGAI.

## EBRILL.



Digitized by Google

## TACHWEDD.

ERTHYGLAU ARWEINIOL.



## RHAGFYR.

ERTHYGLAU ARWEINIOL.



## IONAWR.

ERTHYGLAU ARWEINIOL.



## CHWEFROR.

ERTHYGLAU ARWEINIOL.



## MAWRTH.

ERTHYGLAU ARWEINIOL.



Digitized by Google

# Y WAWR.

CYF. VIII.] EBRILL, 1883. [RHIF. 1.

## ANERCHIAD AR FEDYDD,

A DRADDODWYD YN NGHAPEL LANSFORD, PA., SABBOTH CHWEF. 11, 1883, AR YR ACHLYSUR O FEDYDDIO DAU-AR-BYMTHEG O GREDINWYR.

GAN Y PARCH. HENRY THOMAS, SUMMIT HILL, PA.

Y mae bedydd yn ordinhad Gristionogol arbenigol, wedi ei sefydlu gan Grist yn ei eglwys pan oedd efe ar y ddaear. Bedyddiwyd Iesu Grist ei hun yn afon yr Iorddonen gan Ioan Fedyddiwr (Mat. 3 : 13—17) pan yn dyfod allan i argymeryd a'i weinidogaeth gyhoeddus. Dyna ei ordeiniad swyddogol i'w waith arbenig o sefydlu "teyrnasiad y nefoedd ar y ddaear." Yn ei ufudd-dod i fedydd Ioan seliodd yr ordinhad âg awdurdod â'i esiampl ei hun, a chadarnhaodd yr unrhyw â'i orchymyn pendant cyn esgyn ar ddeheulaw y Tad, ar ol ei adgyfodiad. Y mae bedydd, bellach, i aros yn ei eglwys hyd ei ail ddyfodiad ar orsedd ei ogoniant.

Yn nadblygiad cyfansoddiad ei deyrnas, bedydd oedd flaenaf o ran ei amseriad o'r ddwy ordinhad neillduol a sefydlodd Crist yn ei eglwys, yr hyn sydd yn bwynt o werth i'w ystyried. Y mae bedydd felly *yn gorwedd wrth sylfeini y deyrnas ei hun.* Yr oedd bedydd yn "nechreu efengyl Iesu Grist," (Marc i.), ac yr oedd bedydd yn agoriad y deyrnas ar ddydd y Pentecost, wedi disgyniad yr Ysbryd Glan. Act. ii. 37–40. Sefydlwyd swper yr Arglwydd y nos y bradychwyd ef gan Judas, a'r nos cyn ei groeshoeliad. Bedydd oedd gyntaf, yn y dechreu, a'r swper ar ol bedydd. Nis gwyddom am neb wedi newid y drefn hon. Mae yr eglwysi wedi cadw at y drefn drwy yr oesoedd. Gweinyddir y swper yn fynych i'r credinwyr drwy ystod eu bywyd; ond *un waith* mewn bywyd y gofynir i'r crediniwr ymostwng i fedydd; am fod i'r ddwy eu gwahanol amcanion, ac arwyddocad priodol a gwahanol. Amcan y swper yw dangos marwolaeth yr Arglwydd. "Canys cynifer gwaith bynag y bwytaoch y bara hwn, ac yr yfoch y cwpan hwn, y dangoswch farwolaeth yr Arglwydd oni ddelo. 1 Cor. xi. 26. Y mae i fedydd amcanion gwahanol. Mewn perthynas a'r bedyddiedig,

1. Y mae yn arddangosiad o fodolaeth cydwybod dda. "Nid bwrw ym-

Digitized by Google

aith fudreddi y cnawd, eithr ymateb cydwybod dda tuag at Dduw. 1 Petr iii. 21.

2. Y mae yn arwyddocaol o adenedigaeth y crediniwr trwy ras Duw yn ngweinidogaeth yr Ysbryd Glan. Y mae yn arddangosiad o ddiwedd yr hen fywyd o bechod a diffrwythder ysbrydol, ac o ddechreuad bywyd newydd o sancteiddrwydd, ac ymroddiad i wasanaeth Crist. "Beth wrth hyny a ddywedwn ni? a drigwn ni yn wastad mewn pechod, fel yr amlhao gras? Na atto Duw. A ninau wedi meirw i bechod, pa wedd y byddwn byw eto ynddo ef? Oni wyddoch chwi am gynifer o honom ag a fedyddiwyd i Grist, ein bedyddio ni i'w farwolaeth ef? Claddwyd ni gan hyny gydag ef trwy fedydd i farwolaeth; fel megys ag y cyfododd Crist o feirw trwy ogoniant y Tad, felly y rhodiem ninau mewn newydd-deb buchedd. Canys os gwnaed ni yn gydblanhigion i gyffelybiaeth ei farwolaeth ef, felly y byddwn i gyffelybiaeth ei adgyfodiad ef. Gan wybod hyn, ddarfod croeshoelio ein hen ddyn ni gydag ef, er mwyn dirymu corph pechod, fel rhag llaw na wasanaethom bechod; canys y mae yr hwn a fu farw wedi ei ryddhau oddiwrth bechod." Rhuf. vi. 1–7.

3. Y mae yn arddangosiad neu brawf cyhoeddus o'n hufudd-dod *gwirfoddol* a chyfan i'n Hachubwr a'n Brenin. "Yna y rhai a dderbyniasant ei air ef yn ewyllysgar a fedyddiwyd; a chwanegwyd atynt y dwthwn hwnw yn nghylch tair mil o eneidiau." Act. ii. 41.

4. Y mae bedydd felly yn ordinhad arweiniol (*initiative*), yr hon sydd yn arwain i hawl o aelodaeth yn eglwys Crist, ac i deitl o'r holl fendithion y mae efe wedi eu haddaw i'w eglwys, y rhai y mae ffydd yn ufudd-dod y credadyn yn ymaflyd ynddynt ac yn eu neillduoli iddo ei hun. Am hyny nid oes unrhyw eglwys sydd yn enwi ei hun ar enw Crist (oddieithr y Crynwyr) yn derbyn yr anfedyddiedig i'w chymdeithas.

Yr ydym yn cymeryd yn ganiataol fod yr *apostolion a'r eglwysi apostolaidd yn deall bedydd yn dda;* ac y mae yn amlwg iawn oddiwrth eu hysgrifeniadau eu bod gyda zel frwd wedi dal i fyny bwys bedydd yn y cyfansoddiad Cristionogol tra y buont byw, yr hyn hefyd a wnawd gan eu holynwyr am ganrifoedd ar ol eu marwolaeth. Pan ddarfu i'r bobl hyny a ddwysbigwyd ar ddydd y Pentecost osod y cwestiwn pwysig i'r dysgyblion ysbrydoledig, "Ha wyr, frodyr, pa beth a wnawn ni?" Petr, fel y prif lefarydd, a dryssor y deyrnas, heb betruso am eiliad, a atebodd ac a ddywedodd, "Edifarhewch a bedyddier pob un o honoch yn enw Iesu Grist, er maddeuant pechodau, a chwi a dderbyniwch ddawn yr Ysbryd Glan." Act. ii. 38. Y mae yn anmhosibl rhoddi mwy o bwys ar, a dwyn bedydd yn fwy i'r *forefront,* nag a wnawd gan Petr yn y geiriau hyn. Yn wir, pe na buasai genym yr un sill arall am fedydd yn yr holl Destament Newydd, buasai hyn yn ddigon am byth i sefydlu y ffaith fod apostolion Crist, y rhai a addysgwyd o'i enau ei hun, yn ystyried fod bedydd yn bwysig, rhwymawl, ac yn hawlio ufudd-dod gan bob un sydd yn chwenych cael iachawdwriaeth trwy ein Harglwydd Iesu Grist. Yr ydym ninau yn dal yn dyn iawn at yr un syniad. Hefyd mewn ychwanegiad at hynyna yr ydym yn dal yn gadarn iawn y dylai

Digitized by Google

bedydd gael ei weinyddu i *gredinwyr*, ac i gredinwyr *yn unig*, oblegid,

1. Yr ydym yn cael yn nghomisiwn Crist fod bedydd wedi ei gysylltu â *chredu* yn y weithred o ufudd-dod i iachawdwriaeth—neu fel amod iachawdwriaeth — i'r crediniwr. "Ac efe a ddywedodd wrthynt, "Ewch i'r holl fyd, a phregethwch yr efengyl i bob creadur; y neb a *gredo ac a fedyddier* a fydd cadwedig, eithr y neb ni chredo a gondemnir." Marc xvi. 15, 16. Pa fodd y gellir ysgaru y ddau hyn a gysylltwyd gan Arglwydd y deyrnas? a'r undeb wedi ei selio â sel fawr y pob awdurdod yn y nef ac ar y ddaear, nis gallwn ddyfalu.

2. Am nas gallwn gael un dystiolaeth yn y darnau o hanes eglwysig foreuol a drosglwyddwyd i lawr i ni, fod yr eglwysi hyny yn bedyddio neb ond y rhai a wnaent broffes o'i ffydd yn Iesu Grist.

3. Am ein bod yn methu yn glir a gweled pa fodd y dichon fod yn bosibl i un fendith na budd ddeilliaw yn neu drwy y bedydd heb ffydd yn y bedyddiedig. Methwn yn deg a chael ein hargyhoeddi fod ar y baban newydd ei eni eisiau adenedigaeth y pryd hwnw, am ein bod yn methu a gallu synied fod ynddo ymwybyddiaeth o bechod y pryd hwnw, mwy nag ymwybyddiaeth o ras yr adenedigaeth. Ond pe byddai arno angen y cyfnewidiad y pryd hwnw, yr ydym yn methu yn glir a gweled, er gwneyd ymdrech mawr, pa sut y gall y cymwysiad o ddwfr at y corph bychan, er yn cael ei wneyd gan ddwylaw ordeiniedig, effeithio y cyfnewidiad mawr hwnw, yn fwy nag y gall reoli dadblygiad gogwyddiadau meddyliol a moesol y baban hwnw pan yn tyfu yn ddyn. Yr ydym ni yn credu yn nghadwedigaeth babanod heb fedydd, trwy iawn Crist, yr hwn a fu farw dros bawb. 2 Cor. v. 15.

Heblaw hynyna, yr ydym ni yn dal yn ddibetrus y dylid gweinyddu bedydd i gredinwyr *trwy suddiad y corph mewn dwfr*, ac nid mewn un modd arall.

1. Am ein bod, ar ol ymchwiliad manwl a gonest i holl gofnodion a thystiolaethau y Testament Newydd, yn methu gweled ynddo yn un man, un rhith o awdurdod apostolaidd, drwy orchymyn neu ymarferiad, dros unrhyw fodd arall o fedyddio; ac yr ydym o dan deimlad dwfn o ddyledswydd i awdurdod y Testament Newydd am anwybyddu pob awdurdod arall ar y mater o fedydd, yn gystal ag ar bob mater arall o ffydd ac ymarweddiad efengylaidd.

2. Am ein bod, ar ol dwys ymchwilio yr holl dystiolaethau drwy yr Efengylau a'r Epistolau, yn berffaith argyhoeddedig fod y modd hwn o fedyddio yn cael ei awdurdodi yn ddigamsyniol, ac yn y modd mwyaf eglur yn y Testament Newydd trwy orchymyn pendant ein Harglwydd ac ymarferiad dieithriad yr apostolion a'r eglwysi apostolaidd. Y mae genym hefyd dystiolaethau hanes foreuol yr eglwys Gristionogol mai dyma oedd arferiad yr eglwys am rai canrifoedd ar ol marwolaeth Crist, hyd oni ddaeth yr "ymadawiad oddiwrth y gwirionedd," pryd y llygrwyd purdeb yr eglwys apostolaidd gan "yr heresiau dinystriol" a ddygwyd i mewn iddi gan bleidiau hereticaidd, a'r gau athrawon y rhai oedd ganddynt "rith duwioldeb, eithr wedi gwadu ei grym hi." 2 Petr ii. 1; 2 Tim. iii. 1—5.

3. Am ein bod yn methu yn deg a

Digitized by Google

gweled pa fodd y mae yn bosibl i unrhyw fodd arall o fedyddio, yn ol deddf cysgod (*symbol*) a'i arwyddocad, osod allan y gwireddau, sylweddau gogoneddus a bortreadir yn medydd y Testament Ne ·ydd.

Dyma ein *platform* ar ba un y safwn; rhai o lawer o'n rhesymau dros ein ffydd a'n hymarweddiad yn y mater hwn o fedydd. Ar y llwyfan hon y mae yn rhaid i ni aros; canys nis gallwn gydnabod unrhyw fedydd arall heb i ni gael efengyl newydd yn diddymu yr hen efengyl anwyl sydd genym, ac wedi ei rhoddi i'r byd trwy yr un awdurdod, a chyda'r un gweithredoedd nerthol ag y rhoddwyd hono gan Grist a'i apostolion.

Wrth derfynu, y mae yn ddyledus i ni ddweyd ychydig eiriau am y dychweledigion ieuainc hyn; nid mewn ffordd o ymddiheurad, ond o gefnogaeth, y rhai sydd yn nghylch talu eu gwarogaeth i Frenin Seion yn ngwydd llawer o dystion; ac y mae yn wir dda gan ein calon weled y fath dorf fawr yn bresenol, ac mor bell ag y gallwn farnu oddiwrth yr agwedd allanol arnoch, yn teimlo difrifoldeb yr uchel wasanaeth hwn. Y mae y personau a fedyddir genym heddyw yn ieuainc, ac yn cymeryd mantais ar ragorfraint nas gall llawer sydd yma yn ein gwrando yn awr byth ei chael mwy, sef cyfodi y groes a gwneyd proffes gyhoeddus o Fab Duw yn moreu eu hoes; ac ni a hyderwn na wnant byth wadu eu proffes, ond ei hanrhydeddu hyd y pryd y cânt ddiosg gwisgoedd galar gwlad y cystudd mawr am goronau llawenydd y trigfanau nefol fry.

Y mae rhai o honynt yn ieuainc iawn, ond yn ddigon hen i wybod fod arnynt angen am yr iachawdwriaeth ogoneddus sydd trwy ffydd yn Mab Duw, i ieuanc a hen. Y mae brawd ieuanc o honynt yn ei ugeinfed mlwydd oed; un chwaer yn ei phedair ar bymtheg oed; un brawd yn ei ddeunawfed mlwydd; dwy chwaer ieuainc yn eu dwyfed mlwydd ar bymtheg; chwech o'r chwiorydd ieuainc yn eu hunfed mlwydd ar bymtheg; y mae pump o honynt yn eu pymthegfed mlwydd oed, ac un brawd yn ei drydedd mlwydd ar ddeg oed—y lleiaf o gorpholaeth, ond nid y lleiaf mewn profiad a gwybodaeth o'r hyn y mae yn ei argymeryd heddyw. Y maent wedi cael eu arholi yn gyhoeddus o flaen yr eglwysi, ac wedi rhoi tystiolaeth dda. Tystiolaethasant eu bod yn teimlo eu hunain yn bechaduriaid yn erbyn Duw; eu bod am gael eu gwaredu o'u pechodau; eu bod yn credu yn Iesu Grist fel eu cadarn Waredwr, a'u bod yn caru yr Arglwydd, ac yn dymuno rhoddi ufudddod i'w orchymynion. "A all neb luddias dwfr, fel na fedyddier y rhai hyn, y rhai a dderbyniasant yr Ysbryd Glan fel ninau?" Act. x. 47.

Y mae y dychweledigion hyn yn rhoddi esiampl heddyw i ieuenctyd ein gwlad. Gallant deimlo yn wan; ond y mae eu nerth o Dduw. Gwir ddymuniad ein calonau yw ar iddynt roddi eu pwys ar y bugail da, "yr hwn a gasgl ei wyn â'i fraich, ac a'u dwg yn ei fynwes." Esa. xl. 11. Sylwer fod saith yn perthyn i'r eglwys ar Summit Hill, a deg i'r eglwys yn Lansford.

---

### GWERTH ENAID.

Gwir werth unrhyw beth yw yr hyn y mae yr un a wyr ei werth yn roddi am dano. Yr hwn a wnaeth enaid a wyddai ei werth, ac a roddes ei fywyd trosto.

Digitized by Google

## HANES

### Eglwys Fedyddiedig Gymreig Pittston, Pa.

GAN MR. JACOB W. EVANS, YSGRIFENYDD YR EGLWYS

Nid heb deimlo cryn lawer o anhawsder yr ymgymeraf â'r gorchwyl o ysgrifenu hanes yr eglwys hon, o herwydd fod y defnyddiau yn brinion, gwasgaredig a didrefn. Modd bynag, ymdrechaf gyfleu yr hanes mor gyflawn, cryno a diwall, ag y gellir.

Sefydlwyd yr eglwys hon yn nechreu y flwyddyn 1851. Dyma gyffes ei ffydd ar y pryd: "Yr ydym yn credu mai gair Duw ydyw y Beibl Sanctaidd, ac ar ei dystiolaeth yr ydym yn credu mai un Gwir a Bywiol Dduw sydd i'w addoli, y Tad, y Gair, a'r Ysbryd Glan, a'r tri hyn, un ydynt. Fod Iesu Grist yn dragywyddol Fab Duw, a bod cyfamod o hedd wedi ei wneyd yn Nghrist cyn bod y byd, a bod Crist wedi llwyr brynu ei eglwys ar Galfaria, a bod Duw trwy ei Fab yn achub ei bobl â galwedigaeth, a bod cyfiawnhad pechadur wedi ei gwblhau yn y gair Gorphenwyd ar y groes, a'r Tad wedi ei foddloni. Bod dwy ordinhad wedi eu sefydlu yn yr eglwys efengylaidd, sef bedydd, a swper yr Arglwydd; ac mai y sawl sydd yn proffesu ffydd yn Nghrist, ac edifeirwch tuag at Dduw, yw unig ddeiliaid bedydd, ac mai trwy gladdu yr holl gorph mewn dwfr yw yr unig ddull o weinyddu yr ordinhad o fedydd; a bod swper yr Arglwydd yn ordinhad o osodiad y Pen Bugail mawr yn ei eglwys; a'n bod yn ymwrthod â phob traws sylweddiad yn y swper, a phob ordinhad arall." Yna y cawn y frawdoliaeth ieuanc yn gadarn yn y ffydd, yn symud yn mlaen yn benderfynol yn enw Duw byddinoedd Israel, gan ymddiried y cynydd yn ei law ef.

Etholwyd dau frawd duwiol, a gofalus am yr achos, yn ddiaconiaid, sef Richard Owens a Richard Davies, y rhai fuont yn ffyddlawn a llafurus er codi yr achos yma. Dywed y brawd Thomas Watkins wrthyf yn aml am rinweddau a chymwysderau y ddau frawd crybwylledig i'r swydd ddiaconaidd—am eu hymdrech a'u gonestrwydd, yn nghyd a'u gofal am yr eglwys. Yna aeth y frawdoliaeth yn mlaen, gan benderfynu codi achos i'r Bedyddwyr Cymreig yn y lle, a choronwyd eu hymdrech â llwyddiant. Gyda hyn, penderfynwyd rhoddi galwad i'r Parch. Ebenezer Edwards i efengylu iddynt; cydsyniodd yntau â'r cais, a dechreuodd ar ei weinidogaeth Sul y 14eg o Ebrill, 1851. Mr. Edwards oedd gweinidog cyntaf yr eglwys hon. Yn y boreu, pregethodd oddiar Diar. 4: 18. "Ond llwybr y cyfiawn sydd fel y goleuni, yr hwn a lewyrcha fwy-fwy hyd ganol dydd." Pwnc ei bregeth oedd "Llwybr y Cyfiawn." Bydd rhai o'r hen frodyr yn son yn aml am y bregeth hono. Yn yr hwyr, pregethodd oddiar Mat. 25: 23. "Ei Arglwydd a ddywedodd wrtho, Da, was da a ffyddlawn, buost ffyddlawn ar ychydig, mi a'th osodaf ar lawer, dos i mewn i lawenydd dy Arglwydd." Yr oedd y bregeth hon yn llawn o anogaethau i ffyddlondeb, ac yn wir bwrpasol ar gychwyniad ei weinidogaeth yn y lle.

Tra yr oedd yr eglwys yn llawn brwdfrydedd gydag adeiladu capel cyfleus i addoli Duw, bu y brawd Edwards yn dra gweithgar yn cydymdrechu. Ond y pryd hwn, wele ef yn rhoddi gofal yr eglwys i fyny, ac yn derbyn galwad oddiwrth eglwys y Bed-

Digitized by Google

yddwyr yn Cincinnati, Ohio. Yr oedd yr ymadawiad yn hollol o'i du ei hun. Tueddodd ei ymadawiad i ddigaloni y frawdoliaeth ieuanc yn y gwaith o godi y capel, a thalu am dano, yr hyn oedd yn waith mawr iddynt hwy. Ond eto parhaodd yn eithaf penderfynol o ddwyn barn i fuddugoliaeth, a gweithiasant yn ganmoladwy. Yn Nghymanfa Bedyddwyr Dwyreinbarth Pennsylvania a Swydd Oneida, yn dechreu yn Carbondale, Pa., Hydref 18, 1851, ac yn diweddu yn Pittston, penderfynwyd, fod yr eglwys yn Pittston i gael aelodaeth yn y Gymanfa. Rhif yr aelodau a gyflwynwyd i'r Gymanfa oedd 62. Penderfynodd y Gymanfa hefyd, ei bod yn cymeradwyo ymdrech y frawdoliaeth yn Pittston yn ei gwaith yn adeiladu ty addoliad, ac yn anog yr eglwysi i gydymdeimlo a hwynt. Cofier fod y Gymanfa yn symudol y pryd hwnw; felly wedi bod yn Carbondale, dechreuodd y Gymanfa yn Pittston nos Wener, Hydref 24.

Am 7 o'r gloch, gweddiodd y brawd T. Roberts, a phregethodd y brodyr J. Jones, Carbondale, oddiwrth Rhuf. 1: 16, ac M. J. Williams, oddiwrth Esa. 53: 10, 11.

Dydd Sadwrn, am 2, gweddiodd y brawd Wm. Richmond, a phregethodd y brodyr T. Roberts, oddiwrth Ioan 16: 28, a J. P. Harris, oddiwrth 2 Cor. 5: 4.

Am 6, gweddiodd y brawd Thomas Cheshire, a phregethodd y brodyr D. Evans, oddiwrth 2 Cor. 9: 15, a Wm. Morgans, oddiwrth Eph. 3: 8.

Boreu Sabboth, am 10, gweddiodd y brawd Wm. R. Jones, Dunmore, a phregethodd y brodyr J. P. Harris, oddiwrth Ioan 3: 30, ac M. J. Williams, oddiwrth Rhuf. 6: 23.

Am 2, gweddiodd y brawd Ebenezer Edwards, Cincinnati, O., a phregethodd y brodyr D. Evans, Summit Hill, oddiwrth Luc 15: 3—7, a Daniel E. Bowen, oddiwrth Mat. 3: 11, 12.

Am 6, dechreuwyd drwy ddarllen a gweddio gan y brawd Benjamin Bowen, a phregethwyd gan y brodyr T. Roberts, oddiwrth Gal. 6: 7, 8, a William Morgans, oddiwrth Eph. 2: 8.

Fel hyn y dywedai Ysgrifenydd y Gymanfa: "Dysgwyliwn glywed fod cynyrch mawr yn canlyn yr had da a hauwyd yn y cylchoedd a nodwyd." Bu y Gymanfa hon yn foddion yn llaw Duw i godi yr eglwys i'w huchel fanau, trwy fod gwenau yr Arglwydd ar y Gymanfa—y brodyr yn eu hwyliau goreu, yn pregethu yn rymus ac addysgiadol, a gwlith y Nefoedd yn disgyn ar yr oedfaon. Ar y Sabboth cyntaf o'r flwyddyn ganlynol, cafodd yr eglwys y fraint a'r pleser o weled brawd a chwaer yn canlyn Crist yn y dyfrllyd fedd. Bedyddiwyd hwy ar broffes o'u ffydd yn Nghrist Iesu, ac amlygodd y brawd a'r chwaer eu bod wedi eu llwyr argyhoeddi am ddull a deiliaid bedydd, ac mai eu dyledswydd oedd ufuddhau i orchymyn pendant Crist. Yr oedd y brawd wedi bod yn aelod gyda yr Annibynwyr, ac yn bregethwr hyawdl a medrus yn eu plith; a bu colli un o ddefnyddioldeb y brawd hwn yn golled fawr i'r Annibynwyr, ac yn gaffaeliad i'r eglwys hon. Y diweddar Barch. Benjamin Bowen oedd hwn, sef brawd i'r duwiol a'r hybarch Daniel E. Bowen, Carbondale, yr hwn hefyd a gafodd y fraint o gladdu ei frawd naturiol yn y bedydd, a'i adgyfodi yn frawd trwy ffydd yn Nghrist Iesu, ac mae hanes ei fedydd yn hynod ddyddorol. Ond gadawaf ef yn y fan yna, gan symud yn mlaen. Yr oedd yr eglwys wedi bod erbyn hyn amryw fis-

Digitized by Google

oedd heb un bugail, eithr wedi rhoddi galwad i'r Parch. Morris J. Williams, South Trenton, i'w bugeilio yn yr Arglwydd, ond siomwyd yr eglwys yn ei dysgwyliad; a thua chanol mis Chwefror, cafwyd ar ddeall ei fod wedi penderfynu aros yn mhlith ei frodyr yn South Trenton, o herwydd na fynent ei ollwng ymaith. Erbyn hyn, yr oedd y frawdoliaeth yn llwfrhau o herwydd eu myned dan gryn faich o ddyled mewn cysylltiad a'r adeilad newydd, a'r eglwys yn wan; ond daeth i'r penderfyniad i ymwneyd â Duw mewn gweddi am iddo ei chyfarwyddo at ryw un i lanw yr adwy; felly y gwnaed, ac mae hwn yn hen arferiad gan yr eglwys hon i ddechreu yn y lle iawn, sef gyda Duw, ac yn parhau hyd heddyw; a'r peth oedd yn eu meddyliau oll oedd, am i'r Arglwydd anfon iddynt fugail, a chyfarwyddwyd eu meddyliau i roddi galwad i'r brawd Benjamin Bowen; a thrwy daer gymelliad derbyniodd yntau yr alwad, a galwyd y Parch. William Morgans, Pottsville, a'r Parch. D. E. Bowen, Carbondale, i ordeinio y brawd i gyflawn waith y weinidogaeth, yr hyn a gymerodd le Mawrth 6, 1852. Cynaliwyd cyngor yn hwyr y dydd mewn cysylltiad ag eglwys Fedyddiedig Gymreig Pittston gyda golwg ar neillduad y brawd i gyflawn waith y weinidogaeth efengylaidd, ac fel bugail ar y gyfryw eglwys. Yn gyntaf, penderfynwyd myned yn mlaen a'r gwaith yn rheolaidd gyda yr urddiad, yr hyn a gymerodd le y dydd canlynol, fel y canlyn: Wedi darllen y Gair ac anerch gorsedd gras, adroddodd yr ymgeisydd hanes ei ddychweliad at Dduw, ei argymellion i bregethu, a'i olygiadau ar bwyntiau sylfaenol Cristionogaeth, pa rai a gymeradwywyd gan yr holiedydd, y Parch. Wm. Morgans, a chan gynrychiolydd yr eglwys; yna arwyddwyd yr alwad o du yr eglwys, a'i dderbyniad yntau o honi; yna dyrchafwyd yr urdd-weddi, yn nghyd ag arddodiad dwylaw yr henuriad, gan y Parch. D. E. Bowen, Carbondale; rhoddwyd deheulaw cymdeithas gan yr hybarch a'r duwiol frawd, William Morgans, Pottsville; a thraddododd hefyd *charge* i'r eglwys mewn modd pwrpasol a gwir effeithiol. Traddodwyd *charge* i'r gweinidog gan y Parch. D. E. Bowen, oddiar 2 Tim. 4: 5, yn ei hwyliau goreu, a'r Arglwydd yn bendithio. Ar ddiwedd yr oedfa, cafwyd y mwynhad o weled un yn rhoddi ei hun i'r eglwys, ac ymuno a byddin yr addfwyn Iesu, ac yr oedd hyn yn codi y frawdoliaeth ieuanc ar ei huchel-fanau.

Bu y brawd Bowen yn llafurus a gweithgar yn ei faes newydd, a'r Arglwydd yn coroni ei ymdrech â llwyddiant mawr. Cafodd y brawd Bowen y fraint o fedyddio ugeiniau yn ystod yr amser y bu yn bugeilio yr eglwys hon. Hefyd, bu yn ymdrechol iawn i gasglu at dalu am eu capel, a gellir dweyd fod ei holl enaid yn y gwaith da.

Wedi gwasanaethu yr eglwys am amryw flynyddau rhoddodd ofal yr eglwys i fyny. Yn fuan ar ol hyny rhoddodd yr eglwys alwad i'r Parch. John Edred Jones i ddyfod i'w bugeilio, atebodd yntau yn gadarnhaol a dechreuodd ar ei lafur yn ein plith, a chlywais amryw o'r brodyr yn dywedyd fod y brawd Jones yn un o'r gweinidogion mwyaf llafurus a welsant erioed, yn enwedig gyda dosbarth ieuanc yr eglwys; a chredwyf mai yn y fan hon y gall ein gweinidogion wneuthur daioni neillduol trwy argraffu egwyddorion y Testament Newydd ar eu calonau, a'u dwyn i fyny yn athrawiaethau yr efengyl. Yr

Digitized by Google

oedd Mr. Jones yn bregethwr grymus a dylanwadol, ac yn nghanol ei weithgarwch, a'r eglwys wedi ymgylymu ynddo, rhoddodd rybudd ei fod yn ymadael ac yn rhoddi gofal yr eglwys i fyny, a dyma un o'r ergydion trymaf a gafodd yr eglwys hon, sef ymadawiad y brawd Jones, a chlywais y brawd ei hun yn dywedyd ei fod wedi teimlo oblegid ei fod wedi ymadael tra yr oedd yr achos mor flodeuog. Ac mae enw y brawd Jones yn anwyl gan yr hen aelodau hyd y dydd hwn, ac yn debyg o bara felly tra ar y ddaear hon. Ond er ei siomedigaethau aeth yr eglwys rhag ei blaen gan ymddiried yn y Pen Mawr, ac nid hir y bu cyn dyfod i'r penderfyniad i roddi galwad i'n cyn-weinidog, y duwiol a'r ffyddlawn B. Bowen, a derbyniodd yntau yr alwad ac ail ymaflodd yn ei ofal bugeiliol. Bu yn llwyddianus iawn ac yn llawn gweithgarwch—pregethai yn rymus a derbyniol.

Mae enw yr ymadawedig frawd Bowen yn adnabyddus i filoedd o Gymry America a'i ddull mwynaidd ac efengylaidd a'i fywyd dilychwin. Mae gair da iddo gan bawb a chan y gwirionedd ei hun. Mae ei goffadwriaeth yn fendigedig.

Yn 1861, rhoddodd ef ofal yr eglwys i fyny o herwydd gofalon masnachol. Yn niwedd y flwyddyn hon rhoddodd yr eglwys alwad i'r Parch. Edward Oliver, a chydsyniodd yntau. Dechreuodd ar ei lafur gweinidogaethol y Sabboth cyntaf o Ionawr, 1862, a bu i raddau yn llwyddianus y ddwy flynedd gyntaf o'i weinidogaeth. Yr oedd efe yn draddodwr grymus, a defnyddiai fwa y Gair yn fedrus; a hoff gan yr ysgrifenydd am ei enw, ac nid rhyfedd, oblegid dan ei weinidogaeth ef y cafodd y fraint o brofi argyhoeddiad a rhoddi ufudd-dod i orchymyn pendant Pen mawr yr eglwys yn y bedydd, boreu Sabboth, Medi, 1862. Er fy mod wedi bod yn aelod er yn ieuanc gyda'r Annibynwyr yn Nghymru a'r wlad hon, dan weinidogaeth Mr. Oliver cefais fy llwyr argyhoeddi mai Bedydd y Credinol yw yr unig Fedydd Cristionogol.

Un Arglwydd, un ffydd, ac un bedydd, ebe Paul, a hwnw'n fedydd y crediniol. Bedyddiodd y brawd amryw yn ystod y blynyddau cyntaf o'i weinidogaeth. Ond er galar i Seion, yn nechreu 1864, nid oedd pethau mor ddymunol rhwng yr eglwys a'r gweinidog, yr hyn a achosodd ymraniad yn yr eglwys. Gan na wnai ein gweinidog ganiatau pleidlais ddirgelaidd *by ballot*, yr hyn a geisiai y mwyafrif, gan fod hyny yn arferiad gan yr eglwysi Bedyddiedig pan y byddont yn dewis gweinidog, ac yn gymaint a bod ei flwyddyn ef wedi terfynu, peth eithaf naturiol oedd i'r eglwys gael ei chais; yn ei ddigllonedd, diaelododd bump brawd goreu yr eglwys, ac ar foreu Sabboth cymundeb, Ebrill 13, 1864, heb un rheswm dros hyny, yr hyn oedd yn groes i drefn arferol y Bedyddwyr, a'r hyn oedd yn hollol annymunol. Yn yr adeg hon yn hanes yr eglwys, wele 63 o'r aelodau yn ymneillduo o'r capel ac yn myned i Cosper's Hall, lle y buasent yn addoli Duw o'r blaen. Yn ystod eu harosiad yn yr Hall ychwanegwyd llawer at eu rhifedi, a chafwyd pregethu nerthol a dylanwadol gan y brodyr da yn y weinidogaeth bob Sabbath, a'r Arglwydd yn bendithio. Yr un modd bu y blaid oedd yn cyfarfod yn y capel yn ymdrechol.

Gan fod y Gymanfa i gyfarfod y flwyddyn hono yn Ashland, gwelodd y brodyr da mai gwell oedd neillduo pwyllgor i gyfarfod â'r ddwy blaid, y

Digitized by Google

rhai fuont yn fendithiol yn llaw yr Arglwydd. Wedi cyfarfod ac ymddyddan â'r ddwy blaid, daethant i heddwch â'u gilydd, a daeth y ddwy gangen yn un eglwys, gan gladdu y cyfan a'i wyneb i waered, gan fyned yn y blaen yn un llu banerog, yn enw eu Duw. Gofidus yw genyf orfod cofnodi y ffaith yna yn hanes eglwys Pittston. Erbyn hyn yr oedd y brodyr a'r chwiorydd yn un a chytun yn cydweithio yn ngwinllan eu Harglwydd.

Nos Fawrth, Ionawr 9, 1866, daeth yr eglwys i'r penderfyniad unfrydol i roddi galwad i'r hybarch John W. James, sir Cattaraugus, N. Y., i'w bugeilio yn yr Arglwydd, a derbyniodd yntau yr alwad, a dechreuodd y brawd James ar ei lafur gweinidogaethol yma yr ail Sabboth yn mis Ebrill, 1866. Pregethai y brawd James yn hyawdl a grymus, a bu yr eglwys yn hynod o lewyrchus dan ei weinidogaeth am flynyddau—yr eglwys yn cael ei hadeiladu, a'r Arglwydd yn bendithio ei lafur. Ychwanegwyd at yr eglwys y flwyddyn gyntaf o'i weinidogaeth 22 trwy fedydd, ac adferwyd naw, er na fu ei lwyddiant yn gymaint yn y blynyddau canlynol, fel y gwelir. Bedyddiwyd yn ystod ei dymor yn ein plith o chwe' blynedd, 36, ac adferwyd 20. Ar ol ei ymadawiad bu yr eglwys heb un bugail sefydlog, ond yn cael pregethu ar y Sabboth gan frodyr da yn y weinidogaeth am amryw fisoedd.

Dechreu y flwyddyn 1873, penderfynodd yr eglwys yn unfrydol i roddi galwad i'r Parch. H. C. Parry, Utica, N. Y., ond wedi hyny derbyniodd y teitl o Dr. Parry; derbyniodd yntau yr alwad, a dechreuodd ar ei waith yn ein plith y Sabboth cyntaf yn mis Mai, 1873. Yr oedd efe yn hynod boblogaidd, tynai gynulleidfa fawr yn nghyd a bu yn llafurus a llwyddianus am amser; medrai drin y bwa ysbrydol yn rhagorol. Yr oedd ei bregethau bob amser yn rymus ac yn llawn o syniadau newyddion. Cafodd y fraint o fedyddio 50, ac adferyd 35 oddiar dir gwrthgiliad yn ystod tymor ei lafur yn ein plith, sef chwe' mlynedd a dau fis. Yn ystod ei weinidogaeth ef y cafodd yr eglwys ei breinlen (*charter.*) Yn Mehefin, 1879, rhoddodd ofal yr eglwys i fyny i fyned i Gymru. Er yr adeg hono yr ydym wedi bod heb un gweinidog sefydlog, ond yn cael y fraint o gael clywed yr efengyl yn cael ei thraethu bob yn ail Sabboth gan frodyr yn y weinidogaeth, a'r eglwys yn cael ei hadeiladu yn y sancteiddiolaf ffydd, a heddwch a chariad yn ein plith.

Yn yr wythnosau hyn mae yr eglwys yn llawn gwaith, yn ymwneyd â Duw mewn gweddi, a llawer yn troi atom i ymofyn am Geidwad a lle yn y ty, a'r eglwys yn llawenhau wrth roddi rhan o'r wledd iddynt.

### *Bedyddiadau.*

Buasai yn dda genyf allu rhoddi cyfrif cywir o'r holl fedyddiadau am bob blwyddyn ar gyfer pob gweinidog fu yn gweinidogaethu yn yr eglwys hon. Ond gan fod y cyn-ysgrifenyddion wedi esgeuluso hyny, rhoddaf y cyfanswm mor agos ag y gallaf. Bedyddiwyd 250, adferwyd 285, derbyniwyd trwy lythyrau 110, ac yn aros yn bresenol am fedydd 18, am adferiad 8.

### *Arianol.*

Bu yr eglwys yn ymdrechol iawn yn yr ugain mlynedd diweddaf i dalu yr hen ddyled arosol ar y capel, a'i adgyweirio, ac adeiladu ty da i'r gweinidog ar y *lot* wrth gefn y capel. Hefyd mae genym fedyddfa hardd a chyfleus wrth gefn y capel, a rhwng y cyfan yr

Digitized by Google

ydym wedi talu ychydig dros saith mil o ddoleri, fel y mae genym yn awr gapel hardd a diddyled i addoli Duw ynddo. Eto mae yr eglwys yn ethol ei hymddiriedolwyr bob blwyddyn, y rhai sydd i ofalu am eiddo yr eglwys a phethau angenrheidiol eraill. Yr ymddiriedolwyr ydynt Samuel Edwards, David Jenkins, William P. Richards, George Bradley, a Jacob W. Evans. Meiddiwn grybwyll am rai personau neillduol a berthyn i'r frawdoliaeth hon. Credwn yr adlewyrchant anrhydedd ar unrhyw gymdeithas. Mae yr hen frawd anwyl Moses T. Rowlands yn feddianol ar wybodaeth Feiblaidd eang iawn; hyfrydwch mawr fydd ei wrandaw yn y cyfeillachau, a'r deigryn yn treiglo ar ei rudd pan yn mynegu am rinweddau y Ceidwad. Pan yn anerch gorsedd gras cymer afael yn nerth y Goruchaf fel un yn credu yn addewidion a ffyddlondeb Duw. Mae y brawd Thomas Watkins yn gadarn yn yr athrawiaeth, a phob amser y bydd yn siarad yn yr eglwys bydd i'r pwynt. Yn y blynyddau aethant heibio bu yn hynod ymdrechol gyda'r dosbarth ieuainc yn eu hegwyddori yn nysgeidiaeth y Testament Newydd yn nghyfarfod wyth o'r gloch boreu y Sabbothau. Profodd ei lafur yn fendith i laweroedd heblaw yr ysgrifenydd.

Yn y cyfarfod hwn y cychwynodd y brodyr canlynol eu gyrfa trwy ymarferyd eu doniau, dau o honynt yn anrhydedd i'r enwad Bedyddiedig, sef Thos. R. Evans a David S. Thomas, y rhai aethant i'r athrofa o'r ysgol boreu Sul, ac erbyn hyn yn weinidogion galluog yn yr enwad. Yn yr ysgol hon y codwyd B. F. Bowen, yr hwn sydd yn y weinidogaeth.

Ac y mae yn dda genym allu dyweyd fod y brawd Watkins yn parhau yn ei ffyddlondeb gyda'r dosbarth ieuanc. Dyna yr unig ddau sydd yn yr eglwys yn bresenol o'r brodyr oeddynt yma ar gychwyniad yr achos. Mae amryw o'r hen chwiorydd yma er cychwyniad yr eglwys, ac yn parhau yn ffyddlon. Ni wnaf eu henwi rhag cymeryd gormod o'ch gofod. Mae ugeiniau o frodyr a chwiorydd wedi eu symud o'r eglwys hon i'r eglwys fry, ac wedi uno yn y gân "Iddo ef y byddo gogoniant a mawredd yn oes oesoedd." Y mae yr achos mewn cyflwr dymunol yn bresenol, yr eglwys mewn llawn gweithgarwch, heddwch a chariad yn ffynu, a llawer yn troi eu gwynebau atom ac yn ymofyn rhan yn y Gwaredwr, a'n gweddi yw y cawn weled rhagor eto yn ymrestru dan faner yr Iesu.

Swyddogion yr eglwys ydynt fel y canlyn: Diaconiaid, Samuel Edwards, yr hwn sydd wedi llanw y swydd ddiaconaidd am flynyddau lawer yn yr hen wlad, cyn dyfod yma, ac yn meddu ar brofiad da, a'i gyngorion yn felus; y brodyr Daniel Jenkins, Isaac H. Thomas, a'r ysgrifenydd. Arweinydd y canu yw y brawd William R. Williams, yr hwn sydd yn wir ymdrechol ac yn arweinydd medrus. Mae genym ysgol Sabbothol lewyrchus dan arolygiaeth yr hen frawd anwyl William P. Richards. Dyna grynodeb o hanes eglwys Fedyddiedig Gymreig Pittston mor gywir ac y medraf ei roddi yn ol y defnyddiau oedd genyf. Yr eiddoch, eich brawd yn y ffydd.

JACOB W. EVANS.

---

—Y mae y credadyn yn myfyrio bob dydd pa fodd i fod yn fwy marw i'r hyn y mae ei Iachawdwr anwyl yn ei gashau, ac yn fwy byw i'r hyn y mae ei Waredwr anwyl yn ei garu.

Digitized by Google

## LLENYDDIAETH Y DYDD.

### CYDWYBOD.*

Cymerwn y pleser y mis hwn o ddwyn ger bron y darllenydd fraslun o ddarlithiau Mr. Joseph Cook ar "Gydwybod." Perthyna y darlithiau hyn i gyfres y "Boston Monday Lectures," amcan pa rai ydyw rhoddi ffrwyth myfyrdodau dysgedigion Germanaidd, Seisonig ac Americanaidd, ar y pynciau mwyaf pwysig a dyrys a ddaliant berthynas â chrefydd a gwyddoniaeth. Dywed yr awdwr iddo wneyd ymchwiliad neillduol i'r pwnc hwn, sef Cydwybod, a phroffesa ei ddeall i raddau helaeth.

Y peth cyntaf a wnawn fydd rhoddi ei syniadau ef am Gydwybod.

I. *Pethau heb eu Holrhain mewn Cydwybod.*

Dechreuad gwybodaeth ar y mater dyrys hwn ydyw gwahaniaethu rhwng dybenion gweithredoedd. Mae dwy ysgol yn perthyn i lenyddiaeth cydwybod. Hona un fod y gyneddf hon yn gamsyniol, yn agored i gyfeiliorni, ac yn gyfnewidiol. Hona y llall yn y gwrthwyneb, gan ddyweyd fod "cydwybod gamsyniol yn wag-ddychymyg." Yn perthyn i'r ysgol gyntaf mae Spencer, Baïn, John Foster, Pascal, Dean Mansel; yn perthyn i'r olaf mae Kant, Rothe, a Fichte.

Mae rhyw ffordd i egluro y gwahaniaeth rhwng y dynion gonest hyn. Mae genym yr un dadleuon yn ein plith ein hunain. Arferwn ddyweyd fod cydwybod yn meddu rhywbeth dwyfol ynddi, ac nid yw y dwyfol yn cam-arwain, a ydyw? Llefara y Beibl am gydwybod fel yn cael ei serio, ei phylu, a'i dallu. Mae genym awdurdod Ysgrythyrol dros ddyweyd y gall cydwybod gael ei serio megys â haiarn poeth. Ac eto llefara y Beibl am Oleuni sydd yn goleuo pob dyn a'r sydd yn dyfod i'r byd, a'i fod yn y dechreuad gyda Duw, a Duw ydoedd. A all hwn yna gael ei serio megys â haiarn poeth? A ddichon i Dduw gael ei ddallu? Mae yn eglur fod dwy athrawiaeth yn y Beibl ar y pwnc hwn, neu yn hytrach fod dau bwynt i edrych arno. Nid yw yr ysgolion gwrthwynebol hyn yn amddiffyn gosodiadau hollol groes i'w gilydd.

Safant ar fanau gwahanol i edrych, ac felly mae syniadau y lluaws yn ymddangosiadol groes i'r lleill, oblegid eu bod yn ffurfio eu syniadau oddiar safleoedd gwahanol.

Cydwybod, yn ol barn y cyffredin, ydyw syniad yr enaid am dda a drwg. Cydwybod, yn ol y drychfeddwl ysgoleigaidd, ydyw syniad yr enaid am dda a drwg yn ei gymellion moesol, hyny yw, ei ddewisiadau a'i ddybenion. Ar un llaw, mae yn eglur fod cydwybod yn ol yr ystyr boblog fel yn ddim ond syniad am dda a drwg. Bai mawr yn y syniad cyffredin am gydwybod ydyw, nad yw yn gwahaniaethu rhwng y weithred allanol a'r bwriad mewnol. Ar y llaw arall, os edrychir ar gydwybod yn ol y modd ysgoleigaidd fel syniad yr enaid am dda a drwg o fewn cylch ei ddybenion ei hun, mae y farn neu weithrediadau deallawl yr enaid yn cael eu gwahaniaethu oddiwrth y ddirnadaeth a'r teimladau moesol, ac oblegid hyny yn yr ystyr hwn, nid yw yn cynwys ynddi yr elfen gam-syniol. Honwyf fod gwahaniaeth i'w wneuthur rhwng gweithredoedd allanol a'r bwriadau mewnol, ac mai swydd benodol cydwybod yw dyweyd beth sydd uniawn neu gamweddus, tu fewn i gylch bwriadau.

Bodola gosodiadau moesol sylfaenol fel y bodola gosodiadau celfyddydol, a thrwy ymchwiliad manwl, gwyddis y modd i adeiladu arnynt yn ol y portread a ddangoswyd yn y mynydd. Yn nirgeledigaethau ein natur foesol y mae mynydd sydd yn llosgi eto megys gan dân, ac na ellir ei gyffwrdd; ar hwn, pe gallem ei weled yn ei nodau cynwynol, gofynem am iddo gael ei guddio oddiwrthym, canys ni fu un dyn erioed fyw am ddeugain niwrnod a deugain nos yn ei bresenoldeb heb ddod i lawr gyda y fath ogoniant ar ei wyneb, ac eisiau gorchudd i'w guddio.

**Conscience, with Preludes on Current Events,* by Joseph Cook, Boston: Houghton, Mifflin & Co., 1880.

Digitized by Google

Gwahaniaether rhwng y bysedd a dynant i lawr y ffrwyth, neu y cyneddfau deallawl a driniant fwriadau, a'r synwyr penodol a'i profa. Bron nad allaf esbonio cydwybod fel y tafod a brofa flas bwriadau. Cydwybod sydd gyneddf wreiddiol, ac yn tynu i'w gwasanaeth gyneddfau eraill yr enaid. Mae dirnadaeth *foesol* yn gwahaniaethu oddiwrth ddirnadaeth *ddeallol*, wrth *fod* y cyntaf, a'r olaf *heb* fod, o angenrheidrwydd yn cael ei ddilyn gan y teimlad o rwymedigaeth. Mor drwm yw y gair dylid sydd yn gorwedd yn haenau isaf cydwybod. Gallwch bwyso pob peth yn erbyn y gair yna ond Duw, a gwna wrth-bwyso pob peth ond ei hunan. Nis gallaf ddychymygu am Dduw yn cael ei wrth-bwyso gan unrhyw beth. Yn y fan yma mae eglurhad ar ddirgelwch. Mae Duw yn y gair *dylid*, ac am hyny gorbwysa bob peth ond Duw. Yma y cewch y peth cyntaf sydd anolrheiniadwy.

Ond i fod yn fyr, rhaid i ni ddosranu. Mae cydwybod pan mewn gweithrediad llawn yn cynwys y pethau canlynol:

1. Dirnadaeth uniongyrchol o dda a drwg mewn dewisiadau.

2. Teimlad y dylai yr uniawn, ac na ddylai y camweddus, gael ei gyflawni.

3. Boddhad yn yr uniawn, ac anfoddhad yn y camweddus.

4. Syniad o deilyngdod personol yn nghyflawniad yr hyn fo uniawn, ac o annheilyngdod personol yn nghyflawniad y drwg.

5. Pleser neu boen, dedwyddwch neu ddwysbigiad, yn ol fel y byddo y dewisiadau yn uniawn neu yn gamweddus.

6. Dysgwyliad prophwydoliaethol am wobr am gyflawniad yr uniawn, ac o gosb am gyflawniad y camweddus.

Mae gwahaniaeth pwysig rhwng yr hyn y mae cydwybod yn ei gynwys, a'r hyn y mae yn ei dybio. Nid yw dirnadaeth uniongyrchol o ryddid yr ewyllys yn un o weithrediadau y gydwybod; ond y mae y ffaith o'r fath ryddid yn gasgliad naturiol trwy un cam o ymresymiad oddiwrth y syniad a rydd cydwybod am deilyngdod ac annheilyngdod personol; canys y mae yn eglur fod y rhai hyn yn nodweddau gweithred wirfoddol yn unig.

Nid yw dirnadaeth uniongyrchol o'r ffaith o Fodolaeth Duw yn un o weithrediadau cydwybod; ond mae yn gasgliad oddiwrth y dysgwyliadau prophwydoliaethol a fynant hawlio lle yn y gydwybod, fod gwobr a chosb yn aros dyn tu draw i angau.

Eto, Mae *effeithiau* cydwybod yn cyfodi oddiwrth yr hyn y mae yn ei gynwys a'r hyn y mae yn ei dybio, megys y rhai canlynol: *Syniad* o gymeradwyaeth neu anghymeradwyaeth oddiwrth Rywbeth Dwyfol neu Ryw Un tu allan i ni ein hunain, yn ol fel y llywodraethir ni gan ddybenion da neu ddrwg. Dedwyddwch neu boen, yn ol fel y bo y gweithredoedd. Rhag-ddysgwyliad am gymeradwyaeth neu anghymeradwyaeth. Math o uwch awdurdod sydd yn gryfach na holl alluoedd yr enaid. Tu cefn i'r nodweddau yna a berthyn i gydwybod y mae meusydd anolrheiniadwy. Yn mha le mae gorsedd yr awdurdod sydd yn llefaru yn mhwysau dirgel, ond diamheuol, y gair *dylid?* Yn mhla le yn awr y mae Efe, yr hwn yw y Goleuni sydd yn goleuo pob dyn ar sydd yn dyfod i'r byd, ac oedd yn y dechreuad gyda Duw, a Duw ydoedd? Mae yn wyddonol hysbys fod y Goleuni hwn yn meddu ei deml yn y gydwybod.

Priodol fyddai i'n gruddiau wrido, a'n calonau guro gyda bywyd newydd pan y safwn rhwng Cristionogaeth a gwyddoniaeth a chanfod fod taranau un, a sibrydau y llall, yn traethu yr un gwirioneddau. Mae cysylltiadau a fodola rhwng crefydd a gwyddoniaeth yn llawn o'r gwirioneddau gwerthfawrocaf, ond arosant hyd yn hyn yn faesydd anolrheiniedig i raddau helaeth.

II. *Goleuni Cydwybod Ddiwylliedig.*

Nod gwahaniaethol y goleuni hwn yw mai ynddo y mae Duw fel yn dychrynu ac yn llawenhau edrychwyr. Mae llawer i fardd, doethwr, merthyr, a diwygiwr, neu ddynes o'r cymeriad goreu wedi meddu ar rai adegau wyneb a ymddangosai fel llestr pridd goreu gyda goleu tu cefn iddo. Ond nid yw

Digitized by Google

hwn yn oleuni heulog cydwybod, oddieithr iddo feddu dylanwad ofniadol. Mae y goleuni awdurdodol a llawenychol hwn i'w wahaniaethu oddiwrth oleuni corphorol neu ddealltwriaethol yn y wyneb. Mae yn anmhosibl ei ffugio. Ni ddichon fodoli ond trwy gydymffurfio ag amodau neillduol.

Mae y person gyda chydwybod ddiwylliedig, llewyrchiadau yr hon fyddont yn ymddysgleirio i raddau dyladwy, yn gwneyd i'r uchaf ei ddiwylliaeth mewn pethau eraill deimlo yn wasaidd yn ei bresenoldeb os bydd pob peth arall yn gyfartal ynddo. Beth am y Gweddnewidiad? Ai nid oedd hwnw yn cyfranogi o natur y goleuni hwn, ond ar raddfa lawer uwch? Beth oedd y goleuni a darddai allan oddiar wyneb y merthyr cyntaf i'r fath raddau fel yr ymddangosai fel angel Duw? Rhaid mai y goleuni uwchraddol hwn ydoedd yn ffrydio allan oddiwrth undeb ei natur foesol ac ysbrydol. Arferai y Cristionogion boreuol ystyried y meddiant o'r goleuni hwn fel prawf o fod yn feddianol o'r Ysbryd Glan.

Pan ddaeth Moses i lawr o'r mynydd, dysgleiriai ei wyneb. Gweithgarwch cyneddfau penaf yr enaid a achosa y goleuni neillduol hwn yn ein profiad bychan ni o hono. Ni feddwn ni ar y goreu ond gwawr fechan o'i dysgleirdeb nefol. Ond gwyddom fod yr ychydig a feddwn yn dyfod o gysegr sancteiddiolaf cydwybod. Myfyriodd Raphael y gweddnewidiad, a chafodd ei ddarlun o hono ei gario uwchben ei elorgerbyd ddydd ei angladd. Ai tybed nad ydym ni yn yr oes wyddonol hon yn alluog i gael gafael ar syniadau am y Gweddnewidiad na fedr darlun Raphael, er mor ragorol, mo'i ddangos i ni?

III. *Mae y ddeddf foesol a gartrefa yn y gydwybod yn amlygu ei hunan yn yr agweddiad gorphorol.*

Mae agweddion corphorol yn canlyn teimladau cryfion. Mae y teimladau moesol cryfaf yn peri i'r edrychiad fod i fyny neu i lawr. Trwy weithrediad deddf sefydlog yr ydym yn gwyro y pen i lawr mewn cywilydd, neu pan yn hunan-gondemniedig. Mae yn ffaith gorphorol brofadwy, fod y wynebpryd trwy ddylanwad gwynfydawl cydwybod, yn gogwyddo at i fyny, ac yn rhoddi i'r ffurf ddynol ystum awdurdodol a dibryder. Ond pan y condemnia cydwybod, mae yr ymddangosiad yn dwyn delw hollol i'r gwrthwyneb. Ffaith nodedig, a'r hon sydd yn llefaru cyfrolau, ydyw, fod dyn a chydwybod euog yn teimlo yn eiddilaidd, gwelw, a gwasaidd, yn mhresenoldeb yr hwn fyddo yn meddu un ddirwystr. Honwyf, yr hyn na fedr yr un dyn ei wadu, mai iaith naturiol gwedd a gogwydd y gwynebpryd, ydyw iaith Duw. Nid nyni a'i dyfeisiodd. Yn sicr, mae iaith naturiol yn iaith natur. Gofynwn, pa fodd y gellir cyffwrdd â Duw? Pa fodd y gallwn ni agosâu at yr un mawr a driga tu cefn i ddeddfau naturiol? Blodau eiddilaidd ydym yn agor at wyneb yr haul. Nid oes genym mo'r golygon i weled, ac eto mae genym natur a fedr deimlo. A oes arnom eisiau rhywbeth yn ychwaneg? Yr ydym yn sicr ein bod yn meddu teimladau, a'n bod yn cyffwrdd â'r goleuni. Gwyddom y bodola i fyny ac i lawr yn y byd moesol. Yr ydym yn sicr o ddeddf pwys a thyniad moesol.

IV. *Mae y syniad o ddyledswydd yn ein dilyn yn barhaus.*

Mae yn holl-bresenol, fel y Duwdod. Pe cymerem adenydd y wawr, a thrigo yn eithafoedd y môr, mae dyledswydd wedi ei chyflawni neu wedi ei hesgeuluso yn barhaus yn ein dilyn, er ein dedwyddwch neu ein gofid. Os dywedwn, y tywyllwch a'n gorchuddia, mae ein rhwymedigaethau gyda ni yn y tywyllwch fel yn y goleuni. Ni allwn ysgoi eu gallu, nac ehedeg o'u presenoldeb. Y maent gyda ni yn y bywyd hwn, byddant gyda ni yn ei ddiwedd, ac yn y dyfodol mawr a'i borth sobr; bydd i ni gael ein hamgylchynu gan wybodolrwydd o ddyledswydd, i'n poeni neu i'n dedwyddoli. Cwestiwn pwysig iawn yn ein hoes gythryblus ydyw, pa un ydym i gymeryd fel ein harweinwyr cyffredinol ddynion yn meddu ar gyneddfau naturiol cyflawn, neu ynte ddarnau o ddynion, yn rhagori, mae'n wir, mewn rhai ystyron,

Digitized by Google

ond yn ddiffygiol mewn amrywiol bethau a wna i fyny ddyn cyflawn. Yr ydym yn sefyll ar dir cadarn pan yr ymresymwn oddiwrth y cyneddfau greddfol a berthyn i natur ddynol gyflawn. Mae ein syniad o rwymedigaeth yn effro pan y byddwn yn neillduedig oddiwrth lywodraeth ddynol a rhwymau cymdeithasol. Ni allwn ddychymygu ein hunain yn gallu diddymu y gwahaniaeth rhwng yr hyn sydd uniawn a chamweddus. Gallwn ddychymygu diffoddiad holl oleuadau y nef; ond ni allwn sylweddoli posiblrwydd diddymiant y gwahaniaeth rhwng yr uwch a'r is—rhwng achos ac effaith, rhwng da a drwg. Bodolai y gwahaniaeth rhwng y llaw ddehau a'r aswy yn natur pethau yr un fath. Wrth archwilio fel hyn i'n hymwybodolrwydd personol, canfyddir nad all yr awdurdod i'r hwn y teimlwn rwymedigaeth fod yn natur anfaterol, yn natur ddynol, na llywodraeth ddynol, na dim arall gweledig. Gallwn dybied y pethau hyn oll yn cael eu difodi, ac eto y syniad o ddyledswydd yn ein dilyn yn barhaus. Gwyddom drwy y gydwybod fod yn rhaid i ni roddi cyfrif am yr hyn ydym, ac am yr hyn a wnawn, i *allu* tu allan i ni. Ni ddichon y gallu hwnw fod yn amgen na'r hwn sydd yn gwybod y cwbl am danom, yr hwn a gymeradwya y da ac a gondemnia y drwg, a'r hwn sydd a'r gallu i gosbi neu wobrwyo yn ol fel y byddo y cymeriad a'r ymddygiad.

Amser a gofod a ballai i ni fyned rhagom gyda'r awdwr galluog yn ei sylwadau dwfn-dreiddiol a chedyrn ar reddfau organaidd y gydwybod, pryd y traetha fod greddfau cydwybod yn gogwyddo at eu gwrthddrychau priodol mor gywir a naturiol a'r greddfau corphorol.

Mae y chweched ddarlith yn traethu ar yr Achos Cyntaf yn Berson. Yn y seithfed, atebir y cwestiwn, A yw cydwybod yn ddigyfeiliorn? Yn yr wythfed ddarlith, edrychir ar y gydwybod fel sylfaen crefydd gwyddoniaeth, a diweddir y gwaith gan ddwy ddarlith ar y testynau, "Chwerthiniad yr Enaid am ben ei Hun," a "Dysgeidiaeth Shakspeare ar Gydwybod." Mae myfyrio gweithiau yr awdwr galluog hwn yn sicr o fod yn iachusol i bwy bynag a wna hyny.

Cyngorwn ein darllenwyr i fod yn ochelgar wrth ddarllen gweithiau gwyddonol unochrog. Gwell ymgydnabyddu â gweithiau awdwyr ydynt yn ffryndiau i Gristionogaeth, i foesoldeb daioni, a rhinwedd. Gweithiau o'r natur hyny yw eiddo Mr. Cook. Cyferfydd â rhai o'r pynciau y gwna amheuwyr stwr mawr yn eu cylch, yn eofn, yn gadarn a gorchfygol. Gwelwn ei fod yn adeiladu yn gadarn ar dystiolaethau greddfau naturiol cydwybod. Dengys yn eglur fod priodoleddau y gyneddf ryfeddol hon yn cyfeirio at y Dwyfol.

---

## UNDEB CYMANFAOL AC EGLWYSIG.

GAN Y PARCH. J. SETH JONES, REMSEN, N. Y.

*Seithfed Penderfyniad Cymanfa y Bedyddwyr yn Swydd Oneida, N. Y., 1882.*

"Fod yr eglwysi yn cael eu cymell i wneyd eu goreu i feithrin undeb, cydweithrediad ac ysbryd maddeugar yn eu plith, a bod y brawd J. Seth Jones i ysgrifenu erthygl i'r WAWR yn fuan ar y mater hwn."

Y mae undeb a chydweithrediad o'r pwys mwyaf yn mhob cymdeithas, yn deuluol, gwladol, a chrefyddol. A dichon y dysgwylir i'r sylwadau yn yr ysgrif hon fod yn benaf ar y pwysigrwydd o undeb rhwng yr eglwysi â'u gilydd yn y Gymanfa, yn hytrach nag ar y pwysigrwydd o undeb rhwng yr aelodau â'u gilydd yn yr eglwysi gartref. Ac nid oes dadl nac amheuaeth na fyddai cyd-ddealldwriaeth a chydweithrediad rhwng y gwahanol eglwysi yn fendithiol iawn er cysur personol a chymdeithasol, a sicr yw y byddem yn llawer mwy dylanwadol, ac y gallem wneyd llawer mwy o ddaioni, trwy y byddem yn fwy nerthol, "Canys mewn undeb y mae nerth." Dichon ein bod o fewn cylch y Gymanfa yn y cyfryw amgylchiadau, fel y mae yn hynod anhawdd i ni allu llwyddo er gwasgaru ein

Digitized by Google

hegwyddorion gwahaniaethol, y rhai sydd yn wirioneddau diamheuol. Ond dichon y gellir trwy undeb ac unfrydedd ymegniol gadw y tir ag sydd eisoes yn ein meddiant. Rhaid addef fod ein henwad wedi colli a lleihau llawer yn Swydd Oneida y blynyddoedd a aethant heibio.. Mae llawer o resymau am ein lleihad. Mae ymfudiaeth wedi bod yn anffafriol iawn i ni yn y cyfeiriad hwn. Nid oes yn ein cymydogaethau gymaint o Gymry ag a welwyd yma, fel y mae pob enwad yn gorfod goddef i raddau mwy neu lai. Yn ychwanegol at hyn, y mae y Saesoneg yn cymeryd i fyny lawer o'n hieuenctyd. Ond er ein gofid, rhaid i ni addef mai yn herwydd diffyg undeb, yn herwydd ymrafaelion ac ymraniadau, yn benaf, y mae yr olwg lwydaidd a digalon ag a welir ar ein heglwysi, yn bodoli. Mae yn amheus genym a ydym oll fel aelodau ein Cymanfa yn *ystyriol* o'r pwysigrwydd i ni fod yn un a'n gilydd, a chydymdrechol yn mhlaid ffydd yr efengyl. Teimlir yn gyffredinol, i raddau mwy neu lai, y pwysigrwydd i wahanol aelodau yr un eglwys fod yn un a'u gilydd; ond y mae yn angenrheidiol i ni edrych â golwg eangach ar y pwnc, a chofio ei bod o bwys i ni fel gwahanol eglwysi perthynol i'r Gymanfa gydweithredu a'n gilydd mewn undeb a chariad; a sicr genyf, pe y buasem wedi gwneyd hyny, y buasai agwedd mwy llewyrchus a boddhaol ar ein heglwysi y dydd heddyw.

Dylem gofio ein bod fel eglwysi yn rhwym i'r penderfyniadau yn nghynadleddau ein Cymanfa. Nid ydym mewn gwirionedd at ein dewisiad i'w cadw neu beidio, mwy nag yr ydym at ein rhyddid i weithredu yn ol ein mympwyon personol yn ngwyneb penderfyniadau rheolaidd yr eglwysi cartrefol ag y byddom yn aelodau o honynt. Gwyddom y dadleuir annibyniaeth eglwysi, &c., ond nid yw hyny ond ynfydrwydd yn ymylu ar wallgofrwydd, pan y bydd dynion yn wirfoddol eu hunain, heb unrhyw drais na gorfodaeth, wedi ymrwymo yn un gymdeithas i gadw yr un gorchymynion—i ymgadw oddiwrth, ac i gydymegnio gyda yr un gwahanol symudiadau. Gwir fod yr eglwys yn annibynol cyn ei hymuniad â Chymanfa; ac nid ydym am amheu ei hawl i fod ac aros felly; ac ni amheuwn chwaith nad all fod yn eglwys i Iesu Grist, er cadw yr annibyniaeth crybwylledig. Ond hyn a ddywedwn, megys ag y mae aelod mewn eglwys yn rhwym i reolau yr eglwys hono, felly hefyd y mae eglwys pan yn ymaelodi mewn cymanfa, yn rhwymo ei hunan i gydymffurfio â rheolau y Gymanfa hono. Ac os mynir ymgecru, a gofyn, Beth pe bae y Gymanfa yn penderfynu y peth yma neu y peth arall? &c. Ein hateb yn fyr ydyw, ymdrecher hyd y mae ynom ei chadw yn bur; ac os credwn ei bod yn gamsyniol mewn rhai o'i rheolau, ymdrechwn ei chywiro mewn ysbryd addfwynder. Ond os methir, wedi gwneyd pob ymdrech—os bydd y Gymanfa yn myned i dra-awdurdodi, ac i weithredu yn anghydweddol ag egwyddorion pur y Testament Newydd, ymadawer a hi, fel y gwnaeth y goreuon o'r Eglwys Sefydledig yn Lloegr er's mwy na dau can' mlynedd yn ol. Yn awr, dyma gynadledd ein Cymanfa yn "cymell yr eglwysi i wneyd eu goreu i feithrin undeb, cydweithrediad, ac ysbryd maddeugar yn eu plith." Mae meithrin yn cynwys bodolaeth yr hyn, yr hwn, neu y peth a feithrinir; ac y mae yn cynwys hefyd, er yn cydnabod ei fodolaeth, eto nad yw wedi cyrhaedd yr addfedrwydd a'r perffeithrwydd a ddysgwylir iddo wneyd. Ac y mae yn llawen genym feddwl, er ein hymwybodolrwydd o'n diffygion an hanmherffeithrwydd, nad ydym wedi ein llwyr lygru, na'n llwyr adael chwaith. Diolchwn i Dad pob daioni am yr ychydig arwyddion o hyny a fodola yn ein plith.

Ystyriwn fod y cymelliad yma oddiwrth Gynadledd ein Cymanfa yn deilwng iawn o'n hystyriaethau dwysaf fel eglwysi, a dylai fod yn foddion i gynyrchu ynom aiddgarwch ychwanegol am undeb teilwng a gwirioneddol; canys yma y mae ein prif gynrychiolwyr wedi cyd-gyfarfod, yma y mae ein gweinidogion a'n diaconiaid mewn

Digitized by Google

dwfn a dwys ymgyngoriad, y naill yn ymarllwys eu teimladau i'r lleill, ac yn mynegu gwir deimladau a dymuniadau eu calonau i'w gilydd, gyda golwg ar yr hyn a dybiant yn wir angenrheidiol er lledaenu egwyddorion y deyrnas nad yw o'r byd hwn, a gogoneddu eu Brenin. Yn awr dyma y gallu mwyaf a feddwn, a'r awdurdod uchelaf ag sydd yn ein meddiant fel corph neu gymdeithas o Gristionogion. Ac yn y Gymanfa y mae gwahanol gangenau bychain o'r eglwys fawr yn ymdoddi i'w gilydd er mwyn bod yn un gymdeithas fawr a grymus yn ei gweithrediadau. Mae yn wir fod eglwys leol yn meddu pob awdurdod i weithredu gyda golwg ar ei dysgyblaeth, yn ogystal a'i chredoau, yn annibynol ar bawb tra y parhao ar wahan i bawb tu allan i'w therfynau ei hunan. Ond pan y mae nifer o eglwysi wedi ymuno â'u gilydd yn un gymdeithas fawr, neu Gymanfa, nid oes dim yn amlycach na'u bod yn dyfod yn rhwymedig a chyfrifol i'w gilydd. A phan y byddo un eglwys yn troseddu y rheolau—yn gwrthod cydweithredu, neu yn myned i goleddu syniadau cyfeiliornus, y mae gan y Gymanfa hawl i'w galw i gyfrif, ac os na chydsynia gosoda ei hunan yn agored i gerydd a diaelodiad.

Y mae gan berson unigol hawl i gredu fel yr ewyllysio (beth bynag am ei allu) yn ei berthynas â dynion, ond nid â Duw.

Y mae gan un hawl i gredu na bu Iesu Grist erioed yn yr Iorddonen, ac i ddadleu dros rydd-gymundeb a chyfreithlondeb taenelliad babanod, ond nid oes ganddo hawl i lochesu y fath grediniaeth, a haeru y fath haeriadau di-sail, a bod ar yr un pryd yn aelod mewn eglwys o Fedyddwyr neillduol, ac a elwir yn gaeth-gymunwyr. Felly, y mae yn gyffelyb gyda golwg ar eglwysi a chymanfa; y mae yr holl eglwysi i gydweithredu yn mhob peth, hyd y gellir, er gogoneddu Duw a llesoli dynoliaeth.

Ac nid dibwys, mewn mwy nag un ystyr, fyddai i'r eglwysi perthynol i'r Gymanfa hon i ddiystyru y cais difrifol atynt, i wneyd eu goreu i feithrin undeb, cydweithrediad ac ysbryd maddeugarwch yn eu plith. "Ufuddhewch i'ch blaenoriaid, ac ymddarostyngwch, oblegid y maent hwy yn gwylio dros eich eneidiau chwi, megys rhai a fydd raid iddynt roddi cyfrif."—*Paul.* Ond y mae ystyriaethau uwch a phwysicach yn galw arnom i feithrin undeb a chydweithrediad, gan fod anogaethau mynych yn yr oraclau Dwyfol i gyflawniad o'r dyledswyddau hyn. Mae yr ysgrythyrau sanctaidd wedi eu tryfritho ag ymadroddion tebyg i'r rhai a ganlyn: "Byddwch o'r un fryd a'ch gilydd, dywedwch yr un peth, wedi eich cysylltu yn yr un meddwl, ac yn yr un farn, a'r un cariad genych, yn gytun, yn syniad yr un peth; cerwch eich gilydd o galon bur yn helaeth, mewn cariad brawdol byddwch garedig i'ch gilydd." "O herwydd hyn, minau hefyd, wedi clywed eich ffydd yn yr Arglwydd Iesu, a'ch cariad tuag at yr holl saint, nid wyf yn peidio a diolch trosoch, gan wneuthur coffa am danoch yn fy ngweddiau." Yr ydym yn diolch i Dduw a Thad ein Harglwydd Iesu Grist, gan weddio drosoch yn wastadol, er pan glywsom am eich ffydd yn Nghrist Iesu, ac am y cariad sydd genych tuag at yr holl saint."

Mae fod Cymanfa (fel y crybwyllasom) yn dymuno undeb a chydgordiad mewn barn a buchedd yn ei haelodau yn bwysig; ond cawn ddeisyfiadau cyffelyb gan bersonau pwysicach, dan amgylchiadau hynotach. Beth bynag ydoedd blinderau Paul yn Rhufain, amlwg yw fod undeb y saint yn Ephesus yn cael ei ystyriaethau dwysaf a dyfnaf. "Deisyf, gan hyny, arnoch yr wyf fi y carcharor yn yr Arglwydd, ar rodio o honoch yn addas i'r alwedigaeth y'ch galwyd iddi, gyda phob gostyngeiddrwydd ac addfwynder, yn nghyd a hir-ymaros, gan oddef eich gilydd mewn cariad, gan fod yn ddyfal i gadw undeb yr Ysbryd yn nghwlwm tangnefedd."

Mae yr apostol yn ddilynol i hyn yn dwyn rhesymau dros ei ddymuniad angerddol am i'r saint fod yn un. "Un corph sydd, ac un ysbryd, megys y'ch galwyd yn un gobaith eich galwedig-

Digitized by Google

aeth. Un Arglwydd, un ffydd, un bedydd, un Duw a Thad oll, yr hwn sydd goruwch oll, a thrwy oll, ac ynoch oll." Mae y darluniad yma o undeb, gan Paul, mor brydferth, aruchel a choeth, fel y teimlwn yn wylaidd ger ei fron, ac y dewiswn yn hytrach adael i'r darllenydd ddwys fyfyrio uwch ei ben a'i ryfeddu, na chynyg unrhyw ymhelaethiad arno; eto, amlwg iawn ydyw fod y saint o ran hanfodion eu crefydd yr un. Maent i gael eu llywodraethu oll gan yr un egwyddor euraidd a gogoneddus, sef cariad; maent i ufuddhau i'r un gorchymynion, ac i ymarfer eu hunain yn yr un dyledswyddau, ac oll i ddyfod i fyny a'r un perffeithrwydd moesol; canys y maent oll i ymddiried yn yr un Duw, a meddu ffydd yn yr un Gwaredwr. Mae eu hymdrechion yn yr anial yr un, yn erbyn yr un temtasiynau a gelynion, a'u gobaith tu draw i'r bedd yr un. Nid yw Duw yn hanfodion eu crefydd yn gwneyd dim gwahaniaeth rhyngddynt.

Gwir y gwahaniaethant yn eu galluoedd meddyliol, yn rhif eu talentau a'u cyfleusderau i ddylanwadu er daioni yn y byd, ac am hyny trefnwyd iddynt wahanol sefyllfaoedd neu swyddogaethau yn yr eglwys filwriaethus ar y llawr. "Efe a roddes rai yn apostolion, a rhai yn brophwydi, a rhai yn efengylwyr," &c.; ond nid neb o honynt i wasanaethu ei hunan, nagê, ond "I berffeithio y saint i waith y weinidogaeth, i adeilad corph Crist. Hyd oni ymgyfarfyddom oll yn *undeb* ffydd, a gwybodaeth Mab Duw, yn wr perffaith, at fesur oedran cyflawnder Crist." Mae yr efengyl yn gofyn yr un purdeb gyda golwg ar egwyddorion mewnol, a'r un manyldra gyda golwg ar yr ymarferiadau allanol yn mhawb o'i deiliaid. "Byddwch sanctaidd, canys sanctaidd ydwyf fi." "O cherwch fi, cedwch fy ngorchymynion." Mae yr ymadroddion uchod yn hawlio sylw a chydymffurfiad yr aelod a ystyrir yn lleiaf a mwyaf dibwys, yn ogystal â'r swyddog uchelaf a phwysicaf. Mae y saint oll yn yr un berthynas. Mae Duw yn Dad yr oll, Iesu yn Frenin, brawd, Prophwyd, a Gwaredwr yr oll. Maent wedi eu dwyn i ddiogelwch cadwedigaeth trwy ras ein Harglwydd Iesu Grist yr un modd a'u gilydd. Yna wedi eu huno â Christ, y maent yn un corph, a'r corph hwnw drachefn yn cael ei fywhau gan yr un Ysbryd, yr hwn sydd yn naturiol, yn ol natur pethau, yn cynyrchu yr un ffydd, gobaith, cariad, a sancteiddrwydd yn mhawb o'r frawdoliaeth gadwedig. Yr ydym yn canfod pwysigrwydd annhraethadwy yr undeb crefyddol pan yr ystyriom mai dyma ydoedd pwnc mawr gweddi ein Hiachawdwr, a hyny ychydig cyn ei esgyniad i'r groes.

Mae dynion gwageddus, fel rheol, y rhai fydd wedi treulio eu bywyd gyda phethau dibwys, diangenrhaid, a hollol afreidiol; mae hyd yn nod y rhai hyn, pan yn ymyl marw (os yn ymwybodol o hyny), yn ddifrifol, ac yn ymwneyd â'r pethau pwysicaf a mwyaf angenrheidiol, yn ol eu barn hwy am bethau. Wele y Gwaredwr yn ymyl marw, yn ymyl ymadael â'r byd, a hyny trwy yr angau poenusaf a gwaradwyddusaf—"Angau gwaradwyddus y groes." Yr oedd hefyd yn hollol ymwybodol o hyn oll, o'r holl chwerwderau ydoedd o'i flaen. Gallwn benderfynu ynte fod hwn, yr hwn na threuliodd foment erioed mewn cellweriaeth, ysgafnder, neu wagedd; ïe, yr hwn yr oedd ei hollol fywyd yn un o ddifrifoldeb a defnyddioldeb. Dyma hwn yn myned i farw, mae yn werth i ni sylwi ar ei ymddygiadau, a gwrando ei ymadroddion, canys rhaid eu bod a phwysigrwydd tragywyddol yn gysylltiedig â hwy. Nid oes neb ag sydd yn meddu adnabyddiaeth o hono a amheua hyny am haner eiliad. Wel, yn ei oriau diweddaf bron, yn ei adeg ddifrifolaf, dyma y peth pwysicaf ar ei feddwl, ac agosaf at ei galon dyner, sef undeb ei bobl; am hyny y gweddïa, clywch ef, sylwch ar ei ymadroddion, "Fel y byddont oll yn un, megys yr wyt ti y Tad ynof fi, a minau ynot ti, fel y byddont hwythau un ynom ni, fel y credo y byd mai tydi a'm hanfonaist i. A'r gogoniant a roddaist i mi, a roddais iddynt hwy, fel y byddont un.

Digitized by Google

Myfi ynddynt hwy, a thithau ynofi fi, fel y byddont wedi eu perffeithio yn un, ac fel y gwypo y byd mai tydi a'm hanfonaist i, a charu o honot hwynt megys y ceraist fi.''

Mae yr holl ymadroddion uchod yn deilwng iawn o'n hystyriaethau mwyaf difrif-ddwys; ond ni chawn yma ond crybwyll yn unig, fod dychweliad y byd at Fab Duw yn ymddibynu, yn ol yr ymadroddion, ar undeb y saint â'u gilydd, "Fel y credo y byd mai tydi a'm hanfonaist i." Buasai yn ddymunol ychwanegu, ond ni chaniateir i ni ragor o ofod. Sylwn eto ar y pwysigrwydd o faddeugarwch.

J. Seth Jones.

# Bwrdd y Golygydd.

## TYNU YN OL ATHROD.

Tua blwyddyn a haner yn ol, daeth y Parch. John W. Williams, D. D., gweinidog presenol eglwys y Bedyddwyr Cymreig, Hyde Park, Pa., o Gymru i America gyda *credentials* o'r radd flaenaf, yn dwyn y tystiolaethau uchelaf iddo fel dyn, gweinidog, a Christion.

Wedi treulio amryw fisoedd yn y wlad hon, derbyniodd alwad unfrydol a brwdfrydig oddiwrth yr eglwys a nodwyd. Yn ganlynol llwyr ymroddodd yn egniol a diorphwys yn y pwlpud ac allan o hono er cael yr eglwys i fywyd a gweithgarwch crefyddol. Dilynwyd ei ymdrechion â llwyddiant mawr—y capel eang yn rhy fychan i gynwys y gynulleidfa, ac ugeiniau yn cael eu hychwanegu at yr eglwys trwy fedydd, a niferoedd o dir gwrthgiliad.

Ond tra yn nghanol y llwyddiant bendigaid hwn, dyma ffrwydriad megys o lawddryll mewn ffurf o erthygl athrodol yn yr *Home Protector*, papyr crefyddol yn Hyde Park, yn cyhuddo gweinidog yn y lle (heb ei enwi) o fod yn cymeryd dognau o wirodydd bob tro cyn esgyn i'r areithfa. Cyn hir, dyma sibrwd ar led yn mhlith unigolion mai Dr. Williams oedd y cyhuddedig.

Heb golli dim amser, pan ddeallodd hyn, dygodd Dr. Williams y mater o flaen awdurdodau y gyfraith, gan ddatgan yn bendant ei ddiniweidrwydd. Cyfaddefodd W. S. J., gol. yr *Home Protector* mai efe a ysgrifenodd yr erthygl ymosodol ar dystiolaeth person neillduol, ond ni fynai roi enw y cyfryw. Gohiriwyd yr achos ar y pryd am rai wythnosau, sef hyd Chwefror 23, pryd y tynodd Wm. S. Jones a'r Parch. Jonathan Edwards yr athrod yn ol.

Er mwyn personau ydynt wedi gwybod yr athrod, ac heb wybod am ei dyniad yn ol, rhoddwn yr hanes yn llawn yn Saesneg fel yr ymddangosodd yn y *Scranton Republican*, yn nghyd a phenderfyniadau gweinidogion yr enwad yn cydymdeimlo â Dr. Williams yn y blinder anghyfiawn hwn a ddygwyd arno.

Nis gwyddom pa mor anffafriol y meddyliasai Dr. Williams am Gymry America, wrth fod ymosodiad mor fileinig a chelwyddog yn cael ei ddwyn yn ei erbyn mor fuan ar ol dod i'r wlad, oni bai fod y cwbl yn cael ei orbwyso gan arddangosion dwfn ac unfrydol o gydymdeimlad ag ef gan ei eglwys barchus a lluosog, gweinidogion y cylch, a dinasyddion y lle, a chan y Bedyddwyr Cymreig yn gyffredinol a wybuant am yr achos.

Yn canlyn mae *report* y *Scranton Republican*, Chwef. 26, ar ol terfyniad yr achos:

### THE MINISTERIAL LIBEL SUIT. ENDED.

The hearing of the defendants' side of the libel suit which Rev. J. W. Williams brought soon after New Year's against Rev. Jonathan Edwards and Mr. William S. Jones, editors of the *Home Protector*, of Hyde Park, on the allegation that they printed an article which defamed and blackened

his reputation, was to have come off before Alderman Fuller on Saturday afternoon at two o'clock. The plaintiff was promptly on hand with his witnesses, and the little room was filled with Hyde Park people who waited anxiously and patiently for nearly an hour. No lawyers were on hand. At half-past two an elderly gentleman entered the office and told Rev. Mr. Williams that Judge Ward wanted to see him down at the office. Rev. Mr. Williams then went away with the gentleman and the spectators speculated on the matter. A little before 3 o'clock Rev. Mr. Williams returned. He walked up to the Alderman and said: "Alderman, the defendants in this case have retracted the charges, paid all the costs, and made an apology, and I now withdraw the suit." The spectators left the room immediately. The following correction and explanation was accepted by Rev. Mr. Williams from Mr. William S. Jones:

In the number of the Home Protector for October, 1882, there was published an article headed "Offering Strange Fire before the Lord." In the article referred to it was said by its author: "We have been credibly informed by a party, who claims to have positive knowledge of the fact, that there is a clergyman officiating as pastor in one of our city churches who asserts that he cannot ascend his pulpit to preach a sermon without taking from two to four ounces of whiskey to brace him up for the work." Though I never used the name of any person in connection with the article to any person, in public nor in private, but William J. Morgan, the original informer of the above alleged facts, has connected them with the name of the Rev. J. W. Williams, D. D. It is with great pleasure that I learn that since the publication of the article referred to above, Mr. William J. Morgan qualifies his original statement by admitting that what Rev. J. W. Williams, D. D., said, is that he was under the necessity sometimes of using whiskey as a medicine, and that he did it under medical advice, for a chronic disease with which he was afflicted. Had the information been given me with this late qualification, the article complained of would never have been written or published, and in simple justice to the Rev. J. W. Williams, I most joyously and heartily make this explanation and correction, believing that William J. Morgan made a sad and inexcusable mistake in imposing upon me with an incorrect statement of the alleged facts.

I wrote the article without any ill-will or malice toward the Rev. J. W. Williams, but from a conscientious sense of duty which I painfully felt was due to the public. I rejoice in the opportunity to withdraw every word that can be construed as reflecting unfavorably on the character of the Rev. J. W. Williams, based on the incorrect information three times furnished me by the said William J. Morgan before the article was written, and it causes me great sorrow that a minister of the gospel, or any other person, should ever even unintentionally receive any injustice at my hand.

WILLIAM S. JONES.

Scranton, February 23, 1883.

Rev. Jonathan Edwards made the following satisfactory retraction:

I am one of the editors of the Home Protector, the paper above referred to in the statement of William S. Jones, but I did not see, nor did I know of the article headed "Offering Strange Fire before the Lord," referred to in the statement, until after its publication. At the time I first saw it I supposed it to be true, or I would have caused an immediate correction. I did not know who the informer was, nor to whom the article complained of referred for a long time after its publication. Since then I have investigated the matter, and am satisfied that the report emanated from William J. Morgan, the person named in the above statement of William S. Jones, and as the said William J. Morgan, has admitted in my hearing that the Rev. J. W. Williams D. D., did not say that he used whiskey as a beverage, but for medical purposes, under medical advice, I exceedingly regret that the article was published, and rejoice that an opportunity is now offered to correct the unintentional mistake made, and to relieve the Rev. J. W. Williams, as far as possible, from all unfavorable reflection arising from the publication of the article. I galdly avail myself of this opportunity of doing full justice to the Rev. J. W. Williams, by writing this explanation, and express my heartfelt sorrow for the great wrong done him through the imposition of the above William J. Morgan upon my associate editor, William S. Jones.

JONATHAN EDWARDS.

THE LIBEL ON THE REV. J. W. WILLIAMS, D. D., HYDE PARK, PA.

The following resolutions were unanimously passed at a meeting of the resident Welsh Baptist ministers of Lackawanna and Luzerne counties, held at Hyde Park, February 19, 1883, the Rev. W. F. Davis, of Nanticoke, presiding:

*Whereas*, a cowardly and wicked desire has been manifested by some

Digitized by Google

person at Hyde Park to create a public prejudice against the Rev. J. W. Williams, D. D., and undermine his influence as a minister of the gospel, and also mar the prosperity which the church under his pastorate is enjoying. And,

*Whereas*, our brother has discovered his traducers and unearthed the originator of the falsehood, all of whom are well known to a large portion of the community. And,

*Whereas*, the character of Dr. Williams, since his settlement as pastor of the church at Hyde Park, and during his ministry at Newtown, Montgomeryshire, Derby, and Mountain Ash, Glamorganshire, in his native country, is so well known to the religious public in this district as "a good minister of Christ Jesus," irreproachable and above suspicion: therefore,

*Resolved*, I. That we as ministers of the Welsh Baptist Association, of Pennsylvania, hereby tender to our brother Williams our heartfelt sympathy in the unwarranted, unjust, and unchristian attack made upon his character, and express our unshaken confidence in his integrity as a man and Christian.

II. That we record our thanks to God for the rich blessing which has accompanied our brother's ministrations since he entered upon his present pastorate, January, 1882, as the result of which over two hundred accessions have been made to the church.

III. That we congratulate the church at Hyde Park on the hearty unanimity and faithfulness with which they have sustained their pastor in his present trial, and pray that they may have the privilege of enjoying his ministry for many years to come.

IV. That we do most solemnly express our condemnation of the conduct of those who professedly aim at building up the church of God, reclaiming of the fallen and bringing the lost to Christ, but whose indiscretions tend to prevent the accomplishment of these objects outside of their own spheres of labor, and we pray the Lord may give them "another spirit."

V. That though the instigators of this attack upon the character of Brother Williams are deserving of punishment for their wickedness, and it is evident from the opinion of some of the best legal advisors in the city of Scranton, that the evidence against them would lead to a recovery in a civil suit, yet after all we hope Dr. Williams, whose character needs no vindication, will not proceed against them, but turn them over to the judgment of the Christian public and to the mercy of Almighty God.

Signed on behalf of the meeting,

W. F. Davies,
Chairman of the Welsh Baptist Association of Pennsylvania.

J. P. Harris,
Secretary of the Welsh Baptist Association of Pennsylvania.

To the Rev. J. W. Williams, D. D., Hyde Park, Pa.

---

## ADOLYGIAD Y WASG.

*Dylanwad Cymdeithasol Cristionogaeth*, sef Traethawd Buddugol yn Eisteddfod y Gorllewin, yn Racine, Wis., yn 1881. Gan y Parch. David S. Thomas. Argraffwyd gan T. J. Griffiths, Utica, N. Y.

Tra ragora y traethawd hwn ar ein rhag-dybiaeth am dano. Darllenasom ef trwyddo gyda dyddordeb. Fel yr elem rhagom, hunan-ymddyddanem, gan ddweyd, "Wel, yn siwr, mae hwn yn waith da. Dywedwch chwi a fynoch, mae awdwr y llyfr hwn yn deall beth mae yn ei gylch." Mae yn feistrolgar a deheuig yn trafod ei bwnc. Er mor eang y cymera olwg ar ei destyn, ni cholla olwg ar y prif amcan wrth fyned ar ol manylion. Mae yr ymresymiad yn gorphwys ar ffeithiau diwrthbrawf. Rhaid fod y testyn wedi gafaelyd yn iawn yn meddwl yr awdwr. Dengys y gwaith trwyddo fod y cyfansoddwr wedi darllen mwy na mwy. Ac ni allasai efe gyfeirio i'r holl fanau a ddyfyna ar y pryd, oni buasai fod ganddo adnabyddiaeth flaenorol o'r awdwyr. Fel y darllenwn yn mlaen, mae

Digitized by Google

y dyddordeb yn mwyhau, nes o'r diwedd yn ddiarwybod y deuwn i'r tudalen diweddaf. Ni wna unrhyw un a fedr ddarllen Cymraeg, pa mor wybodus bynag yn llenyddiaeth y pwnc, ddarostwng dim arno ei hunan, i roi haner diwrnod da i ddarllen y llyfr hwn trwyddo. Eto, mae arddull y llyfr yn fwy gwérinawl o lawer nag y dysgwyliem. Nid yw yn llac, ac nid yw yn gaeth. Rheda yr arddull yn mlaen fel afon gref ar wely graddol ogwyddiedig. Mae y llyfr hwn yn werth yr arian a ofynir am dano, ac yn sicr o wneyd lles. Agora lygaid llawer i weled y fath ddaioni i'r byd sydd wedi ffynonellu o Gristionogaeth. Mae tuedd wir dda i'r holl frawddegau.

Dylem grybwyll am y cynllun. Medda y gwaith ddwy ran. Yn y gyntaf, nodir elfenau dylanwad Cristionogaeth—y pethau hyny sydd yn ei chyfaddasu i fod o ddylanwad mawr a da ar gymdeithas. Yn yr ail ran, dangosir yn helaeth ac yn fedrus ffrwythau yr elfenau da hyny. Mae Mr. Thomas yn deilwng iawn o gefnogaeth yn nygiad y gwaith hwn allan. Ofnem fod y beirniad, y Parch. Morgan A. Ellis, yn dweyd gormod wrth draethu ar deilyngdod y traethawd, ond credwn yn awr nad yw. Mae y traethawd buddugol hwn yn ardderchog, ac yn deilwng iawn o bryniad cyffredinol. Nid yw yr awdwr, efallai, wedi bod yn ddigon gofalus yn ffurfiad rhai brawddegau a defnyddiad rhai geiriau; ond ar y cyfan mae yr ieithweddiad yn weddus a rheolaidd. Hyderwn nad yw y gyfrol werthfawr hon ond blaenffrwyth ysgrifell yr awdwr, os caniatâ Rhagluniaeth iddo fywyd a chyfleusdra.

Gellir cael y llyfr trwy anfon at yr awdwr i Shenandoah. Pris mewn llian, $1.00; mewn amlen papyr, 50c.

---

## MAN-LEWYRCHIADAU.

---

—Ion. 24ain, 1883, yn 69 mlwydd oed, bu farw y Parch. Samuel Thomas, yn Merthyr, D. C., gan adael y swm da o fil a phum' cant o bunau ar ei ol. Flynyddau yn ol bu yn gweinidogaethu mewn gwahanol fanau yn America; yn bresenol yn y Tabernacl yr oedd yn aelod. Cafodd gladdedigaeth boblogaidd a pharchus.

—Y mis diweddaf, graddiodd yn anrhydeddus Mr. Edwin T Jones, gynt o Utica, o'r *Medical Department* Prifysgol dinas New York. Mae Mr. Jones yn fab i'r Parch. John Edred Jones, a bu am chwe' blynedd yn *ticket agent* yn swyddfa y Central R. R., yn y ddinas hon. Bydd cyfeillion y Parch. John Edred Jones, yn llawen oll o glywed am lwyddiant ei fab, ac yn dymuno iddo lwyddiant mawr yn ei alwedigaeth feddygol.

—Dysgwylir i ddau o genadon y Bedyddwyr—y Parch. J. W. Price o Patna, India, a'r Parch. A. G. Jones o China, lanio yn Mhrydain yn fuan.

—Yr wythnos o'r blaen yr oedd Dr. Landels yn canu yn iach ag eglwys y Bedyddwyr yn Regent's Park, i gymeryd gofal eglwys yr enwad yn Dublin Street, Edinburgh. Bu Dr. Landels yn weinidog yn Regent's Park am 28 mlynedd. Yn ystod y tymor hwnw derbyniodd 2074 o aelodau newyddion i'w eglwys, a chyfranodd yr eglwys a'r gynulleidfa yn yr un tymor, ddim llai na 100,000p., at wahanol achosion—y rhan fwyaf at waith yr efengyl i'r tu allan i gylch yr eglwys ei hun. Anrhegwyd y gweinidog â phwrs yn cynwys 210p., ar ei ymadawiad, a phum mlynedd yn ol yr oedd yn derbyn anrheg o 1050p., gan aelodau ei eglwys.

—Mae y Parch. John Evans, brawd Ednyfed, wedi gorphen ei wyth mlynedd yn weinidog ar ei eglwys bresenol yn Westerly, Rhode Island. Rhoddodd yr eglwys gan dollar mewn aur yn ddiweddar iddo, fel cydnabyddiaeth o'u parch tuag ato. Bu yn pregethu i un o brif gynulleidfaoedd Bedyddwyr Brooklyn, Sul Mawrth 25ain.

—Deallwn fod llyfr y Parch. David S. Thomas, Shenandoah, yn dechreu gwerthu yn dda. Pwy bynag a hoffa gael mater da i'w ddarllen, gwnewch frys i anfon am dano.

Digitized by Google

—Mae capel newydd y Bedyddwyr Cymreig New Cambria, Mo., dan do. Mae y frawdoliaeth yn cyfranu yn rhagorol tuag at dalu am dano.

—Nid ydym yn teimlo cyhoeddi gohebiaethau anghydfodus o Rolling Mill Hill, Pa. Gwell i'r frawdoliaeth hono syrthio i drefn yr Enwad a chymeryd penderfyniadau y Gymanfa yn derfynol ar y pwnc.

—Deallwn fod y Parch. Fred Evans, D. D., (Ednyfed), a'r Parch. John Evans, ei frawd, yn bwriadu myned ar ymweliad a Chymru yr haf hwn.

—Gwnaeth "Llywarch" gamsynied wrth ddweyd fod y brawd Joseph Morfryn Lloyd, Dell Roy, O., "yn ddiweddar o Athrofa Llangollen." Ni fu mewn athrofa, ebe ef, ond bu ychydig yn ysgol Dr. Ellis yn y lle hwnw.

—Galwn sylw eglwysi at yr hysbysiad a welir ar yr ail tu dalen o'r amlen gan y brawd John W. Powell, Plymouth, Pa. Drychfeddwl hapus o'i eiddo oedd darparu fel hyn lythyrau gollyngdod byr, cryno, dilol, ac i'r pwrpas, am bris rhesymol, at wasanaeth yr eglwysi. Anfoner ato ef am danynt.

—Ebe y Parch. Owen Davies, Caernarafon, mewn llythyr atom: "Yr oedd yn chwith genyf glywed am farwolaeth y Parch. Morris J. Williams, hen frawd rhagorol ydoedd, a haedda gofiant mewn rhyw ffordd neu gilydd."

—Mae cofiant Dr. Prichard, Llangollen, wedi gwerthu yn rhagorol yn Nghymru. Mae genym ni ychydig gopiau ar law o'r llyfr rhagorol hwn, i'w cael am $1.50 yr un. Lle mae hen aelodau Cefn Mawr a Llangollen? Dyma i chwi drysor gwerth ei gael.

—Gwnaed camsyniad yn hanes cwrdd sefydliad eglwys Peterton, Kan., yn y rhifyn diweddaf. Ar yr 21ain o Ionawr, 1883, ddylasai fod, ac nid yn mis Rhagfyr, 1882.

—Gobeithiwn nad ydyw eglwys Wilkesbarre, Pa., yn myned i golli gwasanaethgarwch y brawd James Evans o'u plith trwy ei symudiad i'w hen gartref yn Minersville, fel mae rhyw rai yn dweyd. Nis gwyddom beth a wnaem ni yno wed'yn gyda dosbarthu y WAWR, canys anhawdd fyddai cael ei gystal.

—Cydymdeimlwn yn fawr a'r Parch. David Evans, Wheatland, Pa., yn ei alar a'i amddifadrwydd o golli ei anwyl briod yn yr angau. Un o ragorolion y ddaear ydoedd hi yn ddiau. Mawr fu ei chroesaw erioed i weinidogion y Gair. Ni fyddai neb yn fwy lletygar na'r chwaer anwyl hon, ac yr oedd y cyfan yn perarogli gan deimlad crefyddol.

—Drwg genym ddeall fod iechyd y Parch. Wm. Edwards, B. A., Pontypool, yn wael. Ar ein cais, anfonodd i ni yn ddiweddar nifer o'i lyfr rhagorol, sef "Ystyriaethau ar Ddiwygiad o'r Testament Cymraeg." Brysier anfon atom am dano, canys nid oes ond nifer fechan ar law—ei bris yw 75c.

—Mae y Parch. Wm. Haddock, Pyle, Morganwg, diweddar o Blaenyffos, ar gyhoeddi "Blaguryn," sef cyfrol o bregethau, traethodau, erthyglau, &c.

—Cofiwn yn gynes at y brawd Wm. E. Davies, Nortonville, Calif., gynt o Dawn, Mo. Diolch i chwi am gofio am danom, ac am eich ffyddlondeb. Yr Arglwydd fo gyda chwi yn y wlad bell yna.

—Mae yr eglwys yn Wilkesbarre wedi rhoddi galwad unfrydol i'r Parch. John R. Jones, Llwynpia, Morganwg, a meddir mae lle i gasglu y cydsynia â'r alwad. Ymddengys ei fod yn bwriadu dyfod ar ymweliad a'r wlad hon yr haf nesaf beth bynag.

—Bydd yn dda gan hen gyfeillion y brawd John R. Jones, Houtzdale, Pa., ddeall ei fod yn dra chysurus gyda ei ddeadell yn y lle. Llefara yn dda am ei bobl, a chymer gysur wrth fod graddau helaeth o lwyddiant ar ei lafur yn eu plith.

—Cofier am y Cwrdd Chwarter yn Kingston, Pa., Ebrill 18, 19. Erfynir yn arbenig ar i Bwyllgor y Gymdeithas Genadol Gartrefol fod yn bresenol.

Digitized by Google

Bydd y gynadledd am 2 o'r gloch y dydd cyntaf.

—Ebe Christopher Bach, Chwefror 18, 1883: "Fy mrawd Owen Griffith, dyma adeg ofnadwy arnom ni yn Pomeroy—

Yr afon fawr yn fôr ar fyd,
A bron a'n boddi oll i gyd;
Rhutbr iâ a thwrw'r afon
Bron a thori llawer calon."

—Anoga Cyhoeddwyr *Seren Cymru* aelodau yr enwad i dderbyn y papyr hwnw i'w tai er mwyn cadw i fyny, yn gystal a meithrin zel dros yr enwad, ac i allu teimlo dyddordeb priodol yn ei symudiadau. Gallem ddefnyddio yr un rhesymau dros dderbyn y WAWR. Yn mha le y mae zel y rhai hyny a lanwant eu tai â phapyrau, ond yn unig papyr eu henwad eu hunain?

—Rhaid fod llawer iawn o *goed* yn ardal Hengoed yn yr hen amser, neu yr oedd yr hen bobl yn hoff iawn o honynt, gan eu bod wedi eu cysylltu ag enw pob lle o bwys sydd yn y gymydogaeth, megys Hengoed, Bargoed, Argoed, Coed-duon, Berthlwyd, Deri, &c. Hengoed y gelwir y rhan isaf o blwyf Gelligaer, Hengoed y gelwir capel y Bedyddwyr, a Hengoed y gelwir safle (*station*) y Rhymney Railway. Y mae yma hen achos gan y Bedyddwyr. Hon ydyw mam-eglwys y rhan fwyaf o eglwysi y Deheudir. Corphorwyd hi yn y flwyddyn 1650.

—Mae y Parch. W. Jones, Abergwaen, Sir Benfro, wedi ymsefydlu ar yr eglwys yn Castle Street, Llundain.

—Gweinidog presenol hen eglwys Cynddelw yn Shirhowy ydyw y Parch. W. Walters (*Talmai*). Mae yn bedyddio llawer, a'r achos yn dra llewyrchus.

—Yn hanes eglwys Pittston a welir yn y rhifyn hwn, dygwyddodd gwall bychan ar tu dalen 12, yn lle "i Cosper's Hall, lle y buasent yn addoli Duw o'r blaen;" darllener, "ac yn myned i Cooper's Hall i addoli Duw, ac yn ystod ei arosiad, ac yn y blaen yn gywir."

—Pan y mae dau neu ragor o ohebiaethau yn cael eu hanfon i'r WAWR o'r un lle am yr un peth gan wahanol bersonau, yr ydym yn rhoi y flaenoriaeth i'r un mwyaf swyddogol. Dim "iws" digio, canys gwneir hyn oll heb na digter na dadl. Gweithredasom yn ol y rheol uchod gyda hanes cyrddau Nanticoke, Pa.

# Barddoniaeth.

## PA LE MAE'R HEN GYFEILLION?

Pa le mae'r hen gyfeillion mad
Roddasant im' gyngorion rhad,
A hyny'n tycio dim?
Siaradent hwy am Grist a'i groes,
A'r modd dylaswn dreulio f' oes,
Ac ambell gerydd llym.

Fy nhad a mam, pa le'r y'ch chwi?
Ai 'r hyd y lle yn mhlith y llu,
Neu yn yr eglwys fach?
Yn moli Duw am fod mor fwyn,
Yn wir fe wrendy ar eich cwyn,
Os yn y ffydd yn iach.

Pa le mae fy chwiorydd i?
A'm brodyr bach, pa le'r y'ch chwi?
Ai canu yn y côr,
Am Iesu Grist a'i farwol glwy',
Cân na fydd diwedd arni mwy,
Yn chwyddo mwy na'r môr?

Wel, mwyach gwell im' leddfu'm cri,
Yn tanio mae'm meddyliau i,
Ac anhawdd tynu 'i ben,
Ond gwelaf drem o oleu draw,
Cawn gwrdd yn llon ac ysgwyd llaw,
Mewn llys tu fewn i'r llen.

*Palmyra, O.* D. E. REES.

## TRWY IESU.

Trwy Iesu y galwyd y dirif blanedau [au,
Sy'n troi yn eu cylchoedd yn gyson trwy'r oes-
Trwy Iesu goleuwyd yr heuliau mawreddog,
Y crogwyd i fyny y bydoedd serenog;
Trwy Iesu y taenwyd yr eang ffurfafen,
Gosodwyd cysawdiau a'r lloer yn y wybren;
Trwy Iesu y rhoddwyd y weilgi i orwedd,
Y ffrwynwyd ei donau ffyrnigawl eu hagwedd;
Trwy Iesu y paentiwyd y blodau teleidion
Ar fronau y dolydd, fel perlau mewn coron;
Trwy Iesu cynelir mewn trefn y cyfanfyd,
Trwy Iesu y rhoddwyd i bob bod ei fywyd.

*Dell Roy.* MORFRYN.

Digitized by Google

## Y "WAWR."

Mae'r WAWR yn awr yn saith mlwydd oed,
Ieuanc, hardd, ac ysgafn droed;
A'i chamrau'n chwim ar hyd ein gwlad,
Yn llawn o ysbryd Iesu mad;
Yn awr Bedyddwyr gwlad a thref
Dowch yn gryno, ac yn gref,
A'ch gwreichion byw i gorff y WAWR,
Er cael trwy hon oleuni mawr.

Pa beth sydd gan Fedyddiwr iach
Er lluchio draw'r llwynogod bach?
Y WAWR yn wir, a'i goleu clir,
Sy'n dal yn lew o blaid y gwir;
Giraldus wiw o Walia Wen
Yw'r dyn sydd ar y WAWR yn ben;
A dylem ei gefnogi'n wir,
Ein Cymrawd hoff, y Cymro pur.

I'r WAWR yr wyf am eilio can,
A deued beirdd o'u bodd yn mlaen,
A ffrwythau'u ffydd;
Llenorion llon a'u llithiau'u llawn
O'r ddwyfol bur bereiddiawl ddawn,
A ddaw yn ddydd.

CRISTOPHER BACH.

## BEDYDD.

Clywch gri y babi, bobol—uwch y dw'r,
Ar fraich y dyn moesol;
Mae ei lais yn dweyd mai lol,
Bedydd i'r anwybodol.

J. M. LLOYD.

# Y Maes Cenadol.

GAN Y PARCH. W. F. DAVIES, NANTICOKE, PA.

### MADAGASCAR.

Saif Madagascar tua thri chan' milldir oddiwrth lanau y Mozambique a'r Sofala; gorwedd yn hollol yn y trofanau; mae yn un o'r prif ynysoedd, yn deilwng o'i chystadlu â Sumatra, Borneo, Java, &c. Mesura 1,030 o filldiroedd o hyd, ac o 225 i 350 o led, a medda arwynebedd o 230,000 milldir ysgwar. Amgylchynir hi ag amryw o ynysoedd llai, y rhai a wasanaethant Madagascar fel y gwna Mauritius, neu Isle of France, Bourbon, neu Reunion, Prydain Fawr a Ffrainc. Rhifa trigolion yr ynys o bedair i bum' miliwn. Mae cadwyn o fynyddoedd yn ymestyn o'r naill ben i'r llall i'r ynys o gyfeiriad N. N. E. i S. S. W. Medda y mynyddoedd hyn uchder gwahanol, rhai o honynt dair, eraill bum' mil o droedfeddi; ond mae un mynydd yn y gadwyn yn estyn ei goryn i fyny i'r uchder o 11,000 o droedfeddi. Mae ffrydiau yn amrywio yn eu maint yn tori drwy y mynyddoedd hyn mewn amryw fanau, ac yn arllwys eu cynwysiad i'r Mozambique Channel. Flynyddoedd yn ol, yr oedd ochrau y gadwyn fynyddoedd hyn yn orchuddiedig â fforestydd o goed mawrion a gwerthfawr; ond erbyn heddyw ceir darnau helaeth wedi eu clirio a'u dwyn dan driniaeth amaethyddol. Fel rheol, mae y tiroedd ar ochrau y mynyddoedd yn hynod gynyrchiol. O odreu y mynyddoedd i lanau y môr mae y tir yn gorsiog, a llynoedd hallt a chroew yn bur aml ynddo. Achosa iselder a natur gorsiog y tir i'r rhan hon o'r ynys fod yn mhell o fod yn lle iach i fyw ynddo. Ar yr ochr ddwyreiniol i'r ynys mae dau neu dri o borthladdoedd da iawn, ac ar yr ochr arall mae amryw o honynt, ond dim un yn ddiogel oddigerth Majunga. Yr afonydd sydd yn arllwys i'r môr Indiaidd. Nid oes yr un o honynt yn nofiadwy ond am o chwech i wyth milldir. Yr afonydd ar y tu arall sydd yn fwy. Gall llestri o faintioli cyffredin nofio deugain milldir ar rai o honynt; ac un, y Betsikooka, sydd yn nofiadwy am 160 milldir.

Mae yr hinsawdd yn Madagascar yn amrywio, fel pob rhan arall o'r byd yma sydd yn meddu ar fynyddoedd. Ar y mynyddoedd ac ar hyd eu hochrau mae yr hinsawdd yn gymedrol ac iachus; ond pan ddeuir i lawr i'r gwastadedd, ac agoshau i lan y môr, mae yn boeth ac afiach, yn debyg fel y mae ar lanau Affrica.

Y Sakalavas, y llwyth cryfaf a mwyaf poblogaidd gynt ar yr ynys, sydd yn cyfansoddi yr ochr orllewinol, a'r Hovas yr ochr ddwyreiniol. Mae y Sakalavas yn parhau y dosbarth blaenaf o holl breswylwyr Madagascar. Teimlant bob amser yn gyfeillgar at Ewropiaid. Meddant ar alluoedd meddyliol cryfion iawn, ac yn rhai sydd yn der-

Digitized by Google

byn addysg gyda gradd helaeth o rwyddineb. Maent hwy yn llawer lluosocach na'r Hovas, ac yn mhob ystyr yn eu blaenori.

Y Betsileos yw y llwyth lleiaf ei rif ar yr ynys. Dynion bychain fel rheol yw y rhai hyn, eto yn hynod am eu bywiogrwydd, ond yn mhell islaw y Sakalavaiaid mewn gallu corphorol ac yni meddyliol.

---

# Gwladyddiaeth y Mis.

GAN Y PARCH. J. EDRED JONES.

Mae'r seithfed-a-deugain Gydgynghorfa wedi darfod ar y 4ydd o Fawrth, ac nid yw gonestrwydd moesol na gwladol yn galaru dim ar ei hol. Y mae llawer o'i gweithrediadau yn arogli yn gryf o lygredigaeth, a bydd ei hanes yn ddirmygedig gan yr oesau dyfodol. Dechreuodd Ty y Cynrychiolwyr yn ddrwg. Yr oedd y moddion amheus a ddefnyddiwyd yn newisiad J. W. Keifer i fod yn llefarydd, yn brawf digonol o'r llygredigaeth oedd i ganlyn. Daeth y bargeinion cywilyddus a ddefnyddiwyd i sicrhau ei etholiad i'r gadair, i'r golwg mor fuan ag y trefnwyd gwahanol bwyllgorau y Ty. Yna cariwyd pethau yn mlaen gyda llaw uchel—yn fwy nodweddol o feistriaid nag o weision. Dichon mai'r mesur a *swampodd* y Gydgynghorfa hon, ac a'i ceidw yn hwyaf mewn cof, ydyw y "River and Harbor Bill," trwy yr hwn y lladratawyd *deunaw-miliwn* o ddoleri, allan o goffrau y llywodraeth! O bob trafodaeth lygredig, hwn yw y mwyaf agored, gwyneb presaidd a beiddgar a gwblhawyd yn Washington er ys blynyddau. Dyma'r gwelltyn a dorodd gefn y camel cyhoeddus. Gwnawd camsyniadau mawrion a dybryd eraill, ond ymddengys mai'r mesur hwn oedd eithafnod campwaith ei llygredigaeth. A mwy na thebyg i hwn fod yn un o'r prif achosion i ddwyn oddiamgylch y chwildroad etholiadol diweddar.

Ond er cymaint ydoedd diffygion a beiau y Gydgynghorfa, dysgodd yr aelodau wersi buddiol cyn yr eisteddiad diweddaf. Yn ystod hwn gwnawd ymdrechion canmoladwy, ac i fesur yn llwyddianus, i adenill peth o'r tir a gollwyd, a gwneyd iawn am gamwri blaenorol. Pasiwyd mesur er diwygio y gwasanaeth gwladol, fel yr hysbyswyd mewn rhifyn yn flaenorol. Ac er [illegible] yw y mesur hwn yn berffaith, yn *gwbl* ellid ddymuno, eto ä yn mhell yn y cyfeiriad yna, yn ddigon pell, feallai, i *ddechreu*. I'w gario allan yn llwyddianus, mae'r Arlywydd Arthur wedi nodi y swyddogion gofynol, yn mhersonau Dorman B. Eaton, N. Y. (awdwr gwreiddiol y mesur), John W. Gregory, Ill. (Bedyddiwr enwog, gyda llaw), a Leroy D. Thoman, Ohio. Y mae'r ddau flaenaf yn Werinwyr, a'r llall yn Ddemocrat. Dywed y rhai sydd yn eu hadnabod nas gellid penodi dynion cymhwysach i'r gwaith na'r ddau flaenaf, ond nid yw Thoman mor adnabyddus. Ai nid Cymro o haniad yw'r boneddwr hwn? Hawdd fuasai ei droi yn *Thomas*, trwy newid dwy lythyren—gosod *s* yn lle *n*. *Interviewch* a *phumpiwch* ef parth ei achyddiaeth, fechgyn Ohio, er gweled a oes genym Gymro ai peidio ar y *Commision*.

Soniais yn fy llythyr blaenorol am y bwriad i ostwng pris cludiad llythyrau cartrefol o 3 i 2 cents yr haner owns. Y mae yn ddeddf yn bresenol, a daw i weithrediad.

Ar foreu Sabboth, Mawrth y 4ydd, wedi dadlu ymladd, anobeithio, ildio, ac ati drachefn, am wythnosau, cafodd mesur y Senedd ar y Tariff ei basio; ac am haner awr wedi dau yr un boreu, cafodd ei arwyddo gan yr Arlywydd! Felly, mesur *dydd Sul* yw, cofiwch; ond y mae yn awr yn ddeddf. Geill y bechgyn yn Washington wneyd yr hyn a fynont ar y Sabboth, a gorfodant ni i'w cadw; ond pe gwnaem ni fargen ag un, neu ragor, o honynt hwy ar y Sabboth, nis gallwn ni eu gorfodi hwy i sefyll ati, os na bydd yn *fanteisiol* iddynt, am y rheswm da fod y bargeinion a wneir ar y *Sabboth* yn ddirym ac yn ddiwerth. Oni ddylai Cristionogion America atal eu gweis-

Digitized by Google

ion i wneyd deddfau ar y Sabboth, a'u rhybuddio, os gwnant, na fyddwn ni dan rwymau i ufuddhau iddynt?

Rhoddodd yr hen Gymro (o waedoliaeth) Dafydd Davis, o Illinois, rybudd yn ddiweddar, y buasai yn ymddiswyddo fel Arlywydd y Senedd, am 12 o'r gloch dydd Sadwrn, Mawrth y 3ydd. Pan ddaeth yr awr gwnaeth hyny, a chafodd y Seneddwr enwog Geo. F. Edmunds, o Vermont, ei ddewis yn union i'r gadair yn ei le. Y dewisiad goreu a ellid wneyd, nid yn unig i gadair y Senedd, ond hefyd yn rhinwedd ei swydd i fod yn Arlywydd y Talaethau Unedig, os dygwydd i Arthur fethu cyflawni dyledswyddau ei swydd, o herwydd afiechyd neu angeu.

Gwneir ymdrech i gael cydnewidiad nwyddau rhwng y wlad hon a Mexico, ar seiliau mwy manteisiol i'r ddwy, er eangu masnach. Mae y cyn-Arlywydd Grant wedi gweithio yn galed yn y cyfeiriad hwn, ac wedi llwyddo i gael gan lywodraeth Mexio i fabwysiadu mesur o amodau cydnewidiol. Dygwyd yr unrhyw o flaen ein Cydgynghorfa ni, ond gohiriwyd gweithrediad arno hyd Rhagfyr nesaf. Er hyny, mae pethau yn myned yn mlaen yn hwylus—rheilffyrdd newyddion ar waith rhwng y ddwy wlad, i a thrwy Mexico, a lluoedd o'n dinasyddion yn symud yno i fyw. Mae hyn yn elfenau cryfion i ddwyn y ddwy yn agosach at eu gilydd, ac yn y diwedd gwneyd y ddwy fferm yn un, o dan Arlywyddiaeth Uncle Sam! Daw hyn oddiamgylch yn ei amser.

Hefyd mae cenadon swyddogol newydd dirio yma o Madagascar, er gweled a ellir cael gwell telerau masnachol rhwng y wlad hono a'r Unol Dalaethau Americanaidd. Oes ryfedd yw hon!

Blwyddyn hynod yw hon hefyd yn symudiad rhai o'r gwladweinwyr mwyaf adnabyddus oddiar y chwareu-fwrdd. Yn mhlith eraill mae'r cyn-lywodraethwyr enwog Marshall Jewell, Conn., Edwin D. Morgan, New York, ac Alexander H. Stephens, Georgia, wedi marw o fewn ychydig ddyddiau i'w gilydd. Yr oedd y tri yn fechgyn tlodion a diddyladwad, ond codasant i binacl enwogrwydd gwladol, trwy'r defnyddiau dirgelaidd hyny sydd yn cyfansoddi gwir fawredd bob amser. Mae'r tri cymeriad hyn yn esiamplau teilwng o efelychiad gan bob bachgen sydd yn penderfynu bod yn ddyn. Ca'r wlad golled ar eu hol. Ddarllenydd, b'le y byddwn ni flwyddyn i heddyw?

---

## HANESION CARTREFOL.

### Cyfarfod Chwarterol

*Perthynol i Gymanfa Fedyddiedig Dwyreinbarth, Pa.*

Cynelir y cyfarfod gyda'r eglwys yn Kingston, dydd Mercher a Iau, Ebrill 18 a'r 19. Y gynadledd i ddechreu am ddau o'r gloch dydd Mercher. Dymunir ar weinidogion y Gymanfa fod yn wyddfodol, ac yn arbenig pwyllgor y Gymdeithas Genadol Arferol.—*J. P. Harris, Ysg.*

### Galwad i Weinidog.

Mae Eglwys Fedyddiedig Salem, Oshkosh, Wis., wedi rhoddi galwad i'r Parch. T. M. Mathews, Hubbard, Ohio. Bydd yn dechreu ar ei lafur y Sabboth cyntaf yn Ebrill. Yr eiddoch.—***Richard Bennett.***

### Apeliad,

*At Eglwysi Cymanfa Bedyddwyr Ohio a Gorllewinbarth Pa.*

Yn Nghymanfa Palmyra, Hydref 21, 22, 1882, derbyniwyd cais oddiwrth y chwaer eglwys yn New Straitsville, O., yn cymhell cael trysorfa er helpu eglwysi gweiniaid. (Gwel y Wawr am Rhagfyr.) Yn ganlynol penodwyd pwyllgor er cymeryd y mater o dan sylw. Dyma gais y pwyllgor at yr eglwysi: "Anwyl Frodyr—Yr ydym trwy hyn yn cymhell yr holl eglwysi perthynol i'r Gymanfa hon i wneyd casgliad egniol o hyn i'r Gymanfa nesaf, a'i anfon i'r Trysorydd, at yr amcan tra theilwng hwn o helpu eglwysi gweiniaid. Byddai trysorfa o'r fath yn anrhydedd i'r enwad, ac yn foddion

Digitized by Google

daioni mawr; arbeda lawer o drafferth yn ein cynadleddau a'n heglwysi gyda dyledion capeli. Am hyny, erfyniwn yn daer ar bob eglwys i wneyd ei rhan yn hyn o beth yn ddioed. Ydwyf dros y Pwyllgor. THOS. E. PARRY."

O. Y.—Cyfeiriad y Trysorydd—Thos. Owens, Esq., 139 Washington Avenue, Allegany City, Pa.

EGLWYS CENTREVILLE, GALLIA CO., O.

Barchus Olygydd, mae yn dda genyf eich hysbysu ein bod wedi cael ychydig o ddiwygiad crefyddol yn ein plith yn ddiweddar. Penderfynodd yr eglwys i gadw cyfarfod diwygiadol am ychydig ddyddiau. Cawsom gyfarfod da iawn, yr oedd yr eglwys mewn undeb ac yn gweithio fel un gwr. Yr ydym yn credu yn sicr fod yr Arglwydd yn ein plith. Cawsom y fraint o fedyddio pump, a rhoddi deheulaw cymdeithas i bedwar ereill; felly mae yn chwanegiad o naw. I Dduw y byddoy diolch.—*D. S. Jones, Thurman, O.*

DIOLCHARWCH.

MR. GOL.—Yr ydym yn dymuno yn ngoleuni awgrymiadol y WAWR, cyflwyno ein diolchgarwch mwyaf diffuant i drigolion Remsen a'r cylchoedd yn gyffredinol, am y *donation* rhagorol a gawsom Ionawr 19eg. Nid oedd yr hin o lawer yn ffafriol; ond ni wnaeth hyny ond ychydig niwed mewn arian, na lleihad yn y cynulliad, canys cafwyd tyrfa luosog, a chyfraniadau haelfrydig, ac nid oes genym reswm am hyn ond ymadroddion y gwr doeth—"Cariad sydd gryf fel angau. . . . Dyfroedd lawer ni allant ddiffoddi cariad, ac afonydd nis boddant." Er yr anhawsderau a gerwinder yr hin, y mae ein *donation* ninau wedi cyrhaedd y swm clodfawr o $217.87. Cawsom anrhegion hefyd ar y *Christmas tree* sydd yn hawlio cydnabyddiaeth, sef *study coat*, a *shawl* fawr ac ardderchog, o'r defnyddiau goreu, i'r ysgrifenydd, yn nghyd ag amryw bethau eraill o werth a defnyddioldeb; a phe rhoddem y cyfan yn nghyd, gwnaent tua dau gant a haner o ddoleri. Gyda golwg ar y Corinthiaid, dywed Paul, ei fod yn "caru yn helaethach, ac yn cael ei garu yn brinach." Barnai yr Apostol y ddau gariad, sef yr eiddo ei hunan a'r eiddynt hwythau, y mae yn ddiamheuol, yn ol y rheol uniawn, "Wrth eu ffrwythau yr adnabyddwch hwynt." Os felly, cydnabyddwn ni yn rhwydd ein bod yn cael ein caru, yn sicr, yn llawn mor helaeth ag yr ydym yn caru.

Am yr holl garedigrwydd a dderbyniasom, derbynied y frawdoliaeth, a phawb a fu yn cydweithredu, ddiolchiadau mwyaf cywir, gwresog a gwirioneddol Mrs. Jones a minau. Ydwyf, eich rhwymedig wasanaethydd yn rhwymau cariad efengyl Iesu Grist—*J. Seth Jones.*

LLYTHYRAU CYMERADWYAETH.

*Mr. Gol.:* Mae tyst-lythyron (*credentials*), ein hanwyl frawd Thomas Reeves, diweddar o Basaleg, Mynwy, D. C., yn hollol foddhaol. Da genym fod y brawd wedi sefydlu yn fugail ar eglwys barchus Providence, ac yn dymuno llwyddiant mawr ar ei lafur yn ei faes newydd, yn y byd newydd. Yr Arglwydd fyddo gydag ef, a'r eglwys yn dal ei freichiau i fyny, yw gweddi,

W. F. DAVIES, *Cym.*
J. P. HARRIS, *Ysg.*

*Nanticoke, Mawrth 14, 1883.*

AUDENRIED, PA.

Yr haf diweddaf, bu yr eglwys a'r gweinidog yn ymdrechol i gynal *tea party* a ffair; yn Hydref cafwyd ymdrechfa am *watch* aur, a Miss Powell, Upper Lehigh, fu yn fuddugol. Rhwng pob peth, gwnaethpwyd oddeutu wyth gant o ddoleri o elw clir at adgyweirio ein capel yr haf nesaf. Dengys hyn weithgarwch. Mae yr achos yn llewyrchus o dan weinidogaeth y brawd Evans—pregetha yn hynaws a derbyniol. Er dydd ei ordeiniad mae 16 wedi eu bedyddio—dychwela afradloniaid. Yn Gowen, 14 milldir oddiyma, mae Mr. Evans wedi dechreu achos newydd. Mae yno frodyr da, Evan Watkins, Lewis Francis, ac eraill. Cynelir ysgol Sul, a phregetha y brawd Evans un Sabboth yn y mis yn gyson.

Digitized by Google

Gwnaeth yr eglwys (dim gwrandawyr) dysteb fach i'w gweinidog Ionawr diweddaf. Un noson ar ol y cwrdd gweddi, yn ddiarwybod iddo, awd at y gorchwyl o gyflwyno pwrs iddo, yn cynwys $54.00. Wedi i'r brawd anwyl Hugh T. Jones estyn yr arian, dyma y chwiorydd yn dod yn mlaen a *groceries* a phethau eraill, yn gwneyd gwerth $65 rhwng pob peth.—*B. D. Evans.*

YOUNGSTOWN, O.

Drwg genym nodi fod methiant Mr. Ayer, yn Chicago, wedi effeithio yn niweidiol iawn yma, gan ei fod y rhanfeddianydd mwyaf yn ngweithiau mawrion Brown, Bonnell & Co., ac yn y melinau hyn y mae mwyafrif cyfansoddiant yr eglwysi Cymreig yn y ddinas. Y mae ychydig o honynt yn gweithio, ond y rhan fwwaf yn segur; ac amryw wedi ymadael, ac eraill eto i fyned; felly y mae yn gwanhau yr eglwysi yn fawr. Cawsom y fraint o glywed amryw ddoniau da yma yn niwedd Chwefror—yr oedd cwrdd tri misol y Bedyddwyr yn Church Hill, a chawsom ninau ddau o'r gweinidogion yma nos Sul, sef y Parchn. D. H. Jones, M. A., Baltimore, a Thomas M. Mathews, Hubbard; a nos Lun y Parchn. D. H. Jones ac A. Morton, Parisville; a nos Fawrth y Parchn. D. Rhoslyn Davis, Pittsburgh, a F. Ednyfed Evans, D. D., Franklin. Yr oeddynt oll mewn hwyl yn coginio danteithion breision yr efengyl, a da oedd i ni fod yno. Yn bresenol yr ydym yn rhagdrefnu i adeiladu capel newydd yn fwy ac yn harddach na'r presenol; hyn a wnawn os na wna sefyllfa y gweithfaoedd ein hatal.—*D. J. Nicholas.*

MINERAL RIDGE, O.

*Ordeinio Gweinidog.*—Ychydig fisoedd yn ol, daeth dyn ieuanc o'r enw Mr. D. W. Jones, diweddar o Gaersalem Newydd, D. C., i'r ardal hon, a phregethodd amryw droion i'r eglwys ar y Ridge. Cyn hir rhoddwyd galwad iddo, a phenodwyd y 14eg o Fawrth, 1883 i'w ordeinio yn weinidog yr eglwys yn y lle. Dewiswyd y Parchn. A. J. Morton a D. Probert i wasanaethu.

Yn y prydnawn, am ddau o'r gloch, ar y dydd crybwylledig, daeth cynulleidfa fawr yn nghyd. Heblaw y ddau weinidog a nodwyd, yr oedd yn bresenol amryw o weinidogion eraill, sef Jenkins, Palmyra; Williams, Church Hill; D. H. Jones, M. A., Baltimore; a Theo. Davies (A.), Mineral Ridge. Neillduwyd y brawd A. J. Morton yn Arweinydd; D. Probert yn Llywydd, a Williams, Church Hill, yn Ysgrifenydd y cyfarfod. Dechreuwyd y cyfarfod trwy ganu emyn; yna darllenodd y brawd Jenkins, Palmyra, yr 2il benod o 2 Timotheus, a gweddiodd yn daer ac yn deimladwy iawn am fendith Ior ar y cyfarfod. Diolchai yn gynes am gyfarfod o'r fath i neillduo brawd da i'r weinidogaeth. Ar ol canu, cafwyd sylwadau agoriadol pwrpasol iawn ar yr amgylchiad gan arweinydd y cyfarfod; yna galwodd ar y Parch. D. Probert i roi y gofyniadau angenrheidiol i'r gweinidog ieuanc. Gwnaeth yr hen dad patriarchaidd sylwadau teimladwy a Christionogol; yna gofynodd i'r eglwys a oedd hi yn rhoddi galwad i'r brawd D. W. Jones i fod yn weinidog iddi. Cynrychiolwyd yr eglwys gan y brawd W. J. Williams, un o'r diaconiaid, yr hwn a atebodd, ei bod. Yna gofynodd i D. W. Jones, a oedd ef yn derbyn yr alwad. Atebodd yntau, ei fod. Darllenodd y brawd Morton lythyrau cymeradwyaeth y brawd Jones, y cyntaf o Caersalem Newydd, dyddiedig Medi 28, 1882. Rhoddai y llythyr hwn y cymeriad uchaf i Mr. Jones fel aelod a Christion da. Arwyddwyd y llythyr gan y Parch. Isaac Thomas, gweinidog. Yr ail, oddiwrth Lywydd Coleg Hwlffordd, lle y bu Mr. Jones yn treulio tair blynedd.

Rhoddai y llythyr hwn uchel ganmoliaeth i Mr. Jones fel myfyriwr diwyd a Christion da. Arwyddwyd y llythyr gan Thos. Davies, D. D., llywydd y Coleg.

Dyddiedig Medi 13, 1882, yr oedd gan Mr. Jones amryw lythyrau eraill oddiwrth weinidogion pwysig yr enwad yn Nghymru, ond barnwyd nad

Digitized by Google

oedd yn angenrheidiol darllen ond y ddau uchod.

Yn nesaf, rhoes y brawd Probert dri o ofyniadau i'r gweinidog ieuanc.

1. Pa fodd y dychwelwyd ef i'r ffydd Gristionogol?

2. Beth ai cymhellodd i bregethu?

3. Pa beth oedd am ei bregethu?

Atebodd y brawd y tri gofyniad uchod yn hynod o foddhaol. Rhodd-odd y brawd Morton rai gofyniadau iddo, a chafodd ei foddloni yn fawr yn yr atebion. Yna urddwyd y brawd Jones trwy arddodiad dwylaw gan Jenkins, Morton, a Probert. Offrym-wyd yr urdd weddi gan y parchus frawd Mr. Probert, a rhoddwyd deheu-law cymdeithas i'r brawd Jones gan Mr. Morton.

Traddodwyd yr anerchiad i'r brawd Jones gan Mr. Probert, oddiwrth y geiriau, "Pregetha y Gair." 2 Tim. 4: 2. Yr oedd yr hen frawd yn ei hwyliau goreu yn traddodi yr anerchiad hwn. Dywedodd yn rhagorol ar ddy-ledswydd gweinidog.

Ar ei ol wele y brawd Morton yn traddodi pregeth i'r eglwys, yr hyn a wnaeth yn rymus ac efengylaidd iawn; y testyn oedd, "Yr hwn yw eglwys y Duw y byw, colofn a sylfaen y gwirion-edd." 1 Tim. 3: 5. Cyhoeddwyd y Parchn. D. H. Jones, M. A., Balti-more, A. J. Morton, a D. Probert i bregethu yn yr hwyr. Dechreuwyd gan y Parch. Theophilus Davies (A.), a phregethodd Mr. Jones, Baltimore, oddiar 2 Pedr 1: 2, a Mr. Morton ar ei ol yn Saesneg, oddiar Dat. 3: 20, ac yn olaf Mr. Probert oddiar Ioan 3: 14. Fel yna cafwyd y cyfarfod or-deinio yr un mwyaf hwylus, teimladwy ac efengylaidd, a'r pregethau yn yr hwyr yn hynod ragorol.

*Church Hill.* W. J. WILLIAMS.

## WATSONTOWN, PA.

MR. GOL.—Diamheu y bydd yn dda genych glywed fod yr Ysbryd Glan, yn ei ddylanwad argyhoeddiadol, yn cael ei dywallt i raddau helaeth yn mysg y gwahanol enwadau yn y lle hwn yn bresenol. Bedyddiwyd pump gan y Parch. Mr. Hauck, y gweinidog, y Sabboth diweddaf, ac y mae amryw eto o flaen yr eglwys yn ymofyn am yr un ragorfraint. Moes eto. Arglwydd, dyro drachefn, yw gweddi yr eglwys. —*D. G. Morris.*

## CYFARFOD TRI-MISOL

*Bedyddwyr Cymreig Ohio a Gorllewin-barth Pennsylvania.*

Cynaliwyd y cyfarfod uchod yn Church Hill, Ohio, Chwef. 24 a'r 25, 1883.

Am 10 o'r gloch y dydd cyntaf, de-chreuwyd y gynadledd drwy weddi gan y brawd Joseph M. Lloyd, Dell Roy. Penderfynwyd a ganlyn:

Ein bod yn rhoddi derbyniad i'r brawd Thomas M. Evans i'n hundeb Cymanfaol ar sail llythyr gollyngdod oddiwrth Gymanfa Seisonig D. C.

Ein bod yn rhoddi gwahoddiad i'r brodyr Jones, Mineral Ridge, a J. M. Lloyd, Dell Roy, i gydeistedd a chyd-weithredu a ni yn y gynadledd.

Ein bod yn rhoddi pob anogaeth i'r brodyr yn Dell Roy i fyned yn mlaen mor fuan ag y byddo modd i sicrhau lle addoliad.

Ein bod yn caniatau rhyddid i'r brawd David Probert i fyned o gylch y Gymanfa i gasglu at gapel Youngs-town, Ohio.

Ein bod yn cymeradwyo i sylw y Gymanfa nesaf yr angenrheidrwydd o sylw neillduol ar y rheol o dderbyn pregethwyr i'n Cyfundeb.

Ein bod yn penodi Ysgrifenydd y Gymanfa i ysgrifeuu llith fechan i'r WAWR i egluro y pwnc parth sicrhau eiddo yr eglwysi.

Ein bod yn penodi y brawd D. D. Grffiths, Church Hill, i ysgrifenu pap-y r ar yr Ysgol Sul erbyn y Cyfarfod Tri-misol nesaf.

*Cyfarfodydd Cyhoeddus*

Nos Wener, am 7 o'r gloch, pregeth-odd y brawd W. R. Jones, Palmyra.

Nos Sadwrn, am 7 o'r gloch, preg-ethodd y brodyr J. M. Lloyd, Dell Roy, a Morddal Evans, Pylmyra.

Boreu Sabboth, am 10 o'r gloch, pregethodd y brodyr D. Jones, Balti-more, a D. Probert, Youngstown.

Digitized by Google

Am 2 o'r gloch, pregethodd y brodyr Jones, Mineral Ridge, a Morton, Parisville.

Am 6 o'r gloch, pregethodd y brodyr Evans, Sharon, a James, Weathersfield.

Yr oedd y cynulliadau yn lluosog, y pregethu yn dda, a'r gwrandawiad yn astud. Teimlwn yn wir ddiolchgar i'r Parch. W. J. Williams, B. Ph. H., a'r eglwys barchus dan ei ofal, am eu caredigrwydd a'u sirioldeb tuag atom yn ystod y cyfarfodydd.—*Thos. Thomas, Ysg.*

### Plymouth, Pa.

Araf mae y gweithfeydd yn myned yma, fel mewn lleoedd eraill—prin haner yr amser. Mae yn felus i'r corph fel hyn, ond ddiwrnod y talu mae yn gas i'r llogell.

Nos Fawrth, Chwefror 27, cynaliodd ysgol Sul y Bedyddwyr gwrdd adroddiadol a chanu, gan blant a phobl ieuainc, a dau neu dri o'r dynion mwyaf profiadol wrth y llyw. Dangosodd y ddau arweinydd ieuainc, Mri. William Williams a Richard Phillips, fedrusrwydd nid bychan y tro cyntaf yn gyhoeddus—y blaenaf gyda'r parti, a'r olaf gyda'r côr. "Melus, moes eto." fechgyn. Yr oedd yr adeilad yn orlawn, a chafodd pawb eu boddloni, a thrysorfa yr ysgol Sabbothol adgyfnerthiad o un dolar ar bymtheg. Da iawn, onide? ac ystyried mai dim ond pum' cent oedd am fyned i mewn i rai mewn oed, a thair cent i blant.

Hefyd, dylem grybwyll am y diwygiad crefyddol sydd yma er dechreu y flwyddyn. Yr ail wythnos yn Ionawr, cynaliwyd cyfarfodydd gweddi bob nos, i'r perwyl o ddeisyf ar ein Tad nefol lwyddo ei waith yn nghanol y blynyddoedd yn yr ardal hon; ac erbyn hyn y mae yn amlwg fod ein gweddiau yn cael eu hateb. Nos Sul, Chwefror 18, yr oedd chwech o wrthgilwyr edifeiriol yn cydwledda â ni wrth fwrdd yr Arglwydd; a llawen genyf ddweyd fod 12 neu ychwaeg yn aros i ddangos eu zel dros y Gwaredwr bendigedig, trwy ei ganlyn yn y bedydd.

Chwefror 15, gwnaeth yr eglwys a'r Parch. D. Rhys Jones, ein bugail yn yr Arglwydd, amod a'u gilydd am flwyddyn eto, fel arfer. Mae Mr. Jones yn cael iechyd rhagorol er's blwyddyn neu ychwaneg, a cha nerth i draethu am anchwiliadwy olud gras. Cewch hanes y bedyddio y tro nesaf.—*John L. Jones.*

### Llythyr Gollyngdod George A. Hague.

Eglwys Iesu Grist o Fedyddwyr Neillduol yn cyfarfod i addoli Duw yn Coalburgh, O., at unrhyw eglwys Fedyddiedig o'r un farn a threfn:

Hyn sydd i'ch hysbysu, fod ein hanwyl frawd Geo. A. Hague yn aelod rheolaidd a ffyddlon, ac yn bregethwr cynorthwyol cymeradwy iawn yn ein plith fel eglwys ac ardalyddion, ac fel y cyfryw yr ydym o galon yn ei gymeradwyo i unrhyw eglwys o Fedyddwyr y bydd iddo ymsefydlu ynddi.

Teimlwn hiraeth a cholled fawr ar ei ol fel brawd, cyfaill, a phregethwr da; a'n dymuniad yw, iddo gael yr un gras a doethineb i fod yn offerynol yn llaw Duw i ymarfer yr un rhinweddau a doethineb er sefydlu ei hun yn mynwes a barn brodyr a chyfeillion yn y lle y dygwydd rhagluniaeth Duw ei arwain, ac y bydd yn ffyddlon a gweithgar fel cynt dros achos ei Waredwr.

Credwn fod y brawd Hague wedi gwneyd cam ag ef ei hun ac â'r achos da wrth beidio derbyn y galwadau a gafodd i'r weinidogaeth, oblegid y mae ynddo elfenau gweinidog da. Gobeithiwn na fydd yn hir cyn y llwydda yn mhob ystyr; a Duw yn rhwydd iddo, yw dymuniad ein calon fel eglwys yn Coalburgh.

Arwyddwyd dros yr eglwys,

John Morgan, } *Diaconiaid.*
Evan Evans, }

*Mawrth* 19, 1883.

### Dawn, Mo.

Mae achos Mab Duw yn y lle hwn yn gwisgo agwedd flodeuog. Mwynheir gweinidogaeth y brawd Richardson bob yn ail Sabboth (yr hwn gyda

Digitized by Google

llaw sydd ar ei seithfed flwyddyn yma), ac arwyddion amlwg fod Duw yn foddlawn i'r undeb rhwng gweinidog ac eglwys. Treulia y brawd ddau Sabboth o'r mis gyda'r Saeson, sef eglwys Utica. Ar hyn o bryd mae yn cynal cyfarfodydd diwygiadol gyda'r Saeson yn Monroe Centre, gyda gradd o lwyddiant. Mae amryw o ymofynwyr am fedydd. Pregethir nos a dydd er's dwy wythnos—llwyddiant i wirionedd Duw.

Bu y Parch Dr. Cefni Parry yma yn ddiweddar am ran o ddwy wythnos, yn casglu at gapel newydd New Cambria, Mo. Mwynhawyd ei weinidogaeth athrylithgar a grymus yn neillduol. Mae y Dr. uwchlaw llythyrau canmoliaeth. Traddododd ddwy ddarlith yma, un ar "Ddwyfol Ysbrydoliaeth y Beibl," a'r llall ar "Ddinystr Lluoedd Gog a Magog," i gynulleidfaoedd lluosog. Darlithoedd mawrion a gwir drymion ydynt, ac y mae ol llafur mawr a delw enaid y Dr. ar y ddwy; byddai yn werth i'r wlad eu clywed. Casglodd yn weddol dda hefyd.

Ar y cyntaf o Fawrth, dydd Gwyl Dewi, cawsom eisteddfod ardderchog yma am y tro cyntaf erioed, a throdd allan yn llwyddiant perffaith. Llywyddwyd y gwahanol bwyllgorau a'r cyfarfodydd gan y boneddigion Joseph A. Lewis, D. W. Lewis, a'r Parch. H. P. Howells, Milwaukee, Wis. Beirniadwyd yn fedrus gan bersonau teilwng. —*Gwawrfab.*

[Ni chaniata gofod i roi y manylion. —GOL.]

### HAMETOWN, O.

*Mawrth 16eg, 1883.*—Mae yn hysbys bellach i ddinasyddion Hametown a'r cylchoedd fod y Parch. Iago W. James wedi rhoddi gofal weinidogaethol yr eglwys Fedyddiedig yn y lle i fyny. Bu Mr. James yn ffyddlon wasanaethydd i'r Meistr mawr am flynyddau fel bugail eglwys a masnachydd, mae iddo enw da gan y frawdoliaeth a'r ardalyddion. O'i ewyllys ei hun a chroes i ewyllys y praidd y rhoddodd i fyny fugeilio. Er mwyn dangos y teimladau ato penderfynodd yr eglwys a chyfeillion yr ardal ei surprisio nos Fercher, y 14eg cyfisol, gwelwyd torf ar eu taith ac i'w anedd yr aethant, yn wyr, gwragedd a phlant; ac wedi i bawb eistedd cawsom ar ddeall fod rhywun wedi cario y glec, felly nid mor *surprising* oedd ag y dymunem wedi'r cwbl. Ond wedi i bawb gael ei anadl, arweiniwyd y parchedig James i ganol yr hall yn ei dy gan Miss Sarah Anne Boden, yna cawsom anerchiad barddonol gan Mr. Evan Morse, un o'r diaconiaid; wedi hyny daeth merch hynaf Mr. E. Morse, sef Mr. Elizabeth Carrick yn y blaen a pwrs hardd o'i gwneuthuriad ei hun, ac yn y pwrs $25 yn aur, yna rhoddodd Mrs. Carrick linyn y pwrs am wddf Mr. James; ac ar darawiad cawsom anerchiad barddonol gan Eilianydd, dilynwyd ef gan y Parch. Mr. James ag araeth lawn o ddiolchgarwch. Dywedodd fod y teimladau da a chynes oedd wedi cael eu dangos yn fwy, mewn gwirionionedd, yn ei olwg na'r aur, ond yr oedd am bawb i ddeall fod ganddo feddwl anarferol o fawr ar yr aur hefyd. Wedi treulio ychydig amser gyda'n gilydd mewn ymddyddanion difyrus ymadawyd.—*Cofnodydd.*

---

### *BEDYDDIWYD—*

Mawrth 15, 1883, beddyddiwyd pedwar o bersonau ar broffes o'u ffydd yn Mab Duw, gan y Parch. R. M. Richardson, yn ngwydd tyrfa fawr o edrychwyr, yn Shoal Creek, mewn cysylltiad a'r eglwys Saesneg yn Monroe Centre, Mo. Cafwyd cyfarfodydd diwygiadol ardderchog yma. Mae amryw eraill o flaen yr eglwys.—*R. M. R.*

*Newburgh, O.*—Mawrth 3, 1883, bedyddiwyd naw ar sail eu ffydd yn Iesu Grist, gan ein parchus weinidog, ac y mae chwech arall yn aros am yr un fraint. Gras Duw fyddo yn eiddo iddynt yn helaeth, fel y gallont barhau yn ffyddlawn hyd y diwedd. Mae genym Ysgol Sul ardderchog yn mhob ystyr, o dan arolygiaeth y brawd David Morgan.—*Brawd.*

---

### *GANWYD—*

Yn Houtzdale, Clearfield Co., Pa., Tachwedd 30, 1882, bachgen braf i John W. a Martha Henry. Gelwir ef William John.

Hawddamor i ti William John,
I fyw yn hir heb gur i'th fron,
A'th fywyd hir fo'n blygiad byw
O un yn rhodio gyda Duw.

Yn Scottdale, Pa., Chwef. 5, 1883, mab i Evan a Hannah Lewis. Gelwir ei enw William.

"Ha! Willie bach, mal rhosyn iach,
A ddaeth i'r byd i fyw,
Lle trig pob drwg rhwng gwen a gwg,
A helbul o bob rhyw.

Pwy wyr nad yw yn meddu rhyw
Athrylith fawr a dawn,
Fel daw yn fardd a llenor hardd,
Neu gerddor enwog iawn.

Digitized by Google

Yn llwybrau Ior ar dir neu for
Arweiniwch ef bob cam—
Yn noniau'r nef, O! dysgwch ef
Weddio'n iaith ei fam.

Rhow'ch iddo ddysg fel daw i fysg
Dysgawdwyr mal rhyw gawr;
A Duw y nef a'i noddo ef,
Trwy ymdaith daear lawr. *J. T. G.*

---

## *PRIODWYD—*

Chwefror 28, 1883, yn nhy Mr. Owen Samuel, Shenandoah, Pa., gan y Parch. D. S. Thomas, Mr. William L. Evans a Miss Martha Hopkins, y ddau o Girardville, Pa.

Mawrth 17, 1883, yn nhy Mr. Jonathan Rogers, gan y Parch. D. S. Thomas, Mr. William J. Morris a Miss Sarah J. Morris, oll o Shenandoah, Pa.

Mawrth 21, 1883, yn ei dy ei hun, yn Shenandoah, Pa., gan y Parch. D. S. Thomas, Mr. James R. Hall a Miss Elizabeth Thomas, y ddau o Lansford, Pa.

Chwef. 25, 1883, yn Houtzdale, Pa., yn nhy Mr. Thomas S. Jones, gan y Parch. J. R. Jones, Mr. Thomas Trezone a Miss Marion Wilson, y ddau o'r lle uchod.

Mawrth 3, 1883, yn Houtzdale, Pa., yn nhy rhieni y priodfab, (Thos. R. Jones a'i briod), gan y Parch. J. R. Jones, Mr. John R. Jones a Miss Margaret Morgans.

Mawrth 5, 1883, yn Houtzdale, Pa., yn nhy Mr. John Gould, gan y Parch. J. R. Jones, Mr. Henry Morgan a Miss Lizzie Armstrong, y ddau o'r lle uchod.

Ion. 1, 1883, yn nhy rhieni y briodasferch, Mr. a Mrs. D. P. Williams, Dawn, Mo., gan y Parch. R. M. Richardson, Mr. Mart C. Rice a Miss Maggie E. Williams, y ddau o'r lle uchod. Bendith a'u dilyno.

Ion. 3, 1883, yn nhy Mr. a Mrs. Greene, Sherman, Chilicothe, Mo., gan y Parch. R. M. Richardson, Mr. Benjamin E. Davies a Miss Lizzie M. Tudor. Treuliwyd amser hapus mewn dymuniadau da i'r par ieuanc.

Ion. 9, 1883, yn nhy rhieni y briodasferch, Mr. a Mrs. Wm. C. Lewis, Dawn, Mo., gan y Parch. R. M. Richardson, Mr. William E. Rowlands (mab Dr. Rowlands) a Miss Emily A. Lewis. Llwyddiant iddynt.

---

## *BU FARW—*

### MR. THOMAS A. JENKINS.

Medi 21, 1882, cymerodd amgylchiad gwir alarus le yn Mahanoy City, Pa., drwy syrthiad darn o lo ar Thomas A. Jenkins, nes y bu farw yn mhen pedwar diwrnod, ar ol dyoddef poenau arteithiol. Yr oedd Mr. Jenkins yn ymwybodol o'i gyflwr o'r dechreu, ond meddianodd ei hun yn dda, a bu yn ei synwyr hyd y diwedd Ychydig oriau cyn marw dymunodd am gael yr ystafell yn unig i'r teulu, sef ei briod hoff, ei chwaer yn-nghyfraith a'i ddau frawd, yna cyfarchodd ei frodyr fel hyn: "Wel, fechgyn, dyma fi yn eich gadael chwi, a digon tebyg eich bod chwi yn deall hyn hefyd. Parchwch fy anwyl briod, gan ei bod yn cael ei gadael mor unig" Yna dymunodd am gael cydeistedd â hwynt unwaith eto wrth y bwrdd yn ei le arferol, "Oblegid," meddai, "dyma y tro diweddaf." Wedi bod wrth y bwrdd am ychydig fynydau, awd ag ef drachefn i'r gwely, ac yr oedd ei gyfarchiadau i bob un o'r teulu yn wir effeithiol a thoddedig—ymaflodd yn eu dwylaw gan ffarwelio a hwynt, a dymuno cael eu cyfarfod yn y nefoedd. Dywedai ei fod ef yn myned at yr Iesu anwyl, at ei dad ac at ei blant bychain oeddynt wedi ei flaenu. Dymunodd ar ei frodyr ddychwelyd at grefydd; "Yr oedd ef," meddai, "wedi gweddio llawer drostynt, ac yr oedd yr Iesu yn estyn ei law atynt—llaw wahanol iawn i'w law oeraidd ef." Cyfarchodd ei anwyl briod, gan ddywedyd, "Yr wyf yn eich gadael yn yr anial am dipyn bach; daliwch eich gafael yn yr Iesu nes y cawn gydgyfarfod yn y man lle nad oes damwain nac angau i ysgaru anwyliaid oddiwrth eu gilydd. Yr wyf yn teimlo fod y breichiau tragywyddol tanaf, fod y graig dan fy nhraed, a fy mod yn llaw yr Iesu, yr hwn sydd yn abl i gadw y rhai a ymddiriedant ynddo." Mor ddymunol yw meddu egwyddor grefyddol. Cafodd Mr. Jenkins angladd parchus, pryd y gweinyddwyd gan y Parchn. J. Griffiths, Ashland, ac H. Keyser, Mahanoy City. Genedigol oedd o Nant-y-Bwch, Sir Frycheiniog. Symudodd ef a'i rieni yn 1860 i Rymni; a gwnaeth broffes o'i ffydd yn Mab Duw yr un flwyddyn. Bedyddiwyd ef gan y Parch. D. R. Jones, (Plymouth yn bresenol). Ymunodd mewn priodas yn Awst, 1872; yr enwog Mathetes yn gweinyddu. Daeth ef a'i briod hawddgar i'r wlad hon yn Awst, 1881, gan ymsefydlu yn Mahanoy City, lle yr oedd dau o frodyr yr ymadawedig yn byw. Yr oedd elfenau rhagorol yn y brawd. Yr oedd ganddo gymeradwyaeth dda yn dyfod o Gymru, a chyflwynodd ei lythyr i eglwys Fedyddiedig Mahanoy, lle yr arferid meddwl llawer iawn am dano. Mae ei fam oedranus yn byw yn Ohio, gydag amryw berthynasau eraill. Yr Arglwydd a ddyddano ei weddw alarus, ei fam drallodus, a'r holl berthynasau, ac a'u cynorthwya i ymgymodi a'r amgylchiad chwerw, oblegid yr oedd yn gydmarol ieuanc, sef 34 mlwydd oed. Heddwch i'w lwch. W. D. THOMAS.

---

—Mae'r frawdoliaeth fechan ar Mount Carmel, Pa., yn ymdrechu yn galed i fyw.

Digitized by Google

# Y WAWR.

CYF. VIII.] MAI, 1883. [RHIF. 2.

## Erthyglau Arweiniol.

### Y SET FAWR.

O! 'r hen sêt fawr anwyl, yn mha le yr wyt ti? Gwelais di yn enwog gynt, a phawb o'th amgylch yn edrych gyda pharch arnat! Dy wyr fyddent yn benwyn, yn grymedig, yn batriarchaidd; ond yn mha le maent yn awr? Maent wedi myned ymaith, a'u lle nid edwyn mo honynt mwy—yn wir, eu lle ni chaed mwyach. Dyna sêt fawr capel fy ieuenctyd ger fy mron. O dan y pwlpud dacw y gadair freichiau henafol, a'i hystlysau a'i breichiau yn hoeliedig wrth sylfeini yr areithfa (a'r fath ystyr foesol oedd i'r ffaith), y mae fel yn ategu y weinidogaeth, ac yn sefyll yn agos fel amddiffynydd y ffydd a roddwyd un waith i'r saint. Yn deilwng o'r lle dacw wr Abrahamaidd yr olwg arno yn cyfeirio ei gamrau ar bwys ei ffon at yr hen gadair, ac yn eistedd ynddi. Mae duwioldeb yn ymdywynu yn ei wedd. Boreu Sul ydyw. Yn mhen deng mynyd dechreua y cwrdd cyhoeddus. Mae yr henaduriaid parchus yn llenwi y sêt fawr sydd yn ymestyn at ganol y capel o gyfeiriad y pwlpud. Mae y llwythau yn dod yn nghyd yn brysur. Llawer o henafgwyr da eu gair—colofnau yr achos ydynt. Maent yn cario awyrgylch grefyddol gyda hwynt; ymsymuda llawer o honynt yn wargrymedig wrth eu ffyn. Mae prydferthwch yr Arglwydd eu Duw arnynt, a llewyrchiadau ei wyneb yn tywynu arnynt. Mae y sêt fawr yn awr bron yn llawn; ac O! mor hardd yw yr olwg arni, gyda ei dodrefn o ddynion Duw. Adnabyddir y bobl yna gan yr holl gynulleidfa fel dynion duwiol. A pha ryfedd? Y maent wedi bod gyda yr achos am flynyddau lawer bellach; ac nid gydag ef rywfodd ychwaith, ond yn selog ac ymdrechol. Gwelodd amryw o honynt lawer storom gref yn curo ar yr eglwys, ond ni lithrodd eu troed, ac ni thripiodd eu cerddediad. Mae mawrfrydigrwydd crefydd Mab Duw yn argraffedig arnynt. Dyma feini caboledig ar gael eu cymeryd i'r adeilad nefol. Diolch am waith gras. Mae Seion yn deg fel y lleuad, ac yn ofnadwy fel llu banerog. A ydych yn amheu hyn? Os ydych, edrychwch i gymydogaeth y sêt fawr hon. O! 'r hen sêt fawr anwyl, meddwyf, eto mae arnaf hiraeth calon ar dy ol.

Ar y sêt fawr mae llygaid y pregeth-

Digitized by Google

wr yn disgyn gyntaf. Mae ei olygon yn cyfeirio at y fan mor naturiol ag y pwyntia nodwydd y cwmpawd at seren y Gogledd. Gwyr y pregethwr fod henaduriaid y sêt fawr yn dysgwyl wrtho. Mae ganddo yntau efengyl yn llawn gras a gwirionedd ar eu cyfer. Nid yw y pregethwr anwyl yn saethu dros eu penau. A ddywedais "y pregethwr anwyl?" Do; a phwy rwgnacha? Anwyl ydoedd, ac anwyl ei genadwri! Eneinia ei bregeth â dagrau cariad. Mae yr eneiniad oddiwrth y Sanctaidd Hwnw hefyd yn disgyn ar y sêt fawr. Mae y pererinion yn cael nerth i fyned yn mlaen tua phen eu taith. O! gwel wyneb yr hen frawd acw yn ysgafnhau yr olwg arno. Y mae neithdar oddi fry yn ymliwio ei ardrem. Beth, ai nid oes gwlith a gwlaw o'r nefoedd wen ei hunan yn newid gwedd pawb? Mae Amenau aml o'r iawn ryw i'w clywed, canys y maent yn eneiniedig gan rin efengyl hedd. "Amen, amen, amen," ebai yr hen William Shon; yr amenau hyn a ddilynant eu gilydd yn brysur, brysur, fel gwreichion cariad oddiar aelwydydd calonau cynes gan gariad at Iesu. A oes arnoch eisiau dagrau yn mhlith pobl wrth wrando yr efengyl? Os felly, maent i'w cael yma. Ond gwelwch, bobl bach, mai nid twrw gwagsaw ydyw yr hwyl yma; nid rhywbeth yn cael ei gymell gan nerth anorchfygol hyawdledd ddynol. Nage, nage, ond dylanwad pur yr efengyl, yn dod at y bobl, nid mewn godidawgrwydd ymadrodd, neu ddoethineb ddynol, ond yn nerth Duw ei hunan. Gwelwch, mewn difrif, mor seraphaidd mae yr hen frawd acw yn edrych yn nghornel bellaf y sêt fawr. Clyw mor bêr ei lais pan yn dweyd "Diolch iddo byth; byth, byth! Iesu mawr, diolch i ti. Pan oeddym ni mewn carchar tywyll du, rhoist i ni oleuni." Ond mae y teimlad yn rhy ddwys a drylliog i ddweyd ychwaneg. Rhaid i'r storom gilio, i'r haulwen eto ddod i'r golwg. Mae ffwrnes y weinidogaeth yn myned yn boethach, ac y mae yr eirias danllyd yn ymdori dros yr holl gynulleidfa fawr, wrandawgar. Ond daliwch sylw ar lwybr y dylanwad o'r dechreu hyd yn awr. Yn gyntaf mai y pregethwr yn efengylwr tanbaid, yn Buritanaidd ei athrawiaeth, yn ddilwgr ei brofiad, yn dduwiol wirioneddol, yn llawn yni at ei waith, ac yn rhywbeth mwy nag y gellir ei esbonio. Oni ddywedais y syllai y pregethwr yn gyntaf oll ar y sêt fawr a'i dodrefn hardd? Dywedais. Ond daliwch sylw; ni safai yno. Fel y gwresogai efe yr hen dadau yn y sêt fawr (yr hyn ni chymerai amser maith), ymledaenai y ffrydlif ymgronol dros yr ymylon, i'r sêt bedair-ongl helaeth agosaf, yna ymlenwai yr effaith dda o'r naill sêt i'r llall, fel y llenwa dwfr llifeiriol lwyau cafnog olwyn y felin nes y mae y cwbl yn cyd-symud.

Wrth fyned o'r oedfa cipdrema llawer un yn edmygawl ar aml i breswylydd y sêt fawr fel y cyd-gerddid tuag adref. Gwelir crefyddwr ifanc yn agoshau at yr hen brif ddiacon oedd yn y gadair freichiau o dan y pwlpud, gan ei gyfarch yn barchus, ac yn canmol y cwrdd, pryd y cydunid yn y dystiolaeth, a derbynia yr ifanc ryw awgrym newydd am y bywyd Cristionogol. *Dear me*, onid yw y meusydd yn ymddangos yn harddach nag arfer ar y dydd Sul hwn?

Safwn yma a gofynwn, onid yw y dylanwad bendigaid hwn i'w briodoli i raddau helaeth iawn, os nid yn benaf, i ddylanwad y sêt fawr a'r bobl a eis-

Digitized by Google

teddent yno? Credwyf ei fod. Yn ddiddadl yno mae nerth yr eglwys. Dyma lle cewch y sylfaen i adeiladu arni y gymdeithas Gristionogol. Wrth gwrs Iesu Grist yw sylfaen yr eglwys fel cyfangorph; siarad yr ydym yn awr am yr offerynau, ac am y cymalau cysylltiol. Fel mae nerth yr olwyn yn canol-bwyntio yn y fôth, felly y mae nerth cymdeithasol yr eglwys yn ymddibynu ar y sêt fawr. Gwelaf fy mod yn ddiarwybod yn siarad am y sêt fawr fel peth sydd yn bodoli, ond druan o honwyf, yr wyf yn llefaru am yr hyn *nad yw* yn bodoli. Bu unwaith yn allu cryf, fel y nodais; ond yn awr, modd bynag, y mae yn mhlith y pethau a fu. Mae y "ffasiynau newydd" a'r "planiau newyddion," a'r "*specifications*," wedi dod fel llu arfog, gan ddinystrio yr hen sêt fawr anwyl, a lladd eu gwyr rhagorol!

Beth a gawn yn bresenol? Beth yw sefyllfa pethau yr awrhon? O flaen y pregethwr, neu yn bur agos at y fan y byddai y sêt fawr ceir rhyw hen organ ddiflas, ("melin ganu," ebe un hen chwaer), yn rhygnu i'ch clustiau seiniau annynol. Neu, os na fydd yno organ feginawl, aml-dafodawg, ceir seti culion, gweigion, a'r bobl yn llenwi seti yr ochrau a'r pen draw, fel pe am ochelyd cael dylanwadu dim arnynt gan y weinidogaeth. (O, druan o'r pregethwr!) Yn mhlith y bobl yn y manau a nodwyd gwelir y diaconiaid (dau neu dri) yma a thraw yn yswatio tu ol i ysgwyddau a phenau uwch efallai na'r eiddynt hwy eu hunain. Sut mae modd cyneu tân yn y modd hwn? A welsoch chwi rywun yn ceisio dechreu tân trwy wasgaru y marwor yma a thraw ar hyd yr aelwyd, neu yn mha le bynag y gwneir ef? Dim o'r fath. Wrth ddechreu tân oni phentyrir y marwor?—oni chesglir y defnyddiau parotaf i dân at eu gilydd? Yna pentyrir defnyddiau llai parod, y rhai yn y man a wneir yn eirias gan y marwor gwynias a'r tanwydd taniog blaenorol. Mae gormod ô fwmian cysgu yn ein seti. Mae gormod o ddarllen emynau, a throi dalenau llyfrau eraill yn y seti. Mae gormod o edrych â llygaid main heibio ymyl y sêt. Mae gormod o edrych trwy ddellt ffenestri y bysedd yn nghyfeiriad y pregethwr. Mewn gair, mae eisiau yr hen sêt fawr yn ol.—Gwyr y "*specifications*," gadewch i ni gael y sêt fawr. 'Does dim eisiau tynu y capel i lawr; 'does dim eisiau cael capel newydd. Symuder dwy neu dair o'r hen seti gweigion yna agosaf at y pwlpud, a gadewch i ni gael sêt fawr *noble* yn eu lle. Peidiwch a grwgnach fod y capel yn cael cam, a'r seti eu dryllio trwy hyny. Nid oes neb yn grwgnach felly pan y torir y seti yn ddidrugaredd i gael lle i'r organ! Os ydym am gael llewyrch ar ein heglwysi, yn wir rhaid i ni gael yr hen sêt fawr yn ol a'i dodrefn o ddynion da gyda hi; yn lle unigolion gwasgaredig yma a thraw. Os dichon y bydd pethau ar y ffordd i ddwyn hyn oddiamgylch yn fuan, megys y drysorfa yn wag, neu yn anhawdd cael saer i wneyd y gwaith, deued dynion goreu yr eglwys yn nes i ffrynt y pwlpud. Gwyddom na raid i *lawer* o honoch ddim teimlo yn *shy*, canys y mae i chwi air da. Cewch weled cyfnewidiad buan er gwell.

BEREAD.

---

— Y dydd Sabboth sydd ynys dawel yn nghanol môr tymhestlog bywyd.

—Nac anghofied y fam yn nghyfraith y bu hithau unwaith yn ferch yn nghyfraith.

—Nid anhawdd yw cyfarfod a siaradwyr mawrion ac â meddylwyr bychain yn yr un personau.

Digitized by Google

## CYNYDD MEWN GRASUSAU CREFYDDOL.

GAN Y PARCH. JOHN DAVIES BOOTLE, LIVERPOOL.

[Parhad o rifyn Mawrth.]

(4.) Amynedd. Ychydig iawn a ellir ei wneyd heb amynedd yn y byd hwn. Rhaid i ni wrth amynedd yma, "Yn eich amynedd meddienwch eich eneidiau." Os na byddwn yn amyneddgar, ni a gollwn ein hysbryd, ac a awn i dymerau drwg ac aflywodraethus. Rhaid cael amynedd i redeg yr yrfa a osodwyd o'n blaen ni; amynedd i ddyoddef gwawd a dirmyg ein gelynion, amynedd heb ymollwng o dan geryddol law Duw, ac amynedd i ddysgwyl ei amser ef am fywyd a dedwyddwch diddarfod yn y nef.

(5.) Duwioldeb, neu dduwiol-debyg. Mae y gair hwn yn arwyddo bod a wnelom ni a Duw; ac yn cynwys bod ein bywyd ni yn fywyd i'w ogoneddu ef. Heb dduwioldeb nis gallwn ni ddim rhyngu ei fodd ef; bod yn debyg iddo, na byw er anrhydedd i'w enw mawr a bendigedig. O! y mae duwioldeb yn anhebgorol angenrheidiol er byw yn ol ein proffes, gogoneddu ei enw ef, a bod yn gymeradwy ganddo ef. Os na wnawn ni chwanegu duwioldeb at ein ffydd, ni chawn ni ddim etifeddu ei nefoedd ef yn y diwedd, na threulio tragywyddoldeb gyda Iesu yn nhy ei Dad. "Canys heb sancteiddrwydd ni chaiff neb weled yr Arglwydd.

(6.) Caredigrwydd brawdol. Bod yn garedig i deulu y ffydd ar gyfrif eu perthynas â Christ, a'u tebygolrwydd iddo. Ond sut y mae bod yn garedig i deulu y ffydd? Ai trwy gyfranu at eu hangenion mewn angen a thlodi yn unig? Nagê. Nid yw hyny ond un rhan o'r caredigrwydd brawdol. Mae y caredigrwydd brawdol yma yn cynwys argyhoeddi brawd neu chwaer o'u bai, eu ceryddu am eu trosedd, ac ymdrechu eu diwygio a'u dwyn i'w lle. Peidio dynoethi eu ffaeleddau, ond eu cuddio mewn cariad, a chydymdeimlo a hwynt yn eu gofid a'u trallod, yn gystal a'u cynorthwyo mewn angen a thlodi. "Dygwch feichiau eich gilydd, ac felly y cyflawnwch gyfraith Crist." "Cerwch eich gilydd o galon bur yn helaeth." "Cariad a guddia luaws o bechodau." "Oblegid hon yw y genadwri a glywsoch o'r dechreuad, bod i ni garu ein gilydd. Nid fel Cain, yr hwn oedd o'r drwg, ac a laddodd ei frawd. A phaham y lladdodd ef? Oblegid fod ei weithredoedd ef yn ddrwg, a'r eiddo ei frawd yn dda." Nis gall yr hwn sydd yn cashau ei frawd duwiol, ac yn atal ei dosturi oddiwrtho, fod yn meddu ar fywyd tragywyddol, nac ar gariad Duw. "Eithr yr hwn sydd ganddo dda y byd hwn, ac a welo ei frawd mewn eisiau, ac a gauo ei dosturi oddiwrtho, pa fodd y mae cariad Duw yn aros ynddo ef?" Gwneyd i'n brodyr a'n chwiorydd (sef i'r rhai sydd yn gwisgo delw Crist, ac yn byw yn debyg iddo ef), fel y dymunem ni iddynt hwy wneyd i ni ydyw y caredigrwydd brawdol yma.

(7.) Cariad. Dyma rywbeth i'r byd. Mae y cariad yma yn helaethach ei derfynau na'r caredigrwydd brawdol. Cyfyngir y caredigrwydd brawdol i deulu'r ffydd yn unig; ond y mae y cariad yma yn cofleidio holl dylwythau Adda, fel gwrthddrychau cariad Duw. "Carodd Duw y byd." Rhaid i ninau hefyd garu y byd, a gwneyd cymaint a allwn i enill y byd i garu Duw, ac i feddwl am ei dragywyddol dynged. Dyna'r grasusau! A chwanegu y rhai yna at ein ffydd yw ein gwaith ni fel Cristionog-

Digitized by Google

ion yn y byd hwn, er gwneuthur ein galwedigaeth a'n hetholedigaeth yn sicr.

2. Ar y diwydrwydd angenrheidiol er gwneyd y gwaith hwn, "cwbl ddiwydrwydd." Bod o ddifrif gyda'r gwaith, ac ymdrechu ei gyflawni a'r holl egni. Nid oes dim amser i'w golli; oblegid,

> "Mae'r gwaith yn fawr a'r dydd yn myn'd,
> Nesâu mae terfyn oes;
> Gofalwn, ddynion, wneyd ein gwaith,
> Cyn del trag'wyddol nos."

Gellid meddwl wrth edrych ar lawer yn ceisio crefydda, nad yw ond peth ysgafn a dibwys i wneyd y gwaith mawr hwn. Ond dywedwch chwi a fynoch chwi, llaw y diwyd a ddaw i ben ag ef, a'r ffyddlawn a goronir yn y diwedd. "Yr ydys yn treisio teyrnas nefoedd, a threiswyr sydd yn ei chipio hi." Wn i ddim sut y mae llawer o honom yn meddwl ymdaraw ar wely angau, a cher bron gorseddfainc barn, ar ol yr holl ddiffrwythdra a'r diofalwch crefyddol yma gyda moddion gras, a'r pethau a berthynant i'n hiachawdwriaeth dragywyddol; mae yn rhaid y bydd hi yn sobr iawn arnom. Os mynwn ni wely angau esmwyth, a chydwybod ddirwystr dydd y farn olaf, cofiwn fod yn ddiwyd yn awr i wneuthur ein galwedigaeth a'n hetholedigaeth yn sicr—

> "Ac felly llawen fyddwn
> Yn nyfroedd oer y glyn,
> Ac wrth roi'n cyfri' fyny
> I'r gwr fu ar y bryn."

III. *Y rhagorfreintiau cysylltiedig a gwneyd y gwaith mawr a phwysig hwn.*—Mae y diwyd a'r ffyddlawn gyda'r gwaith hwn yn

1. Yn cyrhaedd enwogrwydd mawr mewn duwioldeb, ac enw mawr yn mhlith y rhai a sancteiddiwyd. A pheth mawr iawn yw bod yn enwog mewn duwioldeb ac yn gymeradwy gyda Duw. Dynion felly oedd y prophwydi a'r apostolion, y merthyron a'r tadau enwog gynt, a holl ragorolion y ddaear y dyddiau hyn. Nis gallant lai na bod felly, oblegid y maent oll yn gwisgo delw'r Iesu, ac yn gyfoethog mewn rhinweddau a gweithredoedd da; "Canys os yw y pethau hyn genych, ac yn aml a hwynt, y maent yn peri na byddoch na segur na diffrwyth yn ngwybodaeth ein Harglwydd Iesu Grist." Iaith y bobl hyn ydyw, "Er gwerth y prynwyd ni, am hyny gogoneddwn Dduw yn ein cyrph, ac yn ein heneidiau." A thrwy fod yn ddiwyd i wneuthur eu galwedigaeth a'u hetholedigaeth yn sicr, y maent yn cynyddu mewn gras a rhinwedd, ac yn dyfod yn enwog yn mhlith pobl yr Arglwydd.

2. Y maent yn cael golygiadau cywir a goleu am natur a gofynion gwir grefydd, ac yn cael eu gwneyd yn ddynion defnyddiol a gwerthfawr yn y byd. Dynion dioglyd, dall, a byr eu golwg yw y rhai sydd yn amddifad o'r grasusau rhagorol hyn. "Oblegid yr hwn nad yw y rhai hyn ganddo, dall ydyw, ac heb weled yn mhell, ac wedi gollwng dros gof ei lanhau oddiwrth ei bechodau gynt." A beth o werth yd yw dynion fel yna gyda chrefydd? Maent yn anghofio eu proffes, yn syrthio i afaelion diogi a difaterwch ysbrydol, ac yn colli eu golwg yn fuan ar y wobr. Un rhyfedd yw pechod i ddallu meddyliau dynion, a'u rhwymo a chadwynau anwybodaeth. Ond am y diwyd a'r gweithgar, y mae efe yn cofio o hyd ei rwymau i'r Gwaredwr, yn cadw ei olwg yn barhaus ar daledigaeth y gobrwy, ac yn cael golygiadau eglur am natur a dyledswyddau crefydd Crist. Dyma wyr y profiadau uchel. Gwyr y dynion hyn rywbeth am wreiddyn y mater,

Digitized by Google

am y rhan dda, ac am ddysgwyl am y gobaith gwynfydedig, ac ymddangosiad gogoniant y Duw mawr, ein Hachubwr Iesu Grist, yr hwn a'i rhoddes ei hun drosom i'n prynu ni oddiwrth bob anwiredd, ac i'n puro ni iddo ei hun yn bobl briodol, awyddus i weithredoedd da."

3. Y maent yn cyrhaedd sicrwydd gyda golwg ar ddiogelwch eu cyflwr, neu brawfion mewnol eu bod yn blant i Dduw, ac o nifer ei etholedigion ef. Ac O! 'r fath fraint fawr yw hona! Os cawn ni, ddynion anwyl, etifeddu y fath fraint werthfawr, ni a fyddwn yn alluog i orfoleddu mewn gorthrymderau, i lawenhau mewn trallodau, ac i ganu ar wely angau, gyn ddweyd :

"Dan fantell cyfiawnder mi lechaf
Er gwaethaf euogrwydd i gyd,
Er gwaethaf holl ymdrech maleis ddrwg
Cyhuddwyr ofnadwy eu llid;
Er gwaethaf holl danllyd bicellau
Galluoedd ellyllon yn nghyd,
Mi gana'n nghyfiawnder fy Iesu,
Nes dianc i lawer gwell byd."

Gwyn eu byd y rhai sydd yn gwybod fod yr Arglwydd yn Dduw iddynt, ac yn teimlo eu bod hwy yn blant iddo ef. O, ie—

"Gwyn ei fyd y dyn sy'n gwybod
Faddeu'i bechod a'i holl fai,
Duw yn Nghrist yn briod iddo,
Dyna'r dyn all lawenhau,
Pwy all ddamnio, &c.,
'R sawl fo'r Arglwydd yn ryddhau?"

[I'w orphen yn y nesaf.]

---

## DIYSTYRU Y WEINIDOGAETH!

MR. GOL.—Y mae y WAWR yn gyhoeddiad rhagorol. Mae yn anrhydedd i'r enwad y perthyna iddo, ac yn gwir deilyngu y gefnogaeth fwyaf gwresog a ddichon holl aelodau yr enwad roddi iddo. Yr wyf yn credu mai eich amcan didwyll chwi yw, i'r WAWR fod yn "amddiffyn i'r efengyl;" a thrwy ei hamddiffyn hi, amddiffyn hefyd y weinidogaeth efengylaidd. Er hyny, yr ydych, rywfodd, wedi caniatau yn rhifyn Chwefror, i nodiadau gael ymddangos ar y weinidogaeth, y rhai nas gallaf gredu fod eich pen na'ch calon yn gymeradwyo. Ac, fel un o ddarllenwyr eich misolyn, yr wyf yn crefu am le i ddatgan fy anghymeradwyaeth fwyaf penderfynol o'r syniadau dirmygus, cableddus, ac anghristionogol, canlynol :

Dywed rhyw un yn y WAWR am Chwefror "mai pregethwr *No. 2* yw yr ysgol Sul ; ond wrth ystyried *meinder y weinidogaeth bwlpudaidd* lawer pryd, mae tuedd gref i osod *cypher* ar ei chyfer, a *No. 1* am yr ysgol Sul."

Nid wyf, ar un tir, yn dibrisio y gwasanaeth mawr mae'r ysgol Sul wedi ac yn wneyd, yn nghyfraniad gwybodaeth Ysgrythyrol, a'i hofferyngarwch yn nychweliad miloedd o ieuenctyd at y Gwaredwr, oblegid mae ei graddedigion yn llu mawr, ac i'w cael yn mhob rhan o'r byd, yn llenwi y swyddi mwyaf anrhydeddus a phwysig, yn grefyddol a gwladol, heb son am dorf sydd wedi croesi yr afon adref,

"At ysgolheigion pur, digoll,
Y rhai sy'n treiddio mewn i holl
Ddirgelion cyngor Duw."

Na, mae yn anmhosibl dweyd yn rhy barchus am yr ysgol Sul, a'r lles mawr mae wedi wneyd yn barod. Nid hyn sydd genyf yn erbyn syniadau eich gohebydd. Canmoled a fyno ar yr ysgol Sul—goreu po fwyaf—a byddaf yn bleidiol iddo yn hyny ; ond pan mae yn taflu sarhad ar weinidogaeth y cymod, byddaf yn wrthwynebol iddo, pwy bynag a fyddo. Nid yw yr ysgol Sul yn gofyn i neb ddirmygu y weinidogaeth er ei chanmol hi. Onid yw y ddwy yn cydweithio yn odidog i'r un

Digitized by Google

amcan mawr, pan gânt chwareu teg? Ac onid pregethu yr efengyl yw y moddion mawr—yn wir, y prif foddion a ordeiniodd Crist i ddychwelyd y byd ato ei hun? Y comisiwn yw, "Ewch i'r holl fyd, a phregethwch yr efengyl i bob creadur," &c. Pregethu Crist wnaeth Pedr ar ddydd y Pentecost, ac wedi hyny. Pregethu wnai yr apostolion eraill, a rhai o'r dysgyblion. Cysegrodd Paul ei fywyd, ar ol ei droedigaeth, i'r gwaith o bregethu yr hwn a erlidiai yn flaenorol; a phan oedd amser ei ymddatodiad yn agoshau, ei siars neillduol i Timotheus oedd, "Pregetha y gair, bydd daer." Dywedodd Crist, "Yr efengyl hon am y deyrnas a bregethir trwy yr holl fyd," &c. Yr oedd pregethu y gair mewn bodolaeth am ganoedd o flynyddau, ac ni fu "yn ofer," cyn geni yr ysgol Sul. Ac oni bae y pregethu hyn, ni fuasai wedi ei geni eto—ni anesid mo honi byth. Ond myn eich gohebydd roddi *cypher*—DIM—ar ol pregethu Crist yn awr, a rhoddi yr ysgol Sul yn 1 *o flaen* y weinidogaeth! Iē, ond gweinidogaeth *fain* yw hi "lawer pryd"—"meinder y weinidogaeth." Ni ddylai un Cristion arfer y fath iaith a hon am bregethu efengyl y Ceidwad. Y mae yr ysbryd yn feius, y diraddiad yn niweidiol, a'r ensyniad yn gableddus. Y mae mwyafrif mawr o ddarllenwyr y WAWR, yn ddiau, yn credu ac yn gwybod fod Iesu Grist yn cael ei bregethu yn ein hoes ni, cystal ag mewn oesoedd blaenorol. Y mae ein pregethwyr mor hunan-ymwadol, mor oleuedig, mor ddysgedig, mor selog, a chredwyf, mor dduwiol, a phregethwyr unrhyw oes flaenorol, a'u cymeryd gyda eu gilydd. A chydnabod fod tipyn o wahaniaeth mewn pethau amgylchiadol rhwng personau a'u gilydd, eto yr un yw testyn gweinidogaeth pob oes, a phawb yn mhob oes. Yr "un Iesu croeshoeliedig" yw testyn y weinidogaeth bresenol, yn gystal ag eiddo yr apostolion, y tadau, a'r diwygwyr! A ydyw yr hen destyn anwyl hwn yn *fain* yn ngweinidogaeth eglwysi Pennsylvania? Credwyf nad ydyw—gwn nad ydyw, a chabledd yw siarad neu ysgrifenu am *feinder* y weinidogaeth. Os oes meinder yn bod, meinder eneidiau wedi eu sychu a'u crino gan anghrediniaeth, ac nid meinder y weinidogaeth, yw. Cyhoeddi iachawdwriaeth trwy waed y groes yw gwaith gweinidogion y Testament Newydd, ac nid ydynt hwy yn gyfrifol am dderbyniad y genadwri—dim ond am ei chyhoeddi yn unig. Cadwodd y Meistr y llwyddiant yn ei law ei hun; ac os oes rhai o'r rhai a'i clywant yn ei hystyried yn ynfydrwydd, yn ffolineb, neu yn *fain,* fe "welodd Duw yn dda trwy ffolineb pregethu, gadw y rhai sydd yn credu," pwy bynag oedd y traddodwyr.

Iē, yn siwr, *main* iawn yr edrychai gweinidogaeth Gideon a'i dri chan' gwr i luoedd y Midianiaid, ond cawsant deimlo praffder ei fraich. Dichon mai digon *main* ar y dechreu oedd gweinidogaeth y Bedyddiwr ar lenydd yr Iorddonen yn ngolwg y penaethiaid Iuddewig; ond siglwyd y genedl gan ei grymusder cyn iddo dewi yn yr angau. Fe rybuddiodd Paul wrandawyr y llanc-bregethwr, am iddynt beidio diystyru ei ieuenctyd; a dysgir ni mai "dirmygedig, a diystyraf o'r gwyr," oedd y Ceidwad ei hun yn nyddiau ei weinidogaeth. Nid oedd pobl ei oes yn "gwneuthur cyfrif o hono," o herwydd "meinder ei weinidogaeth," yn eu golwg hwy. Ond gnn nad pa mor feined bynag yr ymddeng-

Digitized by Google

ys y weinidogaeth bresenol i lawer, y mae ynddi ddigon o braffder tra byddo Duw y tu cefn iddi.

Teg yw dweyd, nad wyf yn adnabod y gohebydd dan sylw, nac yn gwybod dim am dano, ond sydd yn ysgrifenedig yn ei lythyr, rhag iddo ef, na neb arall, feddwl fy mod yn ysgrifenu oddiar deimlad personol. Gobeithio ei fod yn frawd da, gweithgar a defnyddiol; ond mae maes defnyddioldeb yn ddigon eang i wneyd daioni ynddo, heb gicio y weinidogaeth. Mwy o barch iddi, fechgyn Cymreig, yw dymuniad

IOAN Y BEDYDDIWR.

# Amrywiaethol.

## DEISYFIAD.

*At Ddarllenwyr y* WAWR—Mae y deisyfwr anhapus, er ei fod yn cael ei addef y gwas ffyddlonaf a mwyaf diflin a fu yn mysg dynolryw erioed, wedi cael ei esgeuluso yn waradwyddus a'i drin yn druenus yn ddiweddar. Dymunir cenad i'ch hysbysu nad allasai Selyf ddoeth byth adeiladu y deml gynt, er cael y portreiad a defnyddiau parod, heb gynorthwy penodol eich deisyfwr. Hefyd, rhaid nad yw yn anhysbys i chwi mai efe oedd cynorthwywr penaf yn adeiladu y dinasoedd hyny, Troia Newydd, Jerusalem, Caerefrog, Babilon, Rhufain, Caer Seiont, Athen, Herculaneum, Tadmor yn yr anialwch, &c. Mewn gair, ni adeiladwyd dinas, tref, na phentref, ac ni ddygwyd un gelfyddyd i berffeithrwydd heb help eich deisyfwr gostyngedig. Er hyny mae yn syn ac yn ofid meddwl at ba ddybenion diles a gwrthun y mae yn cael ei arferyd weithiau Y mae rhai wedi ei gadw am flynyddau i'w dysgu i drafod sypyn o gardiau, pryd y buasai ef yr un mor ewyllysgar (fel y mae yr un mor alluog) i'w dwyn i feddiant o ryw wybodaeth fuddiol. Eraill a'i llusgant wrth eu sodlau o un lle o ddifyrwch i'r llall, gan ei rwystro i'r gwely bob nos cyn un, dau, neu dri o'r gloch yn y boreu. Eraill a'i defnyddiant, neu yn hytrach a'i caethiwant trwy gydol un dydd o bob saith i feddwi, gloddesta, cablu, ymladd, &c., heb gofio bod Duw wedi bendigo y seithfed dydd a'i sancteiddio ef, er ei fod ef yn eu rhybuddio o hyn mor gyson ag yw yr haul yn codi. Iё, gellid profi fod rhai wedi myned mor bell a rhyfygus ag i gynyg ei lofruddio, ac wedi bod mor ddigywilydd a cheisio hudo cymdeithion i gyduno â hwynt yn eu dichellion bradwrus ganol dydd goleu glân, fel y mae eich deisyfwr mewn perygl dibaid, ac yn gorfod cario arf dinystr o'i gylch i ba fan bynag yr elo ; ond y mae y clwyfau anaele ag y mae wedi dderbyn ar ddwylaw yr anghenfilod hyn wedi dwyn arno haid afrifed o waeau, yr hyn yn nghyda phwys blynyddoedd ei oedran, ydynt yn awr yn gwasgu yn bwysig arno, ac a wnant ei sefyllfa yn dra thruenus. Yn nghanol ei holl anffodion, modd bynag, y mae o gryn gysur i'ch deisyfwr fod y doeth a'r rhinweddol (gweddill o'r rhai ydynt heb lwyr ddiflanu) yn para i'w ddyddanu ac i wneyd yn fawr o hono fel hyn yn ei henaint, ac i gyd-ofidio ag ef am y cam a dderbyniodd bob amser yn ddiachos a digosp oddiar law afradloniaid, nad oes dim a'u dena trwy wobr na chymwynas. Mewn gair, y fath yw grym arferiad a chynydd llygredigaeth ein hoes, fel y mae yn ddigon i mi ddywedyd fod pob math o anmharch a diystyrwch yn cael ei daflu ar eich deisyfwr yn barhaus.

Crefaf gan hyny yn y dull gostyngeiddiaf, arnoch, gyfeillion anwyl, gymeryd hyn i'ch ystyriaeth ddwysaf, ac yn nghyflawnder eich doethineb i drefnu rhyw foddion neu gyfreithiau i rwystro neu gospi y dirmyg a'r trais annyoddefol ac anfaddeuol yma a def-

Digitized by Google

lir ar hen ddyn agos i 6,000 mlwydd oed, wedi pasio dyddiau goreu ei einioes, yn darfod o awr i awr, ac yn dysgwyl yn feunyddiol am orchymyn i roddi i fyny ei fodolaeth i un na annghofia byth y cam a wnaeth â'i ragflaenor.

A'ch deisyfwr, fel mewn rhwymyn o ddyledswydd, a weddia am gynydd eich dedwyddwch hyd ddiwedd — AMSER.—*David G. Morris, Watsontown, Pa.*

---

## LLENYDDIAETH Y DYDD.

### DYDDIAU BOREUOL CRISTIONOGAETH.*

Amlinelliad byr sydd genym y tro hwn o "Ddyddiau Boreuol Cristionogaeth," gan Canon Farrar. Mae y gwaith hwn o eiddo yr awdwr enwog yn cydmaru yn dda a'i weithiau blaenorol, ac y mae eisoes wedi ei gyhoeddi mewn amryw argraffiadau yn Lloegr ac America.

Yr oedd y byd yn nyddiau boreuol Cristionogaeth yn hynod lygredig, ac efallai yn fwy felly na'r un cyfnod arall yn hanes dynoliaeth. Darluniad Paul a ffeithiau hanesyddol a gadarnhant hyn. Mae prawfion o hyny yn argraffedig ar arian, muriau y tai, lluniau, barddoniaeth, a hanesyddiaeth y cyfnod hwnw. Mae enwau yr ymerawdwyr yn cyfleu syniad o orthrwm a llygredigaeth. Mae enwau dinasoedd yn awgrymu eithafion drygioni, megys Pompeii a Herculaneum. Treiddiai y llygredigaeth trwy holl haenau cymdeithas, gan gynwys y miloedd caethion—y dosbarthiadau isaf rhydd—y cyfoethogion, a'r urddasolion a'r ymerawdwr. Tra y llosgai ffaglen gwybodaeth Stoicaidd yn wanaidd, fel mewn esgyrndy, yr oedd ffaglen bywyd yn nwylaw y gwneuthurwr pebyll a physgotwyr glan môr Galilea, yn fflachio o Damascus i Antiochia, o Antiochia i Athen, o Athen i Corinth, o Corinth i Ephesus, ac o Ephesus i Rufain.

Cydgrynöai holl ddrygioni, urddas, a dirywiad Rhufain baganaidd yn mherson yr ymerawdwr â wrthwynebodd Gristionogaeth gyntaf. Y person hwnw oedd Nero. Cyn ei amser ef ni ddaethai y Cristionogion i wrthdarawiad a'r llywodraeth ymerodrol. Dygwyddodd yr erledigaeth gyntaf hon yn niwedd yr oes apostolaidd. Tebygol mai Nero roddodd Rufain ar dân, ac a gamgyhuddodd y Cristionogion am wneyd hyny, gan eu merthyru yn lluoedd. Yr oedd y creulondeb a ddyoddefasant yn ddychrynllyd. Ychwanegid llawer math o wawd i fwyhau eu poenau wrth farw. Yn cael eu gorchuddio gan grwyn anifeiliaid gwylltion, collfarnid hwy i farw trwy gael eu cnoi a'u dryllio gan gwn, neu trwy gael eu hoelio ar groesau, neu trwy gael eu rhoddi ar dân yn y nos i oleuo y ddinas. Nid rhyfedd i Nero ddyfod i gael ei ystyried gan Gristionogion fel pechod wedi ymgnawdoli—yn Anghrist. Ond troes y farn arno yntau ar ol hyn. Gorfu iddo ffoi am ei fywyd, a phan ar gael ei gymeryd i'r ddalfa gan swyddogion y llywodraeth, dymunodd ar un o'i gaethion i'w wanu â dagr; felly terfynodd bywyd yr anfad-ddyn dychrynllyd hwn.

* The Early Days of Christianity. Part I. By Canon Farrar. Lovell's Library.

---

## LLAWER WEDI EU GALW.

Y mae y Jehofa—yr Anfeidrol—yn galw ar ddyn; ïe, ar ddyn, troseddwr o ddeddf yr un sydd yn ei gadw—yn galw yn ddifrifol hefyd. Nid cellwair y mae; O, nage, gyfaill, ond difrifol iawn. Y prif gyfrwng trwy yr hwn y mae Duw yn galw ar ddyn yw yr efengyl—efengyl Iesu Grist. Mae gweision y Jehofa ar y maes; y byd yw y maes; galw y maent, "Canys pwy bynag a alwo ar enw yr Arglwydd, cadwedig fydd." Pa fodd gan hyny y galwant ar yr hwn ni chlywsant am dano, yr hwn ni chredasant ynddo? Pwy yn ngwlad efengyl sydd heb glywed am dano? a pha fodd y maent yn clywed ond trwy'r pregethwr? A pha fodd y pregethant onis danfonir hwynt? Yn mhob modd, ond y modd y mae y Meistr mawr am iddynt wneyd hyn yw

Digitized by Google

pregethu. Dywedir am y gwir genadon, eu bod yn *efengylu*, yn cyhoeddi *heddwch*, yn mynegu *daioni*, yn cyhoeddi *iachawdwriaeth*, yn dywedyd wrth Seion, Dy Dduw di sydd yn teyrnasu. Iē, ïe, Seion, cofia hyn. Dangos dy fod yn hollol gredu hyn, sef mai dy Dduw di sydd yn teyrnasu. Yr efengyl yw y prif gyfrwng y mae Duw yn galw arnat ti, bechadur. Llawer sydd wedi eu galw, ac yn cael eu galw yn barhaus. Diolch am hyny.—*Christopher Bach.*

## CYMRU CYN Y DIWYGIAD EFENGYLAIDD.

Bu y diwygiad Protestanaidd amser maith cyn cyrhaedd Cymru gyda dim grym a dylanwad. Yr oedd Cymru yn neillduedig ac allan o gyrhaedd cyffroadau mawrion y Cyfandir a Lloegr. Yr oedd Llundain yn bell o'r Dywysogaeth, a dim cyfleusderau teithio o'r naill fan i'r llall. Nid oedd yr un cerbyd yn rhedeg trwy y wlad, na newyddiadur i'w gael. Yr oedd fod yr iaith yn wahanol yn llawer yn fwy felly nag y mae yn awr, yn peri dyeithrwch. Bodolai math o deimlad sarug yn mhlith ein cenedl tuag at eu cymydogion a'u difreiniasant o'u hannibyniaeth. Ychydig neu ddim o ddyddordeb a deimlid mewn materion gwladyddol gan y werin. Y canlyniad oedd, fod materion mawrion a chyffroadau enfawr Llundain a threfydd mawrion Lloegr yn dra anhysbys i drigolion Gwalia. "Pan fyddai erledigaeth yn llosgi megys ffwrn yn Llundain, y gwreichion yn unig a gyrhaeddai Gymru." Gwell oedd yn Nghymru ar adegau o erledigaeth grefyddol neu derfysgoedd gwladol, ond gwaeth oedd pan fyddai goleuni gwybodaeth yn cynyddu. Nid oedd ond ychydig o lyfrau i'w cael yn y Dywysogaeth; ychydig fedrai ddarllen. Tebygol nad oedd un argraffwasg yn y wlad. "Dan y fath amgylchiadau nid rhyfedd ydoedd fod y genedl yn gyffredinol wedi disgyn i ddyfnderoedd ofergoeledd, a'i bod wedi ei gorchuddio â chaddug anwybodaeth; nid rhyfedd chwaith os ceir fod arferion y genedl yn cydweddu ag ansawdd dywyll yr oes." Bernir na fu cenedl y Cymry un amser mor Babyddol a'r Saeson. Ni fuont erioed yn selog dros Babyddiaeth, "yn hytrach ymollwng yn oddefol a difater yr oeddynt i'w thrais. Yr oedd cymaint o *anghrefydd* yn eu plith a dim arall."—*J. H.*

## ANFADDEUGARWCH.

Yr ydym yn byw mewn byd sydd yn llawn anmherffeithrwydd, ac nid yw y goreu o ddynion heb eu colliadau a'u hanmherffeithrwydd. Yr ydym oll yn pechu yn erbyn Duw, mewn meddwl, gair a gweithred; ond er yr holl droseddiadau, os yn edifeiriol, y mae wedi amlygu ei hun yn Dduw parod i faddeu. Ond peth bychan iawn o drosedd sydd yn ddigon i rai na faddeuant byth i frawd neu chwaer a ddichon droseddu yn eu herbyn. Gofynodd Petr i'n Harglwydd, "Pa sawl gwaith y pecha fy mrawd i'm herbyn ac y maddeuaf iddo, ai hyd seithwaith? Yr Iesu a ddywedodd wrtho, Nid wyf yn dywedyd wrthyt hyd seithwaith, ond hyd ddeng waith a thriugain seithwaith." Yna mae yn llefaru y ddameg, "Am hyny y cyffelybir teyrnas nefoedd i ryw frenin a fynai gael cyfrif gan ei weision," &c. Mat. 18: 23—35. Pan gaffot hamdden, darllen y ddameg yn ystyriol, a chydmara dy ymddygiad dy hun. Sylwa yr enwog a'r clodfawr y Parch. Joseph Harris, Abertawe, yn odidog ar y ddameg, fel hyn: "Wrth ddarllen damegion, os mynwn eu deall, rhaid cadw ein golwg yn neillduol at y prif bwnc a fynai y damegion ei sefydlu, ac nid ar bob amgylchiad yn y gymhariaeth. Dylem gofio hefyd mai amcan y nifer amlaf o ddamegion y Beibl ydyw cadarnhau rhyw bynciau ysbrydol neu foesol oddiwrth ryw hanes am bethau daearol, gan nad pa un ai dychymygol neu wirioneddol fyddo yr hanes; am hyny nid etyb y gymhariaeth rhyngddynt yn mhob peth, o herwydd nas gellir cystadlu amgylchiadau daearol a gwirion-

Digitized by Google

eddau ysbrydol." Amcan y ddameg hon, fel y gwelir oddiwrth y cyd-destyn blaenorol, yw dangos yr angenrheidrwydd o faddeu, a maddeu yn llawn, i'n cyd-greaduriaid, cyn y byddom yn gymwys i deyrnas nefoedd. Barnai Petr fod seithwaith yn myned a'r gorchwyl o faddeu i'w eithafoedd, (er mai rhy fach i Petr gael gan Dduw oedd hyny). "Hyd ddengwaith a thriugain seithwaith," rhifedi penodol am un anmhenodol; megys pe dywedasai, "Nid wyf am osod terfyn i'r gorchwyl hwn; dylech fod mewn hwyl i faddeu, nes myned i wlad yn yr hon na bydd achos rhoddi na derbyn maddeuant am dragywyddoldeb.—*Parch. B. James.*

## LONGFELLOW.

Ow! Ow! Longfellow a ffodd—o'n gaf-
Gofid blin a'n daliodd; [ael,
Ni bu mwy bardd yn mhob modd,
Nef ddoniau a feddianodd.

Hyawdl fardd i'w genedl fu—ni ffael-
Longfellow a phlethu, [odd
A gwe arian y gân gu,
Yn frodor gwnai 'i hefrydu.

Yn ddiwyd noddai awen—a noddai
Bob lenyddiaeth drylen;
Rhyw Iarll oedd ef ar wyr llen,
Ac o hewyd ddysgywen.

Efe urddunodd farddoniaeth—ei wlad,
A'i lwydd a fu'n helaeth;
Anhyddadl ei llenyddiaeth,
A holl nerth ei llywio wnaeth.

Ei awen hylawn anwylir—a'i gerddi
Goreuddawn fawrygir;
Ei waith i gyd wrth y gwir,
A'i foes eiriau fesurir.

Boddus o hyd byddo ei sain—felus,
Fel nefolaidd gydsain;
Tra b'o pencerdd ar gerdd gain,
Yr erys ei arwyrain.

Oedd o enaid barddoni—â'i awen
Fywiog y gwnai roddi
Gwiw urddas yn ei gerddi,
Dydd brawd fydd diwedd eu bri.

CADWGAN FARDD.

*Johnstown, Pa.*

## EGLURHADAETH YSGRYTHYROL.

IOAN xiii. 24, 25.—"Am hyny yr amneidiodd Simon Petr ar hwnw, i ofyn pwy oedd efe, am yr hwn yr oedd efe yn dywedyd. Ac yntau yn pwyso ar ddwyfron yr Iesu, a ddywedodd wrtho, Arglwydd, pwy yw efe?" Yn y ddwy ad[illegible]d hon y mae gwahanol ddarlleniadau. Yn ol yr un goreu, y mae y ferf "gofyn" yn cael ei gadael allan. Yr oedd Petr yn meddwl fod Ioan fel cyfaill *mynwesol* Iesu, yn gwybod, ac y mae yn dywedyd wrth y dysgybl anwyl, "Dywed pwy yw efe am yr hwn y mae yn llefaru." Yn adn. 25 defnyddia y Testyn Derbyniedig y ferf *epipeson*, "yn pwyso ar," ond y mae yr awdurdodau yn ffafriol i *anapeson*, "pwyso yn ol," ac yn nefnyddiad y gair hwn cawn olwg newydd ar serch Ioan, a thynerwch ei Feistr. "Ac efe gan bwyso yn ol ar fynwes yr Iesu," &c.

ACTAU i. 25.—"I dderbyn *rhan* (*kleron*) o'r weinidogaeth hon, a'r apostolaeth, o'r hon y cyfeiliornodd Judas, i fyned i'w le ei hun." Dylem ddarllen, "I gymeryd y *lle* (*tupon*) yn y weinidogaeth," &c. Y mae y darlleniad hwn yn taflu goleu ar yr ymadrodd "myned i'w le ei hun," oblegid os golyga y gair "lle" yn y rhan flaenaf o'r adnod safle neu sefyllfa bersonol, rhaid ei gymeryd yn yr un ystyr yn yr ail, ac felly y meddwl yw fod ymddygiad Judas wedi peri iddo fyned tu allan i'r cylch apostolaidd, ac i gyrhaedd yn y diwedd ei le neu ei sefyllfa briodol, "ei le ei hun."—*W. Edwards, B. A.*

## RHESYMAU DROS YFED GWIRODYDD.

Mor amrywiol ydyw y rhesymau gan ddynion dros yfed. Yfa rhai am fod yr hin yn oer, ac eraill am ei bod yn boeth. Yfa rhai am fod y prisoedd yn codi, ac eraill am eu bod yn gostwng. Yfa rhai am fod plentyn wedi ei eni, ac eraill am fod perthynas wedi marw. Yfa rhai am fod ganddynt boen yn eu penau, ac eraill am fod ganddynt boen

Digitized by Google

yn eu traed. Yfa rhai am eu bod yn bruddaidd, ac eraill am eu bod yn teimlo yn llawen. Yfa rhai am eu bod heb briodi, ac eraill am eu bod *wedi* priodi. Yfa rhai am fod ganddynt gyfeillion, ac eraill am fod ganddynt elynion. Clywais am ddyn yn dweyd yn ddiweddar, "Mae llawer yn holi ac yn ymofyn beth yw yr *yfed* wyf yn ei wneyd, ond ychydig sydd yn meddwl am y *syched* mawr sydd arnaf." Mae yn alarus meddwl fod trigolion ein teyrnas, yn nghanol cymaint o fanteision crefyddol, yn gwneyd eu hunain yn wawd i deyrnasoedd y ddaear, oblegid eu hymddygiad gyda'r diodydd meddwol. Mae hyd yn nod paganiaid yn ein gwawdio oblegid hyn. Mae Mahometaniaid yn rhagori arnom yn hyn. Mor ddedwydd fuasai ein gwlad uchelfreintiog, oni buasai yr aflwydd hwn. Dywedai Ffrancwr yn ddiweddar, "Y fath ragluniaeth fendigedig yw fod y Saeson yn ddynion meddw; oblegid, pe na buasai hyn, mae y fath allu, talent, a phenderfyniad ynddynt, a fuasai yn eu gwneyd yn feistriaid yr holl fyd."—*Y Parch. D. Oliver Edwards.*

## UN O BYNCIAU Y DYDD.

Y gwir am dani, Dic, mae yn llawn bryd i ti, a phawb o dy fath, ymuno â'r fyddin ddirwestol. Mae hwn wedi dyfod yn un o brif bynciau y dydd. Mae yn syndod meddwl fod dynion yn yfed heb syched, ac yn yfed y pethau hyny sydd yn difa eu meddianau, yn drygu eu cymeriad, yn alltudio eu cysur, yn andwyo eu teuluoedd, yn dinystrio eu cyrph, ac yn damnio eu heneidiau. Dylasai pob meddwyn ofyn pardwn y dwfr am y dirmyg fu yn daflu arno drwy y blynyddau. Pa beth sydd yn rhatach na'r dwfr? Ond, er hyny, nid yw yn cael haner y parch ddylasai gael. Dwfr i mi—y dwfr oer grisialaidd, a friweddwyd yn narllawdy anian, gan y Creawdwr mawr ei hun. Yn hwn mae yr aderyn yn gwlychu ei big cyn esgyn i oriel y goedwig i seinio cân o fawl. Dyferynau hwn a eneinia wefus y rhosyn, ac a ymddysgleiriant fel perlau ar fron y lili wen.—*Yr un.*

## BRASLUN PREGETH.

### HAERIAD ANWIREDDUS.

SALM xiv. 1.—"Yr ynfyd a ddywedodd yn ei galon, Nid oes un Duw."

Pan y traethir cenadwri ddyeithr, y ffordd gyntaf i benderfynu ei geirwiredd yn gyffredin fydd chwilio i *natur* y genadwri, a *chymeriad* yr adroddwr. Yn aml, digon fydd un o'r ddwy ffordd i brofi gwir neu anwir y stori. Ceir weithiau yr hyn a honir ar unwaith yn annhebygol, ac efallai yn anmhosibl. Brydiau eraill, ni fydd yn hawdd barnu oddiwrth natur y genadwri, ond bydd cymeriad yr awdwr yn dangos twyll y cyfan. Brydiau eraill bydd natur y peth a chymeriad y traethydd yn cyduno i ddangos y cyfeiliornad. Nesa rhyw un coeg ymddangosiadol yn mlaen, gan ddweyd yn hyfawl, "Nid oes un Duw." Wel, dyna haeriad rhyfygus! Gwelir hyn,

I. *Oddiwrth* NATUR *yr haeriad.*

1. Mae yn groes i argyhoeddiadau gwreiddiol dyn. Mor naturiol yw y syniad am Dduw a byd arall i'r ifanc! Mor syml yw crediniaeth cenedloedd syml eu gwareiddiad, y rhai fyddo heb eu llygru!

2. Mae yn groes i argyhoeddiadau mwyafrif goreuon dynolryw.

3. Mae yn groes i duedd grefyddol holl genedloedd y ddaear.

4. Mae y fath syniad yn gwneyd bodolaeth crefyddau y byd, natur, a rhagluniaeth, yn anesboniadwy, pryd y mae y syniad uniawngred yn gwneyd y cwbl yn ddealladwy.

5. Mae yn anhawddach mabwysiadu yr haeriad na'r syniad uniawngred. Yr anhawsder yw, nid credu *fod* Duw, ond credu *nad* yw.

Fel hyn mae *natur* yr haeriad yn ei wneyd yn afresymol, annhebygol ac anmhosibl.

II. *Oddiwrth* GYMERIAD *yr adroddwr.* "Yr ynfyd."

Nid oes un dyn yn ei bwyll a ddywed y fath beth, ond yr ynfyd a ddywed yn ei galon. Mae yr haeriad yn dod o gyfeiriad y galon—y teimladau a'r cymeriad moesol.

Digitized by Google

1. Ystyrir dyn yn ynfyd pan yn gweithredu yn groes i'r hyn y gwyr efe fyddo yn gywir. Felly mae yr ynfyd moesol; gweithreda yn groes i'r hyn y gwyr efe sydd yn dda.

2. Mae yr ynfyd yn parhau i weithredu yn groes i'w *ddealltwriaeth*, nes y mae hyny yn egwyddor ynddo; felly yr ynfyd moesol, gweithreda yn groes i'w *gydwybod.*

3. Eiddila y blaenaf ei ddealltwriaeth meddyliol, y llall ei ddealltwriaeth moesol.

4 Wedi cyrhaedd y cyflwr hwn, ymhyfha, gan ddweyd yn ynfyd, "Nid oes un Duw."

5. Mae yr ynfyd wrth ddweyd yn ei galon, nid oes un Duw, yn amlygu ei *ddymuniad.* Mae dyn yn dueddol i gredu fel y mae yn dymuno. Mae yr ynfyd yn dymuno nad oes un Duw, oblegid teimlad o euogrwydd; mae yn ofni cosb, teimla ei fod yn ei haeddu, ac am hyny ni all oddef y dybiaeth fod un Bôd mawr yn bodoli a fedr ei gosbi.

Yn nglyn a chyflawniad pob trosedd mae dymuniad i ochel cosb, yr hyn sydd yn arwain i ddymuno ysgoi yr hwn a fedr gosbi. Mae ***natur yr haeriad***, a ***chymeriad yr adroddwr*** yn dangos mor anwireddus yw y dywediad, Nid oes un Duw.

---

# Ardrem Americanaidd.

GAN GWYLIEDYDD.

## Y BEDYDDWYR AMERICANAIDD.

Yn gymaint a bod cariad Cristionogol yn rhedeg dros glawdd-ffin cenedl, iaith, ac enwad, gan ddymuno "gras i *bawb* sydd yn caru ein Harglwydd Iesu Grist mewn purdeb," bernir y bydd yn llawenydd calon i holl ddarllenwyr y WAWR ddarllen yn fisol ychydig o hanes yr eglwysi Americanaidd, yn neillduol helyntion eglwys ein henwad ni. Yn y rhifynau dyfodol, ymdrechir gwneyd cyfiawnder â'r adran hon mor bell ag y goddef colofnau y WAWR, heb wneyd cam ag hanesion yr eglwysi Cymreig. Yr amcan yw llesiant ac adeiladaeth y darllenwyr hyny nad ydynt yn darllen llawer ar y papyrau Seisonig. Ni wneir y mis hwn ond rhagymadroddi ychydig. Ac i ddechreu, dichon y byddai yn briodol yn flaenaf dim taflu cipolwg ar

### YSTADEGAU Y BEDYDDWYR AMERICANAIDD.

Rhaid y bydd hyn yn ddyddorol, ac yn hyfrydwch mawr i bob Cristion goleubwyll a deallus. Yn *Llyfr Blynyddol* yr enwad am y flwyddyn 1883, yr ydym yn cael fod nifer y Bedyddwyr trwy yr holl Dalaethau yn 2,394,742! Mae hyn yn gynydd oddiar y flwyddyn flaenorol o 58,722. Yr oedd marwolaethau y flwyddyn ddiweddaf yn llai nag un y cant o'r nifer uchod. Wrth sylwi ar nifer y diarddeliadau, &c., yr ydym yn gweled fod yr eglwysi yn gofalu rhyw ychydig am ddysgyblaeth, yr hyn sydd yn brawf eglur o iechyd ysbrydol yr enwad. Eto angenrheidiol yw dweyd, a theg yw cydnabod, fod yr eglwysi Americanaidd, a'u cymeryd at eu gilydd, yn mhell iawn o ddyfod i fyny a safon eglwysi Cymreig yr enwad yn y pwnc pwysig hwn. Mor bell ag y mae gwybodaeth a phrofiad yr ysgrifenydd yn myned, creda fod y Bedyddwyr Americanaidd yn ymdrechu at gael mwy o burdeb mewn buchedd, ac ysbrydolrwydd proffiad yn yr aelodau, na nemawr o'r enwadau eraill; ond eto, i Fedyddiwr a fagwyd o'i ieuenctyd ar fronau eglwys Gymreig, y mae'r eglwysi Seisonig yn boenus—agos yn annyoddefol—o ddiffygiol, yn y pwnc o ddysgyblaeth.

Y Dalaeth sydd yn cynwys y nifer mwyaf o Fedyddwyr yw Georgia—241,462; a'r Diriogaeth sydd yn cynwys y lleiaf yw New Mexico—45. Dichon y dylid nodi hefyd mai nifer yr ysgolion Sabbothol trwy yr holl Dalaethau yw 15,138. Yn y rhai hyn mae 1,195,195 o athrawon ac ysgolheigion, yn rhoddi ac yn derbyn addysg yn wythnosol. O'r nifer hyn bedyddiwyd 13,804 y flwyddyn ddiweddaf, ac mae

Digitized by Google

yn ddiddadl fod nifer y dychweledigion yn llawer mwy eleni. Y mae'r Bedyddwyr yn cynrychioli tua *deng miliwn* o bersonau, yr hyn sydd yn agos i un ran o bump o boblogaeth yr holl wlad. Yn ngoleuni y ffigyrau hyn, pwy all ddirnad y fath adnoddau, y fath rwymedigaethau, a'r fath bosiblrwydd o ddyfodol llwyddianus sydd yn perthyn i'r fath enwad! Yr wyt ti, ddarllenydd Cymreig, yn *aelod* o hono. Y mae, yn yr oll ag ydyw, tu cefn i ti, pan fyddo galwad am ei gymorth. Nis gall dim fod yn fwy pleserus na chofnodi hanes

DIWYGIAD CREFYDDOL,

fel mae golygyddion y papyrau yn cael y fraint o wneyd yn wythnosol er ys misoedd bellach. Mae newyddiaduron ein henwad yn dyfod atom yn llwythog o'r newydd da fod ein heglwysi yn cael eu deffroi, a phechaduriaid yn cael eu hachub wrth y degau, yr ugeiniau a'r canoedd, ar hyd a lled y wlad. Os nad yw yr effeithiau mor rymus a chynhyrfiol ag y byddent mewn blynyddoedd mynedol, mae'r diwygiad, er hyny, yn llawn mor effeithiol, ac yn llawer mwy cyffredinol a didwrw. Mae mewn cysylltiad ag ef amryw brofion eglur o *wir* ddiwygiad, a gallwn felly ymddibynu yn well ar barhausder ei ffrwyth. Gan ei fod wedi tori allan, ac wedi ymledu dros yr holl Dalaethau, nid gwiw i mi fanylu, a sylwi ar leoedd ac amgylchiadau neillduol, er y gellid yn hawdd adrodd ffeithiau hynod o ddoddedig sydd wedi cymeryd lle mewn llawer eglwys. Ond er i'r darllenydd ffurfio barn am nifer y dychweledigion trwy yr holl wlad, rhoddir y canlynol fel engraifft, er nad yw yn eithriad i leoedd eraill. Dydd Llun, Ebrill 2il, cyfarfyddodd gweinidogion dinasoedd New York, Brooklyn, a Jersey, yn eu cyfarfod wythnosol arferol, pryd y rhoddwyd nifer y bedyddiadau yn yr eglwysi dan eu gofal yr wythnos flaenorol i mewn yn saith gant, pedwar ugain a dau ar bymtheg (797)! Bendigedig, onide? I Dduw y bo'r diolch. Mae deiliaid teyrnas Iesu yn lluosogi. Mae y gwirionedd yn llwyddo! Gwelir eglwys o Fedyddwyr yn fuan yn ninas Formonaidd Utah. Dychwela yr afradloniaid yn ol yn lluoedd yn y man i'r gorlan allan o'r hon y cawsant eu hud-ddenu yn awr eu gwendid. Mae y swm angenrheidiol o $10,000 agos a bod mewn llaw, a bydd yno addoldy hardd yn fuan, yn yr hwn y pregethir efengyl *bur*, ac y gweinyddir yr iawn fedydd gan yr iawn weinyddwr. Pwnc pwysig arall sydd yn cael llawer o sylw trwy yr holl Dalaethau y dyddiau hyn yw

Y CYFARFOD BEIBLAIDD

a fwriedir gynal yn Saratoga, N. Y., Mai 22 a'r 23ain, o flaen cyfarfodydd blynyddol y gwahanol Gymdeithasau perthynol i'r enwad. Y mae rhagbarotoadau angenrheidiol wedi, ac yn cael eu gwneyd ar ei gyfer, a dysgwylir yn hyderus y bydd lles mawr yn deilliaw i'r enwad oddiwrtho. Y pwnc i'w benderfynu yw, Y cyfrwng goreu i wasgaru y Beibl yn gartrefol a thramorol. Pa un ai ymddiried y gwaith i'r *Missionary Union*, y *Publication Society*, yr *American and Foreign Bible Society*, neu ynte gychwyn Cymdeithas Feiblaidd *newydd*. Y mae hwn yn bwnc pwysig iawn, ac yn dwyn cysylltiad agos a llwyddiant yr enwad yn y dyfodol. Nid yw gofod y golygydd yn caniatau i ni ddweyd rhagor arno y mis hwn, er mor ddymunol fuasai hyny. Ond yn rhifyn Mehefin o'r WAWR, ymdrechir taflu mwy o oleu arno, a bydd genym hanes cyfarfod Saratoga i'w gofnodi.

Y mae llawer o bethau eraill yn perthyn i'r eglwysi Seisnig, y gellid crybwyll am danynt, er dyddordeb i ddarllenwyr y WAWR, a gallant eu cael eto os bydd yr *experiment* yma yn taro eu chwaeth; a chredwyf y bydd, gan fod aelodau gwasgaredig yr un teulu yn hoff o glywed helynt eu gilydd. Gadawer i ni yma ysgrifenu ychydig am

## YR ENWADAU ERAILL.

Ychydig o bobpeth, ac fel y daw hi, yn dra didrefn, raid iddi fod am danynt hwy, am nad yw yr ysgrifenydd yn gwybod cymaint trwy *brofiad* am hel-

Digitized by Google

yntion teulu arall ag ydyw am yr eiddo ei hun. Mae'r melus a'r chwerw, y dymunol a'r annymunol, yn gorwedd ochr yn ochr, mewn cysylltiad a phob-peth daearol. Yr oeddwn yn meddwl am y ddau gyntaf, wrth weled fod gweinidog y Methodistiaid Esgobawl yn East Newmarket, Maryland, wedi cael anrheg o "*Dorchester pie*" yn ddiweddar. *Pie* hynod ryfeddol oedd hi hefyd. Y crystyn gwaelod oedd sachaid o gorn; y crystyn uchaf oedd pwrs o aur; yr oedd y llanw yn gymysgedig o *sausage*, *hams*, *coffee*, siwgr, teisenau, bloneg, ffrwythau, *crackers*, wyau, *jelly*, ymenyn, *hominy*, pytatws, hosonau; ïe, *pie* a hosanau ynddi, neisiadau, *chocolate*, *catsup*, bara, ffrwythau sychion, cig moch ffres, a chig eidion. Wel, dyna bregethwr lwcus, onide? Er nad wyf fi yn ryw hoff iawn o *bie* un amser, eto ni rwgnachwn i ddim, mwy na llawer i weinidog tlawd arall, pe cynygid i ni *Dorchester pie* fel yr un uchod. Ond, waeth i ni dewi, nid yw eglwysi y Bedyddwyr mor ofalus am roi *pies*, yn neillduol un fras fel hon, i'w gweinidogion, ag yw yr enwadau eraill i'w gweinidogion hwy. Ië, melus a dymunol oedd cael y *pie* yna; ond peth digon *an*nymunol oedd gwrando ar weinidog poblogaidd perthynol i'r un cyfundeb, yn dweyd, fod y *dry rot* wedi ymaflyd yn nysgyblaeth y Methodistiaid. Clefyd cas a pheryglus yw hwn, ac y mae ei effeithiau yn amlwg i'w gweled mewn mwy nag un enwad, fel y mae gwaethaf y modd. Mae enwad parchus y Cynulleidfaolwyr yn cael ei flino yn druenus gan ryw

"HERESIAU DINYSTRIOL,"

y rhai sydd yn debyg o beri gofid blin, a dweyd y lleiaf, i ddynion egwyddorol yr enwad hwnw yn y dyfodol. Mae gweinidogion yr enwad, yn lled gyffredinol yn Lloegr Newydd, yn derbyn ac yn amddiffyn golygiadau Dr. Newman Smyth am y posiblrwydd o brawf yn y byd dyfodol. Sefydlir y syniad anysgrythyrol hwn yn benaf ar 1 Petr iii. 18—20. Dadleuir i Grist fyned ar ol marw a phregethu amodau heddwch i'r cyn-ddiluwiaid condemniedig hyn—iddo rhwng ei farwolaeth a'i adgyfodiad gynyg maddeuant iddynt: ac os iddynt hwy, paham nas gall eraill gael yr un cyfleusdra i edifarhau, diwygio, &c.? Fe syna llawer fod yr athrawiaeth hon yn cael ei derbyn a'i hamddiffyn mor gyffredin, a chan ddynion o ddysg a dylanwad.

Yr oeddym yn arfer edrych ar weinidogion yr eglwysi Episcopalaidd fel dynion uniongred, sefydlog yn y ffydd; ond mae'r ysbryd hereticaidd wedi dyfod i mewn, gan aflonyddu ar heddwch yr eglwys geidwadol hon. Y mae ynddi rai sy'n benderfynol o'i rhwygo, os nid ei dyfetha. Mae'r Parch. Dr. Heber Newton, un o'u gweinidogion enwocaf yn ninas New York, wedi traddodi cyfres o bregethau yn ddiweddar, ar *Uses of the Bible*, yn y rhai y *gwadai ysbrydoliaeth* yr henlyfr anwyl! I ategu anffyddiaeth Newton, dywedai eu papyr, *The Churchman*, yn ddiweddar, *fod yr eglwys yn well ac uwch tyst o wirionedd Cristionogaeth na'r Testament Newydd ei hun!*—fod yr eglwys yn bodoli *cyn* y Testament, felly mai ei chynyrch hi ydyw; ac y gellid diddymu y Testament Newydd heb gyffwrdd â sylfeini yr eglwys, &c. Dyna engraifft o'r ysbryd hereticaidd sydd ar waith yn lefeinio meddwl yr oes. Diolch i Dduw, fod y teimlad o lynu wrth "y gwirionedd fel y mae yn yr Iesu," wedi cwbl feddianu y miliynau Bedyddiedig, yn mhob gwlad, oes, ac iaith, yn lled dda hyd yn hyn.

---

# Arf-dy y Cristion.

### TEMTASIWN DDEUBLYG.

Mae yn demtasiwn ddeublyg i hau i'r cnawd yn hytrach nag i'r ysbryd. Yn gyntaf, mae chwenychiadau ein natur anifeilaidd yn *gryfach* na rhai ein natur ysbrydol. Mae llais Nwyd yn uwch na llais Dyledswydd. Yn nesaf, mae gwobr gweithrediadau natur anifeilaidd yn dod yn *gynt*. Cymer lai o amser i bentyru cyfoeth lawer na dod yn sanctaidd ein natur. Mae y draul

Digitized by Google

yn llai i foddhau nwyd nag i feddu cydwybod dawel. Ac yna, pan y mae yn rhaid i ddynion, er mwyn enill y bara ysbrydol, fwrw y bara ar wyneb y dyfroedd, yr hwn na cheir hyd ar ol llawer o ddyddiau, (sibryda anffyddiaeth "byth"), y mae yn hawdd deall paham y maent yn dewis y gweledig a'r naturiol o flaen yr elw ysbrydol, ac yn cynllunio er mwyn cynhauaf uniongyrchol, yn lle un yn mhell yn y dyfodol. Yma y gwelwn yr angenrheidrwydd o fod yn wyliadwrus yn erbyn hudoliaethau deublyg y demtasiwn hon i hau i'r cnawd. Dyledswydd y Cristion yw cymeryd golwg eang ar fywyd—gwrando ar yr hyn sydd *oreu* yn ei natur, ac nid yr hyn sydd *gryfaf;* a llafurio am y bwyd a bery i fywyd tragywyddol.—*W. F. R.*

---

### TAITH BYWYD.

Os myni gael tawelwch llawn,
  Trwy stormus daith y byd,
Angenrhaid yw it' wrando'n iawn
  Y cyngor hwn o hyd.

Cyflwyna wanwyn meiriol d'oes
  I nefol waith dy Dduw,
Cyffeiriau gwell trwy'n dae'r nid oes
  Rhag gofid, poen a briw.

Boed rhinwedd, lân forwynig lon,
  A'i gafael am dy law;
Dos droed yn mhwll o hyd â hon,
  Ac na thro yma a thraw.

Gwna'r bwriad hwn, ar sylfaen syth,
  Doed ddelo yn dy ddydd,
Y cedwi bur uniondeb byth,
  A glân gydwybod rydd.

Es gwaetha'r byd, gwyn fyd a fedd
  Orfoledd dan ei fron;
Nid aur neu glod, na gwin na gwledd
  All wneuthur dyn mor llon.

Na ddos i hela am wynfyd cu,
  Dros gwmau a bryniau'n mhell,
A hithau'n dawel yn dy dŷ,
  Yn gorwedd yn dy gell.

Ffug, chwantau, ofn a nwydau n'ad,
  Er dim i gario'r bla'n;
Ag eurgylch rheswm nag ymâd,
  Na'i reol union lân.

Arfoga'th fron â gwrol fryd;
  A gwae os dyfod wna,
Cred trefna Duw ein gwaeau i gyd,
  I ddyben doeth a da.

Yn hawddfyd eraill llawenha,
  Na chenfigena'th frawd;
Ymg'ledda'r noeth, a'r cloff a'r cla',
  A dadle' dros y tlawd.

Pan ddygo'r nos â'i phruddaidd wawr
  Dy ddydd a'th daith i ben,
Cai ddodi'th ben mewn hedd i lawr,
  A'i godi'n entrych nen.

—*O'r Saesneg, gan y Parch. D. Davis.*

---

### CYNDYN A'R CRISTION.

*Cyndyn.* Beth, ebe Cyndyn, a gadael ein cyfeillion a'n cysuron o'n hol?

*Cristion.* Iē, ebe Cristion (canys felly y'i gelwid), am nad ydyw y cwbl hyny yn deilwng i'w cystadlu ag ychydig o'r pethau a geisiwyf. 2 Cor. 4: 18. Ac os deuwch gyda mi i ben y daith, cewch yr un croesaw a minau; canys yn y lle yr wyf fi yn myned, y mae digon a gweddill. Luc 15: 17. Deuwch, a phrofwch fy ngeiriau.

*Cyndyn.* Pa bethau yr wyt yn eu ceisio, gan dy fod yn ymadael a'r holl fyd er mwyn eu cael?

*Cristion.* Yr wyf yn ceisio etifeddiaeth anllygredig, ddihalogedig, a diddiflanedig, yr hon sydd yn nghadw yn y nefoedd. 1 Petr 1: 4; ac yn ddiogel yno (Heb. 11: 16), i'w rhoddi ar yr amser nodedig i'r sawl a'i dyfal geisiant hi. Darllenwch hyn, os gwelwch yn dda, yn fy llyfr.

*Cyndyn.* Pw; ymaith a'th lyfr. A droi di yn ol gyda ni, ai peidio?

*Cristion.* Na wnaf, ebe y llall, canys mi a osodais fy llaw ar yr aradr. Luc 9: 62.—*J. B.*

---

—Y dechreu goreu i weddi yw myfyrdod, a'r diwedd goreu i fyfyrdod yw gweddi.

—Parcha yr hen, dysga yr ieuanc, ymgyngora a'r pwyllog, a chyd-ddwg a'r ffol.

Digitized by Google

# Bwrdd y Golygydd.

## EIN DYMUNIAD.

Ein dymuniad yw gwneyd y WAWR yn gyhoeddiad adeiladol a dyddorol i'n *holl* ddarllenwyr. Gwyddom am y perygl o lenwi y cyhoeddiad ag ysgrifau meithion. Yr ydym yn benderfynol i ymgadw, hyd y mae ynom, oddiwrth y gwall hwn. Dymunem gan hyny ar ein gohebwyr gofio am ysgrifenu yn fyr ac i'r pwrpas, yn neillduol yn hanes marwolaethau. Galwn sylw at yr "*Ardrem Americanaidd*," a welir yn y rhifyn hwn; hyderwn y bydd yr adran hon yn ychwanegiad mawr at werth y cyhoeddiad. Gallwn sicrhau ein darllenwyr fod yr awdwr (" Gwyliedydd") yn sefyll ar flaen y rhes fel ysgrifenwr, a dysgwyliwn lawer oddiwrtho yn y rhifynau dyfodol.

## HANES YR EGLWYSI.

*Mr. Gol.*—Caniatewch i mi ddweyd gair ar y pwnc pwysig hwn. Mi wn i chwi wneyd ymdrech, rai blynyddau yn ol, i gael gan yr eglwysi gyhoeddi eu hanes yn gyflawn yn y WAWR. Nis gwn pa nifer sydd wedi gwneyd; ond ofnwyf fod rhai, os nid llawer, wedi esgeuluso gwneyd hyd yn hyn. Yr oedd yn dda iawn genyf ddarllen hanes eglwys Pittston, Pa., yn rhifyn Ebrill, ac yr wyf am ddiolch i'r brawd J. W. Evans am ei ysgrif ddyddorol, dda a gwerthfawr. Darllenais hi gyda phleser mawr, a dygodd ei darlleniad luoedd o hen adgofion melus a dyddanol i'm cof—adgofion am hen frodyr a chwiorydd duwiol ac anwyl iawn, oeddynt yno y pryd hwnw, ond sydd heddyw yn y nefoedd, yn gystal ag am rai sydd yno heddyw, yn golofnau cedyrn tan yr achos. Ni welais i erioed eglwys ffyddlonach—yn fwy parchus o'i gweinidog, a pharotach i gydweithio ag ef. Teimlais lawer gwaith mai un o gamsyniadau fy mywyd gweinidogaethol oedd eu gadael mor fuan. Gan fod genyf feddwl mor fawr o'r eglwys hon, nid rhyfedd i mi deimlo cymaint o bleser wrth ddarllen ei hanes. Piti fod cyn-ysgrifenyddion yr eglwys wedi bod mor esgeulus gyda'r cofnodion. Gymaint yn well, llawnach, a mwy dyddorol y gallasai y brawd Evans wneyd ei ysgrif pe buasai pob ysgrifenydd, oddiar gorphoriad yr eglwys, wedi gwneyd y gwaith a ymddiriedwyd iddo yn ffyddlon. Hyderaf fod ysgrifenyddion presenol yr eglwysi yn fwy gofalus, ac y rhoddant i ni ffrwyth eu llafur ar du dalenau y WAWR o fis i fis.

Yr eiddoch, &c.,

J. EDRED JONES.

## UNDEB CYMANFAOL.

MR. GOL.—Yr wyf yn ddarllenwr cyson ac yn sylwedydd manwl ar eich Cyhoeddiad clodwiw, y WAWR. Yr wyf wrth ddarllen rhanau o hono, ac yn neillduol wrth ddarllen y Beibl, yn cael fy nysgu mai y gwirionedd fel y mae yn yr Iesu yn unig all fod yn fwyd enaid, ac yn sylfaen yr eglwys Gristionogol. Mae traethawd y Parch. John Seth Jones ar "Undeb Eglwysig" wedi tynu fy sylw yn fawr. Mae rhyw ddywediadau yn yr ysgrif uchod y carwn gael gair o eglurhad arnynt gan y Parch. Mr. Jones. Cofiwch, mae genyf barch mawr i'r sefydliad Cymanfaol, yn y goleu ddyry Cyffes Ffydd y Bedyddwyr Neillduol arno fel cwrdd cyngor (*advisory meeting*). Ystyriwyf wrth ddarllen fy Meibl, mai cyfarfyddiad y saint yn y cymeriad o eglwys yw y llys uchaf a fedd Duw ar y ddaear. Dyna yr athrawiaeth a bregetha y Bedyddwyr a'r Annibynwyr bob amser wrth gorphori eglwys.

AT Y PARCH. JOHN SETH JONES.

Anwyl Frawd—Wrth ddarllen eich ysgrif yn y WAWR am Ebrill, yr wyf yn cael fy nhueddu, mewn cariad at y gwirionedd dwyfol, i ofyn i chwi y gofyniadau canlynol:

1. Ar ba beth yr ydych yn seilio undeb eglwysi (nid eglwysig, cofiwch),

ai ar yr egwyddor sydd yn y byd i ymddullweddu i gyfarfod y gwahanol amgylchiadau damweiniol, ynte ar air Duw? Os ar y cyntaf, pa fodd y gwahaniaethwch swyddogaeth Cymanfa oddiwrth swyddogaeth y Vatican yn Rhufain, *Convocation* Eglwys Loegr, a Synod y Presbyteriaid? Os ar yr olaf, yn mha le, o ddechreu Matthew hyd Amen y Datguddiad, yr awgrymir am y rheidrwydd o undeb eglwysig?

2. Yn mha le mae y gwahaniaeth rhwng mympwyon mewn eglwysi rhagor mympwyon mewn cynadledd Cymanfa?

3. Pa fodd y cysonwch eich gosodiad parthed rhwymedigaeth eglwys i benderfyniad Cymanfa fel i ddeddfau Media a Phersia, a'r hyn a ddelir gan y Bedyddwyr yn y ddadl wrth-Bresbyteraidd, mai eglwysi rhyddion yw eiddo y Bedyddwyr?

4. Pa fodd y cysonwch yr hyn fynwch i Gymanfa fod, sef llywodraethwr unbenaethol ar yr eglwysi, â'r ffaith mai creawdwr Cymanfa yw yr eglwysi?

5. Pa fodd y cysonwch yr ymadrodd dwyfol a'i awdurdod—"Ewch rhagoch at berffeithrwydd"—a'r ufudd-dod caethwasol a ofynwch oddiar law yr eglwysi i'r Gymanfa?

6. A ydych o ddifrif yn sefyll at eich gosodiad, mai "ynfydrwydd yn ymylu ar wallgofrwydd yw i'r eglwysi goleddu y syniad o annibyniaeth eglwysig?" Os felly, pa fodd y siaradwn am eglwysi y Bedyddwyr, eglwysi Annibynwyr, ac nid eglwys y Bedyddwyr yn Lloegr, eglwys y Bedyddwyr yn America? &c. Siaredir, fel y gwyddis, am eglwys Loegr, yr eglwys Babaidd, yr eglwys Bresbyteraidd, &c., am fod y tair eglwys hyn o dan un penaeth goruchel. Saif y Frenines yn ben i'r cyntaf, y Pab drwy ei gyfarwyddwyr i'r ail, a'r *General Assembly* i'r olaf. A ydyw y Bedyddwyr i'w hystyried yn cael eu llywodraethu ar yr un egwyddor? Hyderwyf nad oes dim ond cariad at wirionedd Mab Duw, a dymuniad am lwyddiant y Bedyddwyr i weithio allan yn eglur a didroi yn ol athrawiaeth y Beibl ar bob peth, yn peri i mi ofyn i chwi ateb y gofyniadau uchod.

*Braddock, Pa.* JOHN B. THOMAS.

## MAN-LEWYRCHIADAU.

—Mynych y gwelwn adroddiadau yn mhapyrau Cymru am bersonau yn darlithio yno ar America, y rhai na threuliasant ond tymor byr, ymweliadol, yn y wlad. Beth a wyddant hwy am America?

—Geilw Dr. Hugh Jones, Llangollen, sylw yr eglwysi yn Nghymru at y dymunoldeb o anfon hysbysiad at eglwys pan y byddo aelod yn symud iddi, fel y gallo y cyfryw eglwys arfer gofal dyladwy am yr aelod hwnw. Ofnir fod llawer o aelodau yn myned ar goll wrth symud yn mhell, ac yn neillduol i drefydd mawrion Lloegr. Bydd eisiau llythyr gollyngdod yr un fath i'r aelod. Oni fyddai y cynllun hwn yn rhagorol yn America?

—Amlygir ofn gan rai personau o bwys yn ein Henwad yn Nghymru, fed gormod o bregethwyr yn cael eu codi yno. Ymddangosodd erthygl alluog ar hyn yn ddiweddar yn *Seren Cymru.*

—"Gair y Cymod," ydyw teitl cyfrol o bregethau gan y Parch. B. Davies, Bethania, Treorci, a gyhoeddwyd yn ddiweddar. Mae y Parch. J. R. Jones, Llwynpia, yn dadgan nad yw yn arfer gormodiaith wrth ddweyd fod y gyfrol hon yn cynwys rhai o'r pregethau goreu a ddarllenodd erioed; a dywed Dr. Roberts, Pontypridd, am y pregethau, eu bod yn awgrymiadol iawn.

—Mae y Parch. B. James wedi rhoi gofal yr eglwys yn Arnot i fyny, ac wedi ymadael o'r lle.

—Nid cywir, ond gwir, yr englyn canlynol gan Ap Trebor ar y WAWR:

**Y WAWR yn awr a welir—yn chwalu'n**
**Chwilfriw bob rhwystr;**
**Trwy oleu hon canfyddir**
**Sylfaen safadwy y gwir.**

—Ebe Cadwgan Fardd, Johnstown, Pa.: "Giraldus anwyl, mae'r WAWR yn dda odiaeth, yn wir."

—Ebe y Parch. Wm. Jones, Wisconsin: "Anfonaf dâl am y WAWR yn

Digitized by Google

fuan, yr hon sydd mor siriol ei gwedd, cyson ei dyfodiad, a dymunol ei chynwysiad."

—Drwg genym glywed am farwolaeth yr hen frawd parchus a ffyddlon Henry W. Jones, Pittsburgh, Pa.

—Cydymdeimlwn â'r brawd y Parch. Thos. Thomas, Sharon, Pa., yn ei alar mawr ar farwolaeth ei anwyl wraig.

—Deallwn fod rhai yn cyngori y Parch. D. S. Thomas, Shenandoah, Pa., i gyfieithu ei lyfr, a'i gyhoeddi yn Saesneg.

—Mae gan y Parch. B. James, diweddar o Arnot, Pa., ysgrif lled faith yn *Seren Cymru* am Mawrth 23. Er mai ysgrif o'r America ydyw, am Gymru yn unig y mae yn ysgrifenu. Adgofion am yr hen weinidogion a'u dylanwad ar y bobl, sydd ganddo. Crybwylla *amryw* droion am y Parch. J. Herring, Aberteifi, a dywed mai ganddo ef y cafodd ei fedyddio oddeutu 60 mlynedd yn ol.

—Gwelwn fod cyflenwad o "Y Weithred o Fedyddio," gan Dr. Hugh Jones, Llangollen, yn barod o'r diwedd. Bydded i bawb a ewyllysio gael y llyfr rhagorol hwn, anfon atom yn ddioed.

—Mae dirwest yn un o bynciau y dydd gan lawer o'r eglwysi Bedyddiedig yn Nghymru yn bresenol.

—Da genym fod Youhannah E. Carey mor boblogaidd ar ei ymweliad â Chymru. Mae llawer dros fod rhyw Gymro yn myned i gyd-lafurio ag ef i Ganaan, rhag ofn i'w lafur fyned yn ofer yno, pe yn methu gan afiechyd neu angeu.

—Yn Ffestiniog, G. C., yn ddiweddar, cafodd Dr. R. D. Evans ei ethol yn aelod o'r Bwrdd Ysgol gyda y mwyafrif o yn agos i *naw cant*. Ni bu gan y Bedyddwyr aelod o'r blaen o'r Bwrdd. Mae yn amlwg ddigon fod y Bedyddwyr yn dyfod yn allu yn y lle.

—Deallwn fod y Parch. T. J. Jones, F. C. S., wedi cael gwahoddiad i dalu ymweliad a'r wlad hon yr haf nesaf, ac y bwriada draddodi cyfres o ddarlithiau yma ar "Wyddoniaeth." Bwriada gychwyn tua dechreu Mai, a bod yn absenol o Gymru am tua phum' mis.

—Y mae y Parch. C. H. Spurgeon yn wrthwynebol i ddull bydol "Byddin yr Iachawdwriaeth" o gario allan eu gweithrediadau.

—Traddododd y Parch. J. J. Williams, Rhyl, bregeth ar "Ail enedigaeth" mewn Cwrdd Chwarterol yn Seion, Cefnmawr, Mawrth 12, 13. Dymunir arno ei chyhoeddi.

—Terfyna blwyddyn Cymdeithas Genadol Bedyddwyr Prydain Fawr yn niwedd Mawrth. Yr oedd y newyddion parthed y casgliadau yn galonogol iawn fel y nesâi y flwyddyn at ei therfyn.

—Gobeithiwn nad oedd ein gohebydd o Lansford yn bwriadu iselu y weinidogaeth i'r graddau ag y mae ein gohebydd parchus "Ioan Fedyddiwr" wedi cael lle i dybied.

—Gwelwn mai ein cydwladwr y Parch. Edward Ellis yw y cynrychiolydd o Dakota i'r *Bible Convention* yn Saratoga yn Mai.

—Ysgrifena y Parch. John T. Griffiths, Scottdale, Pa., atom fel hyn:—"Bwriadwyf ymweled a Chymru yr haf dyfodol. Mae pob peth yn myned yn mlaen yn gysurus yn yr eglwys yma. Oddiar Hydref diweddaf mae dros 70 o ychwanegiadau, 43 o honynt drwy fedydd, a'r gweddill drwy lythyrau, ac o dir gwrthgiliad."

—Deallwn *nad yw* y Parch. Thomas M. Mathews, Hubbard, O., yn myned i Oshkosh, Wis., yn ol ei fwriad unwaith. Hysbysir ni mai yr achos o hyn yw fod y *rhan oreu* o hono yn methu teimlo symud i'r Gorllewin. Y mae yno le da i *rywun*.

—Mae archebion yn parhau i ddyfod atom am y "Llawlyfr Moliant." Dymunwn hysbysu pawb a garent ei gael, y bydd cyflenwad wedi ein cyrhaedd yn fuan. O ran hyny mae yr hysbysiad a gawsom o Gymry yn dy-

Digitized by Google

weyd am eu hanfoniad, yn peri i ni ddysgwyl am danynt bob dydd. Rhag ofn ein bod wedi anghofio *rhai*, gofaled pawb fod eu harchebion wedi ein cyrhaedd.

— Ebe y brawd D. Lloyd Jones, Pittsburgh, Pa.: "Yn awr mae y WAWR yn parhau yn ei pherffeithrwydd—y mae ei gwyneb yn llachar." Eto, ebe efe, "Y mae pawb yn iach ac yn cael ychydig i fwyta, yn ninas y mwg yma—Rhoslyn fel arfer; brawd *tip top* ydyw, ond y mae yn teimlo na fuasech wedi gwneyd lle i gofiant yr hen frawd Henry W. Jones." Sut y gallasem, a dim lle i gael? Yr ydym ninau yn *teimlo* hefyd oblegid y peth. Modd bynag gwelir y cofiant yn y rhifyn hwn.

—Mae y Parch. J. J. Vaughan, Bangor, Wis., yntau yn son am fyned i Dakota. Da iawn; dylai y Bedyddwyr ofalu am y *frontier*.

—Fel y dywed ein gohebydd medrus o Hyde Park, mae y Parch. J. W. Williams, D. D., y gweinidog, wedi myned am dymor i gyfeiriad Deheuol, er gwellhad iechyd. Hyderwn yn fawr y cyrhaedda y brawd llafurus ei amcan. Mae ei eglwys luosog a chyfrifol, yn nghyda lluoedd o gyfeillion, yn mawr gydymdeimlo a'r Doctor yn ei afiechyd, ac yn dymuno iddo adferiad buan. Mae lle gwag iawn hebddo yn Hyde Park.

—Hysbysir yn rhifyn Mehefin adeg cynaliad y Gymanfa yn Freedom, Cattaraugus Co., N. Y. Dywed y Parch. W. M. Evans, y "bydd yn ddigon cynar i gyhoeddi am y Gymanfa yn y rhifyn ar ol y nesaf (Mehefin).

—Dysgwylir y Parch. Mr. Evans, gweinidog y Bont-faen, D. C., yn America rai o'r dyddiau hyn.

—Synem ar dderbyniad gofyniadau y brawd John B. Thomas, Braddock, gan y tybiem fod erthygl y brawd Jones o Remsen, yn y WAWR ddiweddaf, yn rhagorol iawn, ac yn gosod allan yn dda *policy* Cymanfaol ac eglwysig y Bedyddwyr. Ond gan fod Mr. Thomas yn frawd synwyrol a da, ac yn cyflwyno ei ofyniadau mor foneddigaidd, a'r brawd Jones mor alluog i'w gyfarfod, caniatawn le i'r gofyniadau.

# Barddoniaeth.

## LLINELLAU

Cydymdeimladol â Mr. a Mrs. S. J. THOMAS, Berlin, Wis., yn eu galar mawr ar farwolaeth eu hanwyl fachgen, DANIEL, Mawrth 19, 1883, yn 12 mlwydd a 7 mis oed.

Wel, wel, gwn mai wylo—yr ydych
Mae'r adwyth yn clwyfo;
Awr drom a chwerw dro,
A wnaeth ubain, ddaeth heibio.

Colli Dannie call a doniol—un oedd
Mor addwyn a siriol!
Ryw lwythawg o orlethol,
Yw iaith "'ni ddaw byth yn ol."

Blod'yn yn wyneb ledu—i urddas
Yn ngardd hoff y teulu;
Un gwirion, hawdd ei garu,
A gwyn ceid y bachgen cu.

Anwyl, Ie, anwyl hynod—gwn y bu
Gan bawb o'i gydnabod;
Hyd fedd buchedd ddibechod
Yn ddinam ydoedd ei nôd.

Ond Dannie aeth o fyd dynion—i fyw
I fyd yr angylion;
A hylaw wedd o flaen Ion
Y gwyrai dan ei goron.

Gyfeillion hylon na wylwch—'n ermawl
Gyda gormod tristwch;
Ei *gorph* sy' mewn llety llwch,
Mae 'i *enaid* lle dymunwch.

CYFAILL.

## PENILLION

O Gydymdeimlad a'r brawd JOHN R. JENKINS, Mineral Ridge, Ohio, ar farwolaeth ei anwyl briod, MARY.

Rhodiodd hon drwy holl ffyrdd crefydd
'N ogoneddus, hardd, deg hynt,
Gan ymddangos i'r bydysawd
Fel y seren hono gynt;*
Bu yn dweyd wrth hen wrandawyr
Am ddanteithion Duw ei hun,
Gan gyfeirio eu cerddediad
At Waredwr euog ddyn.

*Sef seren Bethlehem i'r doethion.

Digitized by Google

'Roedd hi'n myn'd i'r holl oedfaon
Yn y gauaf fel yr haf,
Ac yn taflu aml ochenaid
Fyny 'n union tua'r Naf,
Mewn dymuniad anorchfygol
Am i Ysbryd gras ddod lawr,
Gan eu tywys yn yr anial,
Hyd nes myn'd at Iesu mawr.

Gorchwyl caled oedd ffarwelio
A'n hoff chwaer, 'rol bod mor hir
Yn cyd-deithio ar y ddaear,
Tua'r dedwydd dwyfol dir;
Gorfu iddi hi roi ffarwel
I'w chyfeillion ar y llawr,
Er myn'd adref at well cwmni,
I'r ardderchog wynfa fawr.

O, fy mrawd! O, paid ag wylo,
Ymaith sych dy ddagrau'n llon,
Er mor galed ydyw peidio,
'R ol y golled chwerw hon;
Er mor drymaidd yw dy galon,
Er mor welw yw dy wedd,
Cwyd i i fyny 'th galon bruddaidd
At breswylwyr gwlad yr hedd.

D. T. Edwards (*Tegwy*).

*Mineral Ridge, O.*

## GALARGAN

Am Sarah Ann Watkins, Priod William Watkins, Audenried, Pa, yr hon a fu farw Ionawr 15, 1883.

Dyddiau dyn sy'n llawn o flinder,
Mewn arteithiau yn y byd,
Stormydd chwerwon, ing a phryder,
Ochain galar ambell bryd;
Dros fy ngrudd y treigla deigryn,
Collais un blodeuyn hardd,
Daeth rhyw wywdod yn ei wreiddyn,
Tlysaf rosyn yn fy ngardd.

O, fy merch, bu imi 'n gysur,
Wrth ei magu yn ddinam,
Aeth fel dalen dan y dolur,
Heb siarad gair a thad na mam;
Fry mewn heddwch i baradwys,
Ei chorph sy'n gorphwys yn y bedd,
Beth mae'r rhybudd hwn yn gynwys?
Angau sydd yn dod a'i gledd.

Sarah Ann, gadewaist gydmar
A fu'n ffyddlon iawn i ti,
Caru mae dy gysgod llon-gar,
Nid yw'r sylwedd fel y bu;
Sylla ar dy arlun prydferth,
Fel pan oeddyt iach dy fron;
Rhwygodd angeu erch ac anferth
Galon Watkins y nos hon.

Lewis Thomas, *Bryniog*,
(Sef tad yr ymadawedig).

## I'R WAWR.

Y Wawr welaf 'n awr yn tori,
A lledaenu dros ein tir,
I addysgu a chysuro—
Bydded iddi lwyddiant hir.

Unwaith bu *Y Seren* siriol,
Draw o Pottsville bell yn dod;
'Nawr mae'r Wawr yn tra ragori,
Gan ei bod yn uwch ei rhod. B.

## ENGLYN

AR GAREG FEDD MR. JOHN GRIFFITH, TYDDYN SHON, GER PWLLHELI, G. C.

Gwr hoffus oedd John Gruffydd—credadyn
Cry' didwyll ei grefydd;
Un gafodd gred a bedydd,
O eigion ffynon y ffydd.

Cynddelw.

# Y Maes Cenadol.

GAN Y PARCH. W. F. DAVIES, NANTICOKE, PA.

II.—MADAGASCAR.

Yn flaenorol i'r flwyddyn 1818, yr oedd yr holl lwythau hyn yn baganiaid, a'r grefydd baganaidd oedd yn eu meddiant, yn rhyw gymysgedd o baganiaeth gwahanol wledydd. Nid oedd ganddynt ond drychfeddwl tywyll am Fôd uwchlaw pawb eraill, am sefyllfa ddyfodol; ac nid oedd ganddynt un ffurf neillduol o grefydd. Yr oedd ganddynt rai drychfeddyliau crefyddol a dderbyniasant o Affrica, rhai yn perthyn i hen grefyddau yr Aipht, rhai perthynol i eilun-addoliaeth India, yn nghydag arferion y llwythau Malayaidd. At hyn yr oeddynt wedi ychwanegu enwaediad, yr hyn yn ddiameu a dderbyniasant oddiwrth eu hymwelwyr Arabaidd. Hefyd ymatalient oddiwrth gig moch. Rhanent yr wythnos i saith diwrnod, yr hyn yn ddiddadl a dderbyniasent o'r un ffynonell. Nid oedd ganddynt demlau nac addoliad o un math, nac offeiriaid; ond yr hwn oedd yn gofalu am y delwau a dderbyniai yr aberthau, ac efe a gyflwynai ddeisyfiadau y bobl i'r

Digitized by Google

duwiau, ac a ddygai yn ol eu hatebion i'r bobl. Fel y Chineaid, yr oeddynt yn talu sylw mawr i'w meirw. Addolent wrth eu beddau yn aml yn ystod y flwyddyn. Yr oedd amlwreiciaeth yn ymarferol yn eu plith, a llofruddio eu plant yn cael ei oddef yn gyffredinol. Hyn, a llawer gwaeth pethau allem nodi, a ddengys gyflwr truenus pobl Madagascar yn flaenorol i'r cyfnod a nodwyd yn nechreu yr ysgrif hon. Darganfyddwyd yr ynys dan ein sylw yn y flwyddyn 1506. Yn fuan wedi ei darganfod gwnaeth y Portugïaid ymdrech i sefydlu trefedigaeth yno, ond yn fuan wedi glanio arni lladdwyd yr oll gan y brodorion. Yn y flwyddyn 1642 gwnaeth y Ffrancod ymgais i gymeryd meddiant o'r ynys, a phlanu yno eu hawdurdod. Llwyddodd Ffrainc am dymor i enill tir ac awdurdod yno; ond rhwng bod y brodorion yn codi yn awr ac eilwaith, a'r bobl yn dyoddef cymaint oddiwrth yr hinsawdd, gorfodwyd Ffrainc i roddi Madagascar i fyny. Yr oedd gan y Saeson gaerfa yn St. Augustine yn 1644, ond cymerwyd y milwyr oll yn glaf, a rhoddwyd y lle i fyny yn mhen ychydig flynyddoedd.

Tua dechreu y ganrif bresenol yr ydoedd Madagascar yn rhanedig i amryw Dalaethau, y cryfaf a'r cyfoethocaf o'r rhai oedd Imerina. Yn y flwyddyn 1808 daeth y Tywysog Radama i'r orsedd; yr oedd efe y pryd hwnw yn llanc 16 oed. Dangosodd yn fuan ei fod yn ddyn ieuanc yn meddu ar alluoedd meddyliol cryfion, ac uchelgais tu hwnt i'r cyffredin. Yn 1816 talodd amryw Brydeinwyr ymweliad a'r ynys, a derbyniwyd yr oll gan Radama yn garedig, ac ymddangosai yn falch o'u hymweliad. Y flwyddyn ganlynol gwnaeth gytundeb a Phrydain i ddifodi caethwasiaeth, ar yr amod fod yr olaf yn danfon swm blynyddol o arfau tân, yn nghyda dynion cymwys i hyfforddi ei ddeiliaid mewn ymarferion milwrol. Bu hyn yn foddion effeithiol i Radama i gynyddu mewn awdurdod, ac eangu terfynau ei lywodraeth. Gorchfygodd y Talaethau eraill, a darostyngodd bob llwyth ar yr ynys dan ei awdurdod, a chyhoeddodd ei hun yn frenin Madagascar.

Bu Ffrainc yn ystod y cyfnod o dan sylw, ar ei heithaf yn ceisio trechu Radama, a sefydlu ei hawdurdod ar yr ynys; ond dangosodd y Tywysog ieuanc ei fod yn deall Madagascar yn well na'r Ffrancod. Parhaodd y teimlad atgas rhwng y ddwy wlad am amser maith—Ffrainc ar ei heithaf yn cynhyrfu i wrthryfel y Talaethau oedd y Brenin wedi enill. Danfonodd yno lu mawr o'r gethern Jesuitaidd i ragbarotoi y wlad ar gyfer ymosodiad, ond bu pob ymdrech yn ofer. Daliodd Radama ei dir, a'i afael yn y bobl, er eu gwaethaf. Honwyd gan y Jesuitiaid fod ganddynt un waith ar yr ynys 15 mil o ganlynwyr. Yn y flwyddyn 1818 danfonodd Cymdeithas Genadol Llundain amryw genadon yno, yn nghyda meistri yn y gwahanol gelfyddau. Ni fu y symudiad daionus hwnw yn faith cyn effeithio ar y wlad er gwell. Yr oedd ar yr ynys amryw dafod-ieithoedd, yr oll o'r rhai a berthynent i'r teulu *Malayo-Polynesian languages*. Dewisodd y dafodiaith a siaredid yn fwyaf cyffredin, yr hon a adnabyddid wrth yr enw *Malagasy*. Ysgrifenwyd yr iaith, dichon, am y tro cyntaf erioed, cyfansoddwyd Gramadeg iddi, a chyn nemawr o fisoedd yr oedd yr oll o Air Duw wedi ei argraffu ynddi. Ymosodwyd ar y gwaith o sefydlu ysgolion, a dysgu pawb oedd yn foddlon cymeryd dysg, i ddarllen ac ysgrifenu, ac yn mhen deng mlynedd yr oedd ar yr ynys gant o ysgolion, a 15,000 o'r trigolion yn alluog i ddarllen ac ysgrifenu, a'r mwyafrif o honynt yn Gristionogion gobeithiol, ac yn dilyn yr Oen gyda chalonau llawen. Y llwyth a elwir yr Hovas ddangosodd y parodrwydd mwyaf i dderbyn y grefydd newydd. Hysbysa y cenadon fod y llwyth hwn fel wedi colli pob parch at eilun-addoliaeth cyn iddynt ddyfod a goleuni gwell iddynt. Yr ydoedd y llwyth dan sylw yn arfer creulonderau melldigedig at lwythau eraill, ond wedi i ras Duw gymeryd meddiant o'u calonau, nid oedd pobl dynerach yn y wlad.

Digitized by Google

Bydd genym air ar Madagascar eto y tro nesaf.

---

# Gwladyddiaeth y Mis.

GAN Y PARCH. J. EDRED JONES.

Pan yn gorphen yr ysgrif ddiweddaf gyda'r gofyniad, "Ddarllenydd, b'le y byddwn ni flwyddyn i heddyw?" ychydig a feddyliwn bryd hyny y buasai genyf i gofnodi marwolaeth un o aelodau y Cyfringyngor yn yr ysgrif nesaf; ond felly y mae, y mae'r Postfeistr Cyffredinol, yr Anrhydeddus Timothy O. Howe, o Wisconsin, wedi marw! Ac ymddengys fod yr amgylchiad wedi dyfod yn dra annysgwyliadwy i'w gyfeillion agosaf. Pan yr aeth ar ymweliad a'i gartref yn Green Bay, Wis., ychydig amser cyn ei farwolaeth, fe ddywedir ei fod mewn gwell iechyd nag oedd wedi bod er's 17 mlynedd. Wedi cyrhaedd gartref, cafodd anwyd trwm, yr hwn a ddiweddodd mewn *pneumonia*, a bu farw yn sydyn yn nhy ei nai, yn Kenasho, Wis., ar y 25ain o Fawrth, yn 67 ml. oed.

Yr oedd Mr. Howe yn enedigol o Dalaeth Maine. Ni chafodd ond manteision ysgol gyffredin. Efrydodd y gyfraith, a derbyniwyd ef i'r *Bar* yn 23ain oed. Dechreuodd ei fywyd cyhoeddus fel aelod o Ddeddfwrfa Maine, yn y flwyddyn 1845; ac wedi un term, symudodd i Wisconsin. Yn 1850, cafodd ei ethol yno yn Farnydd Cylchdeithiol. Ar ol hyn, daeth yn Brif Farnydd y Dalaeth; ac yn 1861, cafodd ei ethol yn Seneddwr y Talaethau Unedig, a daliodd y swydd am ddeunaw mlynedd. Ar ymddiswyddiad yr Anrhydeddus Thomas L. James, cafodd ei benodi gan yr Arlywydd Arthur yn Bostfeistr Cyffredinol, a llanwodd ei swydd yn anrhydeddus. Taflodd ei holl ddylanwad i ddarostwng y llythyrdoll, a gweithiodd yn galed i hyrwyddo llythyr-gludiaeth, a gwelliantau eraill yn y Post Swyddfa. Ond daeth ei amser yntau i fyny. O holl aelodau y Cyfringyngor, efe oedd y cyntaf i farw mewn swydd, ar ol marwolaeth yr Ysgrifenydd Rawlins, yn 1869.

Mor fuan ag y daeth lle Mr. Howe yn wag, mawr fu y tynu ar y gwifrau politicaidd am ei gadair. Codwyd gobaith llawer un am yr anrhydedd; ond er siomiant blin i'r rhai sydd wedi arfer byw yn fras ar yr hufen gwladyddol, dewisodd yr Arlywydd yr Anrhydeddus W. Q. Gresham, o Indiana, yn olynydd iddo. Y mae yntau wedi derbyn y swydd, ac efe sydd wrth y llyw yn bresenol. Rhoddir y ganmoliaeth uchaf i'r boneddwr hwn, gan y rhai a'i hadwaenant oreu, fel un yn meddu ar alluoedd gweinyddol o'r radd flaenaf. Tra yn son am aelodau y Cyfringyngor, dichon mai nid allan o le fyddai crybwyll am y si sydd ar led fod

YR YSGRIFENYDD FOLGER

dipyn yn anmhoblogaidd yn mhlith israddolion y *Treasury Department*. Dywedir fod digon o brofion o hyny wedi cael eu hamlygu yn ddiweddar. Ond, paham? Pa ddrwg mae yr Ysgrifenydd wedi wneyd i achosi hyny? Dim, yn ngolwg y mwyaf cyfleus i wybod, a'r cymwys i farnu, ond gorfodi yr is-swyddogion i gyflawni eu dyledswyddau yn onest, ac nid treulio eu hamser ar bleser-deithiau ar draul y Llywodraeth, fel y byddent arferol o wneyd. Heblaw hyn, dywedir fod yr Ysgrifenydd Folger yn gwrthod arwyddnodi unrhyw bapyr, heb wneyd ei hun yn hollol gyfarwydd a'i gynwysiad. Dyma *an*mhoblogrwydd gwerth ei ddymuno; a gellir ei ddysgwyl, oblegid y mae dyn gonest, o angenrheidrwydd, yn anmhoblogaidd gan yr anonest—dyn o synwyr cyffredin gan y ffol—dyn dystaw gan y clebrwr—dyn cymwys i'w swydd gan yr anghymwys—y dyn cynil gan y gwastraffus—a'r dyn gweithgar gan y diog. Anmhoblogaidd yw pob dyn da gan genedlaeth ddrygionus. Y mae llawer o weinidogion goreu yr eglwysi yn deall y pwnc hwn i berffeithrwydd, trwy

Digitized by Google

brofiad chwerw. Erbyn hyn, yr ydym yn dechreu cael ychydig o brofiad ar

Y TARIFF NEWYDD,

a basiwyd yn oriau olaf y Gydgyngorfa ddiweddaf. Er nad yw eithafwyr y ddwy ochr wedi cael eu boddloni, eto ymddengys fod corph mawr y dosbarth deallus o'r boblogaeth yn teimlo yn esmwyth—fe allai yn ddiolchgar—gan gwbl gredu na welir mwy o goblera ar y tariff am gryn amser i ddyfod, am fod gwladlywiaeth sefydlog unrhyw lywodraeth yn hanfodol i lwyddiant masnachol. Nis gellir gweled fod y mesur hwn yn rhoi llawer o gysur i bleidwyr masnach rydd. Tra mae yn darostwng y cyllid ar rai nwyddau, y mae yn codi ar eraill. Mae y codiad yn effeithio ar gyffeiriau, llestri pridd, nwyddau gwydr, haiarn, dur, a meteloedd eraill, gwirodydd, a chotwm. Y mae'r gostyngiad yn effeithio ar siwgr, defnyddiau ymborth, gwlaneni, &c., &c. Ymddengys fod cwmniau mawrion yr haiarn a'r dur wneuthurwyr yn cael gofalu am danynt yn lled dda gan y mesur hwn.

Amcan-gyfrifir y bydd lleihad yn nghyfanswm y daered gyffredin oddeutu $30,000,000, a thua $40,000,000 yn yr *internal revenue*, yr hon a ddylasai fod wedi ei diddymu gyda therfyniad y gwrthryyfel a'i galwodd i fodolaeth. Symudiad y baich llethedig hwn, gostyngiad y dreth ar siwgr, gwlaneni, &c., yw y pethau mwyaf pwysig i'r cyhoedd yn gyffredin. Dylai ein tê a'n coffi fod yn felusach, ein cefnau a'n gwelyau yn glydach a gwresocach, ac am lai o bris, nag ydynt yn bresenol. Y mae'r dognau bychain hyn yn dderbyniol, mor bell ag y maent yn myned, ac yr ydym yn ddiolchgar am danynt; ond rhaid yw dweyd, fod y tariff newydd yn hollol afresymol, anghyfiawn a gormesol, gyda golwg ar lyfrau. Y mae yn ormod o'r dydd yn bresenol i drethu gwybodaeth—moddion diwyllio a phorthi y meddwl. Ond rhaid gadael y pwnc hwn, am y cymerai ormod o le i fanylu arno yma, yn yr ysgrif bresenol.

## HANESION CARTREFOL.

CYFARFOD CHWARTEROL KINGSTON, PENNSYLVANIA.

Mercher a Iau, Ebrill 18, 19, agorwyd y gynadledd drwy ddarllen a gweddio gan y brawd James Evans, Wilkesbarre. Cadeiriwyd gan W. D. Thomas, Parsons, Is-Gym. y Gymanfa. Penderfynwyd, Ein bod yn galw sylw y Gymanfa at y priodoldeb o neillduo pwyllgor i archwilio tyst-lythyron brodyr dyeithr, yn bregethwyr a gweinidogion a ymwelant ag eglwysi ein Cymanfa. 2. Ein bod yn galw sylw y Gymanfa at y priodoldeb o ffurfio rheolau i'r Cwrdd Chwarter weithredu wrthynt. 3. Ein bod yn rhoddi llythyr o gymeradwyaeth i'r brawd D. E. Bowen, er ymuno a Chymanfa Wisconsin. 4. Ein bod yn mawr gymeradwyo llyfr y Parch. D. S. Thomas, "Dylanwad Cymdeithasol Cristionogaeth," i sylw ein heglwysi a'n cynulleidfaoedd, fel traethawd sydd yn werth i'w brynu. 5. Fod y Cwrdd Chwarter nesaf i'w gynal yn mis Mehefin—y lle a'r dyddiau i'w gwneyd yn hysbys eto.

Llawenychwn yn ddirfawr fod rhagolygon y Gymdeithas Gartrefol Gymreig mor addawol. Yr oedd adroddiadau y pwyllgor yn galonogol iawn. Derbynir y casgliadau yn y Cwrdd Chwarter nesaf. Llawenychwn hefyd am fod yr Arglwydd yn ymweled a'u bobl yn ffordd ei ras—am yr ychwanegiadau sydd wedi bod at yr eglwysi yn ddiweddar--fod Seion yn llawen fam plant yn y mwyafrif o eglwysi y cylch. "Ac eto y mae lle."

*Y Moddion Cyhoeddus.*—Nos Fercher, dechreuwyd yr oedfa gan y brawd B. E. Jones, Wiconisco, a phregethodd y brodyr H. Thomas, Lansford, a J. Reeves, Providence. Am 3, dydd Iau, darllenodd a gweddiodd y brawd W. D. Thomas, Parsons, a phregethodd y brodyr B. E. Jones a J. P. Harris. Am 7, agorwyd y cyfarfod gan y brawd T. D. Evans, Audenried, a phregethodd y brodyr D. S. Thomas, Shenandoah, a D. R. Jones, Plymouth.

Digitized by Google

Cafwyd cyfarfodydd dymunol, a derbyniad serchog gan yr eglwys. Bendith yr Arglwydd fyddo ar lafur ei weision.—*J. P. Harris.*

### Cymanfa y Bedyddwyr Cymreig Gorllewinol i'r Mississippi.

Cynelir y Gymanfa uchod eleni gyda'r eglwys yn New Cambria, Mo., Mehefin 8, 9, 10, i ddechreu nos Wener, yr 8fed, pryd y dysgwylir i ddau bregethu. Cynadledd boreu Sadwrn am ddeg, cyfeillach am ddau, a phregethu yn yr hwyr am saith, a phregethu trwy y dydd Sabboth. Dysgwylir i holl weinidogion y cylch, yn nghyd a'r cenadon, i fod yn bresenol yn brydlon.

Taer ddymuna yr eglwys fechan yn New Cambria ar yr holl eglwysi perthynol i'r Gymanfa, i wneyd yr oll a allont i'w cynorthwyo mewn ystyr arianol i ddwyn y treulion, am eu bod yn weiniaid, ac wedi myned o dan faich trwm i adeiladu eu capel yn ddiweddar, yr hwn a fwriedir ei agor adeg y Gymanfa. Yr eiddoch—*Thomas D. Evans, Bevier, Ysg.*

### Cymanfa Bedyddwyr Cymreig Ohio a Gorllewinbarth Pennsylvania.

Cynelir y Gymanfa uchod yn New Straitsville, Ohio, Mai 25—27, 1883. Bwriedir cynal y Gynadledd am 10 a 2 o'r gloch yr ail ddydd, sef y 26ain, pryd y dysgwylir i'r gweinidogion a'r cenadon fod yno yn brydlon. Gan fod New Straitsville mor bell oddiwrth y rhan luosocaf o'r eglwysi perthynol i'r Gymanfa, a'r draul mor fawr i'r gweinidogion fyned yno, taer ddymunir mewn modd neillduol am gydymdeimlad yr eglwysi oll mewn ystyr arianol, er cynorthwyo y frawdoliaeth yn New Straitsville i gynal y Gymanfa yn anrhydeddus. Hyderwn y bydd i bob eglwys a phob gweinidog perthynol i'r Gymanfa gymeryd hyn at eu hystyriaeth.—*Thos. Thomas, Ysg.*

### Niles, O.

Da genym allu hysbysu fod eglwys y Bedyddwyr yn llewyrchus, a gweinidogaeth ein hanwyl frawd Jenkins yn effeithiol yn y lle, ac ambell i afradlon yn dychwelyd. Mae yma hefyd ysgol Sul ardderchog, a'r brawd Jas. Jones yn arolygwr rhagorol. Bu yma gyfarfod da nos Sadwrn, y 7ed o Ebrill gan blant yr ysgol yn adrodd a chanu. Yr oedd y canu o dan arweiniad y brawd David Williams. Cawsom ddwy awr o wledd i'r meddwl, a phawb yn gwrandaw wrth eu bodd. Yr oedd ein cyfaill D. M. Job yn ei lawn hwyliau gyda'r organ; yn wir, mae y cyfaill hwn yn haeddu canmoliaeth am ei ymdrech gyda phob peth sydd yn cael ei ddwyn yn mlaen gan blant yr ysgol; y mae bob amser yn barod i roddi help llaw. Y mae ein gweinidog ar y maes yn casglu at ein capel; gobeithio ei fod yn cael serchawgrwydd gan bawb, ac na fydd iddo fod yn hir eto cyn dod i ben. Hefyd, mae ein chwaer Mrs. Job a'r brawd Richard Evans ar eu goreu yn casglu *votes*—y maent yn rhedeg am Feibl Teuluaidd; ac, yn wir, Mr. Golygydd, mae pob arwyddion y bydd iddynt wneyd swm go dda. Cewch y manylion eto.—*Aelod.*

### Galwad i Weinidog.

Mae y Parch. D. E. Bowen (Delta), Carbondale, Pa., wedi derbyn galwad unfrydol eglwys y Bedyddwyr Cymreig ger Berlin, Wis. Ei gyfeiriad fydd Berlin, Wis. Dymuna ar y rhai sydd wedi derbyn sypynau o'r *Berean*, os wedi eu gwerthu, i fod mor gymwynasgar ag anfon tâl, neu eu dychwelyd ar draul yr awdwr i'r cyfeiriad uchod.

### What Cheer, Iowa.

Mae y lle hwn wedi cynyddu o ychydig o dai mwnwyr i fod yn ddinas yn cynwys 2,500 o drigolion mewn dwy flynedd. Mae yr eglwys yn gyfansoddedig i raddau helaeth o Gymry. Maent yn ddiweddar wedi rhoddi galwad i'r Parch. James Jeffreys, yr hwn yn ddiweddar oedd yn weinidog yn Downsey a Lone Tree. Dechreuodd ar ei lafur yno tua chanol Ebrill. Mae hwn yn symudiad doeth, oblegid gall efe bregethu yn Saesneg neu Gymraeg, ac y mae efe yn engraifft dda o bregethwyr Bedyddiedig Cymreig, yn llawn

Digitized by Google

o wirionedd sylweddol yr efengyl, ac heb fod yn ofnus i'w draethu.—*O'r Standard.*

COFGOLOFN MOSES WRIGHT.

Dymunir hysbysu y byddis yn cau y *list* danysgrifiadol at y mudiad uchod ar y 15fed o fis Mai. Derbyniwyd wedi y cydnabyddiad blaenorol yn y WAWR, oddiwrth y cyfaill twym-galon Samuel Job, Ysw., $5.00; a'r Parch. John Evans, New Haven, $5.00. Taer erfynir ar y rhai ydynt wedi tanysgrifio yn barod, ac heb anfon yr arian i'r Trysorydd, i wneyd hyny *yn ddioed*, ac eraill, ydynt am daflu eu hatling i'r drysorfa, i gofio gwneyd hyny cyn y dyddiad uchod.—*D. Lloyd Jones, Pittsburgh, Pa.*

UTICA, N. Y.

*Eglwys y Bedyddwyr Cymreig.*—Dymuna yr eglwys hon hysbysu, fod yr elw oddiwrth y *donation* diweddar yn $243.35. Penderfynodd yr eglwys wneyd anrheg i'w gweinidog, y Parch. Morlais Evans, o $100 o'r arian; ac hefyd $90 a gasglwyd yn mhlith yr aelodau, tuag dalu traul ymfudiaeth teulu Mr. Evans o Gymru. Ar gyfrif yr haelioni hwn, gellir cymwyso y frawddeg hono at yr hen eglwys, "Yr hyn a allodd hon, hi a'i gwnaeth." Bu Mrs. Morlais yn wael, ond y mae yn gwella. Dymunwn iddi adferiad buan a chyflawn, a gobeithiwn y bydd gweinidogaeth ein brawd yn allu Duw er adeiladaeth y saint, ac argyhoeddiad pechaduriaid. Dymunwn gyflwyno ein diolchgarwch mwyaf diffuant i bawb am bob cymorth a dderbyniasom tuag at y *donation*, gan gredu na fydd i'r hwn a roddo gwpanaid o ddwfr i ddysgybl golli ei wobr. Dros yr eglwys—*Evan Roberts, Trys.*

HYDE PARK, PA.

*Ebrill 23, 1883.*

MR. GOL.—Dymunwyf eich llongyfarch ar ddechreu blwyddyn y WAWR, gan obeithio y cawn flwyddyn gyfoethog—y daw "meib llen a'r awen wir" yn llu i'r maes.

Yr ydym ni yma yn teimlo yn gysurus gyda phethau crefyddol. Fel y gwyr darllenwyr y WAWR erbyn hyn, fod y cyfan o ddichellion y gelyn wedi methu a chyrhaedd yr amcan, a bod y dylanwad wedi myned yn ol yn effeithiol arnynt hwy. Dywed yr Hen Lyfr, nad yw melldithion yn myned i'r nef nac i'r ddaear. Y mae'r Doctor wedi bod, ac yn parhau i raddau, yn wael ei iechyd. Yr achos, mae yn debyg, oedd llafur gormodol, yn nghyd ag oerfel. Y mae yr eglwys wedi ei anog i fyned i rywle am adgyfnerthiad, gan roddi iddo ddau Sabboth; y mae yntau yn awr yn nghymydogaeth yr Atlantic City. Hyderwn, pan y dychwela yn ol, y bydd i raddau helaeth wedi adgyfnerthu. Nid ydym wedi bedyddio neb yn ystod y mis diweddaf, oblegid afiechyd Mr. Williams. Y mae yma amryw o flaen yr eglwys; ac os bydd y Doctor yn teimlo yn well pan y daw yn ol, cawn y fraint o weled torf yn cael eu derbyn y Sul cymundeb nesaf.

Anrhegwyd Mr. a Mrs. Williams â phob o ddarlun hardd o honynt eu hunain, heb eu bod yn gwybod dim am hyny, gan chwiorydd yr eglwys, y rhai yn dawel a neillduasant y brodyr da Benjamin Hughes a James Evans i'w cynorthwyo. Y mae y darluniau yn 3 tr. wrth 2 tr. 7 m., yn aur addurnol, gwerth $150. Cariwyd yr holl fusnes yn mlaen heb fod neb bron yn gwybod, ac yn neillduol felly Mr. a Mrs. Williams. Yr oedd cyfarfod gan yr ysgol Sul, ac yn hwnw, heb yn wybod iddynt eu hunain, y cawsant yr anrheg. Yr oedd y cyfarfod yn un da, peth a allesid ddysgwyl gan blant yr ysgol Sul. Llywydd y cyfarfod ydoedd B. Hughes.

Cawsom gyfarfod arall ddydd Sul diweddaf; yr oedd hwn yn gyfarfod undebol o'r tair ysgol—jubili chwarterol. Canodd y pedwar Gobeithlu wedi uno bump o ddarnau yn hynod soniarus, yn cael eu harwain gan y pedwar arweinydd, sef E. Thomas, a G. Evans, o ysgol y capel; Thomas W. Watkins, o'r Fourth Ward; Edwin Rees, Bellevue, a David S. Evans, Continental. Adroddodd Lizzie Harris y wers am y Sabboth hwnw; anerchwyd gorsedd

Digitized by Google

gras gan Thomas D. Davies; adroddwyd y Salm gyntaf yn dda gan Casie Maria Phillips, merch fechan 7 mlwydd oed; darllenwyd cyfrifon y chwarter gan Mr. Benjamin Hughes. Yr oedd yn bresenol y Parch. Adam Chambers, yr hwn sydd yn darlithio, ac yn dangos trwy y darlithiau "Daith y Pererin." Bydd yn darlithio nos Fawrth. Llywydd y cyfarfod, Thomas G. Thomas, Llywydd Cyffredinol.

Y Sabboth diweddaf, pregethodd y Parch. Daniel E. Bowen ei bregeth ymadawol i ni, cyn ei fyned i Wisconsin bell. Y mae gan Mr. Bowen lawer iawn o gyfeillion mynwesol yn y lle hwn, a'n dymuniad yw, ar i Dduw pob gras ei gynal a'i arddel i wneyd daioni mawr eto. Caffed brydnawn dan wenau Duw; a phan fachludo ei haul, agored gwawr anfarwoldeb i roddi goleuni iddo i weled y tragywyddol ddydd.—*Ebenezer Lloyd.*

PLYMOUTH, PA.

Bydd gwaith Sabboth, Mawrth 18fed, ar gof gan Fedyddwyr y lle hwn am amser maith. Yn y boreu, am naw o'r gloch, cafwyd cwrdd gweddi i ddeisyf am fendith Duw ar waith y dydd.

Am ddeg, pregethodd y Parch. D. Rhys Jones, y gweinidog, oddiwrth Act. 17: 28. "Megys y dywedodd rhai o'ch poetau chwi eich hunain." Rhoddodd dystiolaethau rhai o ddysgedigion penaf perthynol i'r enwadau taenellyddol ar y pwnc o fedydd, a'r rhai hyny oll yn ffafriol i fedydd trochiad. Eglurodd hefyd pa fodd, gan bwy, ac yn mha le, y gweinyddwyd y bedyddiadau cyntaf a gofnodir yn yr Ysgrythyr. Traethodd yn fedrus ar gomisiwn Iesu Grist i'r apostolion—"Ewch i'r holl fod, a phregethwch yr efengyl i bob creadur; y neb a gredo ac a fedyddier a fydd cadwedig."

Am dri o'r gloch, ar ol yr ysgol, caed cwrdd i fedyddio; ac yn wir, golygfa hardd oedd gweled deuddeg o bersonau yn talu ufudd-dod i Fab Duw yn y bedydd, sef pump o ddynion, a saith, namyn dwy, yn ferched ieuainc. Yr oedd y menywod wedi ymwisgo mewn

"Gynau gwynion.
Ac ar eu newydd wedd,
Yn debyg idd eu Harglwydd,
Yn dod i'r lan o'r bedd."

Dechreuwyd trwy ganu, a darllenodd y brawd Vaughan Richards yr wythfed benod o'r Actau, a gweddiodd yn dra effeithiol; yna canwyd yr emyn,

"Af ar ol yr apostolion," &c.

Erbyn hyn yr oedd y *basement* yn orlawn o bobl, ac aelodau yr ysgol Sul. Yn gyntaf, bedyddiodd y Parch. D. Rhys Jones y gwrywod, a thrachefn cafwyd anerchiad byr a phwrpasol ar fedydd gan Vaughan Richards; yna bedyddiwyd y menywod, un o'r rhai oedd ferch i'r hybarch Mr. Jones. Amlygai deimladau toddedig a boddhaus wrth arwain ei anwyl ferch i'r dyfrllyd fedd, a'i chyd-gladdu gyda Christ yn y bedydd. Yr oedd y bedydd o'r dechreu i'r diwedd yn wir effeithiol. Gwelsom lawer grudd yn cael ei heneinio gan ddagrau. Terfynwyd y cwrdd tra dyddorol hwn trwy weddi gan y brawd Jones.

Dechreuwyd y cyfarfod hwyrol am 6, pryd y pregethodd Mr. Jones drachefn oddiar Luc 19: 40. "Pe tawai y rhai hyn, llefai y ceryg yn y fan." Yna rhoddwyd dwylaw cymdeithas i'r deuddeg a fedyddiwyd, yn nghyd ag adferyd tri, yn gwneyd cyfanrif o 15, yn mis Mawrth. Yna cydgymerasom o'r bara, ac yfasom o gwpan yr Arglwydd er coffa am dano hyd oni ddelo. Yna terfynwyd gwaith y dydd Sabboth hwn, ac aeth pawb i'w cartrefleoedd mewn teimladau diolchgar i'r Arglwydd. Dymunem weled dyddiau cyffelyb eto ar frys.—*John L. Jones.*

PALMYRA, O.

*Cwrdd Ymadawol y Parch. Wm. R. Jones.*—Yr oedd capel y Bedyddwyr wedi ei lanw â chynulleidfa barchus iawn nos Lun, Ebrill 9fed, ar yr achlysur o ymadawiad yr hybarch Wm. R. Jones. Fel y gwyr llawer, ond nid pawb, fod Palmyra wedi bod yn gartrefle i'r hen frawd Jones am ddwy flynedd bellach, ac enillodd iddo ei hun lawer o gyfeillion mynwesol. Mae yr eglwys yn teimlo ei bod yn colli

Digitized by Google

brawd heddychol a thangnefeddus wrth golli Mr. Jones. Mae Mr. Jones a Mr. Jenkins, gweinidog yr eglwys hon, wedi treulio y ddwy flynedd gyda eu gilydd, fel Dafydd a Jonathan. Drwg genym fod Mr. Jenkins wedi cael ei amddifadu o'r cwrdd hwn, drwy ei fod ar daith gasglyddol ar y pryd; ond cáwsom y brawd parod John J. Jenkins, gweinidog yr A., i lywyddu y cyfarfod, a digon yw dweyd iddo yn ei ddull ffraeth lanw ei swydd yn anrhydeddus. Cafwyd anerchiadau gan lawer o'r brodyr, oll yn fyr ac i'r pwrpas, ac yr oedd y beirdd yn eu hwyliau goreu, a'r cantorion ar eu huchel fanau. Hefyd, cawsom anerchiad gan y Parch. J. Lloyd (A.), yr hwn a deimlai yn dda gael dweyd gair am yr addfwyn Mr. Jones. Yn nesaf, deuwyd at y gwaith o ddangos ein parch tuag ato mewn gweithred, drwy i Mrs. Williams, un o aelodau henaf yr eglwys, gael ei galw yn mlaen i gyflwyno iddo, dros ei gyfeillion o'r eglwys, bwrs yn llawn o'r pethau hyny y mae pawb yn eu caru, ac hefyd i Mrs. Jones ychydig o waith i'r *sewing machine*. Diolchodd yr hen frawd yn ei ddull hunanymwadol am y parch a ddangoswyd iddo tra yn aros yn Palmyra, ac wrth ymadael. Yn nesaf, cafwyd anerchiad gan y Parch. J. P. Davies (A.), Hubbard, O. Dywedodd fod yn dda ganddo gwrdd â'r hen frawd Jones ar amgylchiad mor gysurus. Cawsom anerchiad gan Mr. Davies teilwng o hono ef ei hunan, a chyngorion gwerth i bawb eu cofio.—*Jas. Roach.*

---

### *BEDYDDIWYD—*

Mawrth 18, 1883, bedyddiwyd un brawd ar broffes o'i ffydd yn Mab Duw, yn Ashland, Pa., gan y Parch. Jeremiah Griffiths, ein gweinidog.—*Un o'r Brodyr.*

---

### *PRIODWYD—*

Yn Pomeroy, O., Ebrill 12, 1883, gan y Parch D. C. Thomas, yn mhalas Mr. Stanley, Mr. William Price a Miss Lida Tucker, y ddau o'r lle uchod.

Chwefror 9, 1883, yn Youngstown, O., gan y Parch. D. Probert, Mr. John T. Davies a Miss Elizabeth Hughes.

Ebrill 18, 1883, yn nhy Mrs. S. B. Aller, (chwaer y priodfab,) Brooklyn, N. Y., gan y Parch. William James, Woodhaven, L. I., William B. Jones, Ieu. (unig fab Ap P. A. Mon), a Miss Kate E. Ives, merch y diweddar Edwin R. Ives, New York.

Dy gynghor, Duw Ior, dyro - a dy wên
Daenawl i'w goleuo;
Eu taith, er yn faith, a fo
I dy nodded yn eiddo.—Ap P. A. Mon.

Ebrill 11, 1883, yn Freedom, Cattaraugus Co., yn nhy mam y briodasferch, gan y Parch. W. M. Evans, Mr. George N. James a Miss Ella Davis. Derbyniodd y pâr ieuanc roddion gwerthfawr gan y gwahoddedigion.

Ebrill 18, 1883, yn Freedom, Cattaraugus Co., N. Y., gan y Parch. W. M. Evans, yn ei dy ei hun, Mr. David R. James, a Miss Phebe A. Johns, y ddau o Arcade, N. Y. Boed bendith Duw arnynt.

Mawrth 24, 1883, yn Pittsburgh, Pa., gan y Parch. D. Rhoslyn Davies, Mr. John Asaph Davies a Miss Annie Davies, y ddau o'r lle uchod.

Ebrill 18, 1883, yn Bellfield, ger Pittsburgh, Pa., gan y Parch. D. Rhoslyn Davies, Mr. Wm. L. Bennett a Miss Florence B. Whited.

Chwef. 26, 1883, yn eglwys y Bedyddwyr yn Ashland, Pa., a hyny yn y boreu cyn deuddeg o'r gloch, yn ol arfer yr Hen Wlad, a hyny ar ddymuniad tad a mam y ferch ieuanc, sef Mr. Thomas a Ruth Thomas, gan y Parch. Jeremiah Griffiths, Mr. W. Howard Sink, a Miss Mary Thomas, y ddau o'r dref uchod.

March 31, 1883, at the house of the bridegroom's parents, Mr. and Mrs Reed, George Trumbull and Elizabeth Llewelyn, both of Morris Run, were duly joined by me in holy matrimony, and it is my sincere prayer that this new relationship that they have entered upon, may conduce to their happiness and prosperity.

The Lord of old in wisdom,
Gave man a helpmeet dear,
To make his home more happy,
And life more bright and clear.
Happiness be the portion,
Of Trumbull and his bride,
The Lord be their protector,
Their Master and their Guide.
John M. Evans.

---

### *BU FARW—*

MRS. MARY JENKINS.

Ionawr 11, 1883, yn Mineral Ridge, O., yn 48 mlwydd oed, Mrs. Mary Jenkins, o'r

parlys. Yr oedd yr ymadawedig yn wraig i John R. Jenkins, aelod ffyddlawn a gweithgar yn eglwys y Bedyddwyr yn Mineral Ridge, O. Ail wraig oedd Mary i Mr. Jenkins, ac ail wr oedd Mr. Jenkins iddi hithau. Yr oedd ganddi hi bump o blant o'r gwr cyntaf, ac y maent oll yn fyw, dau o honynt wedi priodi. Maent oll yn alluog i ymdaro drostynt eu hunain.

Wyth mlynedd yn ol i Medi diweddaf ymfudodd Mrs. Jenkins o'r Hen Wlad, o Sir Frycheiniog, a daeth i Mineral Ridge. Yn mhen dwy flynedd ar ol hyny ymunodd mewn glan briodas a Mr. Jenkins, a buont fyw yn hynod ddedwydd gyda'u gilydd. Cyn iddi ymuno mewn priodas a Mr. Jenkins, yr oedd yn aelod ffyddlon iawn gyda'r Annibynwyr, ond trwy ddarllen a derbyn cyngorion daeth i weled fod un peth eto yn angenrheidiol, sef ufuddhau i'r ordinhad o fedydd. Gweinyddwyd yr ordinhad hon arni gan yr hen dad parchus D. Evans, Wheatland, yn y flwyddyn 1878, a bu ein chwaer yn ffyddlon iawn gydag achos y Bedyddwyr ar y Ridge. Yr oedd Mrs Jenkins yn hynod o hawddgar, caredig a heddychol; rhagorai ar ei hardalwyr fel benyw dawel. Fel Cristion yr oedd yn hynod o ffyddlon; yr oedd bob amser a'i chalon yn y gwaith.

Yr oedd Mrs. Jenkins yn un o'r benywod cryfaf ac iachaf yn y gymydogaeth, ond ar y 4ydd dydd o Ionawr diweddaf, yn mrig yr hwyr, pan oedd ein chwaer yn nghanol ei nerth a'i hiechyd, dyma angau a'i ddwrn parlysaidd yn dyfod yn mlaen gan daraw yn drwm ein chwaer, fel nas gallodd ddweyd ond dau air ar ol hyny. Bu fyw mewn poenau am wythnos, pryd y gorphenodd ei gyrfa mewn tawelwch. (Teilwng o sylw yma ydyw, ddarfod i'w mam gael ei chymeryd ymaith tuag 8 mlynedd yn ol gyda'r un afiechyd; ni bu hi fyw ond pedair awr ar hugain.)

Y dydd Sadwrn canlynol i'w hangeu, claddwyd yr hyn oedd farwol o honi yn mynwent Weathersfield, pryd y gweinyddwyd yn y ty gan weinidog yr Annibynwyr a'r ysgrifenydd. Yn y capel ac wrth y bedd gan yr ysgrifenydd. Cafodd gladdedigaeth fawr a pharchus. Dydd Sul, Chwefror 18, traddodwyd pregeth angladdol yn nghapel Bedyddwyr Mineral Ridge, gan yr ysgrifenydd, oddiar Dat. 14: 13, a hyny i dyrfa luosog o wrandawyr galarus. Bydded i Dduw pob gras ofalu am ein hanwyl frawd, yr hwn sydd yn unig iawn, a hefyd y plant sydd heb dad na mam.

*Church Hill.* W. J. WILLIAMS.

MRS. HUSBAND.

Medi 4, 1882, yn Plymouth, Pa., Mrs. Husband, priod Mr. Benjamin Husband, oddiwrth effeithiau cydgyfarfyddol amryw glefydau pan yn 60 oed. Adnabyddid hi gynt wrth yr enw "Peggy Siams Rees." Ganwyd hi yn y Colliers' Row Isaf, ger Merthyr Tydfil, Deheudir Cymru, yn 1822. Merch ydoedd i John Rees, yr hwn a gyfarfyddodd a'i ddiwedd drwy foddi yn *feeder* Camlas Merthyr bum' mlynedd ar hugain yn ol. Ymbriododd a James Rees yn 1840, yr hwn a adnabyddid wrth yr enw "Siams y Coedwr." Symudasant o'r lle uchod i Gwmbach, ger Aberdar, ac oddiyno i Mountain Ash, lle bu ei phriod farw yn 1864, gan adael ar ei ol ddeg o blant amddifaid heb dad, yn ngofal y fam weddw alarus ac hiraethlawn, ac y mae y plant oll yn fyw i gydalaru ar ol eu mam. Yn mis Medi o'r un flwyddyn ymfudodd Mrs. Husband i America, lle yr oedd dwy ferch wedi ei blaenori, sef Mrs. John D. Morgans, Bucktown, Pa., a Mrs. Sarah Saunders, Mahanoy Plains, Pa. Ar ddydd ymadawiad y teulu o Gymru ymgasglodd canoedd o'u cydgenedl er canu ffarwel iddynt, a chanwyd yr hen benill anwyl hwnw, mewn dagrau hiraethus, nad â byth yn anghof,

"Os gwelir fi, bechadur,
Ryw ddydd ar ben fy nhaith," &c.

Ymsefydlodd y teulu yn Bucktown hyd y flwyddyn 1873, pryd y symudasant i Plymouth, Pa., lle y daeth i gydgyfarfyddiad hapus a'i brawd-yn-nghyfraith, sef Mr. Daniel Rees. Wedi dyoddef arteithiau llymion ei hafiechyd am yn agos i ddwy flynedd bu farw yn Gristion ac yn fam anwyl, ffyddlon a thyner at ei holl blant, canys yr oedd yn un o wronesau ei hoes o du ei phlant, fel y gwyr pawb a'i hadwaenai. Er dyfnion glwyfau a hiraeth dwys y plant ar ol un a fawr gerid ganddynt, bydded iddynt ymgrymu mewn cydnabyddiaeth o ddiolchgarwch i Dduw am weled yn dda, yn ei diriondeb tadol, ei symud o'r ty o glai—pabell y dyoddef a mangre y gruddfan—i'r ty tragywyddol, at ei Gwaredwr mwyn, lle drwy ras Duw, y gobeithiant am ei chydgyfarfod heb byth ymadael mwy. Ffarwel, fy anwyl fam am dymor. Cysgwch, bellach, yn ngwely plu'yr addewidion, o dan gwrlid y gobaith da am yr adgyfodiad gwell. Ei mab galarus.

*Plymouth, Pa.,* D. I. REES,

MRS. THOMAS.

Ebrill 4, yn Sharon, Pa., claddwyd Mrs. Thomas, anwyl briod y Parch. Thos. Thomas, gweinidog y Bedyddwyr o'r lle hwn, a merch i'r Parch. D. Evans, Wheatland, a chyn hyny o Danville. Symudwyd hi yn mlodau ei dyddiau—dim ond 34 mlwydd oed; a gadawodd bump o blant bychain ar ol. Da genyf ddweyd fod y ddwy felin sydd yma yn gweithio yn gyson, ac mae rhagolygon da at y dyfodol.—*Lewis Williams.*

MR. HENRY W. JONES.

Ar yr 16eg o Ionawr, terfynodd yr hen frawd siriol a diniwed, Henry W. Jones, ei yrfa ddaearol, ar ol cyrhaedd yn agos yr oedran addawedig. Tua phump o'r gloch prydnawn y dydd a nodwyd, tarawyd ef yn ei ymysgaroedd gan ddarn o haiarn, tra wrth ei al-

Digitized by Google

wedigaeth yn y felin y bu yn gweithio ynddi yn Pittsburgh am ugain mlynedd. Yn mhen tua phum' awr wedi derbyn yr ergyd, hunodd yn yr angeu.

Yn ei farwolaeth, collodd yr eglwys Fedyddiedig ar Chatham Street un o'i haelodau ffyddlonaf. Treuliodd y brawd Jones fywyd crefyddol pur a difwlch. Genedigol ydoedd o Lannewydd, Sir Gaerfyrddin, D. C. Yn y flwyddyn 1832, priododd yn Llangynog, â Miss Susan Lewis. Yn y flwyddyn 1841, symudodd ef a'i deulu i Maesteg, Morganwg. Yma, yn 1846, bedyddiwyd ef gan y Parch. H. W. Hughes (*Arwystl*). O'r lle hwn ymfudodd i America, gan gartrefu yn Pittsburgh hyd ei farwolaeth. Rhyw ddau ddiwrnod cyn glanio yn New York, claddodd ei briod yn y môr. Yn y flwyddyn 1870, ymunodd mewn priodas â Mrs. Ann R. Edwards, o'r lle hwn, yr hon sydd yn awr wedi ei gadael yn unig mewn galar a hiraeth mawr. Cydymdeimlwn yn fawr a'n chwaer, oblegid collodd briod tirion a gofalus. Y mae ei gwendid a gwaeledd ei hiechyd yn gwneyd ei cholled o angenrheidrwydd yn fawr. Y Nefoedd a barhao yn dirion wrthi, a'i pherffeithio i'r un gwynfyd ag y mae ei phriod heddyw yn ei fwynhau.

Nid oes yr un amheuaeth nad oedd y brawd Jones yn hollol barod i fyned at ei Brynwr. Arferai fod yn ffyddlon ryfeddol yn nghyfarfodydd yr eglwys, a gofalai gyda dyddordeb duwiol am negeseuon amrywiol ac angenrheidiol perthynol i dy ei Dad. Yr oedd mor ragorol yn hyn, fel, pan y bu farw, y gwnaed bwlch anhawdd iawn i'w lanw. Os mai ychydig fuasai yn ddweyd, gwnai lawer, ac y mae heddyw yn mwynhau ei wobr.

Ddydd ei angladd, daeth torf fawr yn nghyd, yr hyn oedd brawf fod iddo wir barch gan gylch eang ei adnabyddiaeth. Gweinyddwyd ar yr achlysur galarus gan

D. Rhoslyn Davies.

### Y DIACON W. R. JONES.

*Penderfyniadau Eglwys Aspinwall, Neb.*

Whereas, in the providence of God we are called upon to mourn the loss of our brother, Deacon D. R. Jones, deceased. Therefore,

*Resolved*, 1. That we hereby express our appreciation of his piety and godly conversation, serving us as deacon many years.

2, That we believe our loss to be his eternal gain.

3. That we place these resolutions upon our record, and have the same published in *The Standard* and the Dawn, the former of Chicago, the latter of Utica, N. Y., and that we present a copy to his bereaved family, thereby expressing our sympathy with them in their sad loss.

By order of the Prairie Union Baptist Church, Richardson County, Neb., March 18, 1883.

B. F. Lawler, Moderator.

T. R. Edwards, Clerk.

### MRS. ANN JONES.

Wedi cystudd maith o amryw fisoedd, nos Fawrth, Rhagfyr 12, 1882, bu farw Ann Jones, priod David L. Jones, o Nanticoke, Pa., yn 37 mlwydd, 8 mis a 5 diwrnod oed. Edrychai fisoedd yn ol yn gryf ac yn iach, ond nid felly yr oedd—yr olwg i ni oedd oreu. Yr oedd, yn ddiamheu, yn wan, er yn edrych fel arall.

Brydnawn dydd Gwener wedi ei marw, daeth tyrfa fawr i hebrwng yr hyn oedd farwol o honi i'w hanedd lonydd. Gweinyddwyd yn y ty, y capel, ac ar lan y bedd, gan yr ysgrifenydd.

Enwau ei rhieni oeddynt Thomas a Maria Hughes. Ganwyd hi yn y flwyddyn 1845, yn y tai a elwir Penman, yn ymyl Sirhowy, D. C. Symudodd y teulu i Benycae, ac yn Nebo, capel y Bedyddwyr, yno gan y Parch. J. Jones yr unwyd hi â Daniel Jones yn yr undeb priodasol.

Yn y flwyddyn 1865, ymfudodd hi a'i phriod i America. Sefydlasant yn Weathersville, Ohio. Wedi tair blynedd o arosiad yno, aethant i fyw i Morris Run, Pa., o'r hwn le y daethant yma yn 1875, ac maent wedi trigo yma oddiar hyny hyd yn awr. Bu iddynt amryw o blant, ond dau yn unig sydd wedi eu gadael i feddianu y profiad chwerw o golli mam dyner a gofalus; a thrwy drugaredd, nid oes un o honynt yn fychan iawn.

Dechreuodd y chwaer Jones ei gyrfa grefyddol yn Morris Run. Bedyddiwyd hi gan y Parch. W. R. Jones, yn gynar yn y flwyddyn 1868. Yr oedd yn nghymeriad y chwaer Jones lawer o nodweddion gwerth eu hefelychu. Yr oedd yn meddu ar galon agored, garedig, a llawn haelionusrwydd. Hawdd iawn oedd cael ganddi gyfranu bob amser at achos crefydd, neu unrhyw achos teilwng arall. Nid oedd byth yn meddwl un peth, ac yn dweyd peth croes i hyny, ond meddai ar bob adeg ar y gallu hwnw i ddweyd yn agored a didderbyn wyneb yr hyn oedd yn feddwl. Mae hi bellach wedi tewi; ond bydded i ni sydd ar ol anghofio pob diffyg oedd ynddi, a cheisio gwneyd yr hyn oedd dda ynddi hi yn rhan o honom ein hunain.

Dymunwn nawdd y Nef ar y teulu sydd ar ol, ac iddynt adnabod y gallu hwnw a'u dyga i gyfarfod llawenydd y boreu difrifol a ddaw.

W. F. Davies.

### MRS. SARAH ANN JONES.

Rhag. 1, 1882, bu farw ein hanwyl chwaer Sarah Ann, gwraig dirion ac anwyl William L. Jones, Coal Dale, Carbon Co., Pa., yn 37 mlwydd oed ond un mis Claddwyd hi yn *Cemetery* Summit Hill. Gweinyddwyd wrth y ty, gan y Parch. D. Hughes, A., Coaldale; yn nghapel yr Hill, pregethwyd gan yr ysgrifenydd. Yr oedd y chwaer ymadawedig yn un a gerid yn fawr gan yr eglwys a'r gymydogaeth. Cafodd gystudd blin am ryw un-misar-ddeg, yr hwn a ddyoddefodd yn amynedd-

Digitized by Google

gar. Bu farw yn hyderus yn yr Arglwydd. Gadawodd briod anwyl a phump o blant bychain i alaru ar ei hol. Yr Arglwydd a'u hymgeleddo. Merch ydoedd i James ac Ann Smith o Lanelly, Brycheiniog, D. C. Priododd yn nghapel y Bedyddwyr yn Darenfelen, yn Awst 1868. Symudodd i'r wlad hon gyda'i phriod yn 1870. Bedyddiwyd hi gan y Parch. D. S. Thomas, gweinidog parchus Lansford y pryd hwnw. Hardd ei phroffes hyd ei bedd. Y mae heddyw yn mwynhau ei gwobr yn y wlad well. HENRY THOMAS.

*Summit Hill a Lansford.*

MR. DANIEL J. THOMAS

Yn Aurora, Waushara Co., Wis., Mawrth 19, 1883, o enyniad y coluddion, ar ol salwch byr ond llym, Daniel J. Thomas, mab hynaf i Mr. a Mrs. S. J Thomas, dinasyddion cyfrifol, yn byw ddwy filldir i'r gogledd o Berlin. Ar adeg yr angladd yn nhy y rhiaint trallodus, traddododd y Parch. McLeod, Berlin, bregeth ragorol oddiwrth Matthew, 14: 12. Cymerwyd Dannie ymaith yn nhymor dysglaer a gobeithiol ieuenctyd. Ganwyd ef Hydref 27ain 1870; nid oedd felly yn llawn dair ar-ddeg mlwydd oed. Eto yr oedd efe wedi cynyddu mewn gwybodaeth a nodau dynol yn fwy na llawer a gawsant fyw y tymor penodedig o ddeng mlynedd a thriugain. Yn haf 1881, pan nad oedd yn 11 mlwydd oed, yr oedd efe wedi myned trwy yr *Arithmetic* uchaf, ac yr oedd yn rhagori yn gyfartal mewn gwersi eraill. Ni chefais erioed ddysgwr gwell na mwy trwyadl, ac y mae ei athrawon eraill yn cyduno a mi yn y dystiolaeth hon, i un mor haeddianol.

Yr oedd Dannie yn hoff o beroriaeth, ac yr oedd ei gynydd yn y gangen hon hefyd yn rhoddi boddlonrwydd mawr i'w athrawon ac i'w gyfeillion. Yr oedd efe yn brydlon yn yr ysgol Sul bob amser, a'i wersi ganddo wedi eu parotoi yn dda. Bwriadai ei rieni i'w anfon i ysgol uwchraddol yn mhen ychydig o flynyddau, lle y gallasai gwblhau ei addysg, yr hyn a ddymunai mor fawr.

Yn ei boenau yr oedd efe mor amyneddgar ac ymostyngol, fel na rwgnachodd ddim. Yr oedd ei fywyd yn fywyd dysglaer, a pharha yn loyw yn ein hadgofion hiraethus am dano. Caniataed Duw fod i ni y rhai ydym yn galaru o'i golli, i'w gyfarfod yn y wlad well.

Ar ol mwynianau daear oll,
A'r deigryn olaf fyn'd ar goll,
Ar ol breuddwydion gwych di-os,
Ar ol y ddu gysgodol nos—
Wed'yn beth ?
O! wed'yn sanctaidd hedd,
Cael trigo gyda Christ mewn gwledd,
Gwisgo coron aur a chlaer,
Heb ofn o fewn y nefol gaer.

W. T. WILLIAMS.

MR. JOHN M. JONES.

Yn agos i Centreville, Gallia Co, Ohio, Chwef. 6, 1883, yn agos i 63 oed, y brawd John M. Jones. Ei afiechyd oedd y *pneumonia*. Ni bu ond ychydig wythnosau yn gystuddiol, yr oedd ei farwolaeth yn bur ddirybydd ac annysgwyliadwy. Yr oedd y brawd Jones yn enedigol o Sir Feirionydd, yn agos i Ddinas Mawddwy, Gogledd Cymry. Enwau ei rieni oedd, Morris a Mary Jones. Daeth i'r wlad hon yn y flwyddyn 1842. Treuliodd y blynyddau cyntaf o'i fywyd yn America yn Cincinnati, Ohio. Yma yr ymunodd mewn glan briodas a Jane Thomas, merch i'r henafgwr Joshua Thomas, o sefydliad Gallia Co., Ohio. Cychwynodd ei yrfa grefyddol gyda'r Annibynwyr; ond pan oedd yn y ddinas uchod, daeth o hyd i draethawd ar fedydd, a bu yn foddion yw symbylu i chwilio y gwirionedd ar y mater yn onest, a chyfnewidiodd yn ei farn—fe gafodd ei greu o'r newydd yn hollol ar y pwnc—efe a'i briod. Bedyddiwyd hwy ill dau gan y Parch. Phillips, gweinidog yr eglwys Gymreig yr amser hwnw yn y ddinas uchod. Wedi treulio ychydig flynyddau yn dra dedwydd yn Cincinnati, symudodd i Sandusky, Ohio. Bu yn y ddinas hono am tua saith mlynedd. Nid oedd yma ddim achos Cymreig; felly fe ymunodd y brawd Jones a'r eglwys Fedyddiedig Seisnig. Ymadawodd a Sandusky, a daeth i sefydliad Gallia a Jackson, ac ymunodd ag eglwys Fedyddiedig Centreville; ac er ei fod yn byw llawn chwe' milldir o'r capel, nid oedd ei le yn wag yn wythnosol na Sabbothol; ond yr oedd yno bob amser. Ni welwyd erioed frawd yn fwy ffyddlon i gadw ei gynulliad eglwysig na'r brawd Jones. Gellir dyweyd am dano yn hyn yma, "Yr hyn a allodd, efe ai gwnaeth." Yr oedd yn ddiacon, ac wedi bod yn ffyddlon yn y swydd am flynyddau, a pherchid ef yn fawr fel swyddog eglwysig. Yr oedd yn ddidderbyn-wyneb bob amser. Fel Bedyddiwr yr oedd yn un o'r rhai goreu, os nad y goreu yn y sefydliad.

Mae yr eglwys yn Centreville, wedi cael colled fawr yn marwolaeth y brawd Jones. Claddwyd ef yn mynwent Nebo, pregethwyd yn Gymraeg gan y brawd D. J. Lloyd, ac yn Seisneg gan yr ysgrifenydd. Yr oedd ei weddw a'i blant, sef naw, mewn mawr alar yn cychwyn at ei fedd ar ddydd ei gladdedigaeth. Do fe gollwyd priod a thad tyner a gofalus a Christion dysglaer, yn marwolaeth y brawd parchus John M. Jones. D. S. JONES.

LEWIS MORGANS

Yn agos i Bethlehem, Jackson Co., Ohio, Ion. 25, 1883, yn agos i 8 mlwydd oed, Lewis mab hynaf John M. a Mary Ann Morgans. Ei afiechyd oedd y *typhoid fever*. Yr oedd y bychan hwn, yn wyr i'r brawd ffyddlon Lewis Morgans, Bethlehem. Nid oedd Lewis bach

Digitized by Google

yn gryf o ran corff un amser; yr oedd serch y rhieni wedi ymgylymu yn fwy am dano o herwydd hyny. Efe hefyd oedd y cyntafanedig, ac fe fu angau mor greulawn yn ei gymeryd ymaith, ar mor lleied o rybydd, dim ond tridiau yn sal. Yr oedd yn anhawdd iawn gan y rhieni i gymodi a'r amgylchiad, yn neillduol y fam dyner galon. Ond anwyl rieni, na wylwch, fel rhai heb obaith, mae eich anwyl Lewis wedi dianc uwchlaw pob gofid. Claddwyd gweddillion marwol y bychan yn mynwent Carmel. Gweinyddwyd y gwasanaeth crefyddol yn Gymraeg a Seisnig gan yr ysgrifenydd. D. S. JONES.

*Sherman, O.*

#### MRS. SARAH DAVIES.

Boreu dydd Mercher, Ionawr, 24, 1883, bu farw Mrs. Sarah Davies. Cartrefai gyda ei merch, Mrs. John Jones, Alliance, Ohio.

Dydd Iau, cludwyd ei rhan farwol gyda y trên i Tallmadge, O., ac yno y gosodwyd hi yn y *vault*. Gwasanaethwyd yn nghapel yr M. E. gan y Parch. T. P. Morgan. Ganwyd yr ymadawedig Awst 12, 1818, yn Cwmpenmaen, gerllaw Coed-duon, plwyf Mynydd Islwyn, Sir Fynwy. Merch ydoedd i Abraham a Sarah Davies. Ymfudodd hi a'i phriod, Daniel Davies, y gôf, i'r wlad hon flynyddoedd lawer yn ol, a sefydlasant yn Tremont, Pa. Aethant oddiyno i Minersville, Pa., ac yno y bedyddiwyd hi gan y brawd duwiol, y pregethwr melus, a'r gweinidog ffyddlon, y Parch. J. P. Harris, am yr hwn y siaradai gyda pharch a gwir edmygedd. Symudodd oddiyno i Pomeroy, O., ac o'r lle uchod i gylchoedd Thomastown, O. Yr oedd yn aelod ffyddlon gyda'r Bedyddwyr, a chredwn ei bod yn mysg y dyrfa waredigol. Y mae iddi amryw blant a pherthynasau anwyl yn galaru ar ei hol. Y Dyddanydd arall a'u cysuro.

T. P. MORGAN.

#### MR. DAVID C. WILLIAMS.

Yn Nanticoke, Pa., Ebrill 11, 1883, bu farw Mr. David G. Williams, yn 40 mlwydd oed. Y dolur a brofodd yn angeuol iddo ydoedd, *inflammation of the lungs*; ni chafodd ond cystudd byr iawn. Cymerwyd ef yn glaf prydnawn dydd Gwener, a bu farw prydnawn dydd Mercher canlynol. Claddwyd ef dydd Sadwrn Ebrill y 14, pryd y gweinyddwyd gan y Parchedigion W. F. Davies a J. P. Harris. Yr oedd ei angladd yn un o'r rhai mwyaf a pharchusaf a welwyd yn y lle hwn er ys amser maith.

Yr oedd Mr. Williams yn enedigol o fan yn Morganwg, D. C., yn agos i hen Gastell y Betws. Ei rieni oeddynt, Thomas ac Elizabeth Williams. Efe ydoedd yr ieuangaf ond un yn y teulu. Yn 1868, unwyd ef mewn priodas, a'r hon sydd yn awr yn weddw ar ei ol. Y lle y cymerodd y briodas le ydoedd, Sardis, Pont-y-pridd, D. C., a'r gweinyddwr ydoedd, Mr. Powell, yr hwn oedd gofrestrydd a phregethwr. Yn Maesteg yr oedd yn byw y pryd hwnw, ac yno yr oedd wedi bod am gryn amser, ac yno y daeth yn aelod crefyddol. Pan yn Maesteg, arferai wrando yn Salem, a than weinidogaeth y Parch J. Lewis; yno y dygwyd ef i deimlo angen am Geidwad i'w enaid anfarwol. Taflodd ei hun i freichiau yr eglwys barchus hono, a derbyniodd hithau ef i'w mynwes fel mam dyner; ac yn Ionawr 1871, bedyddiodd Mr. Lewis ef ar broffes o'i ffydd yn Mab Duw. Pedair blynedd yn ol, daeth i'w feddwl i ymfudo i fyd y Gorllewin, ac ymsefydlodd yn y lle hwn. Daeth y teulu ato yr un flwyddyn, ac yma y trigiasant o hyny hyd yn awr.

Mae brawd i'r ymadawedig yn byw yn Parsons, Pa. Ond yn Morganwg y mae mwyafrif o berthynasau y teulu, y rhai, yn ddiamheu, a synant glywed fod Dafydd yn ei fedd. Modd bynag, mae hyn yn rhy wir heddyw. Yr oedd Mr. Williams yn ddyn a chanddo gylch helaeth o adnabyddiaeth, ac hawdd casglu ar ddydd ei angladd fod iddo le parchus yn nghalonau ei gyd-weithwyr, a chan yr ardalyddion yn gyffredinol. Duw pob daioni a ymgeleddo y weddw a'r bychan amddifad sydd ar ol yn yr anial. RHODYNOG.

*** Dymunir ar *Seren Cymru* a'r *Darian* godi yr uchod.

## GOHEBIAETH O GYMRU.

Yn canlyn ceir rhan o ohebiaeth ddyddorol oddiwrth Dr. Hugh Jones, Llangollen, pan ar fyned i'r wasg:

"A oes gan y WAWR ddim dylanwad ar y 'Gwyddelod Americanaidd' yna, y rhai sydd yn anfon arian a dynion i'r wlad hon er troi ein trefi yn anialwch, a'u llysoedd barn yn garneddau? Mae darganfyddiadau parhaus o'r sylweddau ffrwydrol (*explosive substances*), yn awr yn ngweithdy yr arliwiwr, bryd arall yn ystafell wely y *commercial traveller* (?); heddyw ar y *landing stage* yn Lerpwl, y fory yn ngorsaf y gledrffordd mewn rhan arall o'r wlad—mae y darganfyddiadau hyn, meddaf, yn peri i'r dewraf edrych yn ddifrifol weithiau. Dygwyd mesur mwy effeithiol i ymwneyd â'r sylwedau ffrwydriol na'r gyfraith fel yr oedd hi o'r blaen, i mewn i'r Senedd neithiwr gan Syr W. Harcourt, a mabwysiadwyd ef gan y ddau Dy neithiwr fel cyfraith y wlad. Derbyniwyd sêl y Frenines heddyw, a bydd lle pethach a chosb drymach i'r *Fenians* yn Lloegr nag erioed o'r blaen.

Ymddengys mai gwanaidd y mae iechyd ein hanwyl frawd, y Parch. W. Edwards, B. A., Athrofa Pontypwl, yn parhau; er ei fod yn well nag y bu, y mae yn achosi pryder i'w gyfeillion lluosog, ac yn cynyrchu eu cydymdeimlad dwys.

*Ebrill* 10, 1883."

Digitized by Google

# Y WAWR.

CYF. VIII.] MEHEFIN, 1883. [RHIF. 3.

# Erthyglau Arweiniol.

## LLENYDDIAETH Y DYDD.

DYDDIAU BOREUOL CRISTIONOGAETH YN NGOLEUNI LLYFRAU Y TESTAMENT NEWYDD.*

Pan y trown oddiwrth hanes y byd yn y triugain mlynedd cyntaf o'r cyfnod Cristionogol, at hanes yr eglwys yn yr un amser, yr ydym yn dod ar unwaith o awyrgylch drwmlwythog o drueni a llygredigaeth i awyr bur a thryloew. Gwelir yn eglur iawn uwchraddoliaeth bendigaid yn mucheddau Cristionogion oddiwrth eiddo y byd, ac hyd yn nod y rhai goreu o honynt.

Yn Epistol cyntaf Petr ceir y cyfarwyddiadau a roddid i'r eglwys yn ei chysylltiadau a'r byd. Hysbys yw yr hyn a ddywedai ac a feddyliai paganiaid am Gristionogion. Yn ysgrifeniadau Cristionogion at eu gilydd, y rhai na fwriedid i neb arall, gwelwn beth oedd y Cristionogion hyn mewn gwirionedd, a gaseid, a ddifenwid, ac a erlidid mor eithafol. Yn lle bod yn derfysglyd, fel yr honid, y mae genym brawfion o ostyngeiddrwydd a sirioldeb eu hymostyngiad. Yn lle bod yn ddialgar, dysgid hwy i arfer maddeugarwch; ac yn lle meithrin dygasedd marwol tuag at bawb dynolryw, eu prif rinwedd oedd meithrin cariad cyffredinol. Ond er ein bod yn berffaith hysbys o gymeriadau y Cristionogion boreuol, eto mae manylion eu cysylltiadau eglwysig a hanes y prif athrawon yn niwedd yr oes apostolaidd yn gladdedig mewn tywyllwch traddodiadol. Gyda geiriau diweddaf llyfr yr Actau diffodda ffaglen hanesyddiaeth Gristionogol am dymor, ac yr ydym yn cael ein gadael i ymbalfalu megys yn mhlith llwybrau dyeithr y beddau tan-ddaearol. Mae yn debygol fod y dystawrwydd hwn i'w briodoli i'r erledigaethau a arferid tuag at y Cristionogion. Ni fedrai yr athrawon Cristionogol ysgrifenu ond y gwir am eu herlidwyr, ac yn lle rhoddi eu hunain i erledigaethau ychwanegol, doethach oedd bod yn ddystaw yn eu cylch. Yr oedd yn anmhosibl siarad am sefyllfa pethau yn eglur heb gynhyrfu yr awdurdodau. Ni ellid, o herwydd yr amgylchiadau hyn ysgrifenu dim ond mewn cudd-ysgrifen, yr hon na ddeallid gan neb ond y Cristionogion hyny

* The Early Days of Christianity, by Canon Farrar. Lowell's Library.

Digitized by Google

oeddynt hyddysg mewn arwyddluniau prophwydol. Hyn a esbonia, yn ddiau, am y ffurf arwyddluniol a nodwedda lyfr y Datguddiad. Yn y llyfr hwnw yn unig y galluogir ni i glywed gruddfanau y Cristionogion o dan bwysau creulonderau digyffelyb yr anghenfil Nero!

Ond yn y dystawrwydd a'r tywyllwch a berthyn i'r rhan olaf o oes y deuddeg apostol a ddewisodd Crist i fod agosaf ato ar y ddaear, mor annhraethol werthfawr ydyw y wybodaeth a ellir gasglu am danynt oddiwrth eu Hepistolau! Y mae yr amryw agweddion a ddyry pob un o drefn y cadw, yn rhoddi gwerth ychwanegol hefyd ar y wybodaeth a geir oddiwrth eu hysgrifeniadau. Canys y mae pob un o'r ysgrifenwyr Apostolaidd, er eu bod yn un yn eu ffydd, eto yn cyfleu gobeithion ac addewidion yr efengyl oddiar bwyntiau gwahanol. Mae pob un yn rhoddi cyflead newydd o wirioneddau. Heblaw y pedair Efengyl, heblaw y tri-ar-ddeg o Epistolau Paul, mae genym naw llyfr o'r Testament Newydd, y rhai ydynt yn weithiau pump o wahanol awdwyr, a phob un o'r llyfrau byrion ond gwerthfawr hyn yn meddu nodweddau arbenig. Y cyntaf, efallai, o honynt oll, ydyw y llyfr sydd yn anhapus wedi ei roddi ddiweddaf, ac felly mae y *Da guddiad* yn hollol o'r drefn briodol. Noda ddechreuad cyfnod y merthyron.

Yn yr Epistol at yr *Hebreaid*, yr hwn sydd yn dyfod i gael ei ystyried yn fwy cyffredinol yn barhaus fel gwaith Apolos, yr ydym yn cael engraifft o Gristionogaeth yn Alexandria. Tra y mae yr epistol hwn yn werthfawr oblegid ei arddunedd, ei hyawdledd, a'r gwirioneddau gwreiddiol a'i haddurna, rhodda hefyd oleuni ardderchog ar yr ysgol hono yn Alexandria a gododd oddiwrth gysylltiad Iuddewiaeth a Christionogaeth gydag athroniaeth Roegaidd. Am yr Alexandreiddiwch hwn nid oes ond awgrymion gwasgaredig yn ysgrifeniadau Ioan a Phaul. Ond trefnwyd yn nghwrs rhagluniaeth Ddwyfol i'r ysgol hono ddylanwadu yn fawr ar dyfiant, cynydd a dadblygiad duwinyddiaeth Gristionogol, oblegid gwasanaethodd fel diwylliaeth ddeallol i rai o'r tadau Cristionogol mwyaf enwog.

Mae saith eraill o lyfrau y Testament Newydd, a elwir wrth yr enw cyffredinol o "Saith Epistol Catholicaidd." Mae dau o'r rhai hyn—epistolau Iago a Judas—yn perthyn i'r ysgol Gristionogol Iuddewaidd; dau eraill o eiddo Petr, yn cynrychioli safle gymedrol a chyfryngol Cristionogion a ddymunent ymgadw oddiwrth Pauliaid ac Iuddewon, a sefyll ar dir mwy cyffredinol; mae epistolau Ioan yn cynrychioli y tymor blaenorol i ddinystr Jerusalem. Wrth ddarllen epistol Iago gallem adnabod credoau y fam eglwys yn Jerusalem, a theimlo nad oedd dim peidiad yn rhediad ffrwd fawr datguddiad dwyfol. I Iago ac i'r Cristionogion Iuddewig, i ba rai yr oedd efe yn flaenor, nid oedd Cristionogaeth yn gymaint fel goruchwyliaeth newydd ag ydoedd o gyflawniad yr hen.

Yn ffortunus y mae Cristionogion i'w cael yn mhob oes, tra na chydnabyddent neb yn ben yr eglwys ond Iesu, na'r un rheol yn ddigyfeiliorn ond yr Ysgrythyrau, eto ydynt yn barod i dderbyn goleuni o ba le bynag y ceir ef. Y fath oedd Petr. Y mae efe yn benodol yn apostol Catholicaidd. Yn ei epistolau ef yr ydym yn alluog i ddilyn meddyliau a dywediadau Iago a Phaul. Traetha gyda nerth Iago ar

Digitized by Google

ogoniant rhinwedd ymarferol, a chyda llawer o frwdfrydedd Paul ar gymell iadau yr efengyl. Yn mhlith ysgrifenwyr y Testamemt Newydd y mae dau yn sefyll ar benau eu hunain fel duwinyddion gwreiddiol, sef Paul ac Ioan. Ffordd effeithiol iawn i ganfod rhagoriaeth ac uwchafiaeth Epistolau y Testament Newydd, ydyw eu cymharu ag ysgrifeniadau y Tadau, a rhai nad ydynt yn ganonaidd. Mae y gwahaniaeth mor eglur ag sydd rhwng y gwenith a'r us. Pwy a ysgrifenodd yr Epistol at yr Hebreaid? Yr oedd yr ysgrifenydd yn Iuddew, oblegid ysgrifena fel pe na buasai paganiaeth yn bodoli. Yr oedd efe yn medru Groeg, canys y mae efe yn dyfynu o'r Hen Destament Groeg, hyd yn nod pan y gwahaniaetha oddiwrth y testyn Hebreig gwreiddiol. Rhaid ei fod wedi ei ddwyn i fyny yn nysgeidiaeth Alexandria, canys y mae argraff eglur o hyny ar ei syniadau, a dyfyna o gopïau Alexandraidd o'r Ysgrythyrau. Yr oedd efe yn ddyn o hyawdledd mawr, o wreiddioldeb anghyffredin, o wybodaeth eang o'r Ysgrythyrau, ac o ddoniau dysglaer i ddefnyddio yr Ysgrythyrau at wahanol bynciau, i'w profi neu eu hegluro.

Yr oedd efe yn gyfaill i Timotheus, oblegid y mae efe yn bwriadu talu ymweliad a'r eglwysi Iuddewaidd yn ei gwmpeini. Yr oedd efe yn adnabyddus i'w ddarllenwyr, ac ysgrifena atynt gyda thôn awdurdodol. Nid oedd efe yn apostol, oblegid y mae efe yn nodi ei hunan gyda y rhai oeddynt wedi cael eu dysgu gan yr Apostolion. Gan Paul yr oedd efe wedi ei ddysgu, canys y mae efe i raddau helaeth, eto yn annibynol, yn arfer ei ymadroddion, ac yn gwneyd defnydd neillduol o'r Epistol at y Rhufeiniaid. Ysgrifenodd o flaen dinystr Jerusalem, a thra yr oedd gwasanaeth y deml yn parhau. Mae yn amheus a ymwelodd efe erioed a Jerusalem, oblegid y mae ei gyfeiriadau at y deml a'i seremoniau fel yn nodweddiadol o'r tabernacl fel y darlunir ef yn nghyfieithiad y deg-a thriugain. Gallem yn deg farnu y dylem ganfod yn y Testament Newydd enw rhyw gydymaith i'r Apostol mawr, o awdurdod, dysgeidiaeth, ac athrylith digonol i fod yn awdwr iddo. Yn awr yr unig gymdeithion adnabyddus i Paul y gellid yn rhesymol farnu eu bod yn meddu ar rywbeth yn agos ar y cymwysderau angenrheidiol i fod yn awdwr gwaith mor aruchel a'r Epistol dan sylw, ydynt y rhai canlynol: Aquila, Silas, Titus, Barnabas, Clement, Marc, Luc, ac Apolos. Y mae amryw o'r rhai hyn wedi bod yn cael eu nodi yn eu tro fel ei awdwyr cyflawn, neu awdwyr mewn rhan. A chymeryd yn ganiataol mai un o'r rhai hyn ydoedd ei awdwr, yr unig ffordd i benderfynu rhyngddynt yw edrych i mewn i'w nodweddau; ac wrth wneyd hyny nid oes neb yn ymddangos yn debygol o fod yn awdwr yr Epistol ond Apolos. Mae y gwaith yn cyfateb iddo ef yn gywir. Ni allasai yr apostol Paul fod yn awdwr iddo, oblegid y mae arddull yr Epistol yn llawer mwy blodeuog na'r eiddo ef. Defnyddia yr awdwr fwy o eiriau nag efe. Y mae yn dechreu yn wahanol i ddim a geir yn un o Epistolau Paul. Y mae yn traethu ar linell wahanol hefyd i ddim a geir gan Paul. Son am y ddeddf y mae efe bob amser mewn cymhariaeth i nodwedd gyferbyniol yn yr efengyl. Yr archoffeiriadaeth sydd gan awdwr y Llythyr at yr Hebreaid. Deil *archoffeiriadaeth* y naill oruchwyliaeth yn gyferbyniol i'r llall. Ond sylwi ar rediad ymadroddion arddunol yr Epistol gogoneddus hwn, gwelir ar

Digitized by Google

unwaith ei fod yn esmwyth, hylithr-fawr, darluniadol, a rhwysgfawr, gan ddwyn delw gwisgoedd ac ymddangosiad yr archoffeiriad mawr ei hunan.

---

## EICH GOREU BOB AMSER.

GAN Y PARCH. C. H. SPURGEON.

Yr oedd Syr Joshua Reynolds yn un o arlunwyr enwocaf ei oes; ac mewn atebiad i'r gofyniad, Pa fodd y cyrhaeddodd efe y fath ragoriaeth, atebodd, "Trwy dalu sylw i un reol syml, sef *gwneyd pob darlun y goreu.*" Gallwch benderfynu fod yr un rheol yn wir yn ngwasanaeth Duw. Dylai yr hwn a ddymuna bregethu yn dda ymdrechu bob tro i bregethu ei oreu. Gall y gynulleidfa fod yn fechan, a'r gwrandawyr yn anllythyrenog, ond ni fydd i'r bregeth oreu'n bosibl gael ei thaflu ymaith arnynt. Gall pregethwr gael ei wahodd i fod yn un yn mysg amryw siaradwyr mewn cyfarfod tê. Na fydded iddo byth siarad rhyw lol ddisynwyr i lenwi i fyny yr amser, fel y mae llawer wedi bod yn gwneyd yn y gorphenol; ond bydded iddo ddefnyddio yr achlysur fel cyfleusdra i draethu yn dawel wirioneddau mwyaf pwysig. Y mae er lles i'r pregethwr ei hunan iddo beidio byth darostwng ei hun i ryw lafoeri. Tu hwnt i bob dysgwyliad, gall fod yn cyflawni gwaith mawr, pan mai ei unig syniad yw, ei fod yn gwneyd un bychan goreu ag y medr. Ein barn gadarnaf yw, ein bod yn cyflawni fwyaf pan y mae yr achlysur yn ymddangos yn fwyaf anfanteisiol.

Da yr ydym yn cofio am ddyn ieuanc a alwyd i bregethu ar foreu diwrnod gwaith yn y cwrdd blynyddol mewn capel pentrefol. Yr oedd efe braidd yn synedig wrth ganfod nad oedd ond wyth o bersonau yn bresenol mewn capel o gryn faintioli, ond ymroddodd o galon ac enaid i'r gwasanaeth mor drwyadl a phe buasai wyth mil wedi ymgasglu yn nghyd. Yr oedd yn amser o adfywiad i'r wyth, ac i'r pregethwr ei hunan, ac felly cafodd naw eu llesoli! Beth oedd y canlyniad? Yn yr hwyr, yr oedd y gynulleidfa yn llenwi y lle. Yr oedd y pentrefwyr wedi lledaenu y son am bregeth y boreu trwy yr holl le; yr oedd bychander y gynulleidfa yn cael ei ddefnyddio fel symbylydd yn neillduolrwydd y newydd, a chymellwyd pob person a ellid i sirioli y dyn ieuanc, druan, ag oedd yn fath bregethwr. A'r hyn oedd yn llawer gwell, ydoedd amlygiadau fod daioni wedi cael ei wneuthur yn achubiaeth eneidiau. Brawd o weinidog ag oedd yn bresenol yn y boreu, a'r hwn oedd i bregethu yn y prydnawn, a sylwai, pe wedi dod i'w ran ef i arwain y moddion boreuol, y buasai bychander y gynulleidfa wedi tori ei galon; ond cydnabyddai y doethineb o wneyd bob amser y goreu o dan bob math o amgylchiadau, oblegid y byddai i hyny arwain i fyny at rywbeth mwy cyn bo hir.

Boed i bob llefarwr ieuanc feddwl am hyn, a thaflu ei holl egnion i bregeth mewn bwthyn i ddwsin o hen wragedd. Mae yn hen ddywediad, pan y mae enw y meddyg anifeiliaid i fyny, nad oes eisiau iddo ofalu pa fodd y gwna efe bedolau ceffyl; ond y mae hyn yn anwiredd gwrthun a drygionus, oblegid po fwyaf y bo dyn wedi llwyddo, mwyaf rhwymedig yn y byd ydyw arno i wneyd yn well, ac wed'yn yn well, fel na fyddo i'w enw da fyned yn dwyll, ac fel na byddo i ddynion ieuengach ganfod yn ei esiampl ef esgus dros segura. Dylai yr hwn a all

Digitized by Google

wneyd ei oreu, wneyd ei oreu yn barhaus; nid yw y goreu o'r goreu yn well nag y mae Duw yn ei haeddu.

Efallai nad oes yr un drwg mwy o dan yr haul na "y bregeth fawr" y siarada y bobl am dani fel "gwledd ddeallol;" ac eto, mewn ystyr arall, dylai pob pregeth fod yn fawr, a phob anerchiad yn sylweddol. Mae goddef gwaith eiddilaidd yn ngwasanaeth Duw yn dangos diffyg parch i'w enw sanctaidd. Os oedd Dr. Johnson yn iawn yn ei ddywediad diarhebol, fod "pob peth sydd yn werth ei wneyd o gwbl yn werth ei wneyd yn iawn," gyda pha bwyslais y dylem ni dderbyn y frawddeg, os bydd y gwaith yn cael ei wneyd dros Arglwydd y lluoedd? Pa fodd y meiddiwn gynyg iddo ef yr hyn nad yw yn costio dim i ni? Pa fodd y meiddiwn feddwl fod unrhyw waith fyddo wedi ei gyflawni mewn dull afler yn gymwys i'w gyflawni ger bron yr Un gogoneddus, anfeidrol? Dylai uchel barch i'r Arglwydd fod y cymelliad blaenaf yn mhob gwasanaeth; ond yn nesaf at hyn, dylai hunan barch ein cymell i wneyd gwaith trwyadl. Na foed i ni wneyd dim annheilwng o weision yr Arglwydd Iesu. Yr ydym yn ymddwyn atom ein hunain gyda dirmyg, pan y cyflawnom waith israddol—ni ddylem ymostwng i'r fath fudrwaith. Yr ydym ni yn blant i Dduw sydd yn rhoddi ei holl galon yn nghreadigaeth mwsoglyn eiddilaidd, neu drychfilyn bychan anweledig i'r llygad noeth. Nid yw efe yn gwneyd dim "gwaith *contract*," ac ni ddylai y rhai ydynt "ddilynwyr Duw fel plant anwyl," wneyd chwaith. Dylid gadael gwag chwareu i fydolwyr — gall fod yn ddigon i'w dydd byr hwy fel dull isel o dreulio amser; ond i ddyn n farwol, gwaith difrifol, calonog, sydd yn gweddu yn unig. Gadewch i ni roi ein holl galon hyd yn nod mewn ymddyddan â phlentyn bychan, neu siarad â dyn cyffredin, neu ysgrifenu llythyr at gyfaill, os teimlwn y gelwir arnom i fod yn ddefnyddiol yn un o'r moddion hyn. Gadewch i *trwyadl* fod ein harwyddair, a gadewch i bob *ymgais* dros Dduw a gwirionedd gael ei gario allan yn y fath fodd na fydd arnom gywilydd i'w weled eto yn ngoleuni yr orsedd wen fawr. Ni ddylai dim twyll gael ei freuddwydio gan y rhai ydynt yn adeiladu y Jerusalem newydd—yn adeiladu yn y rhagolwg ar y tân a brawf waith pawb pa fath ydyw.—*O'r Sword and Trowel.*

---

## CYNYDD MEWN GRASUSAU CREFYDDOL.

GAN Y PARCH. JOHN DAVIES BOOTLE, LIVERPOOL.

[Parhad o rifyn Mai.]

4. Y maent yn cael y fraint o ddal eu tir yn ddigwymp hyd y diwedd.—"Canys tra fyddoch yn gwneuthur y y pethau hyn ni lithrwch chwi ddim byth." Dichon y methwn ni mewn llawer o bethau; aml yw ein colliadau ni, a lluosog yw ein ffaeleddau ni; ond ni lithrwn ni ddim byth i golledigaeth, ac ni orchfygir ni gan brofedigaethau. O! 'r fath fraint yw hon!—dal ein tir yn ddigwymp hyd y diwedd. Byw heb roi anair i'r wlad dda, heb dynu gwarth ar yr enw mawr, ac heb roddi lle i elynion crefydd i gablu yr achos goreu. Gobeithiwyf, yn wir, y cawn ni oll fel crefyddwyr y fraint hon. Ac ni a'i cawn hefyd os byddwn ni yn ddiwyd i wneuthur ein galwedigaeth a'n hetholedigaeth yn sicr. Canys, meddai yr Apostol, "Tra fyddoch yn gwneuthur

Digitized by Google

y pethau hyn, ni lithrwch chwi ddim byth."

5. Y maent yn cael mynediad anrhydeddus i mewn i'r nefoedd yn angeu. "Canys felly yn helaeth y trefnir i chwi fynediad i mewn i dragywyddol deyrnas ein Harglwydd a'n Hachubwr Iesu Crist." Y nefoedd yn ddiameu a olygir yma wrth y dragywyddol deyrnas; a mynediad enaid y duwiol i mewn iddi yn angeu a olygir wrth y mynediad i mewn yma. Fe gaiff corph ac enaid y duwiol gydfynediad i mewn i'r nefoedd, ar ol yr adgyfodiad, ddydd y farn fawr; ond yr enaid wrtho ei hunan sydd yn myned i mewn yno yma, a gellid meddwl wrth ddarllen y geiriau hyn ei fod yn cael mynediad anrhydeddus iawn i mewn yno hefyd. "Canys felly yn helaeth y trefnir i chwi fynediad i mewn i dragywyddol deyrnas ein Harglwydd a'n Hachubwr Iesu Grist." Mae rhai yn cysylltu y gair helaeth yma a'r mynediad i mewn i'r nefoedd yn angeu; y mae eraill wed'yn yn ei gysylltu a'r gair trefnu yma, ac yn meddwl mai trefnu yn helaeth ar gyfer y marw a'r mynediad i mewn i'r nefoedd a olygir. Mynediad helaeth i mewn i'r nefoedd yn angau, a ddywedir yn gyffredin. Ac yn wir, y mae rhywbeth yn swynol ac yn anwyl iawn yn y dywediad hwn hefyd. Mae yn cynwys y caiff y duwiol farw yn nghanol goleuni, a myned i mewn i'r nefoedd mewn llawenydd a gorfoledd —fel cadfridogion a'u byddinoedd yn dychwelyd adref yn fuddugoliaethus o faes y gwaed, ac yn myned i mewn i'r brif ddinas, yn nghanol bloeddiadau gorfoleddus y dinasyddion; neu fel llong ar ol mordaith bell a pheryglus, yn dyfod i mewn i'r hafan ddymunol yn ei llawn hwyliau, ac yn nghanol gorfoledd a llawenydd y preswylwyr a'r perthynasau—felly y caiff enaid y duwiol fynediad gorfoleddus i mewn i'r nefoedd yn angeu, yn nghanol bloeddiadau angelion a saint. Os mynediad fel yna a olygir, gobeithiwyf y cawn ninau ei fwynhau wrth fyned a chroesi afon angeu i mewn i'r anfarwoldeb mawr. O! ni charai neb o honom farw dan gwmwl. Gobeithiwn oll y bydd hi yn oleu arnom yn y glyn, ac y cawn hefyd fwynhau cymdeithas y gwr fedr droi cysgod angeu yn foreu ddydd yn yr angylchiad sobr a difrifol hwnw.

Ond mae yr enwog James Richards, gynt o Bontypridd, yn meddwl mai trefnu yn helaeth ar gyfer y marw, a'r mynediad i mewn i'r nefoedd, a olygir yma. Ac yn wir, y mae rhywbeth yn dlws iawn yn ei sylwadau ef ar y pwnc hwn. Mae efe yn dychymygu am dano ei hun yn nyfroedd oerion marwolaeth, ac yn arswydo wrth feddwl am farw, a theithio y llwybr ar hyd yr hwn nid oes dychwelyd, ond yn nghanol ei ofnau a'i drallodau, yn tori allan ac yn dyweyd wrth ei enaid, O, fy enaid, paid llwfrhau na therfysgu, fe drefna Duw yn helaeth ar gyfer yr amgylchiad mawr. Gorlenwir ein mynwesau ninau hefyd yn aml gan ddychrynfeydd ac ofnau o'r fath yna, wrth feddwl am farw a byd arall; ond gallwn ninau ddweyd wrth ein heneidiau am beidio llwfrhau na therfysgu, canys fe ddarperir yn helaeth ar ein cyfer ni, ac ni a gawn fynediad anrhydeddus i mewn i dragywyddol deyrnas ein Harglwydd a'n Hachubwr Iesu Grist. Os cawn ni y fraint o fod yn blant i Dduw, ac yn etifeddion iddo ef, ni a allwn ddweyd mor hyderus a'r Salmydd, "Ie, pe rhodiwn ar hyd glyn cysgod angeu, nid ofnaf niwed, canys yr wyt ti gyda mi, dy wialen a'th ffon a'm cysurant." Os byddwn ni byw yn dduwiol yn y byd

Digitized by Google

hwn, ni a gawn farw yn heddwch Duw, a myned i mewn i'r nefoedd yn angeu. "Canys felly yn helaeth y trefnir i chwi fynediad i mewn i dragywyddol deyrnas ein Harglwydd a'n Hachubwr Iesu Grist."

Dysgwn oddiwrth y pethau hyn,

1. Mai dynion gweithgar a diwyd yw crefyddwyr i fod yn y byd hwn. Y mae ganddynt lawer iawn o waith i'w wneyd er bod yn Gristionogion teilwng o'r Gwaredwr bendigedig, ac er cael mynediad anrhydeddus i mewn i'r nefoedd yn y diwedd. Ond fe dâl ei ffordd yn anwyl yn y pen draw. "Am hyny fy mrodyr anwyl, byddwch sicr a diymod, a helaethion yn ngwaith yr Arglwydd yn wastadol, a chwi yn gwybod nad yw eich llafur yn ofer yn yr Arglwydd."

2. Nad yw yr enaid ddim yn marw gyda'r corph, ond y mae yn myned i fyd arall, i ddechreu byw mewn gwlad nad oes dim marw i fod ynddi byth. Bod anfarwol yw enaid. Ni ddaw dydd marw byth i'w gyfarfod ef. Mae ef i fyw am dragywyddoldeb. Mae enaid yr annuwiol yn myned i uffern yn angeu y corph, ond y mae enaid y duwiol yn myned i'r nefoedd. Mae hyna yn gysur mawr i ni hefyd wrth feddwl am ein hanwyliaid duwiol ymadawedig, ac wrth feddwl am farw ein hunain. O! ïe, dyna lle y maent, a dyna lle byddwn ninau ar ol marw, os ydym yn blant i Dduw—yn y nefoedd.

3. Mai tragywyddol deyrnas ein Harglwydd a'n Hachubwr Iesu Grist yw y nefoedd. Efe bia hon; mae ef wedi pwrcasu hon â gwaed yr iawn mawr. Efe a bia bob byd o ran hyny; ei eiddo ef fel Creawdwr yw y greadigaeth fawr, ond mae y nefoedd yn eiddo iddo mewn modd mwy neillduol na'r un ran arall o'r cyfanfyd anferthol. Y mae a fyno ei gyfryngwriaeth â'r nefoedd; ac y mae efe wedi myned i mewn trwy ei waed ei hun, i barotoi lle i'w anwyliaid; ac yno y byddant gydag ef gyrph ac eneidiau, yn ei deyrnas fawr dragywyddol, ar ol yr adgyfodiad ddydd y farn fawr. A marwolaeth ni bydd mwyach. "Ac nis gallant farw mwy, oblegid cyd-stad ydynt a'r angelion." Diolch am fyd anfarwol, ac am etifeddiaeth anllygredig, a dihalogedig, a diddiflanedig. Bydd yr holl deulu gwaredigol byw am byth gydag Iesu yn ei dragywyddol deyrnas. O, ïe, meddai Lleurwg,

"Mewn anfarwoldeb byddant
  Byth gyda'u Prynwr mwy,
Yn canu am ei gariad,
  A rhin ei farwol glwy.
O, angeu, p'le mae'th golyn?
  A'th fuddugoliaeth, fedd?
Diangol y'm o'ch gafael,
  Mewn bywyd llawn o hedd."

Gwneled Duw ni oll yn etifeddion o dragywyddol deyrnas ein Harglwydd a'n Hachubwr Iesu Grist; ac felly dedwydd fyddwn am annherfynol oes. Amen.

---

## MANION.

—Ber yw'r bont rhwng gorfoledd a galar.

—Da yw arafwch ac addfwynder yn wastadol. Nid wrth ddychrynu aderyn y mae ei ddal.

—Boddlonrwydd, pe heb ond ychydig eiddo bydol, yw y meddiant goreu yn y byd.

—Pe na wenieithiai dyn iddo ei hun, nis gallai gweniaeth neb arall wneyd niwed iddo.

—Os oes genyt elyn, ymdrecha ei argyhoeddi trwy garedigrwydd nad ydwyt ti yn elyn iddo ef.

Digitized by Google

# Amrywiaethol.

## HANES EGLWYS OLCHON, YN SIR HENFFORDD.

[Allan o "Hanes y Bedyddwyr," gan y Parch. Joshua Thomas,]

Yr wyf o'r farn mai hon oedd y gynulleidfa gyntaf yn Nghymru a ymneillduodd mewn addoliad a dysgyblaeth eglwysig oddiwrth Eglwys Loegr. Nid ellais i ddim, hyd yn hyn, ddeall trwy ba offeryn neu offerynau y dechreuwyd, y casglwyd, ac y corphorwyd yr eglwys fechan hon, nac yn sicr pa amser y bu hyn. Nid oes neb a all gofio yr amser, ac y mae hyd yn nod yr hanes traddodiadol wedi ei golli. Odid nad oedd hanes ysgrifenedig, ond os oedd, y mae naill ai wedi ei ddyfetha neu ni ellais erioed gael mo hono, er chwilio llawer. Yr wyf yn neillduol gydnabyddus a'r eglwys er y flwyddyn 1746. Mi fum o'r amser hyny, dros wyth mlynedd, yn pregethu yno bob pythefnos, gan mwyaf. Mi a ymholais amryw weithiau a'r aelodau oedranus, fel y cawn gyfle; er hyn oll, ni ellais gael dim hysbysrwydd eglur am ei dechreuad. Y traddodiad cyffredin yw, mai eglwys Olchon yw y gyntaf o Fedyddwyr yn Nghymru.

Yr wyf yn barnu iddi gael ei chasglu yn fuan ar ol cael y Gair Sanctaidd yn Gymraeg. Bu'r Cymry, fel llawer o wledydd eraill, heb yr efengyl yn iaith eu mamau dros ganoedd o flynyddau. Pabyddiaeth a dygn anwybodaeth oedd trwy y wlad y pryd hwnw, a'n hynafiaid, fel paganiaid, heb ddeall Gair Duw na medru ei ddarllen. Yr oedd yr Ysgrythyr yn y wlad, ond yn yr iaith Lladin; felly ni fedrai ond ambell un na'i ddarllen na'i ddeall. Ond yr oedd un yma a thraw ag oedd yn ddysgedig, ac yn ymdrechu gwneyd daioni i'w gyd-wladwyr yn eu blin gaethiwed. Nodir yn tu dalen 10, i ryw un cymwynasgar ddechreu cyfieithu yr Ysgrythyr i'r Gymraeg yn gynar, sef o gylch 1520, neu ar fyr ar ol hyny. Ond efe a rwystrwyd yn y gwaith da yn rhyw fodd.

Yr oedd Mr. William Tyndal yn wr o gyffinian Cymru, ac y mae yn bosibl ei fod wedi ei eni tua chyffiniau Sir Fynwy a Sir Henffordd, ac nid yn mhell oddiwrth Olchon. O gylch 1740 dywedodd hen wr duwiol wrthyf fi, fod Mr. Tyndal yn ewyllysiwr da i'r Bedyddwyr, ac i fedydd y crediniol. Pwy a wyr na hauodd ef ryw faint o had yn y parthau hyn, ac na ddiflanodd yn hollol, nes tarddu yr eglwys fechan o Fedyddwyr yn Olchon? Ni wyddom ni lai nad efe a ddechreuodd droi y Beibl i'r Gymraeg, er myned ei waith ar goll wedi hyny. Hyn sydd sicr, yr oedd Mr. Llewelyn Tyndal yn aelod cyfrifol yn eglwys y Bedyddwyr yn Llanwenarth a Fenni yn 1700, a Hezekiah Tyndal hefyd yn aelod yno. Y mae yn bosibl mai rhai o deulu yr hen wr gynt oedd y rhai hyn. Os dichon neb brofi amgen, boddlon wyf fi. Nid allaf fi roi dim gwell hanes am y pethau hyn.

Eto bu amryw o'r Cymry dysgedig wedi hyny yn egniol iawn i ddwyn gair Duw i blith y Brutaniaid yn eu hiaith eu hunain. Eithr buwyd yn hir cyn dwyn y gorchwyl gwerthfawr i ben. Y mae Dr. Llewelyn, ein cydwladwr, wedi rhoi hanes da am y pethau hyny. Y gweinidog cyntaf a glywais i son am dano yn Olchon oedd Mr. Howel Ychan neu Vaughan. A dywedir mewn ysgrifen ag sydd genyf, ei fod ef yno yn amser y brenin Charles I., yr hyn sydd yn tystio i mi ei fod yno cyn y flwyddyn 1640. Ond yr wyf yn barnu na bu'r gwr hwn erioed yn Rhydychain, nac un prif ysgol; eithr gwr duwiol, gwledig, cydwybodol, ond yn hyfforddus a deallus yn yr Ysgrythyrau ydoedd; ac o herwydd hyny, a'i ddawn gweinidogaethol, cafodd ei ddewis i borthi yr ychydig bobl hyny a gwybodaeth ac a deall. Diau yw mai hon oedd y drefn yn amser yr apostolion, dyweder a fyner yn ei herbyn. Amser blin iawn oedd hi ar y Bedyddwyr yn enwedig, ac ar lawer eraill, y dyddiau hyny. Os gofyn neb, pwy a ddechreu-

Digitized by Google

odd fedyddio yma, fy ateb yw, nad ellais i hyd yn hyn ddeall hyny. Ond pwy bynag a ddarlleno waith Crosby, caiff weled fod amryw o Fedyddwyr yn Lloegr uwchlaw can' mlynedd cyn hyn, er nad oeddent yn gallu ymgorphori yn eglwysi, gan faint yr erledigaethau. Megys y daeth gwr o Lundain i hyfforddi a chynorthwyo wrth gasglu a threfnu eglwys Llanfaches, fel y nodwyd yn barod, ac y daeth gwr o Lundain i osod dwylo ar rai yn y Gelli, fel y nodir isod; felly hawdd a naturiol yw barnu i'r Saeson pell neu agos gynorthwyo yr hyn oedd angenrheidiol yn Olchon. Ond mae'n bosibl iawn mai Mr. William Erbury a ddechreuodd yma, ac i'r eglwys gael ei chorphori ganddo ef o gylch 1633 pan y galwyd ef i Lundain. Hyn sydd wir, yr oeddid flynyddau lawer ar ol hyn yn cyfrif Olchon yr eglwys fwyaf rheolaidd trwy Gymru. Er fod ei dechreuad mor fychan, fel na wyddai Mr. Vavasor Powel, p'un a wnai ei galw yn eglwys neu beidio yn 1641, canys y mae yn dywedyd, wrth son am eglwysi Cymru, "About which time was the first, if not the only gathered church in all the country," sef, "o gylch pa amser y casglwyd yr eglwys gyntaf, os nid yr unig un trwy'r holl wlad." Ac wrth son am yr un flwyddyn, yn y blaen mae'n dywedyd, "There was but one or two gathered congregations in all Wales," sef, "nid oedd ond un neu ddwy gynulleidfa wedi eu casglu trwy holl Gymru." Sicr ei fod ef yn cyfrif Llanfaches uwchlaw Olchon, fel y nodwyd yn barod; ond er hyn oll, cynyddodd Olchon yn ddirfawr mewn ychydig flynyddau.

Nid yw'r eglwys hon wedi cadw un gair ysgrifenedig o'i hanes, hyd y gellais i chwilio; felly rhaid casglu'r cyfan oddiwrth yr hen bobl a lleoedd eraill. Nid oes genyf fi ddim hanes mwyach hyd 1649. Yr oedd hi yn y saith neu wyth mlynedd hyn wedi ymdaenu ac eangu yn rhyfedd, a chyrhaeddodd i'r Gelli ac i Clifford. Yr oedd llawer o'r aelodau yn y parthau hyny y flwyddyn hono. Mi a welais mewn papyrau yn y Fenni gopi o lythyr oddiwrth Mr. John Miles, o Ilston, gerllaw Abertawe, at eglwys y Gelli. Gan fod y Gelli yn dref marchnad, a llawer o aelodau o amgylch, fe a drefnwyd yno dy cyfarfod, o bosibl y cyntaf yn Nghymru, felly eglwys y Gelli y gelwid hi y dyddiau hyny, ac nid eglwys Olchon.

---

## "YCHYDIG WEDI EU DEWIS."

Nid ychydig yn y cyfanswm; O, nage, nage. "Tyrfa fawr nas gall neb eu rhifo," &c. Paham ychydig, ynte? Yn gymharol y mae hyn. Dylasai fod ychwaneg; gallasai fod ychwaneg. Paham yr ychydig? Ai yr etholedigaeth sydd wedi eu cau allan? Nage. Ai arfaeth Duw? Nage. Ai iawn Crist sydd yn rhy fyr? Nage, nage. Beth ynte? Un dosbarth yn pechu o'u gafael bob mantais a chyfleusdra er eu hiachawdwriaeth. "O, Jerusalem, Jerusalem, pa sawl gwaith y mynaswn gasglu dy blant yn nghyd, . . . ond nis mynech." Fy nghyd-deithwyr tua'r farn fawr a manwl, pa nifer o honoch chwi sydd wedi clywed yr alwad, ie, galwadau taer, ond nis mynech?—Yn parhau i bechu o'ch gafael bob cyfleusdra. Er rhybuddion, er cymellion, er dagrau gweision yr Arglwydd, er gweddiau taer y rhai sydd yn teimlo yn anwyl tuag atoch, eto ni fynech. Pa sawl gwaith y'ch gwahoddwyd i ufudd-dod yr efengyl, ac at fwrdd yr Arglwydd, ond ni fynech?

Dyma paham ychydig. Bydd rhai yn ffieiddio trefn a thelerau Duw yn ei efengyl. "Gwerth yr hyn oll sydd genyt, a chanlyn fi." Methu gwerthu eu *trash* y mae y bobl. Hoffi dilyn un arall yn well na dilyn Crist mae y bobl. Dyma paham y gair ychydig. "Yn gymaint ag i mi estyn fy llaw, a neb heb ystyried." Mae Duw yn cynyg ei law gynes, llawn o les i ti, a thithau yn ei gwrthod. Beth sydd gasach genyt ti dy hun, bechadur, na chynyg dy law i'th gymydog, ac yntau yn ei gwrthod? Y Jehofa mawr yn cynyg ei law i ti, a thithau mewn modd diystyrllyd yn ei gwrthod. A ydyw yn rhyfedd nad wyt dderbyniol? Dyna paham

Digitized by Google

ychydig. Esgeulusa rhai y pethau hanfodol, rheidiol—tebyg i'r dyn heb y wisg briodas. Mor bwysig hyn i ni sydd wedi gwneyd proffes. Mynwn y wisg briodas; mae i'w chael. Cofia, O, ddyn, fod Duw yn dy alw yn awr, yr awr hon; heddyw yw dydd iachawdwriaeth. Yn gymaint a bod Duw yn dy alw, O ddyn, beth yw dy ateb iddo? Mae angeu wrth y drws; bydd barn yn canlyn.

> **" Yn ngeiriau Naf mynegir am y dydd**
> **Y dygir caethion beddau'r byd yn rhydd,**
> **Gan ddwyn o'r ddaear a dyfnderau'r môr**
> **Farwolion byd yn nghyd at orsedd Iôr."**
>
> —*Christopher Bach.*

## YR IAWN.

Sylwir yn fynych nad ydyw pynciau duwinyddol, yn ol yr hen ddull, yn cael cymaint o sylw gan athrawon yr oes bresenol, ag a fyddent yn gael yn yr oes o'r blaen. Mae duwinyddiaeth fympwyol, ac esboniadau mympwyol, yr hen bobl yn colli tir, a dulliau eraill yn meddianu y wlad; ac er mai bechan ydyw ein colled ar ol mympwyon anffaeledig, dadleuon cyndyn, a thymerau chwerwon ein hynafiaid, eto colled fawr fyddai colli eu brwdfrydedd tanllyd, a'u teimladau bywiog ac angerddol wrth wasanaethu yr Arglwydd. Mae y gwresog yn yr ysbryd yn fynych yn cario ei eiddgarwch i eithafion, nes myned yn erlidgar; a'r hynaws a'r cydoddefgar mewn perygl o oddef pob peth, nes i'r gwahaniaeth rhwng drwg a da, gwir a chelwydd, gael ei anghofio. Mae rhai yn ceisio gwahaniaethu rhwng gwirioneddau dibwys a phethau pwysig—pethau hanfodol i fywyd, fel pe yr anogid dyn i ofalu am ei ben am nas gall fyw hebddo, ond fod llaw neu droed yn bethau dibwys, gan y gellir byw ar ol eu colli. Eto dylid gwahaniaethu rhwng erthyglau ffydd ac opiniynau neu fympwyon dynol. Rhaid i ffydd gael Gair Duw yn sail i bwyso arni; ond boddlona mympwy ar gasgliadau dynol; a thynir casgliadau croes i'w gilydd, gan wahanol feddyliau, oddiwrth yr un gwirionedd. Mae Arminiaid a Chalfiniaid yn tynu casgliadau gwahanol iawn i'w gilydd oddiwrth yr un efengyl. Mae yr efengyl gan y ddwy blaid, canys trwy hono y cedwir y naill fel y llall o honynt; ond y mae eu casgliadau mympwyol yn eu harwain i bellafoedd oddiwrth eu gilydd.

Yr Iawn ydyw pwnc pwysicaf yr Ysgrythyrau Sanctaidd, a chareg sylfaen y gwirionedd achubol. Dyma ganolbwnc y llywodraeth ddwyfol. At yr Iawn yr oedd pob peth o'r dechreuad yn cyfeirio, ac ar hwn y mae teml ogoneddus y gwirionedd Dwyfol yn sylfaenedig. I mewn i'r pwnc hwn yr oedd y prophwydi gynt yn manwl chwilio; hwn oedd testyn gweinidogaeth yr apostolion wrth efengylu i'r byd trwy yr Ysbryd Glan; ac ar ddyfnderoedd a rhyfeddodau athrawiaeth yr Iawn y mae yr angylion yn chwenychu edrych. Yr Iawn ydyw diwedd y ddeddf, cyflawniad y gyfraith a'r prophwydi, a sail a sylwedd efengyl gras. Os heb Iawn, heb efengyl; ac os heb efengyl, heb obaith bywyd i deulu dyn.

Yr Iawn yw y safle fwyaf manteisiol i'r duwinydd i sefyll arni, ac i syllu ar ryfeddodau Duw. Bu pedwar duwinydd enwog gyda'r Bedyddwyr, sef Dr. Gill, A. Booth, A. M'Lean, ac A. Fuller. Safle Gill oedd y cyfamod tragywyddol cyn bod y byd; edrychai ar bob peth yno yn cael ei "luniaethu yn hollol ac yn sicr;" oddiyno yr oedd efe yn cael allwedd i ddadgloi yr holl ddirgeledigaethau. Safle Booth oedd teyrnas gras yn y galon; ac oddiyno yr edrychai efe ar bob peth yn cydweithio er iachawdwriaeth yr eglwys. Prif bwnc M'Lean oedd crefydd yn dwyn ffrwythau cyfiawnder—yn cadw pob peth a orchymynwyd gan Iesu Grist. Cymerodd Fuller ei safle ar yr Iawn, ac edrychodd ar bob peth arall fel yn cyfarfod yno mewn cysondeb a chydweithrediad. Yr oedd duwinyddiaeth iachus gan y pedwar; ond Fuller oedd yn sefyll ar y man mwyaf canolbarthol, ac ato ef y cyrcha duwinyddion yn gyffredinol i fyfyrio ffordd yr iachawdwriaeth. Nis gallwn ddeall arfaeth Duw ond o ymyl y groes. Mae yr addewidion a'a cysgodau yn aneglur ond o

Digitized by Google

ymyl y groes; mae y gyfraith a'r prophwydi yn ddiystyr nes y cânt eu cyflawni yn y groes. Rhaid dychwelyd at yr Arglwydd, ac edrych arno yn marw ar y groes, a deall dyben ei farwolaeth, cyn y tynir ymaith y gorchudd oddiar y galon, ac y gwelwn ogoniant Duw yn ngwyneb Iesu Grist, ac y cawn ein cyfnewid i'r unrhyw ddelw o ogoniant i ogoniant, a hyny megys gan Ysbryd yr Arglwydd.—*Cynddelw.*

## FY HOFF LYFR.

**Mr. Gol.—Yn ystod ymweliad fy mrawd a'm cyfaill hoff, y Parch. Ll. Rees, Johnstown, a mi, gofynais iddo ysgrifenu fy enw wrth fy anwyl Feibl, gan fod fy llaw yn crynu. Gafaelodd yn y *pen*, a dyma isod yr hyn a ysgrifenodd. Mae yn fendigedig addas i osod allan fy nheimlad i at lyfr Duw. Gan y dichon fod yn foddion i ddwyn rhywun i garu mwy ar y Beibl, yr wyf yn erfyn arnoch ei gyhoeddi yn y Wawr. Evan R. Evans.**

Dyma ymborth iach fy enaid,
Gwleddaf arno ddydd a nos;
Draw o 'Genes.' i'r 'Datguddiad,'
Mae hyfrydwch pena' f' oes;
Fel ar lanau dyfroedd tawel,
Hyd fy mhen mewn porfa îr,
Mae fy enaid wrth ei ddarllen
Yn ymborthi ar y gwir.

Hoffwyf ddarllen am ei "Fydded,"
Am y codwm pruddaidd wyf;
Llygriad teulu Seth, a'r diluw,
I fy nghalon rhoddant glwyf.
Galwad Abram a'm cynhyrfa
I edmygu teulu'r ffydd;
Gorfoleddaf wrth wel'd Israel
O'u caethiwed 'n dod yn rhydd.

Wrth eu dilyn drwy'r anialwch,
Draw o'r Aipht i'r Ganaan fad,
Darlun gaf o daith y Cristion,
Dan arweiniad Nefol Dad;
Bedydd Cristion amlwg welaf
With fyn'd drwy'r Môr Coch mewn hedd;
A'r dramwyfa drwy'r Iorddonen
Ddengys goncwest ar y bedd.

Yn holl hanes Israel, dau bêth
Ymgynygiant i fy mryd,
Sef llywodraeth Duw goruchaf
Mewn rhagluniaeth ar y byd;
Hefyd mai'r holl ddyben dwyfol
Yn yr oesau fu o'r bla'n,
Oedd par'toi y ffordd i ddynion
I roesawu'r Iesu glân.

Iesu mawr yw haul y llyfr,
Megys corph, ei enaid yw;
Marw fyddai heb yr Iesu;
Drwyddo mae yn ysbryd byw;
Nid oes llyfr yn y gyfres
Yn werth dim ond am ei fod,
Drwy gysgodau a phrophwydi,
Gyd i'r Iesu yn rhoi'r clod.

Crist oedd *Shilo*,'r teyrn a'r proffwyd
Welodd Moses ar ei hynt,
'Rhwn oedd gwrthddrych ffydd ddiysgog
Dewrion Duw yr amser gynt.
Pwy oedd "gwraidd a hil"'r hen Ddafydd?
Pwy oedd "Haul cyfiawnder" byw?
Pwy y "Bachgen" i ni anwyd?
Iê, pwy ond Iesu yw?

Gweled hwn ro'dd ysbrydoliaeth
I hen feirdd cysegr Duw,
A'r cantorion drwy eu cerddi
Lanwyd oll â thrydan byw.
Dysgwyl ddydd a nos am dano,
Ei melusbeth oedd wrth fyw;
Yna 'madael fel Simeon
Mewn tangnefedd at eu Duw.

*Climax* mawr y llyfr hynod
Ydyw rhinwedd gwaed y groes,
A'i addasrwydd idd ein harwain
Oddiyma i wlad ddi-loes.
'R Arglwydd roddo gymorth beunydd
Fel y gallwyf ddweyd heb fraw,
Dyma deimlad gwir berchenog
Yr hen Feibl sy'n dy law.

—*Llewelyn Rees.*

## YR HOLWYDDOREGAU YN YR YSGOLION SABBOTHOL.

Yn ddiweddar ymddangosodd ysgrif ragorol iawn yn *Seren Cymru* ar "Yr angenrheidrwydd o fabwysiadu cynllun ymarferol er cyfranu addysg Ysgrythyrol yn ein hysgolion Sabbothol." Gan mor ragorol ydyw, dyfynwn a ganlyn:

Digitized by Google

"Un cynllun effeithiol, feddyliwn, i gyfranu addysg Feiblaidd yn ein hysgolion yw, Gwneyd defnydd helaethach o'r pynciau a'r holwyddoregau. Flynyddoedd yn ol, bu y rhai hyn yn gyffredin a phoblogaidd iawn yn ein gwlad, a chredwn iddynt fod yn gynorthwy mawr i gyfoethogi meddyliau ein ieuenctyd â gwybodaeth Feiblaidd; yn foddion i symbylu ymchwiliadau i athrawiaethau crefydd, a dyfnhau yr argyhoeddiad fod yr holl Ysgrythyr yn oleuni i'r meddwl, ac yn rheol ymarweddiad. Ond rywfodd neu gilydd, y mae'r pynciau a'r holwyddoregau bron cael eu llwyr esgeuluso gan nifer luosog o ysgolion Sabbothol y Bedyddwyr, a dichon mai dyma yr achos fod cynifer o honynt mor isel, dilewyrch, marwaidd, a dilafur yn y dyddiau presenol. Mae rhai hen gynlluniau nad ydynt yn werth eu hadgyfodi—y fendith fwyaf yw cloi drws y bedd, a'u gorfodi i aros mewn ebargofiant tragywyddol; ond credwn y byddai yn foddion bywyd ac adfywiad i'n hysgolion pe byddai y pwnc a'r holwyddoreg yn cael eu hadgyfodi o feddau y gorphenol, a chael eu mabwysiadu yn fwy cyffredinol. Y mae genym gyflawnder o'r rhai hyn, megys eiddo y diweddar Barch. Titus Lewis, Caerfyrddin; y diweddar Ddr. Pritchard, Llangollen; Mr. John Simon, Ruthin; Parch. Owen Davies, Caernarfon; Dr. Morgan, Llanelli, ac amryw eraill; hefyd, y mae genym lawer o bynciau buddiol a chynwysfawr, wedi eu cyfansoddi at wasanaeth ysgolion, gan luaws o frodyr da eraill. Credwn y byddai dysgu y rhai hyn yn drwyadl, pennod ar ol penod, Sabboth ar ol Sabboth, yn foddion tra effeithiol er galluogi ein hieuenctyd i gael golwg eangach ar hanesiaeth, bywgraffiaeth, ac athrawiaethau y Beibl. Trwy hyn gallent gael drychfeddwl mwy eglur am addewidion a bygythion, gwobrau a chosbau, yr Ysgrythyr lân; mewn gair, i'w galluogi i ddeall holl gynwysiad ewyllys y Tad i'r hil ddynol. Hefyd, onid yw yn ddyledswydd arnom fel Bedyddwyr i ymdrechu dysgu y to ieuanc, nid yn unig yn ngwirioneddau cyffredinol crefydd, ond hefyd goleuo eu meddyliau yn nghylch ein nodweddion gwahaniaethol, ein daliadau neillduol; ymdrechu trwytho eu meddyliau, lefeinio eu heneidiau, a'u gwreiddio yn drwyadl yn llenyddiaeth yr Enwad, fel y byddo ganddynt gyflawnder o resymau Ysgrythyrol er amddiffyn yr egwyddorion a broffesant? Gan fod yr eglwys Babaidd a'r eglwys Sefydledig yn dysgu eu daliadau neillduol i'w plant; gan fod y Methodistiaid Calfinaidd ac enwadau eraill yn egwyddori eu plant yn eu daliadau neillduol, peth sicr y dylai y Bedyddwyr, y rhai ydym yn cael ein hystyried y puraf ein credo, a mwyaf rhydd oddiwrth draddodiadau, ymdrechu ein goreu i ddysgu a gwreiddio ein plant yn yr egwyddorion sydd mor hoff ac anwyl gan ein heneidiau; a chredwn mai y ffordd fwyaf effeithiol i wneyd hyn ydyw trwy gael gan y plant i ddysgu ac adrodd holwyddoregau a phynciau yr enwad, yn y rhai y gosodir allan wirioneddau Cristionogaeth, ac yn eu plith ein daliadau neillduol fel Bedyddwyr."

---

## EGLURHADAETH YSGRYTHYROL.

Galatiaid iv. 24.—"Yr hyn bethau ydynt mewn *alegori*: canys y rhai hyn yw y ddau *destament*; un yn ddiau o fynydd Sinai, yn cenedlu i gaethiwed, yr hon yw Agar." Oddiwrth y camgyfieithiad hwn, y mae anffyddwyr wedi honi nad oedd Sara a Hagar yn bersonau o gwbl, ac nad oeddynt ond cynyrch dychymyg yr henafiaid. Ond ni ddefnyddir y gair alegori o gwbl yn y Testament Newydd. Y gair a ddefnyddir yma yw *allegoroumena*, hyny yw, yr hyn bethau a gynyrchant gyffelybiaeth. Hefyd, y mae y gair *testament* yn hollol anghywir yma. Y mae yr Apostol yn llefaru, nid am y "ddau destament," ond am y "ddau gyfamod." Y mae yn amheus genym a ddylid defnyddio y gair "testament" yn un man o'r "Cyfamod Newydd." Byddai "dwyn plant" yn well na "cenedlu," oblegid am y ddwy wraig y llefarir; ac er mwyn unrhywiaeth, dylem ddarllen,

Digitized by Google

"Hagar," ac nid "Agar." "Yr hyn bethau a gynwysant gyffelybiaeth, canys y rhai hyn yw y ddau gyfamod, un o fynydd Sinai, yn dwyn plant i gaethiwed, yr hon yw Hagar."

—

GAL. v. 17.—"Canys y mae y cnawd yn chwenychu yn erbyn yr Ysbryd, a'r Ysbryd yn erbyn y cnawd: a'r rhai hyn a wrthwynebant eu gilydd, *fel na alloch wneuthur beth bynag a ewyllysioch.*" Y mae Gair Duw yn dysgu, a phrofiad pob Cristion yn ardystio, fod plant Duw, dan arweiniad ei Ysbryd, yn gallu gwrthsefyll y diafol yn llwyddianus, a chael goruchafiaeth ar chwantau y cnawd; ond pan ddarllenwn yr adnod fel y mae uchod, gallem feddwl nad yw hyn yn wirionedd, oblegid yn ei ffurf bresenol awgryma mai y cnawd sydd drechaf—pan yr ewyllysiom wneuthur da, y mae y drwg yn ein rhwystro. Amcan yr Apostol yma, fel mewn llawer o fanau eraill, yw dangos fod yr Ysbryd yn ein cynorthwyo i wrthsefyll yn llwyddianus ein nwydau drygionus. Nid yw y rhan olaf o'r adnod wedi ei chyfieithu yn iawn. Nid oes dim yn y Groeg yn cyfateb i "na alloch;" ond y cyfieithiad llythyrenol yw hyn, "Canys y mae y cnawd yn chwenychu yn erbyn yr Ysbryd, a'r Ysbryd yn erbyn y cnawd; a'r rhai hyn a wrthwynebant eu gilydd, fel na wneloch y pethau a ewyllysioch." Yn ol y darlleniad hwn, y mae y "pethau a ewyllysioch" yn sefyll am bethau anghyfreithlawn eu gwneyd, a bod yr Ysbryd yn ein cadw rhag eu cyflawni.

—

GAL. vi. 1.—"Os goddiweddir dyn ar ryw fai, chwychi y rhai ysbrydol, *adgyweiriwch* y cyfryw un mewn ysbryd addfwynder." Byddai "adferwch" yn well nag "adgyweiriwch."

—

GAL. vi. 11.—"Gwelwch cyhyd y llythyr a ysgrifenais atoch â'm llaw fy hun." Ni feddylia *poikilois* "cyhyd," na *grammasi* "llythyr;" ond darllener, "Gwelwch gyda y fath lythyrenau mawrion yr ysgrifenais atoch â'm llaw fy hun." Nid yw yr achos o'i ddefnyddiad o'r llythyrenau breision yn hysbys. Dywed Chrysostom ei fod yn ysgrifenu felly o herwydd diffyg ei olygon. Dywed eraill fod ei lawysgrif yn eofn i gyfateb i rym ei argyhoeddiad. Y mae yr adnod ar y cyfan yn ddyrys. —*Parch. W. Edwards, B. A.*

---

## BEDYDDIAD PREGETHWR WESLEYAIDD YN NARBERTH, DEHEUDIR CYMRU.

—

Yn ddiweddar, talodd y Parch. W. L. Lang, Ysgrifenydd Teithiol Cymdeithas Lwyrymwrthodol y Bedyddwyr, ymweliad â Narberth, Sir Benfro, a chynaliwyd cyfarfod cyhoeddus ar yr achlysur yn nghapel y Bedyddwyr, dan lywyddiaeth y Parch. B. Thomas, gweinidog parchus y lle. Yn mysg y siaradwyr yn y cyfarfod hwnw yr oedd Mr. Willey, *station master*, a phregethwr cynorthwyol gyda'r Wesleyaid. Yn ei araeth, dywedodd Mr. Willey, pe byddai efe yn aelod o'r eglwys hono, mai un o'r pethau cyntaf a wnelai fyddai ffurfio *Band of Hope* i'r plant. Dywedai Mr. Thomas ei bod yn rhwydd iawn iddo ddyfod yn Fedyddiwr, ac yn aelod hefyd o'r eglwys—fod y bedyddfan o dan y fan y safai efe, ac nad oedd eisiau ond codi y clawr, a byddai iddo ef ei fedyddio yn ddiymaros. Dywedai Mr. Willey mewn atebiad, os byddai i Mr. Thomas lawnodi y *pledge* y noson hono, y celai ef ei fedyddio. Darfu i'r gweinidog lawnodi y *pledge;* ac wrth wneyd hyny, dywedai ei fod wedi ystyried y mater er ys tro, a'i fod wedi dyfod i'r penderfyniad i lawnodi er siampl i eraill. Edrychid yn mlaen yn awr am gyflawniad o'r addewid; a'r Sabboth canlynol, aeth y sibrwd allan fod y bedydd i gymeryd lle yn yr hwyr. Daeth tyrfa fawr o bobl yn nghyd, hyd nes oedd y capel wedi ei orlenwi; ac ar ddiwedd y gwasanaeth arferol, cantyddwyd Mr. Willey yn esgyn y *platform* (yr oedd efe wedi bod yn pregethu yn ei gapel ei hun yn flaenorol), a dechreuodd anerch y gynulleidfa. Dywedai mai nid y *challenge* a roddodd efe yn y cyfarfod dirwestol oedd yr achos o'i fedyddiad ef y noson hono.

Digitized by Google

Yr oedd efe yn credu er ys blynyddau mai tansuddiad oedd y dull ysgrythyrol o fedyddio, ond nad oedd hyny yn anhebgorol er iachawdwriaeth. Yr oedd yn weithred o ufudd-dod; ac iddo ef, yr oedd llwyrymwrthod â diodydd meddwol yn ufudd-dod. Dymunai hefyd hysbysu na fyddai ei ufudd-dod i fedydd yn ei wahanu oddiwrth ei enwad ei hun; gobeithiai fod yn gystal Wesleyad wedi ei fedyddio a chyn hyny.

Wedi hyny, anerchodd Mr. Thomas y gynulleidfa yn lled faith ar bwnc y bedydd, a dywedai ei fod wedi penderfynu llawnodi y *pledge* cyn i Mr. Willey daflu allan y *challenge* y noson flaenorol. Yna gweinyddwyd yr ordinhad; a dygwyd y gwasanaeth dyddorol i derfyniad drwy weddi gan Mr. Thomas.

## BRASLUN PREGETH.

### CYFREITHIWR YN CEISIO CREFYDD.

LUC x. 25—37.—"Ac wele rhyw gyfreithiwr a gododd, gan ei demtio, a dywedyd, Athraw, pa beth a wnaf i gael etifeddu bywyd tragywyddol?" &c.

Mae yn fwy syndod gweled rhai yn ceisio crefydd nag eraill. Mae rhai yn mhellach nag eraill oddiwrth deyrnas Dduw. Paul a ddysgai "nad llawer o rai doethion yn ol y cnawd, nad llawer o rai galluog, nad llawer o rai boneddigion, a alwyd." Ymddengys fod rhywbeth mewn rhai galwedigaethau bywyd sydd yn *groes neillduol* i anianawd crefydd; canys wrth eu dilyn mae teimladau llednais y galon ddynol yn caledu, a dynion yn myned yn debyg i beirianau. Ai nid oes rhywbeth annghydnaws felly i ysbryd crefydd yn yr alwedigaeth o gyfreithiwr; yn enwedig fel yr arferir hi yn ein dyddiau ni? Mynych, ni dybiwn, y gwelwn gyfreithwyr fel prenau crinion, digydymdeimlad; ond diau fod eithriadau hapus. Yn y testyn gwelwn *gyfreithiwr* yn ceisio crefydd, ond mae lle cryf i amheu ei ddifrifoldeb a'i ddidwylledd. Modd bynag,

I. *Mae wedi cael o hyd i'r iawn berson.*

1. Un oedd yn ei ddeall ef a'i amcan. Yr oedd EF yn gwybod beth oedd mewn dyn.

2. Un oedd yn gwybod yn berffaith amodau iachawdwriaeth.

3. Un oedd yn ewyllysgar i'w dysgu a'u hegluro.

II. *Mae yn ei holi pa fodd y caffai efe grefydd.* "Pa beth a wnaf i gael *etifeddu* bywyd tragywyddol?"

1. *Holi* a wnai. Yr oedd holi er ceisio gwybod pethau yn beth cyffredin iddo ef, ac yntau yn gyfreithiwr.

2. Cyfarchai yr Iesu mewn iaith dysgybl ymostyngol a pharod i dderbyn cyfarwyddyd. "Athraw."

3. Proffesai ddymuniad i wybod amod cadwedigaeth. Cydnabyddai fod rhywbeth i'w wneyd. "Pa beth a *wnaf*?"

III. *Mae yn cael y cyfarwyddiadau gofynol.*

1. Cafodd ei gyfarwyddo i wneyd y gorchymynion a wyddai yn barod.

2. Cafodd ei gyfarwyddo i wneyd caredigrwydd i'w gyd-ddyn mewn angen.

3. Cafodd ei *gymell* i ddilyn siampl y Samariad. "Dos, a gwna dithau yr un modd."

Mae yn dra thebygol mai yn y cyteiriad yna yr oedd ei ddiffyg penaf, yr hyn oedd yn ddiffyg mawr iawn ynddo.

## Ardrem Americanaidd.

GAN GWYLIEDYDD.

### Y BEDYDDWYR AMERICANAIDD.

Crybwyllwyd yn yr ysgrif ddiweddaf, mai y testyn sydd yn cael mwyaf o sylw y corph Bedyddiedig yn bresenol trwy yr holl Dalaethau, ydyw pwnc y Beibl. Nid pa un a ydyw yn llyfr ysbrydoledig—yn feddwl Duw, ac felly yn wirionedd pur, digymysg, ai peidio, ond beth ydyw y cynllun mwyaf effeithiol i'w osod yn nwylaw y miliwnau sydd yn amddifad o hono.

Digitized by Google

Gwyr y darllenydd fod y gwahanol enwadau taenellyddol yn uno i gynal un Gymdeithas Feiblaidd cydrhyngddynt—y Gymdeithas Feiblaidd Americanaidd. Bu y Bedyddwyr yn perthyn iddi, ond gorfodwyd hwy i ymneillduo er's llawer o flynyddau bellach, o herwydd eu hymlyniad wrth fedydd y Testament Newydd, a dosbarthu y Beibl oreu y gallent, ar eu hadnoddau a'u cyfrifoldeb eu hunain. Y mae hyn, ar ryw ystyron, wedi bod yn anfantais; ond y mae yn annhraethol well nag aberthu cydwybod, a bradychu yr ordinhad arwyddluniol grybwylledig.

Gan nad yw cyfarfod Beiblaidd Saratoga wedi cymeryd lle pan yr ydys yn ysgrifenu hyn, ac felly nas gellir rhoi ei hanes yma, dichon mai nid anfuddiol fyddai rhoddi ychydig o eglurhad ar yr hyn fu yn *achos* i'r Bedyddwyr ymneillduo oddiwrth yr hen Gymdeithas: Cafodd y Feibl Gymdeithas Americanaidd ei ffurfio yn y flwyddyn 1816, gyda yr unig amcan o "roddi gwasgariad helaethach i'r Ysgrythyrau Sanctaidd, heb na nodiad nac esboniad;" a chydweithiodd y Bedyddwyr yn galonog â hi o'r dechreu. Bu troedigaeth Dr. Judson at y Bedyddwyr yn 1812 yn achos o ffurfiad y Gynadledd dair blynyddol yn Philadelphia, yn 1814, er cario y gwaith cenadol yn mlaen; a bu y ddau amgylchiad noddedig hyn yn foddion grymus i ddwyn eglwysi ein henwad i undeb agosach â'r Feibl Gymdeithas; a rhoddai hithau arian yn aml i wasgaru cyfieithiadau cenadon y Bedyddwyr yn Nwyreinbarth India. Aeth pethau yn mlaen yn hwylus fel hyn hyd 1832—1836. Yn y flwyddyn 1835, ceisiwyd help gan y Gymdeithas i argraffu y Testament Newydd Bengalaidd, ac yn Chwefror, 1836 neillduodd y Gymdeithas $5,000 i'r amcan, ar y telerau nad oedd y gair *bedydd* i gael ei gyfieithu fel ag i arwyddo *trochi*, mewn unrhyw iaith, dim ond ei drosglwyddo yn annghyfiaith, fel y mae yn y cyfieithiad Saesoneg. Hyn oedd dechreuad yr anghydfod, ac yr oedd y telerau yn annyoddefol i un Bedyddiwr gonest. Felly gwrthodwyd y rhodd yn benderfynol, ond gyda boneddigeiddrwydd Cristionogol dyladwy. Galwyd cynadledd gyffredinol o'r eglwysi Bedyddiedig trwy y Talaethau i gyfarfod yn Philadelphia, Ebrill 26, 1837. Hon oedd yr unig gynadledd Feiblaidd a gynaliodd y Bedyddwyr, ac yr oedd hono yn gorph cynrychioledig o'r enwad yn ystyr helaethaf y gair. Yr oedd yn gyfansoddedig o 390 o aelodau, wedi eu hanfon o 23 o Dalaethau, heblaw Rhandir Columbia. Yn y gynadledd hon y ffurfiwyd y Gymdeithas Feiblaidd Americanaidd a Thramor, er cyfieithu a gwasgaru meddwl Duw yn rhydd oddiwrth lyffetheiriau dynol. Hyn oedd arwyddair sefydlwyr y Gymdeithas. Hoeliwyd ef wrth yr hwylbren, a bu yno yn chwyfio yn awelon rhyddid am flynyddau. Ond cododd tô newydd o ddynion, ac yn 1850 ymollyngodd y Gymdeithas hon eto i'r un gwall a'r Gymdeithas Feiblaidd Americanaidd yn 1836. Rhoddodd hyn fodolaeth i'r Undeb Beiblaidd Americanaidd. Er nad oedd sefydliad hwn yn perthyn yn *hollol* i'r Bedyddwyr, eto cychwynwyd ef gan rai o'u prif ddynion, ac yr oedd perthynas agosach rhyngddo â ni nag unrhyw enwad arall. Gwnaeth waith godidog am flynyddau. Bu rhai o brif ddysgedigion yr oes, perthynol i'r gwahanol enwadau, yn ei wasanaeth, a chafodd y Testament Newydd, a rhanau helaeth o'r Hen, eu cyfieithu yn ffyddlon, a'u hargraffu yn ddestlus; ac erys y gwaith yn gofgolofn o anrhydedd i ddysgeidiaeth, duwioldeb, a theyrngarwch dynion Duw i'r gwirionedd Dwyfol. Ond o herwydd diffyg cefnogaeth ddigonol, daeth dyddiau yr Undeb Beiblaidd Americanaidd i fyny, ac ymdoddodd yn Gymdeithas Feiblaidd Americanaidd a Thramor, yr hon sydd wedi parhau i anadlu yn wanaidd, er ei bod wedi colli ymddiried yr enwad i raddau pell iawn. Felly nid yw ei chyllid ond bychan, tra mae ei threulion yn fawr, er fod cylch ei defnyddioldeb yn gyfyngedig. Pwnc y dydd, gan hyny, ydyw, Beth ydyw y cyfrwng goreu i gyfieithu, argraffu, a gwasgaru Gair Duw, gartref ac oddicartref? I ystyried

Digitized by Google

hyn mae y Gynadledd agosaol wedi ei galw, a phenderfynu ar y cyfrwng fydd gwaith mawr y Gynadledd. Cynelir hefyd yn yr un lle ac amser gyfarfodydd blynyddol y gwahanol Gymdeithasau perthynol i'r enwad. Gwenau y Nefoedd fyddo arnynt. Y mae

GWRAGEDD DUWIOL

yr eglwysi Americanaidd yn hynod o weithgar a llwyddianus gydag achos y Ceidwad. Flynyddau yn ol, gosododd Duw yn nghalon ychydig o honynt i ffurfio *The Woman's Foreign Missionary Society*, a chynaliwyd ei deuddegfed gylchwyl flynyddol gyda'r eglwys gyntaf yn Rochester, N. Y., ar y 18fed a'r 19eg o Ebrill diweddaf. Yr oedd 527 o genadon wedi dyfod yn nghyd o wahanol ranau y wlad. Yr oeddynt oll yn fenywod, a chariasant yr holl gyfarfodydd yn mlaen eu hunain, am ddau ddiwrnod, heb unrhyw gymorth allanol, yr hyn sydd yn glod mawr iddynt. Y maent yn cynal 36 o genadau menywaidd. Mae ganddynt 86 o ysgolion, gyda 3,294 o ysgolheigion. Cynaliant hefyd 48 o fenywod brodorol i ddarllen y Beibl o dy i dy, a mynegant fod 118 wedi eu bedyddio yn ystod y flwyddyn ddiweddaf. Yr oedd cyfanswm eu casgliadau y llynedd yn $59,670.21, a chyfanswm eu treulion ar y maes tramorol yn $54,590.63. Heblaw hyn, y mae gan gyfeillesau Iesu yn y Talaethau Gorllewinol Gymdeithas gyffelyb i'r uchod, gyda yr eithriad ei bod yn cymeryd i fewn y maes cartrefol yn gystal a'r un tramorol. Yr wyf newydd weled ei hadroddiad blynyddol, yr hwn sydd yn dangos fod y derbyniadau y llynedd yn $24,638.69. *Well done*, gyfeillesau yr Iesu, mae eich serch, eich haelioni a'ch gweithgarwch chwi, wedi bod yn ddiarebol erioed. Y mae cryn son, yn awr a phryd arall, am

BRINDER GWEINIDOGION

yr enwad. A ydyw yn wir, fod gan yr eglwysi Americanaidd rhy ychydig o weinidogion i ateb pob gofynion angenrheidiol, pe gwnelent iawn ddefnydd o'r rhai sydd ganddynt yn barod? Nid wyf am drethu gofod y golygydd nac amynedd y darllenydd, trwy fanylu ar y pwnc, er ei fod yn un o gryn bwys i'r eglwysi, i'r gweinidogion, ac yn neillduol i'r rhai sydd yn bwriadu cysegru eu bywyd i'r weinidogaeth. Eto credwyf fod genym ddigon o brofion wrth law i argyhoeddi pob dyn sydd yn ei synwyrau, nad oes un prinder o ran pregethwyr yn eglwysi y Bedyddwyr. Mae dweyd fel arall yn gam-arweiniol—yn ddrwg. Cyhoeddodd un o'r papyrau fod prinder mawr o weinidogion yn Michigan. Yn fuan ar ol hyny yr oedd rhyw frawd da yno yn cwyno yn arw iddo dderbyn rhyw 47 o lythyrau o Loegr, yn holi yn nghylch yr eglwysi gweigion ac amddifaid, gan gynyg eu gwasanaeth! I ddangos nad oes prinder yma o gwbl, gadawer i ni gymeryd un o Dalaethau Lloegr Newydd fel engraifft. Y mae yn y Dalaeth, sydd o flaen llygad yr ysgrifenydd, 140 o weinidogion rheolaidd. Allan o'r nifer hwn y mae 40 heb ofal eglwys! Gwir fod rhai o honynt dipyn yn oedranus, ond nid oes nemawr, os un, yn analluog i gyflawni dyledswyddau y weinidogaeth. Y maent oll yn ddynion o brofiad, a llawer o honynt yn ddynion o dalentau rhagorol—eto yn methu cael un eglwys i weinidogaethu ynddi! Onid yw hon yn ffaith alarus ac awgrymiadol? Onid yw yn profi fod pethau mewn cyflwr drwg, gresynus? Mewn ystyr fasnachol a chelfyddydol, byddai yn dweyd yn groew, fod y cyflwr cymdeithasol yn beryglus! Dau gelfyddydwr allan o bob pump yn gorfod bod yn segur, er yn awyddus am waith! Gymaint o siomedigaeth, trallod, angen, a chwerwder fyddai hyn yn awgrymu. Y mae yn gysur mawr i ddarllen am y bedyddiadau aml a'r ychwanegiadau mawrion at yr eglwysi sydd yn cymeryd lle yn wythnosol drwy y wlad, ond mae'n boenus hefyd i ddeall fod

DIRYWIAD GRESYNUS

mewn rhai eglwysi, ac mewn rhanau neillduol o'r wlad uchel-freintiog hon —yn y Talaethau henaf a mwyaf diwylliedig o honi. Mae yn arferiad

Digitized by Google

cyffredin i esgeuluso y moddion cyhoeddus. Y cwrdd gweddi wedi marw —dim cyfeillach grefyddol o un Ionawr i'r llall, a chanoedd o aelodau na welwyd mo honynt er's blynyddau yn croesi trothwy drws ty Dduw, oddigerth mewn angladd yn awr ac eilwaith!—ac eto yn cael eu hystyried yn aelodau rheolaidd! Gellid tynu darlun o sefyllfa foesol llawer man, a fyddai yn anghredadwy i Gristion Cymreig. Ond gwell tynu y gorchudd drosto yn awr, a myned yn mlaen i wneyd rhai sylwadau ar

## YR ENWADAU ERAILL.

Y mae'r Methodistiaid Esgobawl yn achwyn eu bod yn colli eu gweinidogion, a rhai o'r goreuon yn barhaus. Aeth dau o honynt yn ddiweddar i bwlpudau yr Episcopaliaid yn New York a Brooklyn. Yr achos ydoedd eu bod yn blino symud yn barhaus. Gwnaethant hwy yn gallach nag amryw o'u brodyr, trwy beidio ymuno â'r Bedyddwyr, gan y buasai raid iddynt i symud yn *amlach* gyda ni na lle yr oeddynt. Ond nid yw y Methodistiaid yn hoffi colli eu dynion da, oblegid dywedai Dr. Currie, yn y Gynadledd y dydd arall, "Nid wyf yn credu y dylem wneyd ein heglwys yn bont i'r holl greadigaeth groesi trosodd at yr enwadau eraill." Ond sut y gallant helpio hyny, a chadw y cylchdeithiad —dyna'r cwestiwn. Y mae'r enwad parchus hwn wedi cael tipyn o ofid er's rhai blynyddau, am fod

MISS (PARCH.) ANNA OLIVER

mor benderfynol o gael ei chydnabod fel gweinidog rheolaidd, ag oedd y Gynadledd na chawsai. Pedair blynedd yn ol daeth y foneddiges hon yn weinidog ar un o eglwysi y Methodistiaid yn Brooklyn, N. Y. Yr oedd yr eglwys ar y pryd tan faich trwm o ddyled. Prynodd hi y meddiant, ac argymerodd a baich y gofynion. Tynodd gynulleidfa dda ar y cyntaf, ac yr oedd pob arwyddion fod llwyddiant i goroni ei hymdrechion. Ond yr oedd gallu yr Esgobion a llwfrdra y Gynadledd yn ei herbyn—aethant yn drech na hi —gyrasant hi i'r clawdd, efengyl neu beidio—a gwerthwyd yr addoldy. Felly mae'r chwaer dalentog hon heb un pwlpud heddyw. Ond er ei bwrw i lawr, nid yw wedi ei llwyr adael, meddai hi. Mae y cwynion yn erbyn

Y PARCH. HEBER NEWTON,

yr Episcopaliad o New York, am heresi, wedi eu gosod yn llaw ei Esgob, Dr. Potter, ond nid ydys yn credu y dygir Newton byth i brawf; y mae yna ormod o bydredd, gwell yw peidio procio dim arno. Os ca yr Esgob ddigon o wroldeb i weithredu, bydd yn bryd gofalu am y ffroenau.

Yr oeddwn wedi meddwl ar y dechreu i ddweyd gair am yr "eglwys Dduw-gredol" newydd sydd wedi ei ffurfio yn New York yn ddiweddar, ond gan ei bod wedi ei thrwytho yn dda mewn anffyddiaeth, gall gadw hyd y tro nesaf.

---

# Arf-dy y Cristion.

CYNDYN A'R CRISTION.

*Cyndyn.* Tyred, gymydog Meddal, dychwelwn adref hebddo: y mae myntai o ddynionach penweinion, y rhai, wedi mabwysiadu rhyw fympwy, ydynt ddoethach yn eu golwg eu hunain na seithwyr yn adrodd rheswm.

*Meddal.* Paid a difenwi, ebe Meddal; os gwir a ddywed y Cristion mwyn, y pethau a geisia efe ydynt well na'r eiddom ni: mae fy nghalon yn tueddu i fyned gyda fy nghymydog.

*Cyndyn.* Pa beth! mwy fyth o ffyliaid! cymer dy arwain genyf fi, a thyred yn ol; pwy a wyr i ba le y'th dywysir gan y fath ddyn penchwiban a hwn? Dychwel, a bydd gall.

*Cristion.* Tyred gyda mi, gymydog Meddal; yr hyn oll a soniais am danynt ydynt i'w cael, a llaweroedd o bethau gogoneddus ereill. Oni chredi fi, darllen yma yn y llyfr hwn yn eu cylch; ac am wirionedd yr hyn a fynegir ynddo, wele, mae y cwbl wedi eu sicrhau â gwaed yr Hwn a'i gwnaeth, Heb. 9: 17-21.

*Meddal.* Wel, fy nghymydog Cyn-

Digitized by Google

dyn, ebe Meddal, yr wyf yn dechreu ymroddi yn fy meddwl i ymdeithio gyda'r gwr da hwn, a bwrw fy nghoel-bren gydaf ef; ond fy nghyfaill, a wyddost ti y ffordd i'r lle dymunol hwn?

---

I FODDLONRWYDD.

Deg wridog Foddlonrwydd, fun lar-
 iaidd fwyn lôn
A'r hardda a ddanfones y nef i'r ddae'r
 hon,
Pa'm tyni di'n wastod tua bythod ein
 byd,
Gan ado'r tai disglair a'u gwychder i
 gyd?

Mi'th welais di drwyn-drwyn â'r hws-
 mon gan waith,
A chyda'i forwynion yn gwenu ar eu
 gwaith;
Mi'th ddalais di'n canu mewn teulu
 bach tlawd
Heb fara nac enllyn na dyrnaid o flawd.

Mi geisiais mewn llysoedd gael gwel'd
 ol dy dro'd,
Mewn golud, mewn swyddau, mewn
 gwleddau a mawr glod;
Er chwilio'n dra manol o'r bore hyd
 yr hwyr,
Gael gweled lliw d' wyneb, mi ffaelais
 i'n llwyr.

I b'lasau disgleirwedd os na cheri dd'od,
Rhwng cyfoeth a mawredd anrhydedd
 a rhod,
Fy nghyfraid a geisiaf, a'm calon yn
 iach
Oll gyda'm hangylais a mi mewn ty
 bach.

Can's digon yw digon, gormodedd sydd
 flin;
Pa beth wnaf â rhagor nag allaf ei drin?
Fy rhaid a Boddlonrwydd yn unig
 tr'w'i byw,
O holl dda'r byd yma ddymuna'i gan
 Dduw.

—*Parch. David Davis, Castellhywel.*

---

MEITHRIN CARIAD AT WIRIONEDD.

Nid wyf yn tybio geirwiredd, mae hyny yn beth arall. Geirwiredd yw cyd-darawiad rhwng gosodiad a ffaith. Cariad at wirionedd ydyw cariad at sylweddau; penderfyniad i bwyso ar ffeithiau, ac nid ar ymddangosiadau. Cymerwch, er eglurhad, y modd yr arferir meithrin cariad at wirionedd. Y mae dau fachgen yn gweled gwrth-ddrych afluniaidd, hyllig, yn y tywyll-wch. Mae un yn myned i fyny at achos ei ddychryn, yn chwilio iddo, yn deall beth ydyw; y mae efe yn dod i wybod y gwirionedd, ac mae y gwir-ionedd yn ei ryddhau. Mae y llall yn ei adael mewn dirgelwch, yn ddrych-iolaeth anesboniadwy, ac y mae yn gaethwas drwy ei holl fywyd i ddych-rynfeydd ofergoelus a disylwedd, rha-mant hawddgarwch, "goleuni crefydd-ol gwanaidd," ofn a dirgelwch. Nid y pethau hyn a geir yn awyrgylch rhyddid efengyl Crist. Sylfaener y gred ar ffeithiau; y gwirionedd yn un-ig a'ch rhyddha chwi.—*F. W. R.*

---

# Bwrdd y Golygydd.

## ORIEL Y GWEINIDOGION.

Y mae yn hysbys i'n gweinidogion ac i amryw o'n haelodau, er's amser bellach, ein bod yn bwriadu cyhoeddi ORIEL, yn cynwys darluniau o weinid-ogion y Bedyddwyr Cymreig yn Amer-ica. Bydded hysbys i bawb, gan hyny, fod y gwaith yn cael ei wneyd yn bre-senol yn Philadelphia, gan *artist* o'r radd flaenaf, a dysgwylir y bydd yr Or-iel yn barod tua chanol Mehefin. Mae 76 o ardebau yn y pictiwr, a'r oll wedi eu trefnu yn rheolaidd ar ffurf hirgrwn. Yn y canol mae Roger Williams, a'r gweinidogion o'i gwmpas megys yn *endorsio* ei egwyddorion. Yn y pedair cornel mae y Parchedigion ymadawed-

Digitized by Google

ig, William Owens, Pittsburgh; William Morgans, Pottsville; Philip L. Davies, a Morris J. Williams.

## "Y WAWR."

*Fy Anwyl Frawd Giraldus*—" Diolchaf fi â chalon rwydd," am y rhifyn o'r WAWR am Mai a gefais genych yn rhodd y dydd o'r blaen. Darllenais y misolyn drwyddo draw, a hyny gyda gwir bleser. Y fath yw fy marn ffafriol o berthynas i'r cyhoeddiad fel y teimlwyf ddymuniad i ddywedyd gair o glod iddo, a hyny ar g'oedd. Y mae yr erthyglau oll yn dra dyddorol, ac yn llawn bywyd; y maent yr hyn a eilw ein cymydogion Seisnig yn *spicy*. Ni chanfyddais gymaint ag un frawddeg wael neu *flat*, o'r dechreu i'r diwedd. Mae eich gohebwyr yn deall pa fodd i roddi llawer mewn ychydig. Y mae eu cynyrchion yn ddanteithion meddyliol blasus; a dealla y golygydd i berffeithrwydd pa fodd i'w gosod ar y bwrdd mewn trefn ddestlus a deniadol. Teilwng yw y WAWR o dderbyniad gwresog gan holl eglwysi Cymreig y Bedyddwyr; ac y mae yn dda genyf wybod fod eich derbynwyr yn cynyddu. Er nad yw yr enwad (yn mhlith y Cymry) ond bychan mewn rhif wrth ochr y Trefnyddion Calfinaidd a'r Annibynwyr, eto y maent yn ddigon galluog i roddi i'r WAWR gynaliaeth barchus. Y mae ar y clawr, "*There is a future for the Baptists.*" Oes yn sicr, ac y mae iddynt *bresenol* lled fawreddog, gystal a dyfodol. Newidiaf un gair, a mentraf brophwydo, *There is a future for the* WAWR. Hyderaf na ddiystyrwch ryw ychydig o sylwadau "trwscwl" fel y rhai'n oddiwrth bregethwr "Wesla." "Bydded gras ein Harglwydd Iesu Grist, a chariad Duw, a chymdeithas yr Ysbryd Glan" yn orphwysedig ar holl eglwysi ein cenedl trwy yr holl Dalaethau.

*Utica.* ERASMUS W. JONES.

—Cofier am Gyfarfod Chwarterol Bedyddwyr Dwyreinbarth Pa., a gynelir yn Pittston, Mehefin 13, 14.

## ADOLYGIAD Y WASG.

### *Seren Gomer am Ebrill.*

Mae darllen *Seren Gomer* fel y del i law bob tri mis, yn waith difyr. Mae y rhifyn hwn yn cymharu yn dda a'i ragflaenoriaid. Dyddorol yw yr ysgrif ar y Parch. Joshua Thomas. Mae hanes Mathetes yn parhau yn ei flas. Y Bryddest Goffadwriaethol am "Daniel Jones, Lerpwl," sydd awenyddol—ffrwyth awen ifanc Gwerfyl ydyw. Y mae y gweddill o'r rhifyn yn gloewi corph y *Seren.*

### *Y Greal am Mai.*

Mae ffrynt y *Greal* am Mai yn cael ei phrydferthu gan erthygl werthfawr ar Grefydd yn y Teulu. Dywed yr awdwr, nad yw crefydd yn gyfyngedig i un man, ond fel y môr, yn myned o dan wahanol enwau, yn ol y gwahanol wledydd y mae yn golchi eu glanau. Cyhoeddiad rhagorol yw y *Greal,* ac yn llawn o bethau sylweddol bob amser; felly y mis hwn.

### *Yr Athraw.*

*Dear me,* dyma yr "*Athraw* bach," fel yr arferem gynt ei alw I. Mae y tri rhifyn diweddaf mewn llaw; mae yn edrych mor ifanc a glandeg ag erioed. Yr oeddym heb ei weled er's llawer dydd, ond rhagllaw dysgwyliwn ei gael yn gyson. Dangosir chwaeth a medrusrwydd nid bychan ar ran y golygwyr. Mae yr *Athraw* yn llenwi cylch pwysig yn llenyddiaeth yr enwad, ac y mae yn deilwng o'r gefnogaeth helaeth a dderbynia.

## MAN-LEWYRCHIADAU.

—Hysbysa y brawd James Roach, o Palmyra, Ohio, mai yr holl ddyled sydd ar addoldy y Bedyddwyr yn y lle yn bresenol yw $80.

—Diolchwn i'r awdwr galluog a pharchus am gopi o "Y Weithred o Fedyddio." Gofalwn na ollyngwn o'n cyrhaedd y gyfrol werthfawr a destlus hon.

Digitized by Google

—Y mae y Parch. John Williams, gweinidog y Bedyddwyr yn Ngholwyn, G. C., yn bwriadu treulio o ddau i dri mis yn America yr haf hwn. Glania tua dechreu Mehefin. Dywed fod D. Williams, Ceryg-y-pryfaid, a'r teulu, yn bwriadu croesi yr un amser. Maent hwy wedi gwerthu pob peth, ac yn bwriadu myned i Galesburgh, Ill. Y mae ei frawd Owen wedi cymeryd fferm iddynt yno. Wel, ni welis i *rotsiwn beth* 'rioed, cynifer sydd yn dod trosodd o Gymru i America y dyddiau hyn, yn bregethwyr a phawb! Mae y brawd Williams, fodd bynag, yn un o'n gweinidogion mwyaf parchus yn Nghymru, ac o deulu Bedyddiadol o'r iawn ryw. Diau y bydd yn dda gan lawer gael cyfle i'w glywed yn pregethu.

—Dywed Mr. Williams, ein hymwelydd dysgwyliedig o Golwyn, "Teimlais yn anghyffredin wrth ddarllen hanes marwolaeth y Parch. Morris J. Williams. Llawer i wythnos a dreuliodd gyda ni yn y Garn a Chaergybi. Yr wyf yn credu mai yn y Garn y pregethodd gyntaf, mewn cyfarfod yn Arfon. Daeth yno yn ddyeithr i bawb. Cofiaf ei destyn: 'Hynod yw Duw yn Judah.' Pregethodd ar yr un testyn wed'yn yn Nghymanfa Bangor. Yr wyf yn cofio i mi gerdded yno gyda y Parch. William Parry, o Tyddyn Shon, a symudodd wedi hyny i America."

—Diolchwn i chwi, frawd William J. Thomas, Delta, am eich geiriau caredig.

—Ebe Ednyfed, "Bwriadwyf gychwyn o Efrog Newydd am Baradwys, y 19eg o Mehefin. Byddaf yn dychwelyd (os yr Arglwydd a'i myn) erbyn y Sul cyntaf yn Medi. Mae genyf amryw leoedd i bregethu a darlithio. Dysgwyliaf fod yn nghyfarfodydd yr Undeb, a cheisiaf ddanfon yr hanes i'r WAWR." Wel, llwyddiant mawr i'n hanwyl frawd ar ei deithiau yn mlaen ac yn ol.

—Mae y Parch. John Evans, brawd Ednyfed, wedi cael galwad wresog ac unfrydol oddiwrth un o brif eglwysi y Bedyddwyr Americanaidd yn Brooklyn, N. Y. Yr ydym yn llongyfarch y brawd anwyl Evans yn ei waith yn dringo i fyny mor ragorol ar hyd llwybr sydd mor anrhydeddus.

—Deallwn fod yr eglwys Fedyddiedig Gymreig yn Pittston, Pa., wedi sicrhau gwasanaeth y Parch. John Edred Jones, Stonington, Conn., i lanw y pwlpud am dri Sabboth, sef y Sabboth olaf yn Mai a'r ddau ddilynol.

—Mae y frawdoliaeth yn Freedom, Cattaraugus, trwy eu hysgrifenydd twymgalon, y brawd William Charles, yn rhoddi gwahoddiad i'r gweinidogion a'r cenadon trwy gylch y Gymanfa i ddyfod yno i'r wyl; a thybiwn fod y gwahoddiad yn helaethach fyth, gan gynwys y diaconiaid a'r diaconesau, a phawb a allo ddod. Da iawn, on'te? Gadewch i ni fyned yno yn lluoedd, gan ddysgwyl gwenau y Meistr mawr ar yr holl gyfarfodydd.

—Mae y Parch. John R. Jones, gweinidog yr eglwys Fedyddiedig yn Houtzdale, Pa., yn myned drosodd am dro i Gymru, yn benaf er gwellhad iechyd. Bwriada gychwyn tua diwedd Mai. Dysgwyliwn y ca dderbyniad croesawgar gan yr eglwysi.

—Bydd atebiad y Parch. J. Seth Jones i Mr. John B. Thomas yn y rhifyn nesaf.

—Yn nghyfarfod mawr yr Enwad yn Saratoga, penderfynwyd fod y gwaith Beiblaidd yn cael ei wneyd o hyn allan gan y Baptist Publication Society yn Gartrefol, a chan y Baptist Missionary Union Society yn Dramorol—y Baptist Bible Society i derfynu.

—Bu farw yn Utica, N. Y., foreu dydd Mawrth, Mai 22, y Parch. Watkin B. Joseph (Y Myfyr), gweinidog eglwys Bethesda, (A.), tua 45 mlwydd oed. Bu yn glaf er tua dechreu mis Mai, ond coleddid gobeithion cryf am ei adferiad hyd o fewn ychydig oriau i'w farwolaeth. Achosodd y newydd annysgwyliedig hwn dristwch trwm yn mhlith holl Gymry y ddinas, oblegid yr oedd wedi enill lle cynes yn serchiadau pawb a'i hadwaenai. Yr oedd yn bregethwr ymarferol, yn fardd cadeiriol coeth, ac yn foneddwr hynaws. Gadawodd wraig dyner yn weddw, a saith o blant prydferth yn amddifaid, mewn gwlad estronol. Cymerodd ei angladd le y dydd Iau canlynol, pryd yr amlygwyd y parch mwyaf i'w goffadwriaeth, a chydymdeimlad dwfn a'i deulu galarus.

Digitized by Google

# Barddoniaeth.

## NA DDIYSTYRWCH DDYN WRTH EI OLWG.

Na ddiystyrwch ddyn
  Fo'n wael ei lun a'i liw,
Er nad mewn trwsiad trim,
  Ni wyddoch ddim pwy yw;
Pe baech yn gwybod pwy,
  Chwi fyddech yn fwy am
Wneyd rhyw lesâd, nid rhoi sarhad,
  Brawd o'r un tad a mam.

Na ddiystyrwch ddyn
  Fo'n gwisgo dillad gwael,
A thlodi wrtho n' nglyn,
  Heb ganddo fawr i'w gael;
Ni wyddoch chwi ddim nad
  Yw'n haeddu parch, paham;
Ond gwnewch lesâd, heb un sarhad,
  Brawd o'r un tad a mam.

Na ddiystyrwch ddyn
  Am fod ei nôd yn hen,
A'n wyn eich gwallt eich hun,
  A llwyda barf eich gên;
Gwnewch iddo'n llon wellâd;
  Na wnewch ag ef un cam;
Rho'wch iddo'n rhad ryw wir lesâd,
  Brawd o'r un tad a mam.

Na ddiystyrwch ddyn
  Fo'n fyddar neu yn ddall,
Neu'n fud, neu ar naill glun,
  Ac o un lle i'r llall;
Ni wyddoch nad yw'n llawn
  O ddysg a dawn di-nam,
Ni wyddoch nad yw 'n meddu stâd,
  Brawd o'r un tad a mam.

LLYWARCH.

## FY NHAD CU

YN HIRAETHU AM DDYDD EI YMDDATODIAD PAN YN 90 MLWYDD OED.

Dysgwyl 'rwyf y dedwydd ddiwrnod
  Pan caf gyrhaedd pen fy nhaith,
Mae'r hen babell bridd yn datod
  Er ys llawer blwyddyn faith.

Hoel a hoel sy'n cael ei datod,
  Bob rhyw ddiwrnod yn ddiball;
Pan â'r dydd dan leni'r cysgod,
  Nid wy'n meddwl gwel'd y llall.

Fel blodeuyn 'rwyf yn gwywo,
  Gwylio'r ydwyf ar bob awr,
Am y genad i ffarwelio
  A hen wlad y cystudd mawr.

Imi nerth sydd boen a blinder,
  O dan bwys a gwres yr hin;
Dwg fi adre' 'Nhad ar fyrder,
  I'th gynteddau di dy hun.

Clywaf swn yr hen Iorddonen
  Megys clychau yn fy nghlyw;
Fy mlinderus daith sy' ar orphen,
  Minau wedi blino byw.

Mae fy enaid yn hiraethu
  Am y wlad o fythol hoen,
Nefol wlad lle nad oes ynddi
  Henaint, llesgedd, nac un poen.

*Pentregwenlais.* MARY EDWIN REES.

## Y GWANWYN.

TESTYN CYSTADLEUOL YN NGHYFARFOD LLENYDDOL Y BEDYDDWYR YN PARSONS, PA., EBRILL 17, 1883.

Peidiodd y corwynt, daeth gwanwyn a'i wenau,
Adar y goedwig i gynal cyngherddau.
Mi glywaf swn nodau eu tônau y dydd;
Ond tawel maent hwy dan leni'r nos lonydd.

Tywynodd yr heulwen, toddodd afonydd,
Gwelaf yn disgyn y maethlon gawodydd;
Anian adfywiodd, daw allan, dywedaf,
Yn ngwisg ei gogoniant i ddysgwyl yr haf.

Blodau amryliw hi wasgar trwy'r meusydd,
Gerddi i fywyd, blaguro mae'r coedydd;
Gwelais yn chwareu o amgylch eu mamau
Wyn bychain diniweid, llawn o ryw gampau.

*Parsons.* H. BARFRYN PEREGRINE.

## HIRAETHGAN

AR OL MRS. MARGARET HUGHES, OSHKOSH.

Deffro f'awen, trefna'th dannau,
  T'rawa dant mewn galar dôn,
Mawr yw'r hiraeth sydd yn aros
  Ar fy nghalon, trwm yw'r son,
Ar ol mam oedd hoff ac anwyl,
  Sydd yn gorwedd yn y bedd,
Minau'n aros yn yr anial,
  Ac yn gorfod cario cledd.

Ffarwel bellach, fy mam anwyl,
  Ni gydgwrddwn yn y man;
Ti ddiengaist uwch gofidiau,
  Dringaist fry i dawel fan;
O, mor felus fydd cyfarfod
  Ar hardd fryniau nef y nef,
Heb un dolur, poen, na gofid,
  Byth yn canu iddo Ef.

O awelon, byddwch dyner,
  Araf chwythwch gylch y fan
Y mae corph fy mam anwylaf,
  Nes y daw ryw ddydd i'r lan;

Digitized by Google

Chwithau engyl glan Paradwys,
Tremiwch lawr o wlad yr hedd,
Er cael gweled sut yr huna
Hoffaf un yn llwch y bedd.

ELIZABETH HUGHES.

*Freedom, Catt. Co., N. Y.*

---

## PENILLION MARWNADOL.

AR OL EIN HANWYL FAM PHEBE JONES, LANSFORD.

Yr hon a fu farw Ebrill 1af, 1883, yn 66 oed. Claddwyd hi yn mynwent Summit Hill.

---

Ymlwybra'r Awen 'nawr ac eilwaith
I diriogaeth angeu a'r bedd,
Lle gorwedda llu o feirwon
Oll yn welw, gwael eu gwedd;
Yn eu plith cawn fam hawddgaraf,
Phebe Jones rinweddol un,
Mae ei henw'n perarogli
Fel ei bywyd hi ei hun.

Gwell yw enw da na phydra,
Gwell na'r enaint gwerthfawr sydd,
Dydd marwolaeth na dydd gwledda,
Dydd rhyddhad i wlad y dydd;
Dydd y goron annifianol,
Dydd y palmwydd yn lle'r cledd,
Dydd i wledda oes anfarwol
Oes ein Duw tu draw i'r bedd.

Boreu iawn yn ngwlad ein tadau
Ymgymerodd hi a'r groes,
Daliodd dani'n amyneddgar
Er cael llawer miniog loes;
Cafodd chwerw 'n fwy na'r melus
Tra ar arw for y byd:
Heddyw nid oes dim yn aros
Ond melusder angeu drud.

Collodd briod hoff ei chalon
Draw yn Nghymru flwyddi 'n ol,
Claddodd hefyd ddau o'i meibion,
Wylodd lawer ar eu hol:
Claddodd frodyr a chwiorydd
Er ei galar, ing a phoen,
Y maent heddyw oll yn unfryd
Yn cyd-wledda gyda'r Oen.

Nid oes eisiau croesi 'r Werydd
I ategu rhodiad hon,
'Rhen gytundeb wnaeth yn foreu
Ddaliodd dros yr eang don;
Rhodio wnaeth yn anrhydeddus
Er yn nghanol estron wlad,
Gwelodd werth yr hen adduned,
Talodd ef i'w Cheidwad mad.

Eglur gwelwn fod gofidiau
Amgylchiadau chwerwon maith,
Wedi cydgyfarfod weithian
Er ei phrofi ar y daith:
Yma cafodd beiriau cystudd
Er ei phuro trwy y tân,
Allan daeth fel aur coethadwy
Addas un i'r Iesu glan.

Elfen bwysig ei chymeriad
Ydoedd lletygarwch gwiw,
Yno 'roedd yn nghanol gwenau
Ystafell i Broffwydi* Duw:
Ofer fyddai ceisio cuddio
Y rhinweddau gwerthfawr hyn,
Gormod gwaith i'r bedd ei hunan
Byth eu cuddio yn y glyn.

Un haelionus a charedig,
Llawn o natar dda i gyd,
Calon dyner llawn o deimlad
Oedd nodweddau hon o hyd;
Pren ar lan afonydd dyfroedd—
Dyfroedd yr Efengyl fawr,
Ei ffrwyth yn orlawn ac amserol,
A'r dail yn wyrddion fel y wawr.

Hir adgofir ei dyddanion
Dyddan, melus, boreu oes,
Son am gymeriadau cywrain,
A phregethwyr mawr y groes;
Teimlo 'r oedd yn wir gartrefol
Pan yn son am Walia wiw,
Am mai yno y proffesodd
Gyntaf enw mawr ei Duw.

Eglwys Lansford sydd mewn galar,
Ac yn wylo dagrau'n lli,'
Am symudiad un o'r mamau
Draw i ffwrdd i'r Nefoedd fry;
Afraid ydyw wylo mwyach,
Sychwch oll eich dagrau 'n awr,
T'wysen ydoedd mewn addfedrwydd,
Cynyrch eglwys daear lawr.

Gwag yw'r ty heb ei chymdeithas,
Gwagder deimlir yn y lle,
Bwlch nas gellir byth ei lanw
Gan neb dynol is y ne';
Gwir nad oes rhyw blantos bychain
Ar ei hol i dderbyn cam,
Y maent heddyw oll yn ddynion
Teilwng iawn o'u hanwyl fam.

Cawsom dystiolaeth tra gwerthfawr o'i chrefydd,
A'i bod mewn gwir heddwch â Duw yn dragywydd;
Nid wyf, meddai, 'n ofni y bedd na marwolaeth,
Bu Iesu o'm blaen yn mro llygredigaeth,
Daeth allan yn foreu y trydydd o'r dyddiau
Yn flaenffrwyth y codi y saint oll o'u beddau;
Am hyny nac wylwn fel rhai heb obeithion,
Mae hi 'n well ei chyflwr yn mro y duwiolion;
Fy mrodyr, gwnawn ymdrech i'w dilyn am dymhor,
Cawn eto gyfarfod am byth yn heddychlon.

NATHAN.

---

*Gweinidogion yr Efengyl.

Digitized by Google

# Y Maes Cenadol.

GAN Y PARCH. W. F. DAVIES, NANTICOKE, PA.

### III.—MADAGASCAR.

Mae un o'r awdurdodau goreu ar yr "Ynys Affricanaidd" yn rhanu hanes y gwaith Cenhadol yn Madagascar i dri chyfnod: sef y planiad, o'r flwyddyn 1818, hyd 1836; yr erledigaeth, o 1836 hyd 1861; a'r cyfnod llwyddianus, o 1861 i lawr i'r presenol. Cyfeiriwyd at y cyntaf yn fyr yn y Wawr y mis diweddaf. Cymry oeddynt y ddau ddanfonodd Cymdeithas Genhadol Llundain yno i ddechreu y gwaith. Wedi bod yno am ychydig amser, dychwelasant i Mauritius i gyrchu eu teuluoedd. Dychwelasant i'r ynys pan oedd y cyfnod poeth a gwlawog yn dechreu, a bu pump o'r chwech feirw yn fuan iawn wedi glanio yno. Wedi colli ei gyfeillion yn sydyn fel hyn, ymadawodd yr hwn oedd wedi ei adael ar ol. Ond yn 1820 daeth drachefn i'r ynys, a phedwar o genhadon gydag ef, a buont am amser yn wir lwyddianus. Yn 1828 bu Radama y brenin farw, yr hyn oedd yn golled fawr i'r cenhadon, ac i Gristionogaeth yn gyffredinol ar yr ynys, er nad oedd wedi gwneyd proffes o honi. Daeth i'r orsedd yn ei le ef Ranavolona, un o ordderch-wragedd y brenin. Dynes greulon ydoedd hi, ac heb y gronyn lleiaf o barch yn ei chalon at Gristionogaeth. Yr oedd y cenhadon wedi bod yno am 13 o flwyddi cyn i neb wneyd arddeliad cyhoeddus o Fab Duw. Galwodd y frenines fath o Gymanfa o'r bobl yn Mawrth, 1835, a daeth tua 150,000 o honynt at eu gilydd, a rhoddodd orchymyn caeth i'r holl genhadon i ymatal a'r gwaith o wneyd ei deiliaid hi yn Gristionogion. Hefyd gorfododd i'r oll ymadael ond dau. Daeth rhybudd i'r ddau hyny i ymadael yn mhen ychydig ar ol eu brodyr; ond cyn eu hymadawiad yr oeddynt wedi cael yr oll o Air Duw, a "Thaith y Pererin" trwy y wasg a'u gwasgaru yn dra chyffredin yn mysg y bobl. Yn 1836 torodd yr erledigaeth allan yn ei ffyrnigrwydd. Condemniodd yr awdurdodau ddynes i farw; ond llwyddodd i ddianc, a chyraedd yn ddiogel i Loegr. Gwaharddid i'r Cristionogion ymgynull at eu gilydd ar berygl bywyd; eto, byddent yn ddirgelaidd ganol nos, mewn tyllau ac ogofeydd, yn gweddio ac yn moli yr Arglwydd eu Duw. Parhaodd yr erlid am flynyddau. Bernir mai yn 1849 yr oedd chwerwaf. Hyrddiwyd llawer dros glogwyni; a'r dosbarth cyfoethocaf o honynt a deflid i'r tân; ond er yr holl driniaethau chwerwon hyn, a ddyoddefid gan yr oll mewn tawelwch, ac fel Stephan pan yn marw, gweddient dros y rhai oedd yn eu herlid a'u lladd. Yn 1853, danfonodd Cymdeithas Genadol Llundain un Mr. Ellis yno, i geisio dylanwadu ar y frenines i beidio ymddwyn mor greulon. Ond ni chelai fyned i'w phresenoldeb. Gyrwyd ef yno yr ail waith; ond ni lwyddodd yn ei amcan. Beth bynag ar yr ymweliad gwnaeth lawer o les i'r Cristionogion, trwy eu calonogi i fyned yn y blaen, a glynu yn eu proffes. Tua dechreu y flwyddyn 1857 yr oedd yr erledigaeth yn drwm iawn. Parhaodd felly am amryw fisoedd. Awd trwy ddyoddefiadau dirfawr, fe gyneuwyd tanau erledigaeth braidd trwy yr Ynys yn gyffredinol; ond nid oedd Cristionogaeth yn colli dim o'i dylanwad ar y bobl; ac er cymaint a leddid, 'doedd eu nifer ddim yn llai. Er hyn oll, "Gair yr Arglwydd a gynyddodd ac a amlhaodd." Pan ddarfyddodd yr erledigaeth, yr oedd yn Madagascar 20 o Gristionogion am bob un oedd yno pan ddechreuodd.

Yn 1862, wedi i'r waedlyd Ranavalona fyned i'w lle ei hun, danfonwyd yno 6 o genadon, y rhai a gymerasant at y gwaith yn egniol, a dilynodd amser dedwydd a llwyddianus. Benyw oedd ar yr orsedd eto. Gelwid hi Ranavalona II. Cydnabyddodd hon yn gyhoeddus ddylanwad daionus yr Efengyl, a chaniataodd ryddid crefyddol i bawb. Ar ei choroniad, yn Medi, 1868, nid oedd dim o'r delwau, fel y byddid yn arfer, wedi eu dwyn i'r palas; ond yn lle hyny, ar y nen uwch ben yr orsedd, mewn llythyrenau eglur,

Digitized by Google

"Gogoniant i Dduw." "Duw gyda ni," ac "Ar y ddaear tangnefedd, i ddynion ewyllys da." Yn ei haraeth cymeradwyodd y Bibl i'r bobl; a buan wedi hyny yr oedd hi a'i phrif-weinidog yn ganlynwyr yr addfwyn Oen. Yn 1869 casglwyd yr holl ddelwau at eu gilydd, a gosodwyd tân ynddynt. O hyny hyd yn awr llwyddiant mawr sydd wedi dilyn y gwaith da ar yr Ynys. Yr oedd yno yn 1869, 37,000 yn Gristionogion. Ond heddyw y mae yno dros 250,000. "O'r Arglwydd y daeth hyn, a rhyfedd yw yn ein golwg ni."

---

# Gwladyddiaeth y Mis.

GAN Y PARCH J. EDRED JONES.

Gan nad yw y Gydgyngorfa yn eistedd yn bresenol, nid oes fawr o newyddion gwladyddol cyffredinol i'w croniclo, a'r rhai hyn sydd yn ddyddorol i holl ddarllenwyr y WAWR. Y mae ail brawf lladron y *Star Route*, yn Washington, yn tynu at derfyniad unwaith eto, a bydd eu tynged wedi ei selio, y naill ffordd neu'r llall, cyn y daw y rhifyn hwn i law y darllenydd. Hynod yw gallu arian yn nwylaw hyd yn nod lladron beiddgar a gwyneb galed.

Mae y manylion angenrheidiol er cario allan ddeddf y diwygiad yn y gwasanaeth gwladol wedi eu cwblhau gan y rhagswyddwyr penodedig, a'r rheolau penodedig wedi eu perffeithio, ac wedi derbyn cymeradwyaeth yr Arlywydd; ac mae yntau wedi penodi Mr. Charles Lyman, prif *glerk* y Trysordy, i fod yn brif arholwr yr ymgeiswyr am swyddi. Dechreuir ar y gwaith yn uniongyrchol yn Nghyllid-dai y porthladdoedd dwyreiniol. Gan fod y swydd hon o gymaint pwys, yr oedd yn ofynol i arferyd llawer o bwyll, doethineb, ac anmhleidgarwch, yn newisiad person cymwys i'w llanw. Credir fod penodiad Mr. Lyman yn un o'r goreu ellid wneyd. Y mae yn hen filwr Undebol, ac wedi treulio deunaw mlynedd yn y gwasanaeth gwladol yn barod, ac hefyd y mae mewn perffaith gydgordiad a'r ddeddf newydd bwysig hon.

Pan yn darllen neu yn siarad am ddiwygiad yn y gwasanaeth gwladol, dichon fod llawer yn cysylltu hyny â gwasanaeth y Llywodraeth Gyffredinol yn unig. Ond mae y Deddfwrfeydd Talaethol yn dechreu gwneyd symudiad tuag at gael yr un peth, a diau y mabwysiedid mesur o'r un natur yn fuan, yn lled gyffredin, oni bae fod y Democratiaid yn wrthwynebol, lle y maent mewn awdurdod. Y mae rhai Talaethau yn barod wedi mabwysiadu y mesur. Mae Deddfwrfa Ddemocrataidd Efrog Newydd wedi pasio eleni ryw fastard-ddeddf o'r natur hwn—un i ddiwygio gwasanaeth y Dalaeth, ond nid *dinas* New York. Er hyny gwnaethant *flunder* niweidiol iddynt eu hunain, er yn llesiol i dreth-dalwyr y ddinas lethedig hono, trwy eu diofalwch. Gadawsant adran yn y ddeddf yn caniatau i faer unrhyw ddinas sydd yn cynwys dros 50,000 o drigolion, "I drefnu y fath fesurau er derbyn personau i wasanaeth y gyfryw ddinas ag a fyddont yn fwy tueddol i'w llesiant." Y mae felly gan Faer New York allu mawr i ddiwygio gwasanaeth y ddinas hono, heb ddiolch i'r gwladweinwyr (?) yn Albany. Y gwir yw, mae cymaint o angen diwygiad yn y gwasanaeth dinasydol trwy y Talaethau ag sydd mewn unrhyw gangen arall. Carwn ymhelaethu ar hyn, pe gofod yn caniatau, am fod y llygredigaeth mor arswydus a chynyddol.

Pasiodd y Gydgyngorfa fesur pwysig y gauaf diweddaf mewn perthynas i dê twyllfysgedig. Dywedir fod ugain y cant o'r holl dê a ddygir i'r wlad hon yn anmhur. Yna gwnaed deddf i gondemnio pob pwys o'r natur hwn, a ddygir i'r porthladdoedd o hyn allan; a phenodwyd un James Davies i fod yn *U. S. Tea Examiner* yn mhorthladd New York. Y mae Davies wedi condemnio peth yn barod, a dysgwylir llawer o les oddiwrtho ef a swyddogion eraill yn y dyfodol. Y mae gobaith am dê pur yn newydd da i'r hen chwiorydd, onid yw? Wel, maent yn deilwng o hono.

Digitized by Google

Y mae yr achos Dirwestol yn dyfod yn allu pwysig yn ngwladyddiaeth y dydd, er cyfarfod a'r gwrthwynebiadau mwyaf penderfynol oddiwrth elynion sobrwydd, rhinwedd a chrefydd. Er hyny y mae yn enill tir yn barhaus, a hyny a wna—hyny sydd raid iddo wneyd—nes y bo'r fasnach feddwol wedi ei dileu yn y wlad oleuedig hon.

Y mae'r Deddfwrfeydd Talaethol wedi gohirio, er llawenydd mawr i'r wlad; ond mae sawyr lygredig amryw o honynt heb ddarfod eto. Daeth Deddfwrfa New York i'r golwg fel un ddiwygiadol, &c., ond mae wedi capio y *climax* mewn llygredigaeth ac anonestrwydd. Ni fu un Ddeddfwrfa perthynol i'r Dalaeth hon yn fwy llygredig yn amser yr arch-leidr Bill Tweed, na'r un sydd newydd ohirio. Lladratawyd mesur pwysig, a basiwyd yn y Ty, oddiar fwrdd Llywydd y Senedd, pan oedd yn rhy ddiweddar i gael un arall, cyn y gohiriad olaf. Pasiwyd yno hefyd ddeddfau anghyfansoddiadol ac anghyfiawn, megys gwaddoli sefydliad Pabyddol yn ninas New York ag *ugain mil o ddoleri!* Mae yn syndod na fuasai y fath fesur haerllug a hwn wedi cyffroi Protestaniaid y Dalaeth; ond ymddengys mai ychydig iawn sydd yn amgyffred y fath allu ydyw y Babaeth yn y wlad hon yn barod. Gwnaeth y Ddeddfwrfa hon un weithred ragorol, er cynddrwg ydoedd, hyny ydyw, gwneyd Niagara Falls a'i hamgylchoedd yn barc Talaethol rhydd a chyhoeddus. Y mae hyn yn ffrwyth cyd-ddealltwriaeth rhwng Llywodraeth Canada a Thalaeth New York. Yr ydys wedi bod yn cyflafareddu ar y pwnc er's blynyddau, ond ni weithredodd Deddfwrfa New York yn effeithiol hyd yn awr. Mae dynion o ymddiried wedi eu penodi i gario allan amcan y mesur, yr hyn a rydd foddlonrwydd mawr i filoedd.

Y mae Deddfwrfa Michigan wedi pasio deddf sydd yn galluogi dyn i brofi ei ewyllys ei hun *tra yn fyw,* ac nid gadael i'w etifeddion gweryla, a gwario ei eiddo rhwng cyfreithwyr, ar ol ei farwolaeth. Dylai hon fod yn ddeddf genedlaethol.

Y mae arwyddion calonog yn ymddangos am undeb rhwng Gwerinwyr Pennsylvania. Mae corph y blaid yn awyddus am gydweithrediad yn yr etholiadau eleni, er bod mewn gwell cyflwr i adenill y tir a gollwyd, yn yr etholiad Arlywyddol nesaf; ac mae lle i gredu fod y blaenoriaid yn barod i gladdu bwyeill yr ymrafael, a dechreu byd o'r newydd.

Y mae'r Llywydd Butler yn creu cynwrf mawr yn Massachusetts yn barod. Cadno cyfrwys yw Ben., a'i brif amcan yw enill y penodiad nesaf am yr Arlywyddiaeth, ar y tocyn Democrataidd. Ond nid yw y wlad wedi anghofio y "llwyau" eto, Ben.

Talaeth Ymerodrol y De ydyw Georgia. Y mae yn codi tua miliwn o sachbyrnau o gotwm bob blwyddyn. Bostia yn ei hanturiaeth a'i chynydd rhyfeddol, a gall ethol Bourbon da agos bob blwyddyn, er fod yno filoedd lawer o Negroaid Gwerinol; ond mae'r pistol yn drech na'r Negro. Dau bwnc pwysig sydd yn cael sylw y dinasyddion yno yn awr. Un ydyw, rheoleiddiad—nid diddymiad—y drefn o ffarmio allan garcharorion y Dalaeth i ryw "Joe" Brown; a'r llall ydyw amddifadu y Negro o'i lyfr sillebu!

Os trown ein gwyneb tua'r Hen Fyd, ni a gawn holl Ewrop yn dwyn nodweddion hynod o derfysglyd. *Terfysg* ydyw pwnc y dydd, gynta pa enwau a esyd y giwaid aflonydd arnynt eu hunain. Yn Ffrainc, cydweithredant a'r monarchiaid i ddymchwelyd y Weriniaeth. Yn Neheubarth Yspaen, ymosodant ar y cyfoethogion. Yn Rwssia a'r Iwerddon, y maent yn lladd y llywodraethwyr. Ni wrandawant ar reswm, ond yr arfau yn awr ydyw y *dynamite,* y gyllell a'r pistol. Yr amcan yw dinystr, nid chwyldroad. Mae y gwledydd yn llawn o gymdeithasau dirgelaidd, y rhai a lywodraethir gan swyddogion neillduedig, a gorfodir unrhyw aelod i lofruddio ar archiad penaeth, neu gael ei ladd ei hun. Profir hyn yn nghyfaddefiadau carcharorion condemniedig yn Rwssia a'r Iwerddon. Y mae yr hen ysbryd Jacobinaidd a Chochwerinol a ferwai mor gynddeir-

Digitized by Google

iog yn Ffrainc amser maith yn ol, yn tori allan o'r newydd yn Ewrop, ac nid oes dim a'i darostwng ond braich gref y gyfraith. Y mae yn ddigon gwir fod llawer o bethau ag y dylid eu symud, yn llywodraethau yr Hen Fyd, ond nid yw y diwygiad i ddyfod trwy lofruddiaethau, ffrwydriadau dynamyddol, llosgiadau a lladradau.

Fel mae dydd coroniad Ymerawdwr Rwssia yn agosau, mae y bygythion mwyaf mileinig yn cael eu taenu, ac ofnir yn gyffredin y ca rhai o honynt eu cario allan, os yn bosibl. Yr arwyddion gwaethaf yn y wlad hono yn bresenol ydyw, fod llawer o'r fyddin wedi eu gwenwyno gan yr ysbryd Nihilistaidd. Mae yr holl boblogaeth yn gwylio eu gilydd; mae yr heddgeidwaid yn gwylio y dinasyddion, y milwyr yn gwylio yr heddgeidwaid, y swyddogion yn gwylio y milwyr; ac mae yn ofynol yn bresenol cael rhyw rai i wylio y swyddogion eu hunain.

Nid yw sefyllfa yr Iwerddon fawr, os dim, yn well. Mae llofruddion Phœnix Park wedi eu dal, eu profi, eu condemnio, eu dedfrydu, ac un o honynt, Joe Brady, wedi ei grogi Mai 14eg. Y mae'r pwnc Gwyddelig yn dyfod yn fater pwysig i'r wlad hon, a dichon y bydd yn foddion i'w harwain yn y man i anealltwriaeth peryglus â Lloegr. Os gall osgoi hyn, nid bai y Gwyddelod Americanaidd fydd hyny. Rhagor ar hyn mewn rhifyn dyfodol. Mae eisiau goleu amserol arno.

## HANESION CARTREFOL.

### Cymanfa y Bedyddwyr Cymreig yn Nhalaeth Efrog Newydd.

Cynelir y Gymanfa hon eleni gyda yr eglwys yn Freedom, Swydd Cattaraugus, yn dechreu ar y 14eg o Fehefin, ac i barhau dros y 18fed. Bydd trefn y cyfarfodydd fel y canlyn: Pregethu nos Iau, a thrwy'r dydd ddydd Gwener; cynadledd am 11 o'r gloch ddydd Sadwrn, a phregethu yn yr hwyr, a thrwy'r dydd y Sabboth, a nos Lun. Dysgwylir rhai gweinidgion dyeithr enwog, heblaw gweinidogion y Gymanfa. Erfynir ar eglwysi anfon eu cyfrifon yn llawn a phrydlon.

OWEN GRIFFITH, *Ysg.*

### Cyfarfod Chwarterol Bedyddwyr Dwyreinbarth Pa.

Cynelir y cyfarfod nesaf gyda yr eglwys yn Pittston, Mercher a Iau, Mehefin 13 a'r 14eg. Agorir y gynadledd am 2 o'r gloch prydnawn dydd Mercher. Dysgwylir y bydd yno gynrychiolaeth oddiwrth eglwysi y Gymanfa, a phresenoldeb gweinidogion y cylch.

Bydd Trysorydd y Gymdeithas Artrefol Gymreig yn wyddfodol, i dderbyn cyfraniadau yr eglwysi tuag at drysorfa y Gymdeithas. Gwneler ymdrech yn y cyfeiriad hwn.

*Nanticoke.* J. P. HARRIS, *Ysg.*

### Shenandoah, Pa.

MR. GOL.—Mae yn hysbys i'r rhan fwyaf o eglwysi y Gymanfa hon fod y ddwy eglwys sydd yn y lle hwn, yr un Gymreig a'r Seisnig, wedi rhoddi galwad flwyddyn yn ol i'r Parch. D. S. Thomas i'w bugeilio, a haner y weinidogaeth i bob un. Yn ddiweddar, rhoddodd Mr. Thomas ei ofal o'r eglwys Seisnig i fyny; a chan fod yr eglwys Gymreig yn cael ei llwyr foddloni yn ei weinidogaeth, yr ydym wedi cytuno â'r Parch. Mr. Thomas i'n gwasanaethu am amser llawn o hyn allan. Gan hyny, dymuna yr eglwys hon hysbysu trwy y WAWR, nad yw yn derbyn neb pregethwyr, pwy bynag a ddichon ddyfod yma ar y Sabboth, heb fod yr eglwys yn anfon am danynt, neu ynte fod cyd-ddealltwriaeth rhyngddynt a'r gweinidog. Cofier na fydd yr un casgliad yn cael ei wneyd i neb, pwy bynag.

Hefyd, mae yn hapus genym allu dweyd, fod yr achos da ar ei gynydd yn y lle hwn—llafur ein brawd a'n gweinidog yn cael ei goroni â llwyddiant, trwy fod milwyr o'r newydd yn ymuno â byddin yr Oen, ambell i fab afradlon yn dyfod tua thy ei Dad. Fel hyn, mae perlau yn cael eu codi o dro i dro, ac mae genym hyder y byddant

Digitized by Google

yn addurno coron gyfryngol Immanuel ryw ddydd a ddaw. Nid oedd yr eglwys pan ddaeth y Parch. Mr. Thomas yma yn rhifo ond 37, ond mae yn awr yn rhifo 62; felly gwelir nad yw ei lafur yn ofer yn yr Arglwydd. Nid ydym yn y mesur lleiaf am briodoli y llwyddiant hwn i allu a hyawledd ein gweinidog, ond trwy ei offerynoliaeth ef, gweddiau taerion yr eglwys, a dylanwad Dwyfol yr Ysbryd Glan, y mae y llwyddiant hwn yn cael ei effeithio.

Ydwyf, dros yr eglwys,

EDWARD CAPPER, *Ysg*.

---

AT FEDYDDWYR CYMREIG AMERICA.

Y mae llawer o honoch yn cofio am y pregethwr galluog hwnw, sef Thomas P. Hughes, fu yn tanio Cymry America, yn Sir Oneida, N. Y., Granville, Ohio, a manau eraill. Bu farw tua chymydogaeth Palmyra a Parisville, O., ac a gladdwyd yn mynwent y Bedyddwyr wrth y Capel Ceryg, heb faen i grybwyll "man fechan ei fedd," lle mae amryw o weinidogion eraill wedi eu claddu, a cholofn i ddangos lle maent yn gorwedd. A fyddai yn ormod gan Fedyddwyr yr Unol Dalaethau i godi trysorfa i gael cofadail i un o'r pregethwyr mwyaf ei ddoniau a'i athrylith a fu yn yr oes ddiweddaf. Yr ydym, er mwyn dwyn hyn i weithrediad, yn gofyn yn garedig ar i'r Parch. E. Morddal Evans, Palmyra, Ohio, i fod yn Drysorydd, a'r Parch. Edward Jenkins, o'r un lle, i fod yn Ysgrifenydd y cyfryw dysteb. Carwn i hyn fod dan sylw yn y Cymanfaoedd yr haf hwn. Y mae y symiau canlynol mewn addewid i ddechreu: Mr. William Williams, Orangeville, Warsaw, N. Y., $1; Parch. B. James, $2; Mrs. Elinor Williams, Orangeville, N.Y. $1.

---

YMADAWIAD GWEINIDOG.

*Mr. Gol.*—Dymunwyf wneyd yn hysbys fy mod wedi rhoi gofal Eglwys Fedyddiedig Gymreig Wiconisco, Pa., i fyny oddiar Ebrill 8fed, 1883. Gwnaethum hyn o'm dewisiad fy hun, wedi gwasanaethu yr Eglwys am yn agos i un flynedd ar ddeg. Mae amgylchiadau y lle wedi bod yn erbyn ein cynydd a'n llwyddiant er ys blynyddau. Mae y Cymry wedi eu gwasgaru yn fawr o'r lle y blynyddoedd diweddaf. Dichon y gallai rhywun godi achos cymysgedig o Gymraeg a Saesneg yno yn y dyfodol.

Pregethais fy mhregeth ymadawol Sabboth yr 8fed o Ebrill, oddiar Act. xiii. 43.—"A gynghorasant iddynt aros yn ngras Duw." Nis gwn yn awr pa le fydd fy nghartrefle nesaf.—*B. E. Jones, Wiconisco, Pa.*

---

NANTICOKE, PA.

Da genym allu dyweyd fod yr achos da yn y lle hwn yn dra llewyrchus, a llawer o weithgarwch yn nodweddu pawb, o'r Gweinidog i lawr hyd y lleiaf ei ddawn. Dadganwyd Cantata yma a elwir yn "Genevieve," neu yr "Eneth Golledig," gan blant yr Ysgol Sul, y 25ain o Ebrill, ac aethant drwy eu gwaith yn dda neillduol. Yr oedd yr Hall fwyaf yn y lle yn orlawn o wrandawyr; felly cafwyd elw rhagorol oddiwrtho. Mae clod mawr yn ddyledus i Mr. Miles am ei lafur, ac i'r brodyr da Daniel W. Rees, John Winter, Cynfelyn Hughes, D. F. Davies, W. S. Evans, ac eraill a fu yn cynorthwyo. Y dyben mewn golwg oedd talu am organ newydd i'w gosod yn y Vestry. Da genyf allu dyweyd i ni gael mwy na $50.00 dros ben hyny, o elw clir. Wedi talu am yr organ, penderfynwyd cyflwyno y gweddill i Mr. Miles. Prynwyd oriawr arian o ran o honynt, $26.25, a gosododd masnachwr o'r lle gadwyn wrthi, gwerth $8.00, ac hefyd *engraving* yn nodi mai yr Ysgol Sul yn y lle oedd yn eu cyflwyno, a'r oll am ddim. Defnyddiwyd yr hyn oedd dros ben yr oriawr i wneyd pâr o *spectacles* i Mr Miles, nid i weled, ond i ddyben arall. Yn lle gwydr yr oedd darnau deg doleri yn aur wedi eu gosod iddo i edrych drwyddynt. Nos Fercher, Mai 9fed, cynaliwyd cyfarfod adroddiadol gan yr Ysgol, pryd hefyd y gosodwyd yr oriawr yn llogell y *specks* aur ar ei lygaid, a $7.50 yn nghil dwrn Mr. Miles, fel cydnabydd-

Digitized by Google

iaeth am ei lafur. Yr oedd gwerth yr oll a gafodd tua $60.00, ac ychydig dros hyny. Mae clod mawr yn deilwng i'r merched ieuainc a ganasant mor galed a ffyddlon o ddechreu y mudiad i'r diwedd, y rhai sydd yn rhy luosog i'w henwi.

---

PLYMOUTH, PA.

Dymunol genyf hysbysu darllenwyr y Wawr fod diwydrwydd crefyddol yn amlwg iawn yma mewn amryw ffyrdd yn bresenol, ac yn argoeli parhau felly. Er's peth amser bellach yr oedd organ ein Capel yn dyoddef oddiwrth yr *asthma*, a gwyr pawb mai clefyd annymunol yw hwnw, yn enwedig pan y gwna y dyoddefydd geisio rhoi ei lais allan, a thrwy fod y clefyd mor eithafol, er o dan law un o'r cantorion goreu, yr oedd y peroriad yn annymunol. Yr pob meddyg o fewn cyrhaedd wedi rhoddi fyny yr achos mewn anobaith. Ond yn hytrach na bod un aelod gwasanaethgar o'r fath yn cael cam ac yn marw, anfonwyd i Washington, New Jersey, at y prif feddyg, lle genedigol yr organ, ac yr oedd pawb yn bryderus i wybod beth fyddai yr atebiad. Ond Ow! y fath syndod, 'roedd yn *too late*, ac mewn cyflwr rhy ddrwg i neb yno allu achub ei bywyd. "Wel! Wel! nid oes dim i'w wneyd," medd un o'r hen chwiorydd mwyaf tyner, "ond aros yr anadliad olaf," a hyny a wnawd, a bu farw. Ond y syndod mwyaf yw nad ydyw wedi ei chladdu, yn lle hyny y mae wedi ei phêr-eneinio a'i gosod ar y tu dehau i'r Capel i aros ymweliad rhai o'r tylwyth, ac iddei symud yn mhellach. Ond gan fod poblogrwydd y wlad yma yn cynyddu mor gyflym, a chynifer yn meddu y dalent gerddorol, er colli hen wasanaethydd ffyddlon, mynwyd cael un arall sydd yn harddach, a sicr yw ei fod yn meddu mwy o deilyngdod, a neillduwyd iddo gael lle ei flaenor ymadawedig. A Sabboth Ebrill y 15fed, tystiodd i ni trwy allu penau bysedd y brawd ieuanc addawol, R. Phillips, ei fod *just* y peth ag oedd ei eisieu. Ac wedi gweled ei fod yn iach, heb un argoel o *asthma* arno, ni bu ein hymddiriedolwyr gofalus yn hir heb ei bwrcasu gan y goruchwyliwr Powell, o Scranton, dros Mri. Mason a Hamlin, gwerth $175, a thalwyd am dano ar y pryd, iddei gael am y pris uchod.

Prydnawn y Sabboth uchod, bedyddiodd ein parchus Weinidog bedair chwaer ieuainc, ar eu proffes o ffydd yn Mab Duw. Y mae yr Ysgol Sabbothol yn dwyn ffrwyth lawer yma y flwyddyn hon, a'n gweddi yw y cawn weled llawer o'n hen wrandawyr yn taflu arfau gwrthryfelgar i lawr, ac yn dyweyd "Awn gyda chwi." Gan ddymuno y bydd i'r gwaith da a ddechreuodd ynom barhau, Yr eiddoch—*John L. Jones.*

---

PICATONICA, WIS.

Mae yr achos yn wan iawn yma yn bresenol, ac y mae'r Parch. Mr. Hughes ein gweinidog, wedi symud, fel nad yw mor gyfleus iddo ddod i'r Capel ag oedd yn flaenorol. Bu yn hynod ffyddlon drwy yr haf diweddaf, yn pregethu bob Sabboth, ac yn cael gwrandawiad da iawn. Ond gan fod y gauaf wedi bod mor galed, a'r eira mor fawr, ac yntau yn byw mor bell, bu gorfod arno roddi heibio am dymor. Hyderwn, modd bynag, y bydd yn abl i lafurio tipyn yr haf dyfodol. Fel y mae yn hysbys, y mae llawer o'r aelodau wedi symud oddi yma, ac y mae llawer o'r aelodau, ac yn eu plith yr hen flaenor anwyl, yn gorwedd yn mynwent y Capel. Mae y Capel yn ddi-ddyled, ac y mae tri o *Trustees* yn edrych ar ei ol. Bu Gweinidogion Dodgeville a'r cylchoedd yn garedig iawn i ni yr haf diweddaf.—*Thomas J. Jones.*

---

DIOLCHGARWCH.

Cyflwynodd y frawdoliaeth yn eglwys Fedyddiedig Freedom, Cattaraugus, N.Y., anrheg o $27.40 i Mrs. Jennie A. Owens, am ei gwasanaeth gwerthfawr, a'i ffyddlondeb di-ildio fel *Organist* yr Eglwys. Dymuna y chwaer Mrs. Owens gydnabod ei diolchgarwch mwyaf gwresog a diffuant i'r cyf-

Digitized by Google

eillion a gyfranasant at yr anrheg hon. Y mae yn gwerthfawrogi y rhodd yn fawr, gan ei bod yn arddangosiad sylweddol o barch ac edmygedd, ac yn brawf fod ei llafur yn dderbyniol. Y mae y chwaer uchod wedi bod yn wir yndrechol er's blynyddau bellach, gyda chaniadaeth y cysegr, ac yn y cyfarfodydd llenyddol yma o bryd i bryd. Gellir dyweyd yn ddibetrus am dani, "Yr hyn a allodd hon, hi a'i gwnaeth." Bendith Duw Israel fyddo ar ei llafur, yw dymuniad—*W. M. Evans.*

---

## *BEDYDDIWYD—*

Ebrill 22, 1883, yn Youngstown, O., ychwanegwyd un trwy fedydd at yr Eglwys.

*Oak Hill, O.*, Mai 22.—Yr oedd y Sabboth diweddaf yn ddydd llawenydd yma. Cawsom y fraint o weled y Parch. D. J. Lloyd, yn bedyddio W. Morgan, brawd James Morgan, Church Hill. Daeth cynulliad parchus yn nghyd i ganfod gweinyddiad yr ordinhad.—*T. E. Griffiths.*

---

## *PRIODWYD—*

Mai 19, 1883, yn Pittsburgh, Pa., gan y Parch. D. Rhoslyn Davies, Mr. John Elias Jones a Miss Lizzie Davies, y ddau o Homestead.

Mai 20, 1883, yn nhy tad y briodasferch, sef Mr. Stephen Picton, gan y Parch. D. V. Thomas, Mr. Stephen John a Miss Margaret Picton, oll o Brown Co., Kansas.

Mawrth 17, 1883, yn Nanticoke, Pa., gan y Parch. J. P. Harris (*Ieuan Ddu*), Mr. Richard T. Williams a Miss Mary Jenkins, y ddau o'r un lle.

At the house of bride's parents, David and Hannah Rees, Michael Kelly and Margaret Rees, both of Morris Run, Pa., were duly united by me in holy matrimony on the 12th day of May, 1883, at Morris Run. May the blessing of the most high God be upon them is the earnest prayer of my heart.

JOHN M. EVANS.

Mai 14, 1883, yn Pittsburgh, Pa., gan y Parch. D. Rhoslyn Davies, Mr. Richard W. Jones a Miss Lizzie Jones, y ddau o'r lle uchod.

Ebrill 21, 1883, gan y Parch. D. Probert, Mr. Enoch Jeremiah a Miss Ellen S. Jones, un o Brookfield a'r llall o Youngstown, O.

## *BU FARW—*

### MRS. HARRIS.

"Y gelyn diweddaf a ddinystrir yw angeu;" felly fe barha y gorchwyl galarus o ysgrifenu cofnodion am gyfeillion ymadawedig tra pery awdurdod angeu ar y teulu dynol.

Yr oedd gwrthddrych y cofiant hwn yn ferch i Daniel ac Elizabeth Jones, Ty'n 'r Heol, Cwmpedol, Caio, Sir Gaerfyrddin, D. C. Ganwyd hi yn y flwyddyn 1834. Cafodd y fraint o gofio, a rhoddi ymostyngiad i'w Gwaredwr pan yn ieuanc, yr hyn yw y fraint benaf ag y dichon un dyn na dynes ei feddianu. Bedyddiwyd ein chwaer ymadawedig pan yn 23ain oed, gan y Parch. John Williams, Llanymddyfri, yn Smyrna, Porth-y-Rhyd, Cilcwm, pryd y derbyniwyd hi yn aelod i eglwys Iesu Grist yn y lle uchod, a pharhaodd yn aelod ffyddlawn hyd angeu; a chredwn yn awr ei bod wedi derbyn coron y bywyd, yn ol addewewid Iesu Grist i'r holl ffyddloniaid.

Ni dderbyniais y manylion yn nghylch amser ei hundeb priodasol â Mr. Isaac Harris, ond ymddengys i hyn gymeryd lle yn agos i'r amser y derbyniwyd hi yn aelod crefyddol.

Yn y flwyddyn 1861, symudodd gyda'i phriod a'i phlant i America, tiriasant yn New York; oddiyno daethant i Dalaeth Wisconsin. Yr oedd brawd i Mrs. Harris yn byw yn Highland, Wis., o'r enw David Jones, yr hwn oedd yn ddyn crefyddol a gwir dda; bu ef farw ychydig amser cyn iddynt gyrhaedd i'r wlad hon, er eu mawr siomedigaeth a'u galar. Ar ol iddynt ystyried ac edrych oddiamgylch, prynasant fferm yn ardal Ridgeway, lle mae y teulu yn byw hyd heddyw. Ar ol sefydlu yn y lle uchod, rhoddodd Mrs. Harris ei hun yn aelod yn eglwys y Bedyddwyr, lle y daliodd ei chysylltiad hyd ddydd ei marwolaeth. Yr oedd ei hiechyd wedi gwaethygu yn y blynyddoedd diweddaf, fel nad oedd yn gallu dyfod i'r cyrddau ond yn lled anfynych; eto yr oedd ei chalon bob amser yn ngwaith ei Harglwydd. Nos yr 20fed o fis Mawrth, aeth i'w gwely heb deimlo unrhyw anhwyldeb anarferol; ond yn mhen ychydig fynydau, dywedodd wrth ei phriod ei bod yn bur sal. Cyfododd Mr. Harris yn union, a galwodd ar y plant; ond yr oll a allodd hi ddweyd wrthynt oedd, ei bod yn marw; felly hynod ddisymwth yr aeth y chwaer hoff allan o'r byd, yn y 49ain flwyddyn o'i hoedran. Priodol y dywedodd y bardd:

"Ein hyder ar ein hoes na ro'wn yn hwy,
Ond ias y gelyn mawr, dysgwyliwn mwy."

A mwy priodol fyth y dywedodd Iesu Grist, "Am hyny byddwch chwithau barod, canys yn yr awr ni thybioch y daw Mab y dyn."

Yr oedd yr ymadawedig yn fam i ddeuddeg o blant. Claddwyd dau o honynt, un er's llawer o flynyddoedd yn ol, a'r llall a gladdwyd yr haf diweddaf, yr hon oedd brofedig-

Digitized by Google

aeth chwerw iddynt oll fel teulu; ond y brofedigaeth chwerwaf a gawsant oedd colli priod a mam mor dirion a gofalus, o'u plith, a hyny mor ddisymwth ac annysgwyliadwy.

Cymerodd ei hangladd le yr 22ain o Fawrth, pryd yr ymgynullodd lluaws mawr o drigolion yr ardal i ddangos eu parch iddi hi a'r teulu galarus, drwy ddanfon ei chorph i gladdfa gerllaw addoldy y Bedyddwyr, lle yr oedd dau o'i hanwyl blant wedi eu claddu o'i blaen; yno yn awr y gorphwys tri o'r teulu, y rhai a gyfodir y dydd olaf yn gyrph ysbrydol, nerthol, anllygredig ac anfarwol, oll, mi gredaf, i gyddeyrnasu gyda Christ mewn gogoniant. Boed heddwch i'w llwch. Gorphwys yn dawel, hoff chwaer. Fe gerir gan lawer, heblaw yr ysgrifenydd,

Ddae'r dy fedd er dy fwyn.

Gweinyddwyd ar ddydd ei hangladd gan y Parchn. J. Thomas, T. Watkins, J. Davies, D. Phillips, a D. M. Powell.

Yr oedd Mrs. Harris yn un o'r chwiorydd mwyaf tawel, siriol, dystaw, a charedig; ac uwchlaw y cyfan, yn Gristion trwyadl. Hoff oedd genyf fyned i'w thy i fwynhau gwynebpryd siriol, a charedigrwydd gwastadol yr holl deulu. Cawsant oll golled neillduol yn marwolaeth un a gerid mor fawr, gan ei bod yn un o'r chwiorydd mwyaf didwyll, yn gystal a mam o'r fwyaf tyner a gofalus am ei theulu. Yr wyf yn cydymdeimlo o'm calon â Mr. Harris a'r plant oll yn ngwyneb eu colled drom. Boed i Dduw fendithio yr amgylchiad er eu lles ysbrydol, a'u parotoi i'r dedwyddwch y credwn a fwynheir ganddi hi yn awr, ac hefyd lanw y bylchau a wneir yn barhaus yn rhengau byddin yr Oen, yw dymuniad ei hiraethus frawd, W. JONES.

***Dymunir i *Seren Cymru* godi yr uchod.

MR. DANIEL MORRIS.

Bu farw yn West Austintown, Mahoning Co., O., Sadwrn, Ebrill yr 21ain, yn ei 65 mlwydd oed, Mr. Daniel Morris. Bu y brawd anwyl Morris, yn nychu am flynyddoedd. Blinid ef gan yr *asthma*. Symudodd ef a'i deulu i'r wlad hon gryn flynyddoedd yn ol, o ardaloedd Merthyr a Dowlais. Treuliodd gryn flynyddoedd yn yr ardaloedd hyny. Y mae yn y cymydogaethau hyn yn bresenol ddau frawd iddo, fel y tybia ei deulu galarus. Yr oedd efe fel dyn, cymydog, a Christion, yn un tawel a chymwynasgar hyd ei allu; a'r farn gyffredin am dano, yw ei fod yn Gristion trwyadl, ac nad oedd marw ond elw bythol iddo. Yr oedd yn un selog, ond nid heb wybodaeth. Gellir dyweyd heb betruso, ei fod yn feirniad gwych mewn pethau ysgrythyrol. Yr Ysgrythyrau oeddynt ei safon ef. Gadawodd dystiolaeth dda ar ei ol mewn barn ac ymarweddiad ei fod yn un o'r plant. Bedyddiwyd ef flynyddoedd lawer yn ol, gan y brawd da hwnw, y diweddar Barch. W. B. Davies, Dowlais, a derbyniwyd ef yn aelod yn Hebron, yn y lle a nodwyd, a harddodd ei broffes hyd y diwedd. Neillduodd y testyn i bregethu arno ddydd ei gladdedigaeth ei hunan. Rhoddodd ef i'r ysgrifenydd tuag at neu i'r perwyl hyny, oddeutu wyth mlynedd yn ol, sef "Mi a ymdrechais ymdrech deg, mi a orphenais fy ngyrfa, &c."—Paul.

Yr oedd yn briod tyner, a thad gofalus, a phan y bu farw, gadawodd weddw oedranus, yr hon sydd yn chwaer grefyddol ac anwyl iawn gyda'r Bedyddwyr. Hefyd, dwy o ferched, y rhai ydynt wragedd rhinweddol a chrefyddol, yn nghyd a llu o berthynasau a chyfeillion i alaru ar ei ol. Yr Arglwydd fyddo yn dirion wrthynt oll, yn neillduol ein chwaer oedranus, fel y nodwyd. Bu y brawd megys wrth borth marwolaeth am amryw flynyddoedd. Er hyny, disymwth y cymerodd ei symudiad le. "Mae heddyw yn iach o bob afiechyd, ac yn ei fedd, gwyn ei fyd."

Dydd ei gladdedigaeth, daeth tyrfa fawr, yn cael ei gwneyd i fyny o wahanol genhedloedd, er cyflwyno yr hyn oedd farwol i'r pridd. Dechreuwyd y gwasanaeth gan y Parch. Mr. Jones, Ridge, a phregethodd yr ysgrifenydd yn y ddwy iaith. Claddwyd ef yn mynwent y lle, Ebrill y 23ain. Heddwch i'w lwch, medd—*J. W. James.*

Taer ddymunir ar i bapyrau Cymru godi yr uchod, er mwyn y perthynasau sydd yno.

MRS. JOSEPHINE E. MORRIS.

Ebrill 14, 1883, yn Portage, Wis., bu farw Mrs. Josephine E. Morris, yn 27 mlwydd oed. Yr oedd yr ymadawedig yn ferch i Henry ac Ann Johns, Bangor, Wis. Ymbriododd â John Morris, o Bangor, yn 1876, ac yn mhen amser symudasant i Portage, lle y bu y chwaer ieuanc hon farw mewn tangnefedd. Cafodd yr ymadawedig ei bedyddio a'i derbyn yn aelod i eglwys y Bedyddwyr yn Bangor gan yr ysgrifenydd, ac mae yn dda genyf ddeall ei bod wedi gwerthfawrogi a mwynhau ei chrefydd hyd ddydd ei marwolaeth. Dygwyd ei chorff i Bangor ar y 15fed, pryd yr oedd lluaws wedi ymgasglu yn nghyd o amgylch yr orsaf i ddysgwyl y trên a ddygai ei gweddillion i'r pentref. Gweinyddwyd yn nghapel y Bedyddwyr ac wrth y bedd gan y Parch. J. Vaughan a'r ysgrifenydd. Gadawodd ar ei hol briod galarus, a phedwar o blant tra ieuainc, yn nghyda rhieni oedranus a thair o chwiorydd hiraethus. Boed i Dduw yn ei drugaredd ofalu am danynt oll, yw dymuniad eu galarus frawd, W. JONES.

MR. MORRIS C. WILLIAMS.

Mawrth 21, 1883, yn Los Angeles, Calif., yn yr 28ain mlwydd o'i oedran, Mr. Morris C. Williams. Ganwyd yr ymadawedig Rhag. 8, 1854, yn Remsen, Oneida Co., N. Y. Yr ydoedd yn fab i John a Mary Williams, y rhai a symudasant o Remsen i Bangor, Wis., yn y fl. 1855. Ymdrechodd ein cyfaill ieuanc law-

Digitized by Google

er er mwyn ei iechyd, a dyna oedd ei fwriad yn myned i California; ond er pob ymdrech meddygon, a newid hinsawdd, nid oedd dim yn llwyddo i gadw angau draw. Pan glywodd ei rieni ei fod yn gwaelu, yn hytrach na gwellhau, aethant ato gyda'r bwriad i'w gael adref, ond barnwyd ei fod yn rhy wan i gymeryd y daith, ac yn mhen tuag wythnos ar ol iddynt gyrhaedd ato bu farw eu hanwyl Morris. Yr oedd ei deimlad a'i brofiad yn ngwyneb yr amgylchiad yn rhoddi llawer o gysur i'w rieni yn eu profedigaeth. Dygasant ei gorph gyda hwy i Bangor, lle y claddwyd ef yn barchus ar y 12fed o Ebrill, pryd y gweinyddwyd i'r lluaws oedd wedi dyfod yn nghyd ar yr achlysur gan y Parchn. Pugh, (M. C.), J. Vaughan, a'r ysgrifenydd. Boed i'r brofedigaeth chwerw hon fod yn fendithiol er lles ysbrydol i'r gweddill o'r teulu galarus sydd ar ol, ac yn rhybudd i ieuenctyd ein gwlad, mai byr ac ansicr yw einioes dyn ar y ddaear. Ei hiraethus gyfaill, W. JONES.

### ROSY A DAVID JOHN EVANS.

Yn Kingston, Pa., dau o blant i Mr. Ebenezer Evans a'i briod. Chwefror 24, 1883, bu farw Rosy, merch fechan brydferth, o'r diphtheria, yn bedair blwydd oed; ac Ebrill 12, cymerwyd oddiarnynt febyn o'r enw David John, yn wyth mis oed. Ei glefyd oedd y frech wen.

Anwyl riaint, peidiwch wylo
Yn ormodol dan eich pwn,
Eich rhai anwyl aeth i'r nefoedd,
Ar dystiolaeth Iesu, gwn.

### MR. PHILIP DAVIES.

Bu farw Mr. Philip Davies, *Commercial*, plwyf Llanddewi, Sir Benfro, tad Mr. David P. Davies, masnachydd llwyddianus yn Thomastown, O., ac un o dderbynwyr gwresog y WAWR. Ychydig yw y manylion sydd genyf o berthynas i'r ymadawedig. Ei oedran oedd 54. Bedyddiwyd ef gan y Parch. Edwards, Ffynon, Sir Benfro; ac o'r dydd y bedyddiwyd ef hyd ei farwolaeth, bu yn aelod rheolaidd a ffyddlon iawn. Meddai ar wybodaeth eang o'r Ysgrythyrau, a'i hoff waith ydoedd myfyrio ynddynt yn barhaus. Claddwyd ef yn mynwent y Ffynon, Mawrth 25, 1883. Ganwyd iddo ef a'i briod hoff naw o blant. Claddwyd un yn Llwyni, D. C., yn 26 oed. Ei enw oedd Caleb Davies. Y mae eto yn fyw i alaru ar ol priod anwyl a thad tyner, wraig a saith o blant; un o honynt yw Mr. D. P. Davies, Thomastown, O., yr hwn sydd aelod ffyddlon o'r eglwys Fedyddiedig yn y lle, ac yn arolygydd yr ysgol Sul. Ergyd trwm i deimladau fy anwyl frawd ydoedd y newydd hwn am ei dad, ond gobeithir yr ymdawela, gan ymddiried yn yr Arglwydd. Duw pob dyddanwch a'i dyddano ef a'r perthynasau oll, o dan yr amgylchiad hwn.

T. PROSSER MORGAN.

## GOHEBIAETHAU O GYMRU.

### *Oddiwrth Dr. Jones, Llangollen.*

Ebrill 10fed, 1883.

*Anwyl Frawd Griffith.*—Buaswn wedi ysgrifenu yn gynt oni buasai fy mod wedi bod yn hynod brysur a thrafferthus gyda'r Coleg gyda'r Arholiadau, &c., cyn tori i fyny ddiwedd Mawrth, ac wedi bod hefyd yn hynod lesg o ran fy iechyd trwy y gauaf. Yr oeddwn yn gallu bod yn y Coleg gyda'r dosbarthiadau, ond dim arall. Pythefnos yn ol y dechreuais bregethu ychydig, ar ol pedwar mis o ddystawrwydd. Byddwn yn aml yn teimlo mor llwfr, fel nad allwn edrych ar newyddiadur; ac mor ddiyni, fel nas gallwn ymafael mewn ysgrifell. Yr wyf wedi adfywio yn synfawr er's rhyw fis yn awr, ac yn hyderu y byddaf wedi ymadnewyddu llawer eto erbyn dychweliad y myfyrwyr o'u teithiau casglyddol, y 15fed o Fai.

Mae cryn sylw yn awr yn cael ei dalu yn Nghymru i bwnc Colegau y Brif Athrofa. Cof genych fod y Senedd wedi penderfynu cynnorthwyo Cymru i gynal Prif Athrofa, trwy addaw rhodd flynyddol o £4,000 i Goleg y Deheubarth, a £4,000 i Goleg y Gogledd. Mae Coleg y Deheubarth wedi ei benderfynu i fod yn Nghaerdydd. Ni wyddis eto yn mha le y bydd Coleg y Gogledd—tebyg y bydd yn Nghaernarfon, Dinbych, Rhyl, neu Wrexham. Rhyw bythefnos yn ol, cynaliwyd cyfarfod pwysig yn Lerpwl, er cyffroi Cymry Lerpwl i gynorthwyo y mudiad. Ebrill 4ydd, cynaliwyd cyfarfod brwdfrydig yn Rhyl o blaid y mudiad, a chafwyd addewidion am £226. Ebrill 7fed, cynaliwyd cyfarfod pwysig iawn yn nhref Caernarfon, pryd yr oedd llu mawr o ddynion pwysicaf y sir yn bresenol, a chaed addewidion am £4,870 yn yr ystafell, Lord Penrhyn, Mr. Rathbone, M.P., a Mr. R. Davies, M.P., yn addaw £1000 yr un, eraill o £500 i lawr i £10. Mae cyfarfodydd cyffelyb wedi eu cynal yn Ninbych, a lleoedd eraill, ond nis gwn y *result*.

Mae awdurdodau Coleg Aberystwyth

Digitized by Google

i raddau yn anfoddlawn am na byddai y Gogledd yn cymeryd Coleg Aberystwyth yn Goleg y Gogledd, ac yn ystyried y byddai Aberystwyth mor gyrhaeddadwy i'r holl Ogledd ag unrhyw le yn y Gogledd ei hun. Mae clod mawr, modd bynag, yn deilwng i gyfeillion Coleg Aberystwyth am eu hymdrechion o blaid Addysg Uwchraddol yn Nghymru. Hwy, i raddau helaeth, sydd wedi creu y syniad, a meithrin yr awydd am Addysg Uwchraddol yn y Dywysogaeth.

Dylwn ddiolch i chwi am yr adolygiad galluog ar "Y Weithred o Fedyddio" yn Y WAWR. Mae yn adolygiad rhagorol yn mhob ystyr, a diolch i chwi a Mr. James am dano. Yr oedd un frawddeg, modd bynag, yn ei ddiwedd, ag oedd, o bosibl, yn gamarweiniol. Dywed fod y gwaith yn esgeuluso ysgrifeniadau mwyaf dysgedig cydoeswyr, ac "na wneir un cyfeiriad at A. P. Stanley, F. W. Farrar, C. Geikie, Canon Plumptre," &c. Rhaid mai *slip of the pen* oedd hyn, gan y dyfynir tystiolaeth Stanley yn nhu d. 117; a chyfeirir at Plumptre yn nhu d. 183. O'r braidd y gellir dyweyd fod gwaith ag sydd wedi ei fritho â chyfeiriadau at Meyer, Alford, Ellicott, Wordsworth, Westcott a Hort, Delitzsch, Haekett, Hovey, &c., yn esgeuluso awdwyr diweddar. Yr anhawsdra oedd dethol.

---

*Oddiwrth y Parch. H. Cernyw Williams, Corwen.*

Yr wyf yn cael mwynhad wrth ddarllen y WAWR, a sylwi ar weithgarwch y Bedyddwyr Americanaidd Cymreig mewn gwahanol gyfeiriadau, ac mewn amrywiol gylchoedd. Dymunwyf oes faith i'r Golygydd, a llwydd mawr eto i orphwys ar ei lafur.

Tybir fod yr adeg bresenol yn dra manteisiol i ad-sylwi ar sefyllfa ein Colegau. Mae y Llywodraeth bresenol wedi cynyg £8000 yn flynyddol tuag at sefydlu dau goleg uwchraddol—un yn y Gogledd, a'r llall yn y De. Bu yn gystadleuaeth frwd rhwng Abertawe a Chaerdydd am Goleg yn y De; ond mae y cyflafareddwyr wedi penderfynu yn ffafr y lle olaf. Mae deg neu ddeuddeg o drefydd yn gofyn am Goleg y Gogledd; ond mae y gystadleuaeth yn debyg o fod mewn gwirionedd rhwng Caernarfon, Dinbych, a Wrexham. Dinbych, yn ddiau, yw y lle mwyaf canolog, ond y mae y ddwy dref arall yn ganolbwyntiau ardaloedd tra phoblogaidd. Ond bydd sefydliad y Colegau hyn yn rhoddi agwedd newydd i wlad ein tadau. Bydd llawer o fechgyn ieuainc yn debyg o gael eu denu gan y gwyddorau a'r ieithoedd, yn lle fel yn awr gan gynghaneddion a cherddoriaeth. Pwnc pwysig yw, a ddeil ein hiaith oludog hefyd i allu dal ei phen uwchlaw llifeiriant y cyfnewidiadau lawer! Hawlia y *crisis* hwn ein sylw manylaf fel Ymneillduwyr a Bedyddwyr.

Diau y daw yn fater o ymchwiliad yn fuan, a ellir symud ein colegau duwinyddol i ganlyn dau goleg y Brifysgol—er engraifft, fod Pontypwl a Hwlffordd i gael eu diddymu, a bod un coleg newydd i gael ei sefydlu yn Nghaerdydd, a Llangollen i roddi ffordd, er mwyn myned ar ol y sefydliad newydd, pa le bynag y bydd. Diau y bydd llawer i'w ddweyd o bob ochr, a dylid myned at y fath bwnc gyda phob pwyll, arafwch, gwyliadwriaeth, a doethineb. Pwnc pwysig yw symud yr hen derfynau.

Gwneir ymdrech egniol i gadw y Coleg presenol yn Aberystwyth hefyd, fel sefydliad ar gyfer Canolbarth Cymru, ac y mae pob lle i gasglu y byddant yn llwyddianus yn yr amcan.

Nid oes ond ychydig wythnosau rhyngom a chynaliad ein huchel-wyliau blynyddol. Cynelir Cymanfa Dinbych, Fflint a Meirion, yn Ffestiniog, pen tref Sir Feirionydd, ond enw dyeithr i lythyrau ein Cymanfaoedd hyd ryw ychydig dros ugain mlynedd yn ol. Sefydlwyd eglwys i'r Bedyddwyr Neillduol yn y lle hwn tua'r flwyddyn 1860. Gwanaidd y parhaodd am flynyddau, ond erbyn hyn rhifa yr eglwys ryw 160 o aelodau, dan weinidogaeth effeithiol y Parch. E. Parry. Mae ef wedi bod yn foddion i wneyd llawer o ddaioni yn y lle poblogaidd hwn.

Digitized by Google

# Y WAWR.

CYF. VIII.] GORPHENAF, 1883. [RHIF. 4.

# Erthyglau Arweiniol.

## UNDEB CYMANFAOL.

GAN Y PARCH. J. SETH JONES, REMSEN, N. Y.

[Atebiad i Ofyniadau Mr. John B. Thomas, Braddock, Pa., yn rhifyn Mai.]

*Mr. Gol.*—Gan nad faint ydoedd syndod Mr. John B. Thomas at yr hyn a ysgrifenais ar y testyn uchod i'r WAWR, credaf nad all fod yn llawer mwy na'm heiddo i pan yn darllen y sylwadau diangenrhaid ac anmherthynasol a wnaeth efe ar yr ysgrif. Dywed ei fod "yn ddarllenwr cyson ac yn sylwedydd manwl ar eich cyhoeddiad clodwiw." Dichon eich bod, Mr. Thomas, ar ryw ranau o hono. Ond yr ydych wedi bod mor ddiofal ac arwynebol yn eich sylw ar yr ysgrif mewn dadl, ac mor amwys yn eich geiriau, fel y credwyf nad ydych wedi ei deall o gwbl, ac nad all neb arall ddeall beth a feddyliwch yn rhai o'ch gofyniadau, y rhai mi dybiaf nad oes a wnelwyf fi na'm tipyn ysgrif ddim â hwy. A deallwch hyn, frawd, nad oes na gair na brawddeg o'r ysgrif wedi ei syflyd, nac un ymresymiad wedi ei ddadymchwelyd na'i droi yn ol; mae y cyfan yn aros fel yr oeddynt, o ran dim a wnaethoch chwi iddynt. Os oes rhyw gyfeiliornad yn yr ysgrif, paham na fuasech yn ei nodi allan, er lles yr ysgrifenydd yn bersonol, a darllenwyr y WAWR yn gyffredinol? Dywedwch, "Y mae genyf barch mawr i'r sefydliad cymanfaol yn y goleu ddyry Cyffes Ffydd y Bedyddwyr Neillduol arno fel cwrdd cyngor (*advisory meeting*)." Y mae y frawddeg uchod o'ch eiddo yn hynod amwys. Beth a feddyliwch wrth "Gyffes Ffydd y Bedyddwyr Neillduol?" Ai rhyw reolau ffurfiedig i'r Enwad mewn modd cyffredinol? Os felly y deallwch, rhaid i mi addef nad wyf yn gwybod dim am y fath gyffes ond Gair Duw. Iĕ, yr wyf mewn modd pendant yn gwadu ei bodolaeth; a phe buasai yn bodoli, ymddengys i mi na fuasai neb yn ymladd mwy yn ei herbyn na chwi. Iĕ, pe buasai rhyw Gyngor neillduol yn ffurfio rheol a chred i'n henwad yn gyffredinol, gan hawlio cydymffurfiad hollol a chyfangwbl, buaswn yn teimlo anhawsder mawr i wahaniaethu y cyfryw Gyngor oddiwrth y *Vatican* yn Rhufain, *Convocation* Eglwys Loegr, a *Synod* y Presbyteriaid. Gwir, i amryw Gyffesion ymddangos, yn dwyn perthynas a'n Henwad.

Digitized by Google

Mae yn debygol mai y Gyffes Ffydd gyntaf a wnaed gan y Bedyddwyr ydoedd tua'r flwyddyn 1611, a thystiai y rhai a ffurfiodd hono, eu bod wedi gorfod gwneyd hyny er hunan-amddiffyniad. Yr oeddynt dan erledigaethau chwerwon a chreulon, ac yn cael eu condemnio o fod yn coleddu y syniadau mwyaf cyfeiliornus a dinystriol. Cyhoeddasant eu syniadau er argyhoeddi y llywodraethwyr, a'r byd hefyd o ran hyny, nad oeddynt yn euog o'r hyn eu cyhuddid; a bu eu cyhoeddiad yn effeithiol er lleddfu eu dyoddefiadau. Ond gwelwch, frawd Thomas, nid cyhoeddi rheolau i eraill i weithredu yn eu hol, gan hawlio cydymffurfiad cyffredinol yr oedd y brodyr dywededig, ond mynegu eu syniadau personol yn syml, fel na chosber hwy am yr hyn nad oeddynt euog o hono.

Mae amryw gyffesion wedi eu cyhoeddi ar wahanol adegau gan wahanol Gyngorau, ac weithiau gan bersonau unigol, ond dim cymaint ag un yn hawlio cydymffurfiad tu allan i'w therfynau. A gwyddoch, frawd, nad yr un rheolau sydd gan bob Cymanfa, ond y gwahaniaethant mewn amryw bethau. Mae yn fwy na thebyg genyf y gallwch alw i'ch cof Gymanfaoedd a gredent mewn etholedigaeth dragywyddol a diamodol, Iawn terfynol, prynedigaeth neillduol, &c. Iē, y mae ger fy mron y fynyd bresenol Gyffes Ffydd Bedyddwyr, ag sydd yn dywedyd yn bendant, nad oes posibilrwydd cadw ond nifer penodol, nid am na chredant, ond am nad arfaethwyd eu cadw, felly ni roddwyd Iawn trostynt, ac y maent tu allan i gylch y prynedigaeth, ac, o angenrheidrwydd, gwnant a wnelont, nid oes yn eu haros ond tragywyddol golledigaeth. Ai y Gyffes Ffydd yna y mae y brawd Thomas yn ei hoffi, tybed? Mae yn amheus iawn genyf. Ond er mwyn byrdra, gadawn y gwahanol gyffesion, gan ddymuno eto ar Mr. Thomas sylwi gyda mwy o fanylwch ar yr ysgrif; yno gwel nad oes a wnelwyf fi o gwbl a'r priodoldeb o fodolaeth Cymanfa, y rheidrwydd am dani, na'r anmhriodoldeb o honi yn ei hagweddau presenol. Nid yw y pynciau yna o gwbl, dan yr *amgylchiadau presenol*, yn hawlio nac yn cael fy ystyriaethau. Ond y mae y Gymanfa *yn bodoli;* mae yn *ffaith.* Ac yn wyneb ei bodolaeth, dyma Seithfed Penderfyniad ein Cymanfa ni yn y cylch hwn: "Fod yr eglwysi yn cael eu cymell i wneyd eu goreu i feithrin undeb, cydweithrediad," &c. Gan fod y Gymanfa yn bodoli, yr eglwysi oll (trwy eu cynrychiolwyr dewisedig eu hunain) yn cyduno yn ffurfiad pob un o'r rheolau, yn wyneb hyn gofynwn i Mr. Thomas, Mewn difrif, frawd, a ydych yn canfod rhywbeth o'i le mewn anog yr eglwysi i undeb, ymdrech, a chydweithrediad â'u gilydd? Gan fod y fath sefydliad yn bodoli, ymddengys i mi ei bod o'r pwys mwyaf i ymdrechu cael unoliaeth mewn barn a gweithredoedd da a rhinweddol. Tybir yn gyffredin fod daioni yn deilliaw o'r sefydliad cymanfaol; os felly, mae o bwys cael undeb yn ei aelodau, canys gwyddom oll trwy ddysgeidiaeth y Dysgawdwr digyfeiliorn, nad all cymanfa, mwy na thŷ neu deyrnas, wedi ymranu yn ei herbyn ei hun, sefyll.

Gofynwch, "Ar ba beth yr ydych yn seilio undeb eglwysi?" a chymerwch arnoch fod yn fanwl, pan y dywedwch, rhwng cromfachau, "nid eglwysig, cofiwch." Pe buasech chwi, frawd Thomas, yn ddarllenwr mor fanwl o'r WAWR ag y mynwch i ni gredu eich bod, ni fuasech yn gofyn y fath

Digitized by Google

ofyniad, canys nid myfi mewn unrhyw fodd sydd yn seilio undeb eglwysi nac *eglwysig*.

Nid amcan y gynadledd yn ei phenderfyniad, ac nid fy amcan inau pan yn ymdrechu gosod ychydig frawddegau yn nghyd, oedd chwilio am le diogel i sylfaenu undeb cymanfaol, na gwneyd ymchwil i egwyddorion yr undeb, ond ymdrechu cael yr eglwysi i weithio allan i fwy o berffeithrwydd yr hyn a fodola yn sylfaenol yn flaenorol; ac nid oes angen manyldra na chraffder er deall mai dyna a olygwn; canys dyma fy ngeiriau yn yr ysgrif: "Mae meithrin yn cynwys bodolaeth yr hyn, yr hwn, neu y peth a feithrinir." Yn ol yr uchod, amlwg yw, y cymerwn yn ganiataol fod y gwreiddyn yn bodoli. Ond anogwn yr eglwysi i feithrin yr hyn a dybiwn a fodola eisoes, er ei gael i dyfu, blodeuo a ffrwytho. Neu a newid y ffigyr, er eich mwyn chwi, Mae y sail yn bodoli, a'm gwaith i oedd ymdrechu cael yr eglwysi i oruwch-adeiladu ar y sylfaen dda oedd yn bodoli eisoes. Nid yw yn perthyn i mi i draethu dan yr amgylchiadau presenol y gwahaniaeth a fodola rhyngom ni fel Enwad a'r Eglwyswyr a'r Presbyteriaid, &c., heblaw y byddai traethiad manwl ar yr hyn a ofynwch, yn gofyu y WAWR oll i'r cyfryw wasanaeth. Y mae gofyn, "Yn mha le, o ddechreu Matthew hyd Amen y Datguddiad, y sonir am y rheidrwydd o undeb eglwysig (dichon mai eglwysi a feddyliwch chwithau yma), yn ymddangos yn rhyfedd i mi, ac yn fy nghadarnhau nad ydych yn ddarllenwr manwl o'r Testament Newydd, beth bynag. Meddyliwch am weddi ddifrifol ein Hiachawdwr bendigedig, canys y mae efe yn gweddio, nid dros yr apostolion a'r saint boreuol yn unig, ond dros yr holl gredinwyr hyd ddiwedd y byd. Ioan 17: 20, &c. A chredwyf fod y brawd Thomas yn ormod o Gristion i dybio am foment fod yr Arglwydd Iesu Grist yn gweddio ar ei Dad am ddim heb fod gwir angenrheidrwydd am dano. Wel, dyma ei eiriau: "Ac nid wyf yn gweddio dros y rhai hyn yn unig (yr apostolion), eithr dros y rhai hefyd a gredant ynof fi trwy eu hymadrodd hwynt." Gwyddoch chwi yn dda, Mr. Thomas, mai trwy ymadroddion yr apostolion yn benaf y daeth y miloedd Cristionogion boreuol i gredu yn Nghrist. Nid oes angen manylion ar, na phrofi hyn i chwi. Gwyddoch hefyd fod y credinwyr hyny wedi ymffurfio yn wahanol gynulleidfaoedd neu eglwysi; a dyma yr Iachawdwr yn canfod y fath reidrwydd am i undeb fodoli rhyngddynt fel y mae yn gwneyd hyny yn fater gweddi ar un o adegau pwysicaf ei fywyd. Cyn croesi Cedron, a chyn cochi glaswellt yr ardd â'i chwys gwaedlyd; ïe, pan yn ymyl marw, gweddiai am undeb cyffredinol a pharhaol. A dylai pob cymanfa, pob eglwys, a phob aelod mewn modd personol, ymegnio a gweddio am berffeithiad yr undeb hwn, canys y mae y dyben o hono yn hunan-amlwg yma: "*Fel y credo y byd mai tydi a'm hanfonaist i.*"

Ymddengys yn amlwg i bawb ystyriol fod undeb mawr cyffredinol, nid yn unig yn ddymunol, ond hefyd yn angenrheidiol, mewn trefn i'r eglwys Gristionogol allu cyflawni y gwaith gorphwysedig arni. Nid oes eisiau ond crybwyll am y miloedd paganiaid sydd eto heb wybodaeth o'r Ceidwad—y ddysgeidiaeth angenrheidiol er cymwyso ein dynion ieuainc i fyned atynt, a gallu darparu yn effeithiol foddion cynaliaeth i'r cyfryw genadon, &c.,

er profi yr angenrheidrwydd am gydweithrediad ac undeb.

Gofynwch, "Yn mha le y mae y gwahaniaeth rhwng mympwyon mewn eglwysi, rhagor mympwyon mewn cynadledd Cymanfa?" Rhaid i mi addef nad wyf yn deall eich gofyniad; y mae mor amwys, fel nas gwn yn y byd mawr beth a feddyliwch. Beth a olygwch wrth y gair "mympwyon?" Ai tybiau, credoau, neu rywbeth arall? Beth hefyd a feddyliwch pan yn fy nghamgyhuddo o ddywedyd fod yr eglwysi yn gaethwasiol i'r Gymanfa, ac yn rhwymedig iddi fel i ddeddfau Media a Phersia. Ni ddywedais i erioed fod yr eglwysi i gael eu gorfodi yn gaethiwol i awdurdod y Gymanfa. Mae yma wahaniaeth annhraethol. Onid cael ei brynu gan ei feistr yr oedd y caeth yn y wlad hon? ac fel y cyfryw nid oedd ganddo law o gwbl yn y berthynas oedd yn cael ei thori â'i werthwr, a'i ffurfio â'i brynwr. Ai felly y mae yn bod rhwng eglwysi a Chymanfa? Na, meddwch chwi, "Creawdwr Cymanfa yw yr eglwysi." Gwell genyf beidio manylu ar yr eglwysi fel creawdwr, &c., ond dywedaf hyn, rhaid eu bod wedi dod yn un, neu byddent yn greawdwyr. Ni soniais erioed am awdurdod unbenaethol y Gymanfa, a dylech, frawd, wneyd ymddiheuriad ar bob cyfrif yn herwydd y fath gamwri gwaradwyddus a wnewch a'm hysgrif, a hyny yn fwriadol, neu yn herwydd diofalwch anesgusodol. Cofiwch yr ymadrodd, "Na ddwg gamdystiolaeth yn erbyn dy gymydog," &c.

Ond sylwer, y mae pethau yn gwaethygu yn barhaus. Dyma y chweched gofyniad, "A ydych o ddifrif yn sefyll at eich gosodiad, mai ynfydrwydd yn ymylu ar wallgofrwydd yw i'r eglwysi goleddu y syniad o annibyniaeth eglwysig?" Ah! frawd, y mae hyn yna yn rhy ddrwg hefyd, darn-guddio y gwirionedd. Paham na roddasech y frawddeg oll, a'r synwyr oll, ar y pwnc? Honwch, o'r hyn lleiaf hyderwch, mai cariad at wirionedd Mab Duw, &c., sydd yn eich cymell. Wel, buasai yn dda genyf finau allu hyderu hyny, ond rhaid i hyder, fel gobaith, gael rhyw sylfaen; ond nid yw camddarlunio gyda'r haerllugrwydd yma yn awgrymu gronyn o gariad at y gwirionedd. Nid dywedyd yr wyf nad oes genyeh gariad, ond nad oes amlygiad o hono yn y camwri a wnewch yn y dyfyniad annheg ac hanerog; a meddyliwyf fod cyfiawnder yn galw am i mi gael adysgrifenu yn gyflawn y modd y dywedais, a dyma fe yn llythyrenol:—"Gwyddom y dadleuir annibyniaeth eglwysi, &c., ond nid yw hyny ond ynfydrwydd yn ymylu ar wallgofrwydd, pan fyddo dynion yn wirfoddol eu hunain, heb unrhyw drais na gorfodaeth wedi ymrwymo yn un gymdeithas i gadw yr un gorchymynion—i gadw oddiwrth, ac i gydymegnio gyda'r un gwahanol symudiadau. Gwir fod yr eglwys yn annibynol cyn ei hymuniad â Chymanfa, ac nid ydym am amheu ei hawl i fod ac aros felly, ac nid amheuwn chwaith nad all fod yn eglwys i Iesu Grist, er cadw yr annibyniaeth crybwylledig; ond hyn a ddywedwn, megys ag y mae aelod mewn eglwys yn rhwym i reolau yr eglwys hono, felly hefyd y mae eglwys pan yn ymaelodi mewn Cymanfa, yn rhwymo ei hunan i gydymffurfio â rheolau y Gymanfa hono." Darllener y WAWR am Ebrill, tu dal. 19.

Yn awr, Mr. Thomas, beth sydd yn gaethwasiol pan y mae dynion eu hunain yn ddewiswyr y rheolau ag y byddont yn byw danynt, ac yn rheolau hef-

yd ag y gallant trwy fwyafrif eu cyfnewid? Dywedyd mai "yr eglwysi yw creawdwr y Gymanfa" sydd ofer er profi nad oes awdurdod gan y Gymanfa. Er mai yr eglwys roddodd iddi fodolaeth, y mae ei hawdurdod yn parhau, canys bodolaeth lywodraethol a roddwyd iddi. Mewn gwirionedd, yr eglwysi eu hunain sydd gyfrifol am y rheolau a ffurfir yn ein Cymanfaoedd; ond wedi ffurfio penderfyniadau, rhaid eu cadw, neu ddyoddef y canlyniadau. Y mae ger fy mron reolau Cymanfa wedi eu tynu yn 1858. Mae yma 15 o reolau, a dyma y

9. "Fod unrhyw eglwys a ganiatao gymundeb i unrhyw berson na fyddo wedi ei fedyddio yn ol trefn y Testament Newydd, neu a ganiatao i un o'i haelodau gymuno gydag enwad arall, yn fforffetu ei hawl i aelodaeth yn y Gymanfa hon."

Eto, dyma reol y

13. "Na dderbynir yr un eglwys yn aelod o'r Gymanfa hon ond y cyfryw a gydunant a'r rheolau hyn."

Mae y brawd Thomas, gobeithiwyf, yn cydnabod y dylai pawb gadw at eu hymrwymiadau, a hyderwyf y bydd yn ddigon o ddyn a Christion i dynu yn ol y camgyhuddiadau a ddygodd yn ddiachos i'm herbyn; ac yr wyf yn hyderu y darllena ei Feibl, yn neillduol y Testament Newydd, gyda y fath fanylwch rhagllaw, fel y gwelo ac y deallo fod undeb y saint a'u gilydd yn, a thrwy yr Arglwydd Iesu Grist, yn un o'r pynciau mwyaf pwysig yn y Gair Dwyfol. Mae hyn wedi tynu sylw, ac wedi peri i'r meddylgar ryfeddu fod cymaint o le i undeb a chariad yn nghrefydd Iesu Grist, a chan lleied o hyny yn cael ei arddangos yn mywydau ac ymarferiadau Cristionogion y naill tuag at y llall.

Mae Mr. Thomas yn ymddangos fel pe y tybiai ei fod wedi cyrhaedd rhyw oruchafiaeth o bwys, pan y gofyna, "Pa fodd y siaradwn am eglwysi y Bedyddwyr, ac Eglwys Loegr?" &c., A sylwer ar y modd y geiria: "Siaredir, fel y gwyddis, am Eglwys Loegr, yr Eglwys Babaidd, yr Eglwys Bresbyteraidd, &c., am fod y tair eglwys hyn o dan un penaeth goruchel." Sylwer, y tair o dan UN PENAETH; a sylwer eto, "Saif y Frenines (meddai) yn ben i'r cyntaf, y Pab, trwy ei gyfarwyddwyr, i'r ail, a'r *General Assembly* i'r olaf." Beth a feddyliwch, Mr. Thomas? y tair eglwys dan *un* penaeth goruchel, ac eto y Frenines, a'r Pab, a'r *General Assembly*, yn benaeth iddynt. A fynwch chwi fod y trioedd hyn yn un? ac os felly, y tair eglwys hefyd, y mae yn debygol, yn un dan yr un penaeth goruchel. Ai dyna a olygwch? Rhaid mai ie, neu fod i bob un o'r eglwysi ei phen priodol ei hunan. Ond dyn a helpo y Bedyddwyr, druain, canys nid oes iddynt hwy ben ar y ddaear nac yn y nef chwaith, er cael un math o undeb rhyngddynt a'u gilydd, ond pob eglwys yn unigol bythol wrthi ei hunan. Ond pe arfer gwlad yn ei dull o siarad a brofiai unoliaeth, ni byddai yn ddrwg iawn arnom ninau, canys dywedir, "Y Bedyddwyr yn Lloegr, a'r Bedyddwyr yn America; ie, a'r Bedyddwyr trwy y byd." Mae yr ymadroddion uchod yn rhai cyffredin iawn am danom, ac yn awgrymiadol iawn y bodola rhyw undeb ac unoliaeth rhyngom, a theimlwn i raddau pell yn un a'n brodyr trwy holl gyrau y ddaear a'r nef hefyd. Mae son am eglwysi Asia, ac eglwysi gwledydd eraill; ond cofier fod eglwys yn golygu mwy mewn rhif nag eglwysi.

Sefydlwyd yr eglwys Gristionogol

Digitized by Google

gyntaf yn Jerusalem, yn yr hon y mae genym y darluniad prydferthaf a gogoneddusaf o undeb, cariad a brawdgarwch; canys yr oeddynt yn meddu y fath gydymdeimlad a'u gilydd, y fath hoffder o'u gilydd, a'r fath gariad tuag at eu gilydd, fel na ddywedodd neb fod dim a'r a feddai yn eiddo ei hunan, eithr yr oedd ganddynt bob peth yn gyffredin. Dywedir fod yr holl saint y pryd hwnw yn un a chytun, o'r un farn a chred; ac nid oedd lluosogi eglwysi ar hyd a lled y gwahanol wledydd yn ddim amgen nag ymeangiad y fam eglwys mewn ystyr. Ac ymddengys i mi fod y Cristionogion boreuol yn teimlo grym cariad ac undeb a'u gilydd, nid mewn eglwysi lleol, ond trwy y byd yn mhob man lle yr oeddynt; canys cawn hanes am danynt yn anfon llythyrau at eu gilydd, yn cydymgyfarfod er trafod achosion eu gilydd—yn cynorthwyo eu gilydd mewn casgliadau—yn wylo wrth ymadael a'u gilydd, ac yn llawenhau wrth gydgyfarfod a'u gilydd. Credwyf ein bod ni fel Bedyddwyr yn ddilynwyr i'r Cristionogion cyntefig (Beth yw barn Mr. Thomas?), yn aelodau o'r un corph, a than awdurdod yr un Pen, sef Crist. Gan hyny, frodyr, awn rhagom at berffeithrwydd. "Fel na byddom mwyach yn blantos, yn bwhwman, ac yn ein cylch-arwain â phob awel dysgeidiaeth, trwy hoced dynion, trwy gyfrwysdra i gynllwyn i dwyllo; eithr gan fod yn gywir mewn cariad, cynyddu o honom iddo ef yn mhob peth, yr hwn yw y Pen, sef Crist, o'r hwn y mae yr holl gorph wedi ei gyd-ymgynull a'i gyd-gysylltu, trwy bob cymal cynaliaeth, yn ol y nerthol weithrediad yn mesur pob rhan, yn gwneuthur cynydd y corph, i'w adeiladu ei hun mewn cariad." Myfyried Mr. Thomas yr ymadroddion uchod o eiddo Paul; ac os gwna yn ddifrifol a dyladwy, credwyf y daw yn fuan yn awyddus am undeb mawr cyffredinol trwy y byd.

Frodyr anwyl, gan ein bod o ran hanfodion ein crefydd yr un, yn aelodau dan yr un Pen, yn gangenau o'r un winwydden, yn feini ar yr un sylfaen yn yr un adeilad, er ffurfio yr un deml, gadewch i ni deimlo a gweithredu fel y cyfryw.

Cofier, ni bydd i mi wneyd sylw pellach ar ddim a ddywedir gan J. B. T., na neb arall, yn y drafodaeth hon, hyd nes y byddo rhywbeth yn galw am hyny er amddiffyn yr ysgrif wreiddiol, yr hyn nad oedd y tro presenol, canys ni wnaeth Mr. Thomas gwrdd â hono, fel y gwyr y darllenydd.

Terfynaf, gan ddymuno llwyddiant i'r Wawr a'i golygydd—i'r Undeb Cymanfaol, ac i Mr. Thomas fod yn fanylach o hyn allan.

## DALEN O'M DYDD-LYFR.

### CYMANFA SUMMIT HILL YN 1867.

Hon oedd y Gymanfa gyntaf i mi yn America, ac ar y cyfrif hwnw, yn gystal ag ar gyfiifon eraill, yr oedd yn meddu dyddordeb neillduol i mi. Gwyddwn nad gwiw oedd dysgwyl gweled Cymanfa Gymreig yn y wlad hon mor boblogaidd a rhai Cymru, gan fod yr eglwysi yn gymharol fychain, yn ychydig mewn nifer, ac yn mhell oddiwrth eu gilydd. Modd bynag, siomwyd ni yn yr ochr oreu. Os nad oedd y Gymanfa hon i'w chystadlu â chymanfaoedd Cymru mewn poblogrwydd, nid oedd yn ol i lawer o honynt mewn ystyron pwysig eraill.

Yr oedd cryn ddysgwyliad am ddau weinidog dyeithr i wasanaethu yn y

Gymanfa, ond ni ddaethant, a pharodd hyn fawr siomedigaeth i lawer, ac i minau hefyd. Y gweinidogion hyn oeddynt y Parchn. P. L. Davies ac Alfred Harris; am hyny, nid oedd ond y gweinidogion cartrefol i wasanaethu, gyda'r eithriad fod dau o honynt newydd sefydlu yn y wlad, sef y Parch. Fred. Evans (Ednyfed), yn Hyde Park, a'r ysgrifenydd yn Minersville. Yr oedd yn bresenol hefyd frawd ieuanc o Athrofa Hamilton (y Parch. Edward Ellis), yr hwn a gymerodd ran yn y gweithrediadau cyhoeddus.

Aethai yn gryn bell yn mlaen prydnawn dydd Sadwrn cyn i ni allu cyrhaedd y lle. Yn cyd-deithio a ni yr oedd yr hybarch dad o Pottsville, a rhai personau eraill. Gorfu arnom gerdded bob cam o Tamaqua i fyny i'r Bryn, a chan fod yr hin yn bur boeth, y ffordd yn faith, a'r brawd William Morgan yn symud yn mlaen dipyn yn gyflym, yr oeddym yn dra lluddedig erbyn cyrhaedd pen y daith. Wedi ychydig orphwysiant a chael lluniaeth, aethom tua'r gynadledd a gynelid yn y capel. Dyna lle yr oedd y brodyr da a'r cenadon ffyddlon yn trafod gwahanol faterion perthynol i'r enwad a'r eglwysi. Yr hyn oedd o dan sylw ar ein mynediad i mewn oedd cynygiad am gael cyhoeddiad misol newydd at wasanaeth yr enwad. Yr oedd y *Seren* ar fachlud, trwy fod y brawd Edwards wedi blino ar ei lafur, ac yn meddu dymuniad i'r enwad roddi y cyhoeddiad mewn dwylaw eraill; gan hyny, gwelid yr angenrheidrwydd am fod rhywbeth yn cael ei wneyd yn y cyfeiriad hwnw —cael cyhoeddiad newydd, neu ynte fyned yn mlaen gyda y *Seren*, gan ei phleidio a'i gwellhau o'r newydd. Penderfynwyd cael cyhoeddiad newydd, gydag enw newydd.

Penderfynwyd i'r Gymanfa ddilynol fod yn Slatington. Yr oedd eglwys Hyde Park yn awyddus am ei chael, ond yr oedd y Gynadledd yn tybied fod mwy o'i heisiau mewn man arall. Yr oedd y cynrychiolwyr oddiyno yn foddlawn bod hebddi y tro hwn. Cysurai y brodyr o Hyde Park eu hunain, pan benderfynwyd yn ffafr Slatington, y caent hwy Gymanfa gan enwad arall. [Cynaliai yr Annibynwyr eu huchel wyl yno y flwyddyn ddyfodol.].

Ysgrifenydd Llythyr y Gymanfa y flwyddyn hon oedd y Parch. Allen J. Morton. Darllenwyd ef, a chafodd gymeradwyaeth pur wresog, a hyderid y rhoddai yr eglwysi dderbyniad cyffredinol a chalonog iddo. Ymddyddanwyd am eglwysi cymysg, ac anogwyd aelodau Bedyddiedig lle y mae eglwysi felly i fod yn ffyddlawn i'w hegwyddorion a'u proffes.

Cafwyd llawer o bregethau. Traddodwyd dwy bregeth nos Sadwrn, chwech ddydd Sul, a chwech ddydd Llun. Ymddangosai y bobl mor awyddus i wrando yn y diwedd ag ar y dechreu. Ni allesid dymuno gwell gwrandawiad trwy yr holl Gymanfa. Ymddangosai pawb wrth eu bodd. Tebygol (yn ol a glywn), fod y Gymanfa flaenorol, yn Minersville, yn ardderchog; ond a oedd hono yn rhagori ar hon, nis gwn. Cafwyd pregethau efengylaidd, blasus, gwlithog ac effeithiol, ac anhawdd ydyw sylweddoli pa fodd y gallasai un Gymanfa fod yn well. Anmhosibl ydyw manylu am y pregethau. Gwnaeth yr hybarch Mr. Morgan, o Pottsville, rai crybwylliadau hapus y dymunwyf eu crybwyll. Pan yn darllen ei destyn nos Sadwrn, dygwyddai i hen chwaer grefyddol drwm ei chlyw o Hyde Park fod yn eistedd ar y fainc o'r tu ol iddo, yntau, yn aw-

Digitized by Google

yddus am fod yr hen angyles yn gwybod beth oedd ei destyn, a droes ati, gan ogwyddo yn nghyfeiriad yr *ear trumpet* a ddaliai wrth ei chlust, druan, ac edrychai hithau i fyny yn synedig-wrandawgar at yr hybarch dad, yr hwn a ddywedai wrthi mewn llais hyglyw, "Dy lygaid a welant y tir pell, a'r Brenin yn ei degwch." Dyna oedd ei destyn. Yr oedd yr hen wraig yn ymddangos fel pe wedi synu yn wir. Nis gwyddom a ddeallodd y chwaer mai y testyn a ddywedid wrthi ai peidio, neu ynte a dybiai fod cenadwri neillduol yn cael ei llefaru wrthi. Hyn sydd yn ffaith: Fod y dygwyddiad yn gyd-darawiad rhyfedd, ac ni allasem ein hun lai na gwenu yn foddhaol ar y pryd, a sylwais fod y gynulleidfa yn gwisgo gwên am yr hyn a gymerasai le fel y nodwyd. Wrth fyned rhagddo yn ei bregeth, dywedai yr hybarch dad am dano ei hun yn Nghymru—yn Llantrisant—yn ymddifyru ar ddiwrnod clir, tawel a theg, wrth syllu ar diroedd Lloegr gyferbyn ag ef, sef "Gwlad yr Haf;" yna darluniai y Cristion a gwlad ei haf ef, gan ddiweddu y sylw yn ngeiriau y testyn, "Dy lygaid a welant y tir pell, a'r Brenin yn ei degwch."

Soniai hefyd am ofal Duw am ei bobl, ac er egluro hyny, dywedai am Brydain yn amddiffyn ei deiliaid yn mhob rhan o'r byd, a'i bod yn dangos hyny y pryd hwnw. Dywedai fod Brenin haner barbaraidd Abyssinia wedi ymddwyn yn greulawn at rai o ddeiliaid Prydain oeddynt yn dygwydd bod o fewn ei diriogaethau, trwy eu cadw yn garcharorion am flynyddau, am fod Prydain wedi ei ddigio am rywbeth neu gilydd. Modd bynag, ebe yr hen bregethwr, y mae Prydain yn myned yno yn awr gyda'i byddinoedd, pryd y caiff yr hen frenin du weled pwy fydd y trechaf. Ond nid oes un brenin yn amddiffyn ei ddeiliaid fel Brenin Seion.

Pregethodd y Parch. Fred. Evans (*Ednyfed*), yn hwylus ryfeddol. Yr oedd y gynulleidfa yn y dymer oreu wrth ei wrando. Yr oedd pob peth a ddywedai yn "myn'd." Wrth gofio fod ei amser yn derfynol, a bod eraill i bregethu, tynai ei oriawr allan, gan ddweyd na fedrai fod yn sicr am gywirdeb ei oriawr, gan mai un fenthyg ydoedd; ac os aethai dros ben yr amser penodol, mai ar yr oriawr y byddai y bai, ac nid arno ef. Dyna hoffi ei ddull dirodres, siriol, a thwym-galon, yr oedd y bobl.

Cafwyd mwynhad mawr wrth wrando ar y brawd William Powell (Upper Lehigh, yn awr), yn rhoddi yr emynau allan, ac yn cymeryd rhan yn y cyrddau gweddi.

Daeth i'n rhan i gyd-letya a'r brawd hoff John P. Lewis, Hyde Park, a chawsom le cysurus yn nhy un o deuluoedd parchusaf yr eglwys (ac y mae ein cymdeithasiad a'r brawd Lewis y pryd hwnw, yn y ty hwnw, yn aros yn felus ar ein cof hyd y dydd hwn).

Yr oedd yn bresenol yn y Gymanfa hon yr hynafiaethydd a'r bardd adnabyddus, Aneurin Fardd. Eisteddai yn fy ymyl yn un o'r oedfaon pan oedd Ednyfed yn pregethu, ac edmygai ei fedrusrwydd yn fawr. "Wel, yn wir," ebai, "onid yw yn rhagorol?"

Nid ydyw nodion ein dyddlyfr yn cynwys ychwaneg. Rhaid i ni, gan hyny, derfynu. Dymunwn ddweyd, ar ol i un ar bymtheg o flynyddau fyned heibio arnom er y Gymanfa hono ar Summit Hill, ei bod yn aros yn dyner ar ein cof yn barhaus, ac yn cael ei hystyried genym yn un o'r Cymanfaoedd hapusaf a gawsom erioed.—G.

Digitized by Google

# Amrywiaethol.

## DYFODIAD AWSTIN FONACH I BRYDAIN.

Tua diwedd y chweched ganrif (o. c. 596), pan oedd Ethelbert yn frenin Caint (Kent), derbyniodd y newydd fod dynion o agwedd syml a duwiolfrydig, wedi eu dilladu mewn gwisg oedd dyeithr, ac yn ymarfer a llawer o seremoniau anarferol, wedi tirio yn ei randir, ac yn ceisio ymweled ag ef. Y dynion hyn oeddynt Awstin Fonach, yn nghyd a deugain eraill, a ddanfonwyd gan y Pab Gregori Fawr, i bregethu yr efengyl i'r Saeson paganaidd. Nis gallasai Ethelbert lai na bod yn ymwybodus am yr efengyl, o herwydd ymddengys fod ei wraig Bertha, merch i Charibert, brenines Paris, eisoes yn Gristion. Trwy ddylanwad Bertha, llwyddasant i gael ymweliad â'r brenin, yr hwn a ddywedodd wrthynt, er nad oedd ef ei hun yn barod i ymwrthod â duwiau ei dadau er mwyn cofleidio crefydd newydd a'r na wyddai ddim o'i phlegid, eto gan yr ymddangosai bwriad y dyeithriaid yn ddaionus, na thaflai un rhwystr ar eu ffordd, ac y porthai efe hwynt ar ei draul ei hun. I'r perwyl hwn, parotowyd at eu gwasaeth hen Eglwys S. Martin (yn Nghaergaint), yr hon a berthynai gynt i'r Brytaniaid. Dengys hyn eto fod eglwysi Cristionogol yn Mhrydain cyn dyfod o Awstin yma. Cyn pen hir amser ar ol hyn, sef ar ddydd Gwyl y Pasg o'r flwyddyn o. c. 597, mabwysiadodd Ethelbert Gristionogaeth. Yn y flwyddyn o. c. 601, danfonodd Gregori drosodd lawer o genadon; ac yn fuan ar ol hyn y cysegrwyd Iustus yn esgob Caergraig (Rochester) a Mellitus yn esgob Llundain.

Ond, ys dywed y bardd, "Hysbys y dengys y dyn o ba radd y bo'i wreiddyn;" felly, cyn hir daeth i'r amlwg, mai prif ddyben Awstin oedd goruchafiaeth Eglwys Rhufain, megys mam holl eglwysi Cred, a'i awdurdod yntau megys ei Harchesgob, yn hytrach nag efengyleiddio y Saeson. Awstin, wedi ei ddyrchafu i'r Archesgobaeth, a gafodd, drwy ddylanwad Ethelbert, gan yr Esgobion Prydeinig i'w gyfarfod mewn lle a elwid ar ol hyny, "Derwen Awstin." Yno y daeth i'w gyfarfod saith o esgobion, yn nghyd a Dynawd (Dinoth), Abad Bangor-is-y-coed. gyda llawer iawn o offeiriaid a dysgedigion eraill; ond fe ddarfu i ymddygiad balch a thrahaus Awstin dramgwyddo y dynion syml hyn gymaint, fel na wnaent wrandaw ar un telerau o undeb ag ef. Y tri pheth a fynai efe iddynt ufuddhau iddo ynddynt oedd, 1. Cadw o honynt Wyl y Pasg yn ol amser Eglwys Rhufain. 2. Gweinyddu bedydd yn ol defod ac arfer Eglwys Rhufain. 3. Pregethu yr efengyl, gydag ef, i'r Saeson. Ni wnaent ufuddhau iddo yn un o'r tri pheth yma; ac yn mhellach, ni chydnabyddent ef yn archesgob arnynt.—*Parch. William I. Francis.*

## HEN FEDYDDFANAU.

Mae maintioli y bedyddfanau a ddefnyddir yn y gwahanol addoldai yn rhoddi rhyw feddylddrych i ni pa fath fedydd a weinyddir ynddynt. Os llestr bychan a ddefnyddir, gwyddis yn union nad oes bedydd trwy drochiad yn cael ei weinyddu yn y fan hono; ond os bydd mewn addoldy ffynon neu fedyddfan, ddigon o faint i gladdu dyn yn ei dyfroedd, y casgliad naturiol yw, mai trwy drochiad y gweinyddir bedydd yn y lle hwnw. Yn ol yr ymresymiad hwn, gallwn ganfod oddiwrth yr hen fedyddleoedd oedd mewn cysylltiad â gwahanol addoldai yn y canrifoedd cyntaf, pa fodd y gweinyddid bedydd yn yr hen amseroedd.

Ar y dechreu, gweinyddid bedydd mewn afonydd, llynoedd, ac ymdrochleoedd. Tua chanol y drydedd ganrif, dechreuwyd adeiladu bedyddfanau (*baptisteries*) gerllaw yr addoldai; ni wneid hwy yn yr eglwys hyd y chweched ganrif.

Yr oedd y *baptisteries* cyntefig yn

Digitized by Google

fath o adeiladau wythonglog (*octagon*), a thô hanergrynol (*dome*) iddynt, yn ymyl yr addoldy, ond nid yn rhan o hono. Yn nghanol yr adeilad yma byddai ystafell eang, ddigon ei maint i gynwys tyrfa fawr o bobl. Yr oedd ochrau yr adeilad wedi eu gwahanu oddiwrth yr ystafell eang yn y canol, a'u dosbarthu yn wahanol ystafelloedd, at wasanaeth y gweinyddwyr, a'r rhai a gaent eu bedyddio. Yn nghanol y neuadd eang yn nghanol yr adeilad, yr oedd ymdrochle (*bath*) wythonglog, oddiwrth yr hwn y gelwid yr adeilad. Enw priodol yr adeiladau hyn, ynte, ydoedd *bedydd-dai*, ac enw ar y ffynon yn nghanol yr ystafell ydoedd *bedydd-fan* neu *bedyddle.—Parch. Hugh Jones, D. D., Llangollen.*

## A YDYW AFON ANGEU'N DDOFN?

Genethig fechan pan yn wael,
Ddwys holai braidd mewn ofn:
"A ydyw afon angeu du,
Fy anwyl fam, yn ddofn?
A allaf groesi hon fy hun,
Heb imi gael un cam?
A ydyw'r dyfroedd dros fy mhen?"
"O! ydynt," meddai mam.

"Wel, rhaid i mi gael rhywun cryf
I'm cario ar ei fraich,
Gwan ydwyf, gwyddoch, f'anwyl fam,
Nid wyf yn ormod baich;
Wrth feddwl croesi hon fy hun,
Fy nghalon sy'n rhoi llam—
A yw ei dw'r dros eich pen chwi?"
"O! ydyw," meddai mam.

"Wel, rhaid ei bod hi felly 'n ddofn,
Dywedwch imi 'n awr,
Pwy gaf i'm cario drwyddi hi
Sydd ddigon cryf a mawr?
Mae swn ei dyfroedd yn fy nghlust,
Ac nis gwn i paham—
A yw ei dw'r dros ben fy nhad?"
"O! ydyw," meddai mam.

"Na wylwch, mam, fy anwyl fam,
Y mae eich dagrau chwi,
Wrth son am groesi'r afon ddofn,
Yn chwyddo'i dyfroedd hi;
Chwi ddowch i'm danfon at ei glan,
'Rwy'n myn'd o gam i gam,
A yw'r dw'r dros ben Iesu Grist?"
"Nac ydyw," meddai mam.

"O, diolch, diolch iddo byth,
'Rwyf yn ei garu ef,
Mi g'lyma 'mreichiau am ei wddf,
I groesi'r afon gref;
A dacw fo! mae'n dod, ffarwel.
Fy mam, na fyddwch drist,
Nid yw dwfr afon angeu du
Dros ben fy Iesu Grist."

—*Gwilym Pennant, Llundain.*

## GENEDIGAETH GEIRIAU.

Pa achosion sydd yn dwyn i fodolaeth eiriau newyddion? O'r holl achosion hyn yr ardderchocaf ydyw hwn, sef trwy drefniant yr Holl-Ddoeth y mae cyfnodau yn hanes y byd yn y rhai yn fwy nag ar amserau eraill y mae nerthoedd newyddion, moesol ac ysbrydol, yn cynhyrfu calonau dynion hyd eu gwaelodion. Pan y byddo dynion yn cael eu cynhyrfu fel hyn, y maent yn gofyn mwy oddiwrth iaith nag o'r blaen. Gofynir iddi draethu gwirioneddau a syniadau ag oeddynt yn bell oddiwrthi cyn hyny. Gan hyny, ni fydd modd traethu y syniadau a'r gwirioneddau hyny ar unwaith; bydd y meddyliau a'r teimladau yn fwy a dyfnach nag unrhyw rai y buasai siaradwyr yr iaith hono yn eu gwybod yn flaenorol. Y mae yn dygwydd gydag iaith y pryd hwnw fel y dygwydda gyda gwely afon, i'r hon y rhuthra mwy o ddyfroedd o lawer nag a fuasai o'r blaen yn arferol o fod ynddi. Ar y fath adeg, ni fydd ddim yn rhyfedd os gwna y dyfroedd dori dros eu glanau, a thori allan ar y dde ac ar yr aswy, a thori rhychau newyddion iddynt eu hunain. Hyn, yn wir, mae yn rhaid iddynt wneyd. Fel hyn y bu gyda ieithoedd Groeg a Rhufain, pan y gofynid iddynt fod yn gyfryngau gwirioneddau yr efengyl. Gallasai yr ieithoedd hyn wneyd y tro fel yr oeddynt i wasanaethu paganiaeth gnawdol a meidrol; ond ni wnaent y tro fel yr

Digitized by Google

oeddynt i osod allan wirioneddau ysbrydol ac anfeidrol; yr oedd gwirioneddau mor newyddion a nerthol yn hawlio lle ymledol yn iaith dynion. Yr oedd eisiau costrelau newyddion o iaith i roi y gwin newydd ynddynt.—*R. Ch. T.*

## SOBRWYDD YN NGHYMRU.

Dywedir fod sobrwydd wedi cymeryd gafael gadarnach yn y wlad yn gyffredinol nag sydd genym hanes. Dywedir fod tua haner trigolion Abertawe a Chaerdydd yn llwyrymwrthodwyr, a gall y fyddin gyfrif ei milwyr wrth y miloedd ar hyd a lled y Dywysogaeth. Ac yr wyf fi yn dymuno o'm calon bob llwyddiant iddi, nes sychu pob *tap*, gwaghau pob baril, cau pob tafarndy, a throi y darllawdai a'r carcharau i ddybenion daionus. Rhodder i mi yr arian a werir am y gwirodydd meddwol, a thalaf ddyledion holl gapeli Prydain Fawr; cynaliaf bob gweinidog yn anrhydeddus; codaf dai i'r amddifaid a'r gwragedd gweddwon, gan eu porthi a'u dilladu; agoraf lyfrgelloedd rhad yn mhob tref a phentref; adeiladaf noddfeydd i'r deillion, i'r byddariaid, ac i'r mudion; diluwiaf deyrnasoedd â thraethodau crefyddol; argraffaf filiynau o Feiblau newyddion mewn gwahanol dafodieithoedd, a danfonaf genadon wrth y canoedd i wledydd paganaidd y byd. Dywedir fod dros driugain mil yn myned i'r bedd yn flynyddol o herwydd eu heffeithiau dinystriol. Ymrestred holl ieuenctyd y wlad o dan faner sobrwydd, ac ergydied pob crefyddwr yn erbyn y Goliath bostfawr hwn, ag sydd yn herio byddinoedd y goleuni. Meddwdod sydd yn llanw ein carcharau a'n gwallgofdai. Dywed ein barnwyr oddiar y fainc, na fuasai ond y nesaf peth i ddim o waith iddynt hwy, oni bae am y cwpan meddwol. Pa bryd y daw ein gweithwyr i ffieiddio eu gelyn penaf—gelyn eu cysur, ïe, a gelyn eu heneidiau?

Ar *sign* tafarndy yn New York mae yr ysgrif ganlynol: "Nid oes eisiau meddwon yma;" ac fe garwn i gael gwybod pa le mae eu heisiau. Nid oes eu heisiau ar y ffermwr i aredig y cae; nid oes eu heisiau ar y cadben i hwylio y llong; nid oes eu heisiau ar y marsiandwr i werthu ei nwyddau; ac nid oes eu heisiau ar eglwys Dduw i bregethu yr efengyl. Na, mae yn wirionedd pwysig nad oes eisiau y meddwyn mewn teulu, mewn cymydogaeth, nac mewn eglwys. Nid oes ei eisiau ond mewn un lle, a gwareded y Nefoedd holl feddwon Cymru rhag myned i'r lle annedwydd hwnw!—*Parch. D. Oliver Edwards.*

## ADDASRWYDD MOESOL YR EFENGYL I EFFEITHIO ARGYHOEDDIAD.

Mae yn yr efengyl *addasrwydd moesol* i effeithio argyhoeddiad. Gan fod dyn yn meddu rheswm, barn, a chydwybod, y mae yn alluog i wahaniaethu da a drwg, a chaniateir iddo ryddid ewyllys yn ei ddewisiad rhyngddynt, ond ei fod yn agored i'r canlyniadau. Mae yr efengyl yn cydnabod hyn. "Heddyw, os gwrandewch ar ei leferydd ef." "Yr ydym yn perswadio dynion." "Deuwch yr awr hon, ac ymresymwn." "Yr ydym yn erfyn dros Grist, cymoder chwi â Duw." "Duw yn deisyf arnoch trwom ni." "O'i wir ewyllys yr enillodd ef nyni trwy air y gwirionedd." Mor wahanol gweinidogaeth y ddeddf! "Fel mai byw fi, medd yr Arglwydd, ni'm gwel dyn a byw." "Sain udgorn" barn, "llef geiriau," damnedigaeth, daeargryn ysgydwawl, mellt fflamllyd yn goleuo y byd, ac yn bygwth enyn holl nwyau llygredigaeth yr awyrgylch moesol—gosod ei holl losgnwy yn wenfflam, a llosgi y ddaear yn ulw!—dyma oruchwyliaeth a gweinidogaeth y "mynydd teimladwy." Ofer ffoi i'r deml am ddiogelwch, nac ymaflyd yn nghyrn allor yr offeiriadaeth am gysgodfa. Ni welid yno ond cyllell lem yr enwaediad byth yn ruddgoch gan waed dynol, ac ni chlywid ond brefiadau tosturi miliynau o anifeiliaid dieuog yn bugunad dan gyllyll llymion offeiriaid gwaedlyd y gyfraith. "Ond ni ddaeth-

Digitized by Google

och at y mynydd teimladwy." Mawrhaed holl gredinwyr a gwrandawyr efengyl eu braint. "Chwi a ddaethoch i fynydd Seion, ac i ddinas y Duw byw, y Jerusalem nefol, ac at Dduw, barnwr pawb;" ond nid ato ef yn Moses ofnus, yn Moses grynedig, ond yn "Iesu, Cyfryngwr y Testament Newydd," yn yr hwn y mae efe yn "Dduw yr heddwch" i bawb, ac yn "wir Dduw y tangnefedd" i'r holl fyd.—*Arwystl.*

## BRASLUN PREGETH.

### GWERTHFAWROGIAD O FEDDYLIAU DUW.

SALM 139: 17.—"Am hyny, mor werthfawr yw dy feddyliau genyf, O Dduw; mor fawr yw eu swm hwynt!"

Gall yr ymadrodd, "dy feddyliau," dybied naill ai ei feddyliau ef am Dduw, ac mewn perthynas iddo, neu feddyliau Duw ei hunan; neu yn mhellach, gall dybied y ddau syniad uchod, sef meddyliau y Salmydd mewn perthynas i Dduw, ac am Dduw, ac hefyd meddyliau Duw ei hunan, oblegid y mae meddyliau am Dduw o'r diwedd yn arwain at ei feddyliau ef. Cymerwn y geiriau yn yr ystyr eangaf. Gwelir yn eglur fod y meddyliau dwyfol yn cael eu mawr werthfawrogi gan y person sydd yn llefaru: "Mor werthfawr yw dy feddyliau genyf, O Dduw!" Y mae yr edmygiad mwyaf yn cael ei ddangos o honynt—"mor fawr yw eu swm hwynt." Dengys y gwerthfawrogiad hwn o feddyliau Duw dri pheth mewn perthynas i'r hwn sydd yn llefaru:

I. *Chwaeth uchel iawn.*

1. Chwaeth *bur.*

Mae meddyliau Duw yn bur, a rhaid cael meddwl pur i deimlo dyddordeb ynddynt.

2. Chwaeth *ddyrchafedig.*

Beth all fod yn fwy dyrchafedig na syniaw am Dduw, ei waith, ei gymeriad, yn y gwahanol amlygiadau gogoneddus o honynt!

3. Chwaeth *ddiwylliedig.*

Nis gallasai y chwaeth uchel hon fodoli mewn un dyn ar y ddaear heb fyned trwy gwrs o ddiwylliaeth faith a dyfal-barhaol.

II. *Dirnadaeth foesol gref.*

Dealltwriaeth i weled *dyben* meddyliau Duw. Mae Duw yn meddwl i ryw ddyben—mae ganddo gynlluniau i'w gweithio allan—ei brif amcan yw daioni ei greaduriaid—tuag at ddynion—eu hiachawdwriaeth. Mae yr hwn a ddywed am feddyliau Duw, "Mor *werthfawr genyf,*" "mor fawr yw eu swm hwynt," yn meddu ar ddirnadaeth foesol neu ysbrydol ddigon cref i weled y dyben hwnw a'i werthfawrogi. Rhaid meddu dirnadaeth felly cyn y gellir canfod y daioni a nodwedda holl feddyliau yr Anfeidrol.

2. Dealltwriaeth i weled eu *hundeb.* "Mor fawr yw eu *swm* hwynt." Y maent oll yn meddu y cysondeb mwyaf, ac yn meddu ar yr un cymeriad a phwrpas.

3. Dealltwriaeth i weled cysylltiad y meddyliau Dwyfol ag efe ei hun. "Mor werthfawr yw dy feddyliau genyf." Ni allasai y Salmydd deimlo y fath ddyddordeb ynddynt, heb fod perthynas rhwng meddyliau Duw ag efe yn bersonol. Meddai ar ddealltwriaeth foesol i weled hyn.

III. *Myfyrdodau dyfal-barhaol.*

"Pan ddeffrowyf, gyda thi yr ydwyf yn wastad."

1. Dechreua y Salmydd gyda *gweithredoedd Duw,* fel y dengys y cysylltiadau.

2. Saif gyda y gweithredoedd mewn myfyrdod, nes gweled meddyliau Duw ynddynt.

3. Arddengys fod ganddo waith o'i flaen. "Pe *cyfrifwn* hwynt"—y mae wedi ceisio ar y gorchwyl, ond wedi methu.

4. Y mae hyn oll yn dangos myfyrdodau dwfn-dreiddiol a dyfal-barhaol. Gwelwn, gan hyny, fod y Salmydd yn meddu *chwaeth* uchel, dirnadaeth foesol gref, ac yn arfer myfyrio llawer am y pethau mwyaf ysbrydol. Yr ydoedd felly mewn cyflwr dymunol yn y presenol, ac ar ffordd ogoneddus i gyflwr uwch. Byddwn debyg iddo.

Digitized by Google

# Ardrem Americanaidd.

GAN GWYLIEDYDD.

## Y BEDYDDWYR.

Mai ydyw mis cylchwyliau blynyddol y gwahanol gymdeithasau crefyddol, perthynol i'r gwahanol enwadau. Cynaliodd y Bedyddwyr eu cyfarfod blynyddol eleni yn Saratoga, N. Y., yn dechreu ar yr 22ain o Fai, a'r cwrdd Beiblau oedd y cyntaf. Yr oedd parotoadau helaeth wedi eu gwneyd gyferbyn a'r cyfarfod hwn yn neillduol, a dysgwylid pethau mawrion oddiwrtho, ac ni fu y dysgwyliadau a'r gobeithion yn ofer, oblegid gwnaed ynddo waith pwysig, er lles a heddwch yr enwad yn y wlad hon. Gan fod *amcan* y cyfarfod hwn wedi ei egluro yn y WAWR yn barod, nid oes angen yn bresenol ond rhoddi braslun o'i weithrediadau.

Yr oedd ynddo 451 o gynrychiolwyr wedi eu dewis a'u hanfon gan *State Conventions* y Talaethau canlynol: Maine, 21; Vermont, 9; New Hampshire, 9; Massachusetts, 50; Rhode Island, 11; Connecticut, 21; New York, 101; Pennsylvania, 46; New Jersey, 33; Delaware, 6; Maryland, 9; North Carolina, 1; Tennessee, 2; Ohio, 36; Indiana, 6; Michigan, 17; Illinois, 14; Wisconsin, 8; Iowa, 6; Minnesota, 5; Kansas, 5; Colorado, 2; Virginia, 1; West Virginia, 3; Missouri, 3; Rhanbarth Columbia, 1; Dakota, 1; Cymdeithasau, 24; ac yr oedd 13 o'r Talaethau, a Canada, heb eu cynrychioli. Nid yn aml, os erioed, y gwelwyd y fath nifer o ddynion mor deilwng, o ran dysg, talent, sefyllfa, a duwioldeb, yn cynrychioli enwad y Bedyddwyr o'r blaen yn y wlad hon, a hir gofir am dano fel y cyfryw, ac hefyd yr oedd ymddygiad y cyfarfod yn deilwng o'r enwad. Dylid cofio fod ynddo ddwy blaid o'r dechreu—un yn cynrychioli yn wresog yr *American and Foreign Bible Society*, a'r llall mor benderfynol wrthwynebol iddi.

Y pwyllgor mwyaf pwysig a neillduwyd yno oedd yr un ar y Penderfyniadau, yr hwn a wnaed i fyny o bersonau cyfrifol o'r ddwy ochr. Dygodd y pwyllgor hwn ddau *report* i fewn—y mwyrif a'r lleirif. Rhoddir y ddau yma yn gyflawn, heb eu cyfieithu. Mynegiad y mwyafrif sydd fel hyn:

*Resolved*, 5. That in the judgment of this Convention, the Bible work of the Baptists should be done by our two existing Societies; the foreign work by the American Baptist Missionary Union, and the home work by the American Baptist Publication Society.

*Resolved*, 6. That in our judgment the Missionary Union should more fully recognize the necessity of accurate translation and wide distribution of the Word of God in foreign lands; that the duty of providing means for this work should be more distinctly and effectively urged by the Union upon the churches, and the Union should employ whatever additional agencies may be required to secure this result.

*Resolved*, 7. That the Publication Society should immediately establish a new department, and that this department should be charged with the duty of collecting and expending funds for home Bible work, and that a special Secretary of equal authority with the Missionary Secretary should be appointed to take supervision of the department.

*Resolved*, 8. That as a guarantee that all the chief views current in our denomination shall be represented in the conduct of our home Bible work, and as a provision for the settlement of the questions which have arisen with regard to the administration of that work, the American and Foreign Bible Society be requested to name three persons to be voted for as managers of the Publication Society, and that upon the election of these persons as such managers, the American and Foreign Bible Society be requested, in the interest of Baptist unity, to dissolve, and thenceforth cease to exist as a separate organization.

*Resolved*, 9. That the Publication

Digitized by Google

Society should maintain such intimate and close relations with the American Baptist Home Mission Society in the proescution of Bible work, that the very large missionary force of the latter Society, among people of many languages, and on the frontiers of our country, may be effectively employed in the practical work of Bible distribution.

Signed by A. H. Strong, Wayland Hoyt, S. W. Duncan, H. C. Mabie, E. C. Fitz.

Y lleirif fel hyn:

*Whereas*, One of the objects of this Convention, as expressed in the resolutions calling it, is an attempt to unite the denomination in one Bible work; and

*Whereas*, Future division in our Bible contributions and efforts among our several organizations should come to an end as soon as possible; therefore,

*Resolved*, That the various Boards to whom the original call for this Convention was committed, be requested to confer together, through committee or otherwise, with a view to the selection of one or more agencies, through which they may harmonize the common work.

*Resolved*, That in such Conference, the end sought ought to be a permanent Bible organization, or the enlargement of an existing organization, or the establishment of a new one, if necessary to the accomplishment of this great end.

*Resolved*, That the said Board or its committee be empowered to call a second Convention, at such time and place as they may elect, and to report the result of their deliberations and effort.

Signed by T. Armitage, W. H. Parmly.

Ar ol llawer o areithiau meithion ar y penderfyniadau hyn, cymerwyd *vote* ar eiddo y mwyafrif, a chawd 361 o'u plaid, a 30 yn wrthwynebol. Felly, penderfynwyd y pwnc sydd wedi peri cryn ofid a rhwystr i lwyddiant yr enwad er's blynyddau, ac ymddengys fod y ddwy blaid yn hollol foddlawn yn yr hyn a wnawd.

Cymerwyd y gweddill o'r wythnos i fyny gan y *Missionary Union*, yr *Home Missions*, a'r *Baptist Publication Society*. Cymerai ormod o le yma i roddi manylion y cyfarfodydd hyn. Digon yw dyweyd fod y tair cymdeithas hyn mewn cyflwr iachus a thra addawol, a dysgwyliwn weled *motto* y Wawr yn cael ei wireddu. "*There is a future for the Baptists.*"

Heblaw yr uchod, y mae genym i gofnodi hanes Cynadledd

Y BEDYDDWYR DEHEUOL,

yr hon a gynaliwyd yn Waco, Texas, Mai 9–12. Fe ddarlunir hwn fel un o'r cyfarfodydd mwyaf lluosog a gynaliwyd erioed gan ein brodyr yn y De. Nid oedd yno lawer oddiar ororau y Werydd, ond yr oedd Kentucky, Tennessee, Missouri, Arkansas a Georgia allan mewn nerth, a Texas agos i gyd. Nid rhyfedd fod yno dorf ryfeddol, oblegid yr oedd y brodyr yn Waco wedi taflu eu baner allan i'r awelon, gan wahodd y "byd Bedyddiedig a'i wraig" a'i ferched i ddyfod yno. Cafodd y gwahoddiad dderbyniad lled gyffredinol, oblegid dywedir fod y pwyllgor trefniadol wedi derbyn 2,500 o geisiadau am leoedd ddwy wythnos cyn yr amser; ond er cymaint oedd nifer y dyeithriaid, yr oedd haelioni lletygarol diarebol y De tu hwnt i bob gofynion arno.

Cyfluniwyd y Gynadledd trwy ailetholiad y swyddogion canlynol am y flwyddyn hon yn unfrydol: Y Parch. Dr. P. H. Mell, Georgia, Llywydd; y Parchedig Ddoctoriaid L. Burrows, Kentucky, a O. F. Gregory, North Carolina, yn Ysgrifenyddion; a'r boneddigion canlynol yn Is-Lywyddion—y Seneddwr S. B. Maxey, Texas; y Seneddwr J. E. Brown, Georgia; y Parch. J. W. M. Williams, Maryland, a'r Parch. Dr. J. C. Furman, South Carolina. Ar ol ethol y swyddogion hyn, gwnawd cynyg i gyfnewid y Cyfansoddiad, i wneyd y cyfarfodydd yn ddwy flynyddol, ac nid blynyddol, o hyn allan, ond methwyd ei gario.

Digitized by Google

Yn mhrydnawn y dydd cyntaf, rhoddwyd adroddiad o weithrediadau Bwrdd y Gymdeithas Genadol Gartrefol, ac oddiwrtho yr ydym yn gweled fod gan y gymdeithas 95 o genadon yn llafurio yn y maes cartrefol, yr hwn sydd yn cymeryd i fewn Arkansas, California, Florida, Georgia, Kentucky, y Diriogaeth Indiaidd, Louisiana, Carolina Ogleddol, Tennessee, Texas, &c. Mae llafur y cenadon hyn wedi bod yn fawr, a'u llwyddiant yn gydmarol dda, oblegid teithiasant 60,480 o filltiroedd, traddodasant 5,571 o bregethau, a bedyddiasant 245 o bersonau ar broffes o'u ffydd yn Mab Duw. Crybwylla yr adroddiad, yn mhlith pethau eraill, am y gwaith a wnaed yn mhlith yr Indiaid, a'r rhagolygon am y dyfodol, a dengys yr angen mawr sydd ar y Bwrdd am $170,000 yn union.

Pregethodd Dr. J. A. Broadus, Kentucky, bregeth rymus ar yr Ysgrythyrau, a thraddododd gweinidog Indiaidd araeth wefreiddiol, yn iaith llwyth y Creeks, yr hon a gyfieithwyd i'r cyfarfod. Gwnawd areithiau grymus eraill gan wahanol bersonau ar wahanol bynciau oeddynt o flaen y cyfarfodydd. Rhoddodd y Parch. W. D. Powell, cenadwr yn Mexico, hanes dyddorol iawn am ei waith yno, a chafodd gasgliad o $5,000 ar ei law, $1,000 o'r hwn swm a roddwyd gan foneddiges oedd yn bresenol. Heblaw hyn, cafwyd tanysgrifiadau o $8,000 at Athrofa Dduwinyddol y De, a $1,000 at yr achos Cenadol Cartrefol. Y mae y Gynadledd nesaf i fod yn Baltimore, Maryland, a Dr. Lansing Burrows, o Kentucky, sydd i draddodi y bregeth Gynadleddol.

### YR ENWADAU ERAILL.

Pan feddyliom am luosogrwydd pregethwyr y Bedyddwyr, a bod cymaint o honynt heb ofal eglwysi, mae yn syndod mor lleied sydd yn ddigon diegwyddor i fyned trosodd at yr enwadau taenellyddol. Gwir fod un yn myned yn awr ac eilwaith, ond bychan yw y nifer; eto mae rhai, ac un o'r cyfryw yw y Parch. George F. Pentecost. Gadawodd hwn y Bedyddwyr, ac ymunodd â'r Cynulleidfaolwyr. Cafodd alwad i bregethu mewn eglwys yn Brooklyn, N. Y.; ac wedi ei *supplio* am ddwy flynedd, neillduwyd ef yn ddiweddar fel gweinidog rheolaidd yr eglwys hono. Ond druan o Samson mewn cadwynau. Mewn atebiad i'r Cyngor ar fedydd babanod, dywedai, "Nad oedd yn credu mewn effeithiolrwydd parhaus bedydd babanod, ond ei fod, yn eu cysegriad cyhoeddus, ac yn medydd gwirfoddol y crediniol." Yna gofynodd un o'r cenadon, os darfu iddo erioed fedyddio babanod? Ei atebiad oedd, "Nid wyf erioed wedi ei alw yn *fedydd* mewn cysylltiad a babanod—yr wyf yn ei alw yn *gysegriad*. Nid wyf wedi cysegru ond tri baban er pan wyf yma." Ar hyn, gofynodd un arall, "Pa faint o fabanod sydd yn perthyn i'ch cynulleidfa?" Atebodd yntau, "Y mae yma lawer." Yna dywedodd Hugh, ei frawd, yr hwn hefyd sydd yn weinidog, ac yn proffesu bod yn Fedyddiwr cydwybodol, "Dyma Fedyddiwr da wedi ei andwyo, i wneyd Cynulleidfaolwr amheus." Ond druan o Hugh, y mae yntau erbyn hyn wedi rhoddi eglwys Marcy Avenue, Brooklyn, N. Y., i fyny, a derbyn galwad rhyw eglwys "lydan" yn ninas New York, yr hon nad yw yn perthyn i un enwad!! Y mae rhywbeth o le ar lawer o'n gweinidogion ieuainc.

Y mae y canlynol yn rhy dda i'w adael yn ddisylw, er mai yn India y dygwyddodd. Mewn cynadledd o weinidogion yr efengyl yn Calcutta, i ystyried pwnc neillduol, cynygiwyd i'r cwrdd gael ei agor drwy weddi; ond gwrthododd yr Episcopaliaid uno â'r Ymneillduwyr mewn unrhyw ddefosiwn heblaw "Gweddi yr Arglwydd." O!'r fath Phariseaeth sydd yn y byd eto! Gweinidogion y Testament Newydd yn gwrthod gweddio gyda'u gilydd am fendith a chyfarwyddyd Duw! Nid rhyfedd fod anffyddiaeth yn ffynu; y syndod yw, fod can lleied o hono.

Ysbryd o'r fath hwn sydd yn ei gwneyd yn bosibl i Mr. Schermerhorn gychwyn ei eglwys (Dduw-gredol) yn Brooklyn, N. Y. Pan ofynwyd iddo

Digitized by Google

beth oedd ei ffydd newydd, cyfaddefodd yn rhwydd nas gwyddai, ond fod eisiau *rhywbeth* newydd—fod Cristionogaeth wedi colli ei gafael yn ymddiried y bobl—fod yr eglwysi yn weigion, ac mai ei eglwys Dduw-gredol ef yw yr hyn sydd eisiau ar y byd. Y mae y dyn hwn yn ymwrthod yn hollol hyd yn nod ag *enw* Iesu Grist. Yr Arglwydd yw y cwbl. Y mae newydd gyhoeddi llyfr hymnau newydd at wasanaeth ei grefydd newydd, a dywedir nad yw enw Crist ynddo o gwbl. Dyma un hen hymn, fel engraifft. Dyma fel yr oedd:

"I know no life divided,
O Lord of life, from thee;
In thee is life, provided
For all mankind and me;
I know no death, O Jesus,
Because I live in thee;
Thy death it is that frees us
From death eternally."

Dyma y cyfnewidiad:

"We know no life divided,
O Lord of life from thee;
In thee is life provided
For all humanity;
We know no death, O Spirit,
Because we live in thee,
And all our souls inherit
Thine immortality."

Dyna syniadau y grefydd newydd. Gwelir ei bod wedi dwyn ymaith ein Iesu ni—canolbwynt ac enaid crefydd y Beibl. Y mae eraill wedi treio eu llaw i godi crefydd newydd, o flaen y gwr hwn, ond mae pob ymdrech wedi profi yn fethiant truenus hyd yn hyn. Gwelodd un o'r cyfryw nad oedd y bobl yn hidio dim am ei grefydd newydd, a gofynodd i Talleyrand, pa beth oedd eisiau iddo wneyd er sicrhau llwyddiant i'w efengyl (?) newydd? Atebodd yntau, "Y mae eto un cynllun y gellwch ei dreio, o leiaf. Mi a'ch cyngorwn chwi i gael eich croeshoelio, a chodi y trydydd dydd." Ateb canmoladwy, onide?

"Un Iesu croeshoeliedig
Yn ddigon trwy'r holl fyd."

---

Pan fyddo aur yn llefaru, y mae pob tafod yn ddystaw.

# Arf-dy y Cristion.

---

### DRYGAU YSBRYDOL.

"Drygau ysbrydol yn y nefolion leoedd." Mae drwg yn amcanu am y lle goreu. Mae nadroedd yn dodi eu hwyau yn y domen; ond y sarph uffernol yn dodi ei heiddo yn y parlwr. Paham na hauai y gwr drwg ei efrau a'i dduon yn y cae ffacbys a'r rhyg, neu yr haidd neu y ceirch, yn lle yn nghanol y cae gwenith? Y drwg mwyaf yn y lle goreu yn wastad. Wfft byth!—*David Evans, Ffynonhenry.*

---

### GWEITHIO TRA MAE YN DDYDD.

Gweithiwch, bobl ieuainc a hen. Y mae y nos yn ymyl. "Beth mae yr hen ddyn yma yn siarad," ebe rhyw fachgen ieuanc cryf, "mae angeu yn eglur yn *ngwyneb* hwna." Ydyw, mae ef; ond gochel rhag ei fod wrth dy *gefn* dithau. Mae angeu i'w weled yn ein gwynebau ni yr hen bobl, ac y mae yn ddiamheu tu ol i'ch cefnau chwithau, ddynion ieuainc, lawer o honoch, ac fe gwympa lawer o honoch i lawr yn ddisymwth a dirybudd tu ol i'ch cefnau.—*David Evans, Ffynonhenry.*

### MEDDWDOD.

I'r enw y dwg wir anair,
Gwŷn a gwae o'r gwin a gair;
Yn unlle fyth ni all fod
Gwr i Dduw a gâr ddiod.
—*Parch. D. Davis.*

---

### O DESTAMENT WM. SALESBURY.

Ys clywsoch ddarvot dywedyt, Cery dy gymydawc, a' chasay dy elyn. Eithyr mi a ddywedaf y chwi, Cerwch eich gelynion: bendithiwch yr ei a'ch melltithiant: gwnewch dda ir sawl ach casaant, a gweddiwch dros yr ei a wnel eniwed y chwi, ac ach erlidiant, yn y vyddoch blant i'ch Tad yr hwn ys y'n y nefoedd: canys y mae ef yn peri yw haul godi ar yr ei drwc, a'r da, ac yn glawio ar y cyfiawnion a'r anghyfiawnion.

Digitized by Google

# Bwrdd y Golygydd.

## Y DIWEDDAR DDR. HUGH JONES, LLANGOLLEN.

[*O'r Greal.*]

Chwith iawn genym gysylltu y gair "diweddar" a'r cymeriad anwyl uchod; ond felly y rhaid gwneyd, a chofnodi ei symudiad drwy angeu, yr hyn a gymerodd le ar ol wythnos o gystudd caled, ganol dydd Llun, Mai 28, pan oedd o fewn dau fis i gyrhaedd ei 52 mlwydd oed. Yr oedd ei iechyd wedi anmharu er's amryw flynyddau bellach, ac yr oedd y poenau y dyoddefai oddiwrthynt ar brydiau, a'r cyfyngiad fyddai arno bob gauaf, yn rhyw sibrwd wrth ein hofnau nad oedd ei amser i fod yn faith; ond mynai gobaith ddweyd fel arall, gan y llafur yr elai trwyddo, y nerth a ddangosai wrth bregethu, a'i ddefnyddioldeb i'r enwad ac i'w genedl. Teimlo yn lled wael yr oedd ar hyd y gauaf a'r gwanwyn diweddaf; ond galluogwyd ef i bresenoli ei hun mewn pwyllgor pwysig perthynol i'r Coleg bwriadedig ar gyfer Gogledd Cymru, yn Nghaer, dydd Sadwrn, Mai 19. Cafodd darawiad newydd y diwrnod hwnw, fel mai gydag anhawsder y cyrhaeddodd adref. Cafodd bob cymorth a allasai ei deulu caredig a meddygon medrus wneyd, ond y cwbl yn ofer. Hunodd yn yr Iesu y dydd a nodwyd, er galar cyffredinol i'r Dywysogaeth. Teimlir yn ddwys dros ei weddw a'i blant. Bydded Barnwr y gweddwon a Thad yr amddifaid yn taenu ei gysgod tyner drostynt.

Diau y bydd cofiant yn cael ei gyhoeddi i'n hanwyl frawd mewn amser pwrpasol, ond rhoddir yma grynodeb byr o brif helyntion ei fywyd. Brodor ydoedd o Fon. Pan yn blentyn byddai yn mynychu capel y Methodistiaid Calfinaidd, ond wedi dyfod yn llanc, argyhoeddwyd ef o ysgrythyroldeb bedydd y crediniol. Ymunodd ag eglwys y Bedyddwyr yn Llanfachreth, yn amser gweinidogaeth yr enwog R. D. Roberts, (yn awr o Lwynhendy). Yma y dechreuodd bregethu, ac oddiyma yr aeth i Athrofa Hwlffordd, lle bu am bedair blynedd. Ordeiniwyd ef yn weinidog ar eglwys Llandudno yn 1857. O herwydd cyngor meddygol, symudodd i Langollen, Hydref, 1859, yn gydweinidog â Dr. Prichard. Rhoddodd ei ofal gweinidogaethol i fyny yn 1866.

Ymgymerodd â'r swydd o Athraw Clasurol i'r Coleg ar ei sefydliad cyntaf yn Awst, 1862. Parhaodd felly hyd 1866, pan ar ymddiswyddiad Dr. Prichard y dewiswyd ef yn Llywydd ac yn Athraw Duwinyddol. Bu felly ei hunan hyd y flwyddyn 1870, pryd y dewiswyd Proff. G. Davies yn Athraw Clasurol. Parhaodd ef mewn cysylltiad â'r Athrofa fel hyn am yn agos i 21 mlynedd, a hyny er anrhydedd mawr iddo ei hun, er budd neillduol i'r myfyrwyr a'r eglwysi, ac er gogoniant i achos y Gwaredwr. Yr oedd yn gallu cyfuno tynerwch ac awdurdod yn nodedig. Llafuriodd yn ddiwyd gyda'r wasg hefyd. Bu yn olygydd y *Greal* am flynyddau. Cyhoeddodd lyfrau pwysig ar "Y Beibl a'i Ddehongliad," "Y Weithred o Fedyddio," ac amryw gyfrolau llai. Mae ei symudiad yn dywyll iawn i ni, mor gynar yn mhrydnawnddydd ei fywyd; ond gweithiodd yn galed, ac wele ef yn cael gorphwyso yn yr hwyr. H. C. W.

Cymerodd ei angladd le am 4½ prydnawn dydd Mercher, Mai 30. Wedi i'r Parch. W. Edwards, Cefn Mawr, ddarllen rhan o air Duw, gwedd-

Digitized by Google

iodd y Parchn. C. Davies, Lerpwl, yn Gymraeg, a Foot, Rhyl, yn Saesonaeg; yna gorymdeithiwyd i Fynwent y Fron, Llangollen, yn y drefn ganlynol:—Y gweinidogion, y diaconiaid, cyfeillion, corph yr ymadawedig, yn cael ei gario gan y myfyrwyr, yna y perthynasau, yn cael eu dilyn gan y dorf yn gyffredinol. Wedi cyrhaedd glan y bedd, hysbysodd y Parch. H. C. Williams, Corwen, fod amryw bersonau wedi anfon i fynegu eu gofid o herwydd nad allent roddi eu presenoldeb yn yr angladd—yn eu plith yr oedd y Gwir Anrhydeddus Osborne Morgan, A. S., Dr. Price, Aberdar; Dr. Davies, Hwlffordd; Prof. Lewis, Bala; Prof. Rowlands, Aberhonddu, &c., &c. Ar ol i Dr. Rowlands, Llanelli, a Prof. Jones, (A.), Bala, ddweyd ychydig eiriau yn Gymraeg, a Dr. Roberts, Pontypridd, yn Saesonaeg, offrymodd y Parch. J. Robinson, Llansilin, weddi; yna canwyd, "Bydd myrdd o ryfeddodau," &c., pryd yr ymwasgarodd y dyrfa luosog hyd gyfarfod y nos. Yn mhlith y gweinidogion a'r diaconiaid gwelsom—[yna enwa y *Greal* tua 80 o weinidogion, a rhestr hir o ddiaconiaid.]

Cynaliwyd cyfarfod yn nghapel Castle Street, am 7.30 yn yr hwyr. Canwyd, "Mae 'nghyfeillion wedi myned" &c., yna darllenodd a gweddiodd y Parch. R. Richards, Pembroke Chapel, Lerpwl. Y Cadeirydd ydoedd Prof. Davies, yr hwn a agorodd y cwrdd gydag ychydig eiriau llawn teimlad, gan ein cymell i ymddiried yn Nuw, er nas gallwn ddeall ei drefniadau. Ar ol darllen llythyr o gydymdeimlad cynadledd Cymanfa Mynwy â'r teulu trallodus, &c., galwodd ar y personau canlynol i anerch y cyfarfod: Parchn. O. Waldo James, Aberafon; O. Davies, Caernarfon; H. C. Williams, Corwen; A. J. Parry, Abertawy; R. F. Griffiths, Nottingham; R. Richards, Lerpwl; J. Jones, Felinfoel; J. A. Morris, Aberystwyth; Dr. Morgan (*Lleurwg*), Llanelli; Wm. Hughes, Glanymor, Llanelli. Ar ol rhai hysbysiadau gan y Cadeirydd, terfynwyd gan y Parch. David Williams, Llangollen.

*Athrofa Llangollen.* ANELYF.

## GOHEBIAETH O GYMRU.

Gwelais yn *Seren Cymru* fod y pregethwr poblogaidd, melus, a dylanwadol, y Parch. J. R. Jones, Llwynypia, ar dalu ymweliad ag America. Os felly, diau y bydd yn dda gan luoedd gael y cyfleusdra i'w glywed. Nid yw croesi y Werydd yn llawer o beth yn awr, ac felly y mae eich ymwelwyr yn lluosogi. Mae y Parch. J. Williams, Colwyn, wedi gadael cartref er's diwrnod neu ddau, er mwyn talu ymweliad a'i berthynasau a'i gyfeillion yn y Talaethau Unedig. Mae Dr. Williams, New York, yn berthynas iddo ef, ac y mae brawd iddo yn weinidog mewn safle uchel gyda'r Saeson yna. Bwriada Mr. Williams aros yna am ryw dri mis neu bedwar, ac y mae ei eglwysi parchus yn Llanelian a Cholwyn wedi caniatau *leave of absence* iddo am y tymor angenrheidiol. Hyderwn y caiff dderbyniad croesawgar yn mhlith y Cymry y gall ymweled â hwy, er mwyn ei waith. Mae yn bregethwr bywiog a thanllyd iawn. Mae ei fuchedd yn wastad wedi bod yn ddilychwin, a'i galon yn gynes at efengyl Crist. Gwyr golygydd y WAWR yn dda am dano. Bydded amddiffyn y Nef drosto, a dychweled yn iach i hen Walia cyn y byddo udgorn y gauaf wedi galw ei dymestloedd allan.

Yn ol yr ystadegau a gyhoeddir gan Dr. T. Rees, Abertawe, yn ei argraffiad newydd o "Hanes Anghydffurfiaeth yn Nghymru," gwelir mai y Bedyddwyr a gynyddasant fwyaf o'r holl enwadau yn ystod yr ugain mlynedd diweddaf. Fel hyn y rhydd ef y cyfrif yn 1861 ac yn 1882:

| *Aelodau yn* | 1861. | 1882. |
|---|---|---|
| Annibynwyr . . | 97,647 | 118,377 |
| Methodistiaid . | 90,560 | 119,355 |
| Bedyddwyr . . | 50,903 | 81,372 |
| Wesleyaid . . . | 24,395 | 32,146 |

Felly, y mae y cynydd yn sefyll fel hyn:

| | |
|---|---|
| Bedyddwyr . . . . . . | 48.21 y cant. |
| Methodistiaid . . . . . | 31.79 y cant. |
| Wesleyaid . . . . . . | 31.77 y cant. |
| Annibynwyr . . . . . | 23.55 y cant. |

Digitized by Google

Mae hyn yn galonogol iawn i ni fel enwad. Nid oes un amheuaeth nad oes genym gyfleustra ardderchog yn bresenol, os cawn y fraint o wneyd y defnydd priodol o hono. Cydnabyddir yn dra chyffredinol mai ni sydd yn iawn ar ddull a deiliaid bedydd. Ceir yr offeiriaid beunydd yn trochi mewn afonydd a bedydd-fanau, a rhoddwyd hanes yn ddiweddar am weinidog Wesleyaidd yn sir Aberteifi, a'r Parch. J. Elias Hughes, M. A., gweinidog Methodistaidd yn Rhyl, yn bedyddio trwy drochiad.

Teimlir yn llawen fod gan Gymry America gymaint o sel dros *Seren Gomer*. Byddai yn dda genyf dderbyn archebion lawer eto. Yr eiddoch yn serchus, H. CERNYW WILLIAMS.

## MAN-LEWYRCHIADAU.

—Dwfn alarus oeddym ar dderbyniad y newydd am farwolaeth yr anwyl Dr. Hugh Jones, Llangollen. Mawr fydd y golled ar ei ol ef; gadawodd deulu lluosog, cyfeillion luoedd, ac y mae yr Enwad yn galaru. Colled *fawr* oedd hon i'r *genedl*. Bwriadwn gyhoeddi mewn rhifynau dyfedol ysgrifau ar deithi ei gymeriad.

—Mae y Parch. John Edred Jones wedi derbyn galwad unfrydol oddiwrth y frawdoliaeth yn Pittston, Pa.

—Ar y 19eg o Mehefin yr ydoedd y Parchn. John W. Williams, D. D., Hyde Park, Pa., Dr. Fred. Evans, (Ednyfed), a John T. Griffiths, yn cychwyn tua Chymru, o New York, yn yr *Alaska*. Yr oedd Dr. Williams yn myned yn benaf er mwyn adferiad iechyd. Bwriadant ddychwelyd tua dechreu Medi.

—Mae yn hysbys yn bur gyffredinol bellach i'n cydgenedl yn y wlad hon, fod pwyllgor wedi ei ddewis i wneyd apeliad at yr eglwysi Cymreig o bob enwad, ar ran teulu y diweddar Barch. Mr. Joseph (Y Myfyr), Utica. Mae yr amddifaid yn wir deilwng o gydymdeimlad.

—Er mwyn cael lle i hanes y Cymanfaoedd, &c., gorfodwyd ni i adael allan o'r rhifyn hwn, lawer o bethau ag y carasem eu cael i mewn. Mae genym lawer o farddoniaeth, cofiantau, &c., ar law at wasanaeth dyfodol.

# Barddoniaeth.

## CWYN Y WEDDW,

Sef gweddw y diweddar Barch. THOMAS HOLLAND, Dodgeville, Wis.

CYFLWYNEDIG I MRS. MARY HOLLAND.

Ha! fy chwaer, ti gefaist golled,
  Colled nad adferir mwy,
Colli priod mwyn, gofalus,
  Dyma rodd i'th galon glwy':
Colli tad oedd lawn tynerwch,
  Gwir ofalus, llawn o hedd;
Cyfnod tywyll yn dy hanes
  Oedd rhoi Holland yn y bedd.

Mae rhyw droion dyrys tywyll
  Yn Rhagluniaeth fawr ein Duw,
Ei hamgyffred 'nawr nis gallwn,
  Na'i hesbonio yn ein byw;
Ond cyn hir fe geir goleuni,
  Goleu tanbaid gwlad yr hedd,
Dyna'r adeg ceir esboniad
  Ar roi Holland yn y bedd.

Yn nghwynfaniad lleddf dy ysbryd,
  Clywaf ochain eglwys Dduw,
Yn ei galar trist hiraethlawn
  Am y gwas gofalus gwiw;
A gofyna'r hen a'r ieuainc
  Pa le mae hoff genad hedd?
Adsain leddf o fro dystawrwydd
  Dd'wed, mae Holland yn y bedd.

Colled fawr i'r teulu ydoedd
  Colli un mor llawn o swyn,
Dyna'r achos fod ei weddw
  Yn y WAWR* yn traethu ei chwyn
Collodd eglwys Dodgeville hefyd
  Efengylydd llawn o hedd;
Cwyna holl eglwysi'r Dalaeth,
  Am roi Holland yn y bedd.

Nid rhyw filwr bach cyffredin,
  Ond cadfridog ydoedd ef—
Brawd o allu a gwreiddioldeb,
  Traethai'n nerthol eiriau'r nef;
Ei athrylith synai'r dyrfa,
  Pan yn dweyd am gymod hedd;
Ond diffoddwyd lamp hyawdledd
  Pan ro'w'd Holland yn y bedd.

* Sef rhifyn Mawrth, 1883.

Digitized by Google

Carwn sibrwd gair o gysur
I'r alarus weddw fwyn,
Duw y nefoedd sy'n teyrnasu,
Y mae ef yn gwrando 'th gwyn;
Barnwr gweddwon, Tad amddifaid,
Rhoddwr hael cysuron hedd,
Dyma'r un a'th amddiffyna,
Er fod Holland yn y bedd.

Cawn gyfarfod oll yn fuan
Ar esgynlawr Gwynfa lân,
Holland, Trebor fwyn, arabus,
A Threbores, chwydda'r gân;
Mynwn adnabyddiaeth sicr,
Mynwn feddu profiad hedd,
Duw yn Nghrist yn briod enaid,
Cyn ein myn'd i'r dystaw fedd.

*Dawn, Mo.* R. M. RICHARDSON.

## "Y WAWR."

Y WAWR deg egyr y dydd—yn gynar
Blygeinodd i'r gwledydd;
Ei gwawl serth yn goleu sydd,
Yn delaid dros ein dolydd.

Ei llen rydd yn llawn o ras—a gwasgar
Mewn gwisgoedd cyfaddas;
Ddaw a'i harddwch a'i hurddas,
I fyd o'i blaen fwyd a blas.

*Cleveland, O.* J. TREFRYN ROBERTS.

# Y Maes Cenadol.

GAN Y PARCH. W. F. DAVIES, NANTICOKE, PA.

## YR HYN A GYFLAWNIR GAN ERAILL.

*Y Bwrdd Americanaidd.*—O'r 71 o eglwysi sydd gan y bwrdd uchod yn India a Ceylon, yr oedd 50 o honynt na dderbyniasant yr un cent o gynorthwy yn ystod y flwyddyn ddiweddaf. Dengys hyn mai nid yn grefyddol mae y bobl am fod eraill yn talu iddynt am fod. Gwelwn fod ymdrechion cenadon y bwrdd hwn yn Austria yn dra chanmoladwy, ac yn cael eu dilyn a gradd mawr o lwyddiant. Mae hwn yn faes anhawdd, eto llwyddir i gael gafael cadarnàch yn y bobl, er y rhwystrau i gyd. Mae y dynion da hyn wedi bod am amser maith yn llafurio yn Armenia, eto mae llawer o'r trigolion hyd yn hyn heb eu cyrhaedd. Mae yn ffaith ofidus fod deg o bentrefydd heb eu cyffwrdd â dylanwad efengyl am bob un y sydd. Derbynir newyddion calonogol iawn oddiwrth genadon y bwrdd yn Nghanolbarth Affrica.

*Presbyteriaid.*—Derbyniwyd 67 o aelodau i ddwy o eglwysi yr enwad uchod yn Neheubarth Affrica yn ystod y flwyddyn ddiweddaf.

Ychwanegwyd 8 hefyd at yr eglwys yn Pekin, China; a 17 at eglwys Canton, yn yr un wlad. Mae ganddynt 7,100 o aelodau yn perthyn i'w cenadaeth yn Mexico. Dychwelwyd 546 o'r nifer uchod y flwyddyn ddiweddaf. Cyfranodd yr aelodau brodorol yn yr Aipht $17.00 yr aelod at bethau crefyddol yn ystod y flwyddyn. Byddai yn werth i'n haelodau ni edrych ar y swm uchod, a'i gydmaru â'r eiddynt eu hunain. Dyblodd yr enwad dan sylw rif ei eglwysi yn yr India yn 1883.

*Methodistiaid Esgobawl.*—Dilynodd llwyddiant mawr weithrediad y bwrdd hwn y misoedd sydd wedi myned heibio. Mae ei holl orsafoedd cenadol, medd yr adroddiadau, mewn sefyllfaoedd dymunol, ac yn cael achos i fod yn dra llawen a gobeithiol. Yr oedd ganddynt yn 1882 yn Liberia 1,395 o aelodau; America Ddeheuol, 224; Germany, 9,760; Norway, 2,898; Sweden, 6,924; Denmark, 678; China, 1895; India, 3,138; Bulgaria, 15; Italy, 708; Japan, 515; Mexico, 474. Ar yr holl feusydd mae ganddynt 222 o genadon, 752 o bregethwyr brodorol, a 26,924 o aelodau, o'r hyn mae dros 20,000 o honynt yn Ewrop. Mae yr orsaf genadol sydd ganddynt yn Florence yn gwneyd gwaith da, ac yn cario dylanwad mawr ar Italy. Mae ganddynt gapel yn dal 2,000 yn Upsala, un o brif drefydd Sweden.

*Bedyddwyr Seisonig.*—Mae galw taer am genadon at ein brodyr y Saeson o China. Gobeithio y byddwn wedi clywed yn fuan eu bod wedi eu cael. Bedyddiwyd 18 yn ddiweddar yn agos i Delhi, lle mae yr enwog T. Evans, y cenadwr Cymreig, yn llafurio er's cymaint o flynyddau. Agorwyd capel newydd i'r Bedyddwyr yn Rhufain. Mae y gwaith da ar lanau y Congo yn parhau yn llewyrchus o hyd. Bu farw,

Digitized by Google

Chwefror diweddaf, y Parch. Albert Williams, yn Caerfyrddin, D. C. Yr oedd wedi bod yn India 15 mlynedd, ac am lawer o honynt yn Llywydd ar Goleg y Bedyddwyr yn Serampore.

*Cymdeithas Genadol Llundain.*—Y mae y Gymdeithas hon newydd ddanfon allan agerfad, er cario yn ol a blaen genadon ar Lyn Tanganyika, Canolbarth Affrica. Ei enw yw "Newydd Da." Dygir ef yno dros Lyn Nyassa.

*Bedyddwyr Canada.*—Mae y bwrdd hwn newydd gyhoeddi pamphledyn bychan, yr hwn a gynwysa amcan-gyfrif o'r arian a fwriada wario mewn gwahanol orsafoedd y flwyddyn hon. Cyrhaedda yr oll y swm o $11,580. Bedyddiwyd y llynedd yn eglwys Coconada 40, yr hyn a chwyddodd rif yr eglwys hono i 162. Yn Tuni bedyddiwyd 15, yn gwneyd yr eglwys hono yn 27. Yn Akidu a'r cylchoedd, bedyddiwyd 238, yr hyn a wna rif aelodau y maes hwnw yn 725. Mae bad newydd ei adeiladu ganddynt yn Akidu at wasanaeth y cenadon, yr hwn a gostiodd $750; gelwir ef "T. S. Shinston," er anrhydedd i Lywydd y bwrdd. Mae ymdrech y brodyr yn Canada yn ganmoladwy iawn yn mhlith y Telugus. Bedyddiodd eu cenadon yno yn ystod 1882 dri chant a deuddeg.

Ni garem fyned ar ol Cymdeithasau eraill, ond rhaid ymatal, oblegid nid da gormod o ddim. Ysgrifau byrion yw nôd y WAWR yn awr, a rhaid i ninau ufuddhau.

---

# Gwladyddiaeth y Mis.

GAN Y PARCH. J. EDRED JONES.

Nid rhyw lawer o newyddion gwladyddol cyffredinol o werth treulio amser i'w cofnodi sydd wedi dygwydd yn ystod y mis blaenorol. Y mae ein Cynrychiolwyr a'n Seneddwyr yn treulio eu gwyliau i ymbleseru mewn difyrwch diniwed—wrth gwrs. Cawd engraifft neillduol o hyn yn ngwaith y Cynrychiolwr Phil. Thompson, o Kentucky, yn lladd un Walter Davis, o'r un Dalaeth, yn ddiweddar, am ei fod yn meddwl fod yr olaf yn rhy gyfeillgar a'i wraig. Cafodd Thompson ei amddiffyn ar ei brawf gan rai o'i gyd-Gynrychiolwyr mwyaf galluog fel cyfreithwyr, a rhyddhawyd ef gyda banllefau o gymeradwyaeth. Wel, mae yn ofynol i'n Deddf-wneuthurwyr gael rhyw ychydig o ddifyrwch weithiau, ar ol eu llafur caled (?) yn Washington.

Mae yr Arlywydd wedi siomi y *politicians* yn ddirfawr, trwy ddewis Walter Evans, Kentucky, yn Commissioner of Internal Revenue, yn lle Mr. Raum. Nid oedd yr un amheuaeth yn meddyliau y Stalwartiaid nad un o'u plaid hwy a ddewisid i lanw y swydd bwysig hon, a mawr oedd eu trallod pan ddeallasant fod Mr. Arthur wedi penodi Mr. Evans. Amser yn unig a brawf ddoethineb neu annoethineb dewisiad yr Arlywydd. Yn gysylltiedig a hyn, y mae yn llawenydd i ddeall fod yn mwriad y llywodraeth gyfanu y gwaith o gasglu y cyllid mewnol. Er fod hyn yn orchwyl sydd yn gofyn *nerve* a phenderfyniad yn yr Arlywydd, am y bydd llawer o swyddogion yn colli bywioliaeth fras, eto mae yn rhaid gwneyd hyn, oblegid y mae llawer mwy o swyddogion nag sydd yn ofynol i gario allan y ddeddf a basiwyd yn yr eisteddiad diweddaf. Y mae ein beichiau trethol yn llawer rhy drymion i ateb gofynion yr amserau. Dilewyd y ddyled genedlaethol tua $5,000,000 yn mis Mai diweddaf. Cyfanswm y lleihad yn yr un mis ar ddeg yn diweddu yn Mai, ydoedd $120,000,000!! Os parheir i dalu fel hyn, bydd y ddyled sydd yn aros yn awr—$1,349,000,000—wedi ei dileu yn hollol yn y deng mlynedd nesaf. Y mae hyn yn anghyfiawnder—ni ddylai treth-dalwyr yr oes bresenol gael eu dirwasgu a'u llethu er gwneyd yr oes nesaf yn ddifaich. Nid yw hyn yn drefniad doeth ac iachus mewn ystyr wladyddol. Yr unig ffordd i arafu taliad y ddyled, yw lleihau y trethi trymion presenol. Mae lles y wlad uwchlaw llesiant y swydddalwyr.

Mae y parotoadau angenrheidiol at etholiadau yr hydref nesaf yn dechreu cael eu gwneyd.

Digitized by Google

Mae Gwerinwyr Ohio wedi cynal eu State Convention yn barod, a chafodd y Barnwr Foraker ei benodi fel ymgeisydd am Lywyddiaeth y Dalaeth. Dywedir ei fod yn ddyn o gymeriad glân. Ymunodd â'r fyddin pan yn 16 oed, a chododd i fod yn gadben. Ar derfyniad y rhyfel aeth i'r coleg, a graddiodd o Brif-Ysgol Cornell yn 1869. Cafodd ei ethol yn Farnwr Llys Uchaf Ohio yn 1872, ac ymddiswyddodd o herwydd afiechyd yn 1882. Mae yn ddyn poblogaidd gan bob dosbarth.

Mae Deddfwrfa Pennsylvania wedi gohirio yn ddiweddar, ond galwyd hi yn nghyd ar unwaith drachefn gan y Llywydd. Wedi ail gyfarfod, gohiriodd drachefn am ddeuddeg diwrnod, a chyst y gohiriad hwn i'r Dalaeth $30,120! Fel hyn y mae y diwygiad Democrataidd yn teithio yn mlaen.

Gwnawd crybwylliad byr mewn rhifyn blaenorol am ddylanwad cynyddol yr achos dirwestol ar wladyddiaeth y dydd trwy y rhan fwyaf o'r Talaethau. Y mae hyn yn arwydd dda a llesol gyda golwg ar y dyfodol. Y mae pob dyn sydd yn bleidiol i rinwedd, i foesoldeb, a llwyddiant tymorol ac ysbrydol y genedl Americanaidd, yn rhwym o ddymuno Duw yn rhwydd iddo; eto, carai pob dinesydd gonest a theg weled y Gwaharddwyr yn ymddwyn yr un fath at y Gwerinwyr a'r Democratiaid yn eu hymgais i gyrhaedd eu pwynt. Mae yn ymddangos i'r ysgrifenydd nad ydynt wedi arfer gwneyd hyny yn ddiweddar. Yn y Talaethau lle y mae y Democratiaid yn gryfion, y maent yn ceisio y fraint o duebu dros y Gwelliant Gwaharddiadol, ac ânt at y gwaith o ddewis ymgeiswyr sydd yn bleidiol i'r bobl gael cyfle i duebu felly. Ond mewn Talaethau Gwerinol cryfion, y mae eu hymddygiad yn myned yn mhell i brofi mai yr amcan penaf ydyw cosbi y blaid hon, lle nad yw yn hollol foddlon i gario allan eu golygiadau eithafol hwy. Y mae hyn yn ffol; oblegid y mae llwyddiant yr achos da hwn yn ymddibynu ar y Gwerinwyr. Y mae y Democratiaid mewn hollol ddealltwriaeth â gwyr y *whisky*. Dyma yr achos penaf o'u llwyddiant yn yr etholiad cyffredinol diweddaf, heb son am yr etholiadau Talaethol.

Mae dirwest yn llwyddianus ryfeddol hefyd yn Nghymru a Lloegr. Mae Cymru wedi cael Deddf Waharddiadol y Sabboth yn barod, a gwelir yr un ddeddf mewn grym yn Lloegr yn fuan. Mae y deyrnas yn dyfod yn fwy cymedrol. Mae y cyllid oddiwrth y gwirodydd yn LLAI o *bum' miliwn ar hugain* nag ydoedd saith mlynedd yn ol! Y mae hyn yn profi fod yr yfed yn annhraethol lai nag ydoedd; ac nid yw hyn i'w briodoli i dlodi, oblegid fod defnyddiad te yn gyfatebol fwy yn ystod yr un amser. Yr Anghydffurfwyr a arferent fod ar y blaen o blaid dirwest, ond erbyn hyn y mae yr Eglwys Sefydledig yn dra gweithgar gyda'r pwnc. Ychydig wythnosau yn ol, cynaliodd Cymdeithas Ddirwestol Eglwys Loegr ei chyfarfod blynyddol, ac yr oedd nifer ei haelodau bryd hyny yn 468,674. Mae yr achos yn cynyddu mor gyflym fel y teimlai Archesgob Canterbury yr angenrheidrwydd i ffrwyno penboethni, trwy rybuddio y gymdeithas rhag i lwyddiant redeg i ffanaticiaeth. Mae yr achos yn llwyddo yn rhyfeddol hefyd tu allan i'r eglwysi. Y mae wedi cymeryd gafael yn y cylch aristocrataidd. Cynaliwyd cwrdd dirwestol yn mhalas Duke Sutherland, tua phythefnos yn ol, a boneddiges y Duke oedd y gyntaf i wisgo y ruban glas. Y mae Parliament Lloegr newydd basio Deddf y *Local Option*, gyda mwyafrif o 87. Dyna gam pwysig i Loegr. Ond ymddengys fod yr amser yn agosau pryd y bydd dirwest, nid yn unig yn gyffroad poblogaidd, a hobi Radicalaidd, ond yn gwestiwn y llywodraeth, yn cael ei ddatgan yn araeth y Frenines, a'i ddadleu yn wresog ar y llawr fel pwnc plaid. Y mae y teimlad cyhoeddus y tu cefn iddo, ac y mae wedi dyfod yn gwestiwn bywiol yn ngwladyddiaeth Lloegr.

Y mae Denmark hefyd yn dechreu gweithio yn egniol ac ymarferol yn yr un cyfeiriad. Cynygir y rheolau canlynol i reoleiddio y fasnach yn Copenhagen: 1. Lleihau nifer y tafarndai o

Digitized by Google

1,350 i 1,300. 2. Na chaniateir i ferched fod tu ol i'r *bars*. 3. Na chaniateir gwerthu gwirodydd i un o'r ddau ryw a fyddo dan 18 oed. 4. Na werthir gwirodydd i neb a fyddo dan ei effeithiau yn barod. 5. Fod pob person meddw i gael ei gymeryd adref mewn cerbyd cauedig, ar draul y tafarnwr yn nhy yr hwn y bu yn yfed ddiweddaf. Dyma gynyg ymarferol—yn yr iawn gyfeiriad—ac yn debyg o brofi yn effeithiol.

Y mae yn llawn bryd i ddefnyddio mesurau llymion, pwrpasol, os ydys yn bwriadu darostwng y drwg cynyddol hwn.

Mae gwladyddiaeth Lloegr yn gymylog, ac Ewrop yn derfysglyd a bygythiol. Er cymaint ydyw ymdrechion canmoladwy y Prif Weinidog Gladstone i lesoli y deyrnas; eto, y mae wedi, ac yn parhau i gwrdd a'r gwrthwynebiadau mwyaf *mean*, amheus, ond penderfynol, oddiwrth y Toriaid a'u cyngreirwyr Gwyddelig, ond dywed y myn basio ei fesurau, pe y byddai yr eisteddiad yn parhau heb ohirio hyd y gauaf nesaf. Ar y Cyfandir, y mae yr un ysbryd anesmwyth i'w weled o hyd. Mae y llywodraethau yn ofnus o'r naill y llall, ac yn gwylio eu gilydd gyda llygad eiddigeddus, tra y mae y werin yn parhau i gynllunio mesurau Socialistaidd, er dymchwelyd cymdeithas.

Mae yn syndod, gyda llaw, y fath ddrychfeddwl sydd gan y Socialiaid am ryddid. Mae y terfysgwyr Ffrengig wedi traethu eu barn, yn ffurfiol, am dano fel hyn: "Yr ydym am ryddid; ond yn credu ei fod yn anghydweddol â bodolaeth *unrhyw* lywodraeth, pa un bynag ai Monarchiaeth etifeddiaethol, neu etholiadol fyddo; pa un bynag ai Gwerinol, yn sylfaenedig ar bleidlais gyffredinol; neu lywodraethol, yn sylfaenedig ar hawliau dwyfol breninoedd. Mae hanesyddiaeth yn dyweyd fod pob llywodraeth tua'r un fath, ac nad yw y naill yn well na'r llall. Y goreu yw y gwaethaf. Hanfod y drwg yw pob awdurdod llywodraethol—gwna wir ryddid yn anmhosibl," &c. Dyma yr ysbryd y mae gorthrwm annyoddefol yr Hen Fyd yn gynyrchu yn y deiliaid, a charia rhai o honynt ef drosodd i'r wlad hon—i ddeor arno.

---

## HANESION CARTREFOL.

---

### Cwrdd Chwarterol

*Cymanfa Bedyddwyr Dwyreinbarth Pa., a'i Gynaliwyd gyda'r Eglwys yn Pittston, Mehefin 13, 14, 1883.*

---

*Gweithrediadau y Gynadledd.*

Dydd Gwener, am 10 o'r gloch, agorwyd y cyfarfod drwy ddarllen a gweddi gan y brawd D. S. Thomas, Shenandoah. Darllenwyd a derbyniwyd penderfyniadau y cyfarfod blaenorol yn Kingston.

Neillduwyd y brodyr W. F. Davies, J. P. Harris, a W. D. Thomas, yn bwyllgor i ddarparu Rheolau a therfynau trafodaeth y Cwrdd Chwarter—yr adroddiad i'w ddarllen yn y Gymanfa nesaf.

Pen. Fod y brawd T. Reeves, Providence, yn cael ei gydnabod fel aelod o'r Gymanfa, ar sail ei lythyr o Gymanfa Mynwy.

Pen. Ein bod yn croesawu y brawd John Arthur Jones, Bangor, G. C., ac efrydydd cymeradwy yn Regent's Park College, Llundain, i sylw yr eglwysi fel brawd ieuanc teilwng ac addawol, yn ystod ei ymweliad a'r wlad hon. Derbyniwyd ef fel brawd yn yr Arglwydd.

Pen. Ein bod, yn unol â Rheol 11 yn Nghyfansoddiad ein Cymanfa, ac wedi arbrawf a chymeradwyaeth y tri gweinidog agosaf, yn cydnabod y brawd Thomas G. Jones, Taylorville, yn bregethwr cynorthwyol i'r eglwys hono ac yn caniatau rhyddid iddo i bregethu yr efengyl drwy gylch y Gymanfa hon, lle bynag y bydd galwad am ei wasanaeth. Yr arbrofwyr yn y cysylltiad hwn ydynt y brodyr J. W. Williams, D. D., Hyde Park, Thomas Reeves, Providence, a W. D. Thomas, Parsons.

Pen. Fod y brawd Jones i bregethu

Digitized by Google

am 3 o'r gloch, er galluogi yr arbrofwyr i wneyd adroddiad cyflawn.

Pen. Ein bod yn cymeradwyo i sylw yr eglwysi *blank*-lythyrau gollyngdod aelodau eglwysig, ar werth gan y brawd John W. Powell, Plymouth, Luzerne Co., Pa.

Yn gymaint a bod eglwys Hyde Pard (lle y penderfynwyd cynal y Gymanfa nesaf,) yn helaethu eu haddoldy, gan ei gwneyd yn anghyfleus i gynal y Gymanfa y flwyddyn hon,

Pen. Fod y Gymanfa nesaf i gael ei chynal gyda'r eglwys yn Shenandoah, yr amser i'w hysbysu eto.

Pen. Fod y Cwrdd Chwarter nesaf i fod yn Audenried.

*Datgan Cydymdeimlad.*

Fod y cyfarfod hwn yn datgan teimlad dwys yn symudiad y Parch. James R. Price, Kingston, ein hanwyl frawd a'n cydlafurwr, o'n plith. Yn dymuno nawdd y nef ar y weddw a'r amddifaid yn nydd eu cyfyngder, ac yn cydymdeimlo a'r eglwys yn ei cholled o frawd mor ddefnyddiol a ffyddlawn yn eu plith.

Hefyd, wedi clywed y newydd galarus am farwolaeth yr ysgolhaig addfed, y pregethwr hyawdl a'r athraw llwyddianus, y Parch. Hugh Jones, D. D., Llywydd Athrofa Llangollen, Ein bod yn cofnodi ein cydymdeimlad dyfnaf â'i briod, a'i deulu lluosog, yn eu galar, yn nghyda'n teimlad o'r golled fawr y mae Aghydffurfiaeth yn Nghymru, ac Enwad y Bedyddwyr Cymreig drwy y byd wedi gael yn ei farwolaeth.

J. W. Williams, Theoph. Jones, Pwyllgor.

Pen. Ein bod yn cydymdeimlo a'r brawd J. W. Williams, D. D., Hyde Park, yn ei gystudd diweddar, a'n gweddi yw ar i Reolwr y gwynt a'r môr fod yn dyner wrtho tra yn ymorol am iechyd yn ngwlad ein genedigaeth. Adferiad cyflawn, a dychweliad buan oedd amlygiad dieithriad y gwyddfodolion drwy yr arwydd o sefyll ar eu traed. Gollyngwyd gan Theophilus Jones. J. P. HARRIS, *Ysg.*

*Y Genadaeth Artrefol Gymreig.*

Pen. Fod y maes yn Mount Carmel, Shamokin, a Centralia, i fod yn gylch llafur cenadwr, ac fod $15 y mis i'w cyfranu i'r drysorfa er cynorthwyo ei gynal—y brodyr D. S. Thomas a Theophilus Jones yn bwyllgor i chwilio am frawd cyfaddas i lafurio yn y maes, ac i ddwyn eu hadroddiad i'r Gymanfa nesaf.

Pen. Ein bod yn cyflwyno y cylch o Olyphant hyd Carbondale i sylw y brawd D. I. Evans, Olyphant.

Pen. Fod dau frawd yn y weinidogaeth i ymweled a'r eglwys yn Danville, er gweinyddu yr ordinhadau.

Pen. Fod y brawd W. D. Thomas, Parsons, i dderbyn cyfraniadau yr eglwysi, a'u trosglwyddo i'r brawd B. Hughes, Trysorydd y gymdeithas.

J. W. WILLIAMS, *Ysg.*

*Y Moddion Cyhoeddus.*

Am 7 o'r gloch, nos Fercher, dechreuwyd trwy ddarllen a gweddio gan y brawd J. Arthur Jones, diweddar o Bangor, G. C., a phregethodd y brodyr W. F. Davies, Nanticoke, a Thomas Reeves, Providence.

Dranoeth, am dri o'r gloch, agorwyd y cyfarfod gan y brawd W. D. Thomas, Parsons, a phregethodd y brodyr T. D. Evans, Audenried, a T. G. Jones, Taylorville.

Am 6½, gweddiodd y brawd B. Nicholas, Hazleton, a phregethodd y brodyr J. P. Harris, J. A. Jones, a D. S. Thomas.

Yr oedd y croesawiad yn serchog, y cyfarfodydd yn hwylus, a'r mwynhad yn ddymunol. Bydded bendith Ner ar yr ymdrechion.

J. P. HARRIS, *Ysgr.*

---

CYMANFA BEDYDDWYR CYMREIG EFROG NEWYDD.

Cynaliwyd y Gymanfa hon eleni gyda yr eglwys yn Freedom, Swydd Cattaraugus, Mehefin 14—18, 1883. Y gweinidogion a bregethasant oeddynt y Parchedigion D. Rhoslyn Davies, Pittsburgh, Pa.; John Williams,

Digitized by Google

Colwyn, G. C.; Thomas Seys, Strykersville, N. Y.; Wm. Morlais Evans, Utica, N. Y.; John Seth Jones, Remsen, Owen F. Parry, Bordwell, ac Owen Griffith (*Giraldus*).

Cafwyd Cymanfa boblogaidd iawn, y cynulleidfaoedd yn llawn mor luosog ag erioed—y pregethau yn efengylaidd a hynod deimladwy, a'r gwrandawiad yn astud a diflin o'r dechreu i'r diwedd.

Yn niwedd y cwrdd nos Sul, tra ddodwyd anerchiadau pwrpasol a theimladwy gan y brodyr Thomas Seys, John Williams, Theodore Ellison, Owen Griffith, a W. M. Evans, y gweinidog.

Yr oedd caredigrwydd aelodau yr eglwys a'r ardalyddion yn Freedom eleni, fel arfer, yn bob peth allesid ddymuno. Yr Arglwydd a dalo iddynt. Y mae dyddiau y Gymanfa yn ddyddiau o uchel wyl yn wir yn yr ardal hon bob amser. Rhoes yr enwadau eraill eu moddion i fyny y Sul, a daethant yn lluoedd i'r Gymanfa.

Y mae yn bleser genym hysbysu fod yr eglwys yn Freedom yn parhau yn ei chryfder ac yn myned rhagddi o dan weinidogaeth a bugeiliaeth y Parch. W. M. Evans. Dymunol ydyw gweled y fath deimladau da yn bodoli rhwng eglwys a gweinidog. Mawr obeithiwn yn gyffredinol y bydd y Gymanfa hon yn foddion bendith yn ol llaw yn y lle, ac yn yr holl gylch.

Yr oedd amryw o frodyr a chwiorydd wedi dyfod o bell, megys Swydd Oneida, a lleoedd eraill, i'r uchel wyl i Freedom, ac ymadawsant fel wedi eu llwyr foddloni.

Y Sul canlynol i'r Gymanfa, pregethwyd yn Freedom gan O. Griffith (*Giraldus*). Yr hyn fyddai yn coroni pob peth fyddai fod eneidiau yn cael eu hachub, ac yn dychwelyd at Fab Duw. Gobeithiwn mai felly y bydd.

*Penderfyniadau y Gynadledd.*

1. Penderfynwyd, Nad oes gan weinidog, er yn genad dros ei eglwys, ond un bleidlais yn y Gymanfa.

2. Neillduwyd y brodyr Owen Griffith, Owen F. Parry a Wm. Morlais Evans, yn bwyllgor i wneyd ymchwiliad i amgylchiadau capel Bedyddwyr Cymreig dinas New York, ac i ymgyngori â chyfreithiwr os bydd angen, a bod y Gymanfa i ddwyn y treulion.

3. Fod y gynadledd hon yn croesawu yn gynes y Parch. John Williams, Colwyn, G. C., ar ei ymweliad ag America, ac yn dymuno ar yr eglwysi y dichon iddo dalu ymweliad â hwynt ei dderbyn yn garedig fel brawd anwyl, Cristion didwyll, a gweinidog da i Iesu Grist, gan obeithio y bydd i'w arosiad am dymor yn ein gwlad fod yn foddion adfywiad corph a meddwl iddo.

4. Ein bod yn datgan hiraeth dwfn yn symudiad y Parch. Morris J. Williams trwy angeu, yr hwn oedd yn bregethwr cymeradwy, ac yn Gristion dilychwin. Hefyd, ein bod yn teimlo y golled fawr a gafodd yr enwad yn gyffredinol yn marwolaeth y Parch. Hugh Jones, Llangollen, ac yn teimlo yn ddwys dros ei anwyl deulu.

5. Ein bod yn cydnabod ein rhwymedigaeth i'r Parch. Owen Griffith, am ei lafur a'i ymdrech yn nygiad allan ein Cyhoeddiad misol, yr hwn sydd o ran ei gelfyddydwaith rhagorol, a'i gynwysiad cyfoethog, yn adlewyrchu anrhydedd arnom fel enwad.

6. Ein bod yn cymeradwyo llyfr y Parch. D. S. Thomas i sylw yr eglwysi, ac yn anog derbyniad calonog iddo.

7. Fod y Sabboth cyntaf yn Awst yn cael ei dreulio gan eglwysi y Gymanfa hon i weddio am ddylanwad helaethach yr Ysbryd Glan.

8. Ein bod yn awyddus am gael Trysorfa perthynol i'r Bedyddwyr Cymreig yn America, er cynorthwyo ein gweinidogion mewn angen, ac yn galw sylw yr eglwysi a'r Cymanfaoedd at hyn, ac yn barod i gydweithredu â hwynt yn yr achos tra theilwng hwn, ac yn nodi y Parch. Owen Griffith, Gol. y WAWR, i ohebu ar y mater.

9. Ein bod yn derbyn y Parch. W. Morlais Evans, Utica, N. Y., i'r Gymanfa hon ar sail llythyr o gymeradwyaeth o Gymanfa Morganwg.

10. Fod y Gymanfa nesaf i fod yn Sir Oneida yn ei thro, fel arfer.

Digitized by Google

*Cyfnewidiadau yr Eglwysi.*

Eglwys Freedom—Bedyddiwyd, 1; derbyniwyd trwy lythyrau, 5; gollyngwyd trwy lythyrau, 3; diaelodwyd, 2; bu farw, 5; rhif presenol yr eglwys, 188; cenadon, James Higgins a Daniel Morgans.

Eglwys Remsen—Gollyngwyd trwy lythyrau, 4; bu farw, 2; rhif presenol yr eglwys, 86; cenadon, Parch. John Seth Jones a John R. Humphreys.

Eglwys Utica—Derbyniwyd trwy lythyrau, 10; adferwyd, 1; bu farw, 2; rhif presenol yr eglwys, 57; cenad, Parch. W. Morlais Evans.

Eglwys Bordwell—Gollyngwyd trwy lythyrau, 2; diaelodwyd, 2; rhif presenol yr eglwys, 36; cenad, Parch. O. F. Parry.

Eglwys Steuben—Dim cyfnewidiadau. Rhif presenol yr eglwys, 20.

OWEN GRIFFITH, *Ysg.*

---

CYMANFA

*Y Bedyddwyr Cymreig Gorllewinol i'r Mississippi.*

Cynaliwyd y Gymanfa uchod eleni gydag eglwys New Cambria, Mo., Mehefin 8, 9, a'r 10. Gwasanaethwyd gan y brodyr W. J. Davies, Peterton, Kansas; T. D. Evans, Bevier; T. M. Griffiths, South Chicago; R. M. Richardson, Dawn, a J. T. Jones, Dodgeville, Wisconsin—yr olaf wedi ei wahodd i wasanaethu.

Nos Wener, yr 8fed, agorwyd y cyfarfod trwy ddarllen a gweddio gan y Parch. W. J. Davies, Peterton, a phregethodd y Parch. J. T. Jones, Dodgeville.

Boreu Sadwrn, am 10 o'r gloch, agorwyd y gynadledd gan Mr. J. Beynon, South Chicago, a dygwyd gweithrediadau y gynadledd yn mlaen yn y drefn ganlynol:

Penderfynwyd, 1. Fod y Parch. Dr. Parry, Bevier, Mo., i fod yn Gymedrolwr am y flwyddyn ddyfodol.

2. Fod y Parch. T. D. Evans, Bevier, i barhau yn ei swydd fel Ysgrifenydd.

3. Fod y brawd David J. Evans, Bevier, i fod yn Drysorydd am y flwyddyn ddyfodol.

4. Darllenwyd llythyrau oddiwrth y gwahanol eglwysi.

5. Penderfynwyd fod y brodyr Mr. James Beynon a T. M. Griffiths, South Chicago, yn cael eu croesawu gan y gynadledd hon, a'n bod yn eu hanog i gymeryd rhan yn y gweithrediadau.

6. Fod y Gymanfa hon yn derbyn gyda llawenydd eglwys Gymreig Peterton, Kansas, a'i gweinidog. Rhoddwyd deheulaw cymdeithas i Mr. Davies gan Dr. Parry, y Cymedrolwr.

7. Fod y Gymanfa hon yn cydymdeimlo yn ddwys â'r Parch. T. M. Griffiths, yn wyneb ei gystudd a'i drallod diweddar.

8. Ein bod yn derbyn y Parch. T. M. Griffiths, South Chicago, yn aelod o'r Gymanfa hon. Rhoddwyd deheulaw cymdeithas iddo gan y Cymedrolwr.

9. Fod y Gymanfa yn talu $5 i'r Ysgrifenydd am ei lafur a thuag at ddwyn ei dreuliau.

10. Fod y gynadledd yn gohirio i gyfarfod y tro nesaf yn Hiawatha, Kansas; yr amser i'w benodi eto. Terfynwyd trwy weddi gan y Parch. T. M. Griffiths.

Prydnawn Sadwrn, am 2 o'r gloch, dechreuwyd trwy ddarllen a gweddio gan y Parch. R. M. Richardson, a phregethodd y brodyr W. J. Davies a T. M. Griffiths. Yn yr hwyr, am haner awr wedi chwech, dechreuwyd trwy ddarllen a gweddio gan T. M. Griffiths, a phregethodd y brodyr T. D. Evans, Bevier, ac R. M. Richardson, Dawn.

Boreu Sabboth, am haner awr wedi naw, dechreuwyd trwy ddarllen a gweddio gan Jones, Dodgeville; yna darllenwyd crynodeb o hanes yr eglwys o'i chychwyniad hyd yn bresenol, gan Dr. Parry, y gweinidog. Bu y Doctor yn llwyddianus i gasglu hanes manwl a chyflawn o sefyllfa yr eglwys yn ei holl gysylltiadau a'i chyfnewidiadau, o'i chychwyniad hyd agoriad y capel newydd. Wedi cael hanes yr eglwys, offrymwyd gweddi effeithiol a gafaelgar gan y Doctor; yna darllenwyd rhestr o enwau y tanysgrifwyr at

y capel, a chafwyd adroddiad y trysorydd, a theimlem yn llawen wrth gael ar ddeall fod y capel newydd yn cael ei agor o dan amgylchiadau mor ffafriol, sef yn ddiddyled. Y mae clod nid bychan yn deilwng i'r Doctor a'r eglwys am eu hymdrech rhyfeddol i ddwyn y gwaith i ben mor ogoneddus. Math o gyfarfod agoriadol oedd hwn, a thraddodwyd y bregeth agoriadol gan R. M. Richardson. Cawsom bregeth ragorol ar y geiriau, "Aroswch yn fy nghariad," &c.

Am ddau o'r gloch y prydnawn, yn nghapel y Presbyteriaid, dechreuwyd trwy ddarllen a gweddio gan y Parch. G. Griffiths (A.), a phregethodd W. J. Davies, T. M. Griffiths, a J. T. Jones, Dodgeville. Yn yr hwyr, agorwyd y cyfarfod gan Mr. J. Beynon, Chicago, a phregethodd y Parch. J. T. Jones yn ardderchog. Yr un adeg, yn nghapel y Bedyddwyr, traddodwyd pregeth Seisnig gan R. M. Richardson.

Cafwyd Cymanfa lled dda ar y cyfan, er fod yr hin yn anffafriol iawn. Yr oedd llu mawr o ddyeithriaid wedi ymgynull i'r lle, a diamheu y buasai llawer yn rhagor oni bae y gwlawogydd trymion a barhaodd trwy ystod yr holl amser braidd. Gobeithio y bydd effeithiau daionus yn dilyn y cyfarfodydd hyn. Bydd y Gymanfa nesaf i'w chynal yn Hiawatha, Kansas. Drwg iawn oedd genym dderbyn llythyr yn ystod y Gymanfa fod gweinidog yr eglwys hono, sef yr hen frawd anwyl D. V. Thomas, wedi ei daro yn sal ar y ffordd i'r Gymanfa, ac wedi gorfod troi yn ei ol. Hyderwn ei fod wedi ei adferyd erbyn hyn.

DR. PARRY, *Cym.*
T. D. EVANS, *Ysg.*

YSTADEGAETH Y GYMANFA.

Dawn, Mo.—Gweinidog, R. M. Richardson. Derbyniwyd trwy lythyrau, 2; diarddelwyd, 1; gollyngwyd trwy lythyrau, 6; rhif presenol, 88.

Bevier, Mo.—Gweinidog, Dr. Parry. Adferwyd, 2; bedyddiwyd, 2; gollyngwyd trwy lythyrau, 11; diarddelwyd, 3; rhif presenol, 41. Yn pregethu yn achlysurol, y Parch. T. D. Evans.

Hiawatha, Kansas—Gweinidog, D. V. Thomas. Bedyddiwyd, 5; derbyniwyd trwy lythyr, 1; rhif presenol, 19.

Swydd Clay, Iowa—Gweinidog, J. W. Jones. Derbyniwyd trwy lythyrau, 6; adferwyd, 1; bu farw, 1; rhif presenol, 44.

New Cambria, Mo.—Gweinidog, Dr. Parry.

Peterton, Kansas—Gweinidog, W. J. Davies. Rhif presenol, 16.

Casglwyd yn ystod y flwyddyn tuag at ddwyn treulion y Gymanfa: Bevier, $10; Dawn, $10.65; Clay Co., $5; Hiawatha, $2; J. T. James, Aspinwall, $5; Samuel Jones, Caswell Co., $5, yn gwneyd cyfanswm o $37.65.

---

CYMANFA

*Bedyddwyr Cymreig Ohio a Gorllewinbarth Pennsylvania.*

Cynaliwyd y Gymanfa uchod eleni yn New Straitsville, Ohio, Mai 25—27, 1883. Daeth y gweinidogion a'r cenadon yno yn brydlon, a da genym allu dwyn tystiolaeth fod yr eglwys yn New Straitsville a'i gweinidog parchus yn barod i'w derbyn a'u croesawu.

Boreu Sadwrn, am 10½, dechreuwyd y gynadledd trwy weddi gan y brawd David Evans, Wheatland. Ar ol darllen llythyrau ac ystadegau yr eglwysi am y flwyddyn, etholwyd y brodyr canlynol yn swyddogion y Gymanfa am y flwyddyn ddyfodol: Llywydd, Parch. Edward Jenkins, Palmyrr; Ysgrifenydd, Parch. Thos. Thomas, mas, Sharon; Trysorydd, Mr. Richard Collins, Mason City.

Penderfynwyd a ganlyn:

1. Ein bod yn rhoddi gwahoddiad i'r brodyr E. W. Richards, diweddar o Gymru; Dr. Owen a Sheppard, o Athrofa Granville, Ohio, i gyd-eistedd a chydweithredu â ni yn y gynadledd.

2. Ein bod yn derbyn y brawd D. W. Jones i'n hundeb Cymanfaol, yn awdurdod ei ordeiniad yn eglwys Mineral Ridge, Ohio.

3. Ein bod yn caniatau amser priodol i'r brodyr Dr. Owen a Sheppard, o Athrofa Granville, i osod eu hachos ger bron y gynadledd.

Digitized by Google

Wedi i'r brodyr siarad, penderfynwyd a ganlyn yn ffafr yr Athrofa:

4. That we will sympathize with our Institutions at Granville, both in money and in sending our young people there, both for ministerial and other education.

5. Ein bod yn penodi pwyllgor o ddau i dynu allan benderfyniad gyda golwg ar y marwolaethau.

Daeth y pwyllgor a'u hadroddiad i mewn, yr hyn sydd fel y canlyn:

Gyda galar y deallwn fod angeu, trwy oruchwyliaethau chwerwon, wedi dwyn ymaith y chwiorydd da, duwiol ac anwyl, Mrs. Evans, priod yr hybarch David Evans, Wheatland, a Mrs. Thomas, priod y Parch. Thomas Thomas, Sharon.

6. Penderfynwyd, Ein bod yn cydymdeimlo yn ddwys a'r brodyr Evans a Thomas yn ngwyneb yr amgylchiadau trallodus hyn, ac fod y datganiad hwn o'n teimladau i gael ei gyhoeddi yn y Wawr.

Pwyllgor, David Probert, Youngstown; D. Rhoslyn Davies, Pittsburgh.

7. Ein bod yn derbyn adroddiad y pwyllgor, ac yn eu rhyddhau.

8. Ein bod yn rhoddi caniatad i'r brawd David Probert, Youngstown, i fyned o gylch y Gymanfa hon i gasglu at dalu dyled eu capel yn Youngstown.

Daeth y pwyllgor a benodwyd yn y Gymanfa ddiweddaf, er codi trysorfa i gynorthwyo eglwysi gweiniaid i adeiladu eu haddoldai, a'u hadroddiad i mewn.

9. Penderfynwyd, Ein bod yn derbyn eu hadroddiad, ac yn eu rhyddhau.

10. Fod yr holl arian ($500) a gasglwyd at y drysorfa uchod i'w trosglwyddo i Drysorydd y Gymanfa.

11. Yn gymaint a bod y Gymdeithas i adeiladu capeli yn debyg o fod yn fethiant, yr ydym yn teimlo, os bydd yr eglwysi yn cydolygu, i droi y Gymdeithas hon yn Gymdeithas Genadol Gymreig.

Yn gymaint a bod anfoddlonrwydd yn mhlith rhai personau, fod yr un brodyr yn cael eu hethol y naill flwyddyn ar ol y llall i ddal swyddi y Gymanfa,

12. Penderfynwyd, Ein bod yn newid y Llywydd, yr Ysgrifenydd a'r Trysorydd, yn flynyddol.

Yn gymaint a bod eglwysi yn ymryddhau o'r Gymanfa hon i ymuno â Chymanfaoedd Seisonig, a bod gweinidogion heb ofal eglwysi yn ymryddhau o eglwysi Cymreig i ymuno ag eglwysi Seisonig,

13. Penderfynwyd, Fod pob gweinidog fyddo a gofal eglwys Gymreig neu Seisonig y tu allan i gylch y Gymanfa hon, a phob gweinidog a ymryddhao o eglwys Gymreig i ymuno ag eglwys Seisonig, yn colli pob hawl fel aelod o'r Gymanfa hon.

Yn gymaint a bod y brawd Wm. J. Williams, B. Ph. H., wedi ymadael a Chymanfa Seisonig, a dyfod i gylch y Gymanfa hon; ac yn gymaint nad yw yn unol â rheol y Gymanfa Seisonig i roddi llythyrau gollyngdod i'w gweinidogion ar eu hymadawiad o'u plith,

14. Penderfynwyd, Ein bod yn *suspendio* y rheol i dderbyn y brawd Williams yn wresog i'n hundeb Cymanfaol.

15. Fod y brodyr Probert, Youngstown, a Jones, Mineral Ridge, i ymgyngori a'u gilydd parth corphori eglwys yn Leadville.

Dewiswyd pwyllgor o ddau i dynu allan benderfyniad i gymeradwyo y Wawr. Daeth y pwyllgor a'u hadroddiad i mewn:

16. Ein bod fel cynadledd yn teimlo dan rwymau i ddiolch i olygydd parchus y Wawr am ei ymdrech diflino i'w dwyn allan yn brydlon at ein gwasanaeth, ac yn anog yr eglwysi oll i'w derbyn, a thalu am dani.

Pwyllgor, A. Phillips, Church Hill; D. W. Jones Mineral Ridge.

17. Penderfynwyd, Ein bod yn derbyn a mabwysiadu adroddiad y pwyllgor, ac yn eu rhyddhau.

18. Ein bod yn cynyg, fod pob eglwys i dalu traul ei gweinidog yn ol a blaen i'r Gymanfa, a'r mater i fod dan sylw hyd y Gymanfa nesaf.

19. Fod yr eglwys gyntaf a anfono

Digitized by Google

at yr Ysgrifenydd am y Cyfarfod Tri Misol nesaf i'w gael.

20. Fod y Gymanfa nesaf i'w chynal yn Youngstown, Ohio.

*Trefn y Moddion Cyhoeddus.*

Nos Wener, am 7 o'r gloch, pregethodd y brodyr Thomas M. Evans, Sharon, ac A. Phillips, Church Hill.

Nos Sadwrn, am 7 o'r gloch, y brodyr E. W. Richards, diweddar o Gymru; T. T. Williams, Karr's Run, a D. J. Lloyd, Oak Hill.

Boreu Sabboth, am 9 o'r gloch, cyfarfod gweddi.

Am 10, pregethodd y brodyr D. Rhoslyn Davies, Pittsburgh, ac Allen J. Morton, Parisville.

Am 2, y brodyr Allen J. Morton, yn Saesoneg; D. W. Jones, Mineral Ridge, ac Edward Jenkins, Niles.

Am 6, y brodyr Thomas Thomas, Sharon; David Evans, Wheatland, a David Probert, Youngstown.

Penderfynwyd cynal cyfarfodydd dydd Llun drachefn, a phregethwyd gan amryw o'r brodyr.

Dechreuwyd y cyfarfodydd gan y brodyr canlynol—D. J. Lloyd, Oak Hill; David Evans, Wheatland; D. B. Davies, New Straitsville; E. W. Richards, o Gymru; D. Rhoslyn Davies, ac eraill.

Wel, cawsom Gymanfa ragorol ar y cyfan, cynulliadau lluosog, pregethu grymus a dylanwadol, gwrandawiad astud, a digon o garedigrwydd gan bob enwad trwy y gymydogaeth. Bendith Duw fyddo yn dilyn y cyfarfodydd.

Da oedd genym gyfarfod a'r brodyr da, Charles Jones, M. D.; D. B. Davies, a'u teuluoedd parchus, mewn amgylchiadau mor ddymunol a chysurus. Dymunwn o galon eu llwyddiant yn dymorol ac ysbrydol.

THOMAS THOMAS, *Ysg.*

---

## CYMANFA BEDYDDWYR CYMREIG WISCONSIN.

Cynaliwyd y Gymanfa hon eleni yn Aurora, ger Berlin, mewn cysylltiad â Springwater, Mai 30 a'r 31ain, a Mehefin 2, a'r 3ydd, 1883.

Am 1 o'r gloch, cynaliwyd cwrdd gweddi i ddymuno am fendith Duw ar weithrediadau y Gymanfa, a llafur ei weision.

Am 2, dechreuwyd y gynadledd trwy ddarllen a gweddio gan y brawd Richard Bennett, Salem, Oshkosh. Etholwyd y Parch. D. E. Bowen (*Delta*), gweinidog y lle, yn Llywydd y Gymanfa am y flwyddyn ddyfodol; y Parch. Joseph T. Jones, Dodgeville, yn Ysgrifenydd; a'r brawd D. M. Powell, Salem-y-Coed, yn Drysorydd. Yna galwyd am y llythyrau oddiwrth yr eglwysi, ac wedi eu darllen cafwyd testynau i fod yn ddiolchgar a chymeryd cysur.

Pasiwyd y penderfyniadau canlynol gan y Gymanfa:

1. Penderfynwyd, Ein bod yn rhoddi derbyniad croesawus ac unfrydol i'n parchus a'n hanwyl frawd, D. E. Bowen (*Delta*), ar sail y llythyrau oedd ganddo oddiwrth eglwys Carbondale a Chymanfa Dwyreinbarth Pennsylvania.

Neillduwyd y brodyr canlynol i fod yn bwyllgorau ar y gwahanol achosion oedd i fod dan sylw y gynadledd—Evan Ellis, R. Bennett a Morgan Davies, yn nghyd a'r Parchedigion canlynol, Meredith Evans, John Thomas, Joseph T. Jones, a William Jones, La Crosse.

2. Fod gweithrediadau y pwyllgor trefniadol yn foddhaol.

3. Fod pum' dolar i gael eu talu o drysorfa y Gymanfa at ddwyn traul yr Ysgrifenydd.

4. Yna daeth y pwyllgor ar Ansawdd Crefydd yn yr Eglwysi o fewn cylch y Gymanfa hon a'u penderfyniad i mewn. Wedi ystyriaeth ddifrifol ar ansawdd crefydd Mab Duw yn ein plith, daethom i'r penderfyniad, fod genym achos llawenhau, ac nid digaloni—cymeryd cysur, ac nid cwyno, oblegid fod darlleniad y llythyrau o'r gwahanol eglwysi yn rhoi ar ddeall i ni fod heddwch a chydweithrediad ynddynt oll; ar yr un pryd teimlwn yn ofidus, oblegid mai ychydig yw y chwanegiadau sydd wedi bod trwy fedydd yn ystod y flwyddyn ddiweddaf.

5. Mynegiad y pwyllgor ar Gymdeithas er cynorthwyo hen weinidogion. "Yr ydym ni fel pwyllgor yn cymeradwyo y priodoldeb o ffurfio Cymdeithas i gynorthwyo hen weinidogion, ac yn dymuno cydweithredu â'n chwiorydd cymanfaol yn y dwyrain yn yr amcan clodwiw, trwy anog yr eglwysi perthynol i'n Cymanfa i gyfranu at yr achos teilwng hwn."

6. Penderfynwyd, Ein bod yn taer gymell yr eglwysi i gyfranu, a gwneyd eu goreu i gynorthwyo y Gymdeithas Genadol Artrefol a Thramor.

7. Fod y Gymanfa nesaf i fod yn Ridgeway a Salem y Coed; yr amser i gael ei nodi gan yr eglwysi lle bwriedir ei chynal.

8. Penderfynwyd yn unfrydol, Fod y Parch. William Jones, La Crosse, i ohebu â'r Parch. E. Ellis, yn nghylch y priodoldeb o anfon cenadwr Cymreig i Dakota.

9. Penderfynwyd, Ein bod yn cefnogi y WAWR, ac yn dymuno am iddi gael derbyniad

Digitized by Google

helaeth yn ein plith, ac yn anog pawb i dalu am dani yn brydlawn.

10. Penderfynwyd, Ein bod yn anog aelodau ein heglwysi i ddefnyddio eu dylanwad i ddiddymu y fasnach mewn diodydd meddwol.

Cafwyd cynadledd unol ac heddychol iawn, heb neb yn tynu yn groes. "O, i ras y fath ddyledwyr."

*Trefn y Moddion Cyhoeddus.*

Nos Fercher, am 7 o'r gloch, yn Aurora, dechreuwyd trwy ddarllen a gweddio gan y brawd D. M. Powell, Salem y Coed, a phregethwyd gan y Parchn. John Thomas, Ridgeway, a Joseph T. Jones, Dodgeville—y blaenaf yn Saesoneg, a'r olaf yn Gymraeg.

Am 9, boreu dranoeth, cynaliwyd cwrdd gweddi i ddymuno am fendith Duw ar y Gymanfa.

Am 10, dechreuwyd trwy ddarllen a gweddio gan y brawd McCloud, gweinidog parchus a theilwng y Bedyddwyr Seisonig yn Berlin, a phregethwyd gan y Parchn. D. M. Powell a D. E. Bowen—y blaenaf yn Gymraeg, a'r olaf yn Saesoneg.

Am 2, dechreuwyd gan y brawd Meredith Evans, a phregethwyd gan y Parchn. D. E. Bowen, a Wm. Jones, La Crosse—y blaenaf yn Saesoneg, a'r olaf yn Gymraeg.

Am 7½, yn yr un lle, dechreuwyd gan y brawd John Thomas, Ridgewy, a phregethwyd gan y Parchn. Meredith Evans, yn Gymraeg; Joseph T. Jones, Dodgeville, yn Saesoneg, a Wm. Jones, La Crosse, yn Gymraeg.

Dranoeth, cychwynodd y gwersyll yn foreu iawn i wneyd ail ymosodiad unol a phenderfynol ar adran arall o fyddin y gelyn; ac hefyd i gysuro, dyddanu, ac adeiladu y saint yn y sancteiddiolaf ffydd. Cawsom hin ddymunol iawn i fyned a dyfod o faes y frwydr, a da i ni oedd hyny, oblegid fod y ffordd yn mhell, a rhan o honi yn arw, yn dyllog a bawlyd iawn. O'r diwedd cyrhaeddasom gartref pert, clyd, a llawn, ein hanwyl a'n hybarch frawd, R. D. Evans, esgob a bugail y lle, yr hwn a gydnabyddir gan bawb, a chan y gwirionedd ei hun, yn ddyn nodedig o dduwiol, ac hefyd yn weinidog da i Iesu Grist.

Ei deulu oll sy'n fendigedig,
Yn rhai nodedig am eu gras;
Eu henwau da, a'u rhin a'u doniau,
Am oesau fo'n blaguro i ma's.

Ni chyfarfyddais yn fy mywyd a theulu caredicach, siriolach, a duwiolach na theulu y brawd R. D. Evans. Yr oedd gras Duw i'w weled yn amlwg yn ymddygiadau yr holl deulu. Cofied pawb mai nid brolio, seboni, na gwenieithio yr ydym, ond dyweyd gwirionedd a ddeil ei chwilio; ac yn wir, yr oedd yr Ellisiaid, y Thomasiaid, a phawb o'n cydgenedl hoff trwy y ddau sefydliad, law a chalon yn ein cynorthwyo i ddwyn yn mlaen yr wyl flynyddol, er gogoniant Duw a lles eneidiau. Taled yr Arglwydd iddynt oll am eu caredigrwydd.

Nos Wener, am 7, yn Springwater, dechreuwyd gan y brawd Meredith Evans, a phregethwyd gan y Parchn. D. M. Powell a D. E. Bowen, y ddau yn Gymraeg.

Am ddeg dydd Sadwrn, cadwyd cynadledd er ymddyddan ar wahanol faterion perthynol i achos y Gwaredwr yn y Dalaeth. Am ddau cyfarfyddwyd mewn cynadledd drachefn, a hyny i'r un perwyl. Am saith nos Sadwrn, dechreuwyd gan y Parch. Mr. Thomas (T. C.), a phregethwyd gan yr hybarch frawd W. Jones, LaCrosse.

Boreu Sabboth am 10, dechreuwyd gan y Parch. T. Jones (A.), a phregethwyd gan y Parchn. John Thomas a Joseph T. Jones, Dodgeville. Am 2, dechreuwyd gan y brawd Joseph T. Jones, a phregethwyd gan y Parchn. D. E. Bowen a John Thomas, Ridgeway, y bla enaf yn Saesonaeg a'r olaf yn Gymraeg. Am 6, dechreuwyd gan y brawd Meredith Evans, a phregethwyd gan y Parchn. William Jones, LaCrosse, a Joseph T. Jones. Dodgeville.

Yna terfynodd un yn rhagor o'r gwyliau blynyddol, ac aeth pawb i'w ffordd ei hun yn llawen. Ni bu y tywydd yn ffafriol iawn, yn enwedig yn Springwater. Digon yw dyweyd i ni gael Cymanfa dda iawn—y brodyr oll yn eu llawn hwyliau yn cyhoeddi y drefn fawr trwy Gyfryngwr, a bod Duw yn ei ddylanwadau grasol, cysurol, a sancteiddiol wedi bod yn amlwg yn ein plith.

YSTADEGAU Y GYMANFA.

Sardis, Dodgeville, Wis.—Gweinidog, Joseph T. Jones, post-swyddfa Dodgeville. Derbyniwyd trwy lythyrau, 5; gollyngwyd trwy lythyrau, 2; rhif yr aelodau, 35; ysgol Sabbothol, 18.

Bethania, Ridgeway—Gweinidog, John Thomas, post-swyddfa Barneveld, Wis.—Adferwyd, 1; diarddelwyd, 2; bu farw. 2; rhif presenol, 41; ysgol Sabbothol, 30.

Salem y Coed—Gweinidog, Joseph T. Jones, post-swyddfa Dodgeville, Wis. Rhif yr eglwys yn bresenol, 17; ysgol Sabbothol, 15.

Braidwood—Post-swyddfa Braidwood, Ill. Gollyngwyd trwy lythyrau, 3; derbyniwyd trwy lythyrau, 2; diarddelwyd, 1; rhif yr aelodau, 12; ysgol Sabbothol, 32.

Braceville—Post-swyddfa Braceville, Ill. Bedyddiwyd, 1; derbyniwyd trwy lythyrau, 12; gollyngwyd trwy lythyr, 1; diarddelwyd, 2; rhif yr aelodau, 29; ysgol Sabbothol, 55.

Salem, Oshkosh—Post-swyddfa Oshkosh. Bedyddiwyd, 4; adferwyd, 1; bu farw, 1; diarddelwyd, 6; rhif yr aelodau, 39; ysgol Sabbothol, 40.

Ebenezer, Springwater—Gweinidog, R. D. Evans. Rhif yr aelodau, 10; ysgol Sabbothol, 22.

Aurora, ger Berlin—Gweinidog. D. E. Bowen (Delta), Derbyniwyd trwy lythyr, 1;

Digitized by Google

rhif yr aelodau, 25; rhif yr ysgol Sabbothol, 40.

Picatonica—Gweinidog, H. Hughes, postswyddfa Mineral Point—Dau lythyr. Yr achos yn wan ac yn isel iawn, ac yn uchel alw am gymorth eglwysi a phregethwyr y Gymanfa. O frodyr, cofiwn am ein hen frawd Hughes, a'r eglwys fechan yn ei hiselder, a'r sefyllfa ddigalon y maent ynddi yn bresenol. Y mae colofnau yr achos yno wedi syrthio i'r bedd i huno, ac amryw o deuluoedd da a defnyddiol wedi symud yn mhell oddiyno i fyw. Wel, cofiwn am ein chwaer fechan yn ei hadfyd.

Gweinidogion heb ofal eglwysi ydynt y Parchn. Meredith Evans, Dodgeville, a William Jones, LaCrosse; pregethwr cynorthwyol, D. M. Powell, Salem y Coed.

D E. BOWEN, *Cym.*
JOSEPH T. JONES, *Ysg.*

---

## PENDERFYNIADAU

### *A basiwyd nos Sul, Mehefin 27, 1883, yn Nghapel y Bedyddwyr Cymreig, Hyde Park, Pa., ar Ymadawiad eu Gweinidog, y Parch. J. W. Williams, D. D., am dro i Gymru.*

Yn gymaint a bod iechyd ein parchus weinidog, y Parch. J. W. Williams, D. D., wedi bod yn wael am rai misoedd, a hyny, fel y credwn, mewn canlyniad i'w ymdrechion diflino a'i lafur caled yn ein plith yn ystod y flwyddyn ddiweddaf,

Ac yn gymaint a bod un o feddygon goreu y wlad hon, ar ol ymchwiliad manwl, wedi dyfod i'r penderfyniad fod yn angenrheidiol i'n hanwyl frawd, er adferiad ei iechyd, gymeryd seibiant hollol am ddau neu dri mis, ac yn adeg y seibiant hwn gymeryd taith dros y môr. Am hyny,

Penderfynwyd, Ein bod yn cydymdeimlo yn ddwys â Mr. Williams yn ei gystudd, ac yn dymuno ar y frawdoliaeth Fedyddiedig yn Nghymru dderbyn ein hanwyl frawd gyda chalonau agored.

Yr ydym yn teimlo yn llawen ein bod yn feddianol ar yr anrhydedd o gymeradwyo i'ch sylw ddyn o gymeriad mor ddysglaer, o feddwl mor addfed, a gwasanaeth mor llwyr i'n Harglwydd Iesu Grist.

Pan gymerodd Dr. Williams ofal yr eglwys hon 18 mis yn ol, yr oeddem yn rhifo 350 o aelodau. Ymaflodd yn ei waith gydag egni a brwdfrydedd, a llwyddodd Duw ei ymdrechion uwchlaw dysgwyliadau ei gyfeillion penaf, fel yn bresenol mae yr eglwys yn rhifo 565 o aelodau. Ac nid yn unig mewn rhif mae ein cynydd wedi bod, ond credwn fod ein breintiau mewn grasusau crefyddol wedi bod yn helaethach.

Nid yn aml y ceir dyn o ymdrechion mor effeithiol, ac o deimladau mor angerddol dros gael purdeb crefyddol yn fwy amlwg yn yr eglwys, a chodi y byd i safle uwch o foesoldeb a rhinwedd. Mae erfyniadau lawer yn ein plith am i'r daith hon fod yn fendithiol i adferyd iechyd cyntefig ein brawd, fel y gallom eto gyd-fwynhau bendithion y Nefoedd yn y dyfodol.

John Peters, Benjamin Beddoe, John P. Lewis, James A. Evans, Benjamin Hughes, Thomas D. Davies, William D. Morris, Joseph Reynolds, Thomas T. Howells, William D. Evans, Evan J. Davies, Ebenezer Lloyd, Diaconiaid.

JOHN T. WILLIAMS, *Ysg.*

---

## PITTSTON, PA.

Bu y Parch. John Edred Jones, North Stonington, Conn., yn gwasanaethu eglwys Fedyddiedig Gymreig yma am dri Sabboth, yn unol â'n dymuniad, gan ein bod fel eglwys wedi anfon cais at y brawd i ddyfod atom i'n gwasanaethu yn yr Arglwydd, a rhoddodd yntau y fath foddlonrwydd i'r eglwys fel y daethom i'r penderfyniad unfrydol, nos Sul diweddaf, i roddi galwad i'r Parch. John Edred Jones i ddyfod i'n bugeilio a thori at ein hangen o fara y bywyd, ac y mae yntau wedi ein hateb yn gadarnhaol. Bwriada ddechreu ar ei lafur gweinidogaethol yn ein plith y Sabboth diweddaf yn Awst nesaf, a chredwn y bydd dyfodiad Mr. Jones yma dan fendith Duw er achubiaeth pechaduriaid; canys y mae yma faes eang iddo.

Hefyd, mae yn dda genym ddywedyd fod yr achos goreu yn y dyddiau hyn yn gwisgo agwedd newydd a thra gobeithiol yn y lle hwn, a'n gweddi yw am iddo fyned rhag ei flaen, nes yr elo y fechan yn fil, a'r wael yn genedl gref. Hefyd, y mae genym ysgol Sabbothol dda, a Chôr y Plant, dan arweiniad Mr. William R. Williams a Thomas R. Williams. Sul, Mai 20, cawsom weled deunaw yn cael eu bedyddio ar eu proffes o ffydd yn Mab Duw, yn ngwydd tyrfa fawr o edrychwyr parchus, yn y fedyddfa sydd wrth gefn y capel, gan y Parch. J. W. Williams, D. D., Hyde Park, ac yn y cyfarfod 6 o'r gloch yr oedd cynulleidfa hardd yn y capel, ac O! mor ddymunol oedd yr olygfa, gweled y bedyddiedigion i gyd yn y seti blaenaf, ac yn gwrando gyda'r difrifoldeb mwyaf ar y brawd Williams yn eu hanerch ar brif egwyddorion crefydd, yn nghyda chyfleu iddynt y cyfamod eglwysig; yna derbyniwyd hwy i gymundeb yr eglwys gyda symlder a llawenydd calon. Chwanegwyd at rifedi yr eglwys y misoedd diweddaf 29, a'n dymuniad yw i'r Arglwydd barhau i lwyddo llafur ei weision. Yr oedd Dr. Williams yn ei hwyliau goreu, yn traddodi yn nerthol a gafaelgar. Teimlem fel eglwys yn ddiolchgar i eglwys Hyde Park am eu caredigrwydd atom, trwy i gynifer o'r brodyr a'r chwiorydd roddi eu presenoldeb yma gyda'u gweinidog parchus, a'n gweddi yw ar i'r Arglwydd amddiffyn ei

Digitized by Google

was a'i ddiogelu tra ar ei ymweliad â Gwlad ein Tadau, yn nghyda rhoddi iddo adferiad buan i'w iechyd cyntefig, a dychweliad buan at ei deulu ac i fynwes ei eglwys barchus, ac y bydd iddo fod yn fendithiol yn llaw yr Arglwydd i argyhoeddi miloedd o bechaduriaid o gyfeiliorni eu ffyrdd at y gwir a'r bywiol Dduw. Cawsom gyfarfodydd bendigedig nes Fercher a dydd Iau diweddaf. Yr oedd deuddeg o'r brodyr yn y weinidogaeth yn bresenol, a hyderwn y ca yr hâd da a hauwyd ddyfnder daear yn nghalonau pechaduriaid, trwy fod llawer o honynt yn rhoddi eu hunain i'r Iesu.

Yr eiddoch, JACOB W. EVANS.

---

PHŒNIXVILLE, PA.

Y mae y dref hon tua saith milldir ar hugain i'r gogledd o ddinas Philadelphia. Rhif ei phoblogaeth yw saith mil. Yma y mae y gweithfeydd haiarn pwysig a elwir Phœnix Iron Works. Y cwmni hwn a adeiladodd y rhan fwyaf o'r Elevated Rail Roads yn ninas New York. Yma hefyd y parotoir y pontydd mwyaf pwysig yn y wlad. Yma y dyfeisiwyd ac y parotowyd y Girard Avenue Bridge, yr hon a dynodd sylw enwogion y byd yn amser y Centennial Exhibition, ac yn yr hon yr ymfalchia dinas Philadelphia heddyw. Bu yma lawer o Gymry flynyddoedd yn ol, ond nid oes ond rhyw ddwsin o honynt yma heddyw. Bum am dro yn y lle hwn yn ddiweddar yn ymweled a'm cyfaill mynwesol, y Parch. Jonathan Nicholas, A. M. Y mae yn hysbys i'r cyhoedd iddo ef fod yn weinidog ar eglwys gyfrifol Spencer, N. Y., dros chwe' mlynedd. Pan ymadawodd gweinidog cyntefig eglwys Fedyddiedig Phœnixville, ymgeisiodd amryw o ddynion galluog yr enwad am yr eglwys fawr a phwysig hon; yn eu plith anfonwyd am y Parch. Mr. Nicholas fel *candidate*, a rhoddwyd iddo yn union alwad unfrydol. Efe a ystyrir gan bawb y pregethwr galluocaf yn y Central Union Association. Derbynia gyflog mawr, a *parsonage* palasaidd i fyw ynddo. Rhifa yr eglwys bedwar cant o aelodau, ac yn eu mysg luaws o'r rhai cyfoethocaf yn y dref. Ei ddull o bregethu sydd hollol *extemporaneous*, a charia ddylanwad mawr ar y gynulleidfa luosog a wrandawa arno bob Sabboth. Llwyddiant iddo yn ei faes newydd.—*T. Prosser Morgan.*

---

FROSTBURGH, MD.

Mae sefyllfa masnach yn hynod isel yma ar hyn o bryd, rhai o'r gweithiau ar fin sefyll, rhai yn gweithio haner yr amser, a rhai dri chwarter yr amser. Mae yr eglwys hon heb un bugail, ond y mae y brawd parchus Benjamin Thomas yma yn pregethu unwaith bob Sabboth, yn y boreu un Sabboth, a'r Sabboth arall yn yr hwyr. Byddai yn dda gan yr eglwys hon pe bae iechyd y brawd yn caniatau iddo bregethu ddwywaith, sef hwyr a boreu, am fod y brawd yn foddhaol gan yr eglwys, ac yn wr dymunol a galluog. Nid oes llawer yn ymofyn am y Ceidwad bendigedig, ond er hyny y mae cariad brawdol yn ffynu yn ein plith, a phenderfynwyd, ddydd Sul wythnos i'r diweddaf, ddanfon gwahoddiad i'r brawd Jacob Davies, o Goleg Lewisburgh, i wasanaethu arnom yn amser ei *vacation*. Terfynaf ar hyn yn awr, gan obeithio y byd o ryw ddefnydd i chwi. T. D. DAVIES.

---

*BEDYDDIWYD—*

Yn Girard, Ohio, Ebrill 29, 1883, bedyddiais dair chwaer ar broffes o'u ffydd yn Nghrist. Bu dwy o'r tair yn aelodau ffyddlon gyda'r Annibynwyr am flynyddau; yr oedd y llall yn ferch i rieni Bedyddiedig; ond gan fod yn well ganddi Saesneg na Chymraeg, ymunodd hi a'r Methodistiaid Seisonig.

Dydd Sul, Mai 13, 1883, bedyddiais bedair chwaer eraill ar broffes o'u ffydd. Yr oedd y rhai hyn yn myned at y Methodistiaid Seisonig; ond nid oeddynt yn foddlon cymeryd eu taenellu, ac yr oedd eu gweinidog hwynt yn foddlon eu bedyddio trwy drochiad os y byddai iddynt aros hyd mis Awst, er mwyn cael y dwfr yn gynes. Ofnai y brawd hwn gael anwyd. Y mae yr achos Bedyddiedig yn llewyrchus yn Girard.—*W. J. Williams, Gweinidog.*

---

*GANWYD—*

Mai 29, 1883, yn Hamewood, Beaver Co., Pa., mab i Mr. John Asaph Davies a'i briod. Gelwir ei enw ef William Lucas Davies.

---

*PRIODWYD—*

Mai 28, 1883, yn Warren, Ohio, gan y Parch. D. C. Thomas, yn ei dy ei hun, Mr. Ambrose Williams a Mrs. Mary Coyle, y ddau o Niles, O.

---

—Hysbysir fod y Crynwyr a breswyliant yn yr Iwerddon, wedi rhanu 270 o dunelli o bytatws yn Swydd Donegal, gan roddi ymwared i dair mil o deuluoedd o'u cyfyngderau.

Digitized by Google

# Y WAWR.

CYF. VIII.] AWST, 1883. [RHIF. 5.

# Erthyglau Arweiniol.

## AIL-ENEDIGAETH.

GAN Y PARCH. W. M. EVANS, FREEDOM, N. Y.

"Iesu a atebodd ac a ddywedodd wrtho, Yn wir, yn wir, meddaf i ti, oddieithr geni dyn drachefn, ni ddichon efe weled teyrnas Dduw.—IOAN iii. 3.

Cyfieithiad J. Williams sydd fel hyn: "Iesu gan ateb a ddywedodd wrtho, Mewn gwirionedd, yr wyf yn dywedyd i ti, oddieithr geni dyn drachefn, ni ddichon efe ddirnad Teyrnasiad Duw."

Nid oes nemawr bwnc Ysgrythyrol a mwy o wahanol olygiadau yn ei gylch, yn mhlith duwinyddion hen a diweddar, na'r pwnc o ail-enedigaeth pechadur; ac nid oes un, efallai, anhawddach i'w amgyffred. Ond nid yw hyn yn esgusawd digonol i'w adael heb wneuthur ymchwiliad priodol, hyd y gellir, i'w ddirgelion. Mae y termau, argyhoeddi, troedigaeth, ail-eni, &c., yn cael eu cymysgu i'r fath raddau gan feirniaid dysgedig, fel y mae syniadau yr efrydydd ar ol darllen cynyrchion llawer o honynt yn fwy tywyll a chymylog nag o'r blaen. Mae Proff. Finney, Dr. Taylor, Ebrard, &c., yn eu hymdriniaeth a'r mater hwn, yn dangos mwy o gywreinrwydd philosophyddol nag o symlrwydd efengylaidd. Mae cynseiliau eu rhesymau yn cynwys mwy o athronddysg dywell nag o Ysgrythyr oleu. Ceisir gwasgu pethau mawrion dirgeledig yr Anfeidrol i gylch bychan y rheswm dynol; ac felly, wrth athronyddu ffeithiau ysbrydol, syrthir yn aml i'r cyfeiliornadau mwyaf peryglus. Nodwn un engraifft o lawer. Er mwyn darostwng y goruwch-naturiol i gylch rheswm, cysylltir ail-enedigaeth â deddf dadblygiad (*evolution*). Dadblyga Duw ei hun yn y gweledig a'r materol, meddynt; ni fodola ar wahan iddynt. Gofynir, Yn mha le y mae Duw? Ac atebir, Yn y materol. Felly, yn ol yr ymresymiad yna, heb y byd, heb Dduw. Nid yw y corph dynol ond dadblygiad o'r ysbryd sydd ynddo. Nis gall y naill fodoli heb y llall. Yr ydym ni yn cyfranogi o'r dwyfol a'r ysbrydol yn yr ail-enedigaeth, trwy ein cysylltiad â Christ ac â'r eglwys, ar yr un egwyddor ag yr ydym yn cyfranogi o'r natur ddynol trwy ein cysylltiad ag Adda! Dyna gymysgfa o Bantheistiaeth, Rhesymoliaeth y *Free Thinkers*, ac Anffyddiaeth. Ond mae yn syniad rhai dysgedigion yn Germani, &c., ar y pwnc o ail-enedigaeth pechadur. Gwell o

Digitized by Google

lawer ydyw i ni rodio yn ngoleuni y Dwyfol Air, nag anturio i dir corsiog, lleidiog, athronddysg ddynol am oleuni ar ddyfnion bethau Duw.

Ymddengys Nicodemus yn y benod hon fel ymgeisydd difrifol am oleuni ar egwyddorion y grefydd Gristionogol. Daeth at y person iawn, sef Crist ei hun, a hyny ar yr adeg fwyaf hamddenol iddo—"liw nos." Yr oedd yr Iesu yn siarad â'r torfeydd yn gyhoeddus ar hyd y dydd, felly gallai Nicodemus gael gwell mantais i ymddyddan ag ef "liw nos." Dengys ei ymddygiad gwrol yn ol llaw mai nid ofn a barai iddo fyned at Iesu "liw nos." Dengys Crist yma i Nicodemus y rheidrwydd iddo ef, er yn Iuddew, gael ei eni drachefn. "Yn wir, yn wir, meddaf i ti, oddieithr geni dyn drachefn, ni ddichon efe ddirnad Teyrnasiad y Nefoedd." Ein hymholiadau mewn cysylltiad a'r testyn hwn ydynt: Pa beth sydd i'w ddeall wrth y term ail-eni? Pa fodd y dygir ef yn mlaen yn yr enaid? Ai yn uniongyrchol trwy weithrediad goruwch-naturiol, ynte yn raddol trwy foddion? Ai goddefol (*passive*), neu weithredol, yw yr enaid pan ddygir y gwaith hwn yn mlaen? Beth ydyw effeithiau y cyfnewidiad nerthol hwn? Sylwn,

I. *Fod y term "geni drachefn" yn golygu gweithred oruwch-naturiol.*

Dysga y Beibl fod dyn wrth natur yn farw mewn camweddau a phechodau—yn farw i bob purdeb a daioni. Iaith Paul ydyw, "Gwyrasant oll, aethant i gyd yn anfuddiol; nid oes un yn gwneuthur daioni, nac oes un." Daw dyn i'r byd mewn meddiant o natur lygredig, fel dywed y Salmydd, "Wele, mewn anwiredd y'm lluniwyd, ac mewn pechod y beichiogodd fy mam arnaf." Mae yn farw yn foesol ac ysbrydol yn ngolwg deddf Duw, fel y *criminal* ar ol cyhoeddi arno ddedfryd marwolaeth. Ni olygwn wrth hyn fod cyneddfau yr enaid yn farw, ond eu bod yn gweithredu yn anmhriodol. Y mae peirianwaith y byd dynol, moesol, wedi myned, trwy bechod, i weithio o chwith. I roi bywyd, ac i wneyd trefn ar y byd, rhaid cael Creawdwr. Nid rhoi cyneddfau newydd i'r enaid ydyw adenedigaeth; yr un oedd cyneddfau Saul o Tarsus cyn ac wedi ei droedigaeth; ond planu egwyddor newydd yn yr enaid. Rhaid cael Hollalluogrwydd i wneuthur hyn. Nid ymaflyd yn ngweddillion daioni y natur ddynol a wneir, fel y tybia rhai, eithr gosod egwyddor fawr bywyd lle nad oedd ond marwolaeth o'r blaen. Yr hwn a anadlodd anadl einioes yn y dyn, fel yr aeth yn enaid byw, yn unig a fedr anadlu anadl bywyd ysbrydol mewn enaid marw. Dacw Ezeciel yn cael ei ddwyn i ddyffryn yr esgyrn sychion. Dim ond marwolaeth oedd yn teyrnasu yno. Sych iawn oeddent. Gofynodd yr Arglwydd i'r prophwyd, "A fydd byw yr esgyrn hyn?" Nid oedd dim tebygolrwydd o du y ddaear. "O Arglwydd, ti ai gwyddost," ebe y prophwyd. Yna gorchymynodd yr Arglwydd iddo brophwydo uwch eu penau, gan ddywedyd, "Esgyrn sychion, clywch air yr Arglwydd." Ar ol gwneyd hyn am dymor, clywodd swn, a gwelodd gynwrf yn eu plith. Daeth yr esgyrn yn nghyd, asgwrn at ei asgwrn; daeth giau a chig arnynt, a gwisgwyd croen am danynt; ond eto nid oedd yno fywyd. Gorchymynwyd iddo brophwydo tua'r gwynt, gan ddywedyd, "Fel hyn y dywed yr Arglwydd Dduw, anadl, tyred oddiwrth y pedwar gwynt, ac anadla ar y lladdedigion hyn fel y byddont byw." Y canlyniad fu, idd-

Digitized by Google

ynt "sefyll ar eu traed yn llu mawr iawn." Dyma ddarluniad ffigyrol o gyflwr ysbrydol dynolryw wrth natur, yn nghyd ag amlygiad o'r angenrheidrwydd o allu dwyfol, er planu yr egwyddor o allu bywiol yn yr enaid.

II. *Fod moddion yn cael eu defnyddio yn y weithred o ail-eni pechadur.*

Dysgir ni yn dra eglur yn yr Oraclau Dwyfol fod yr Arglwydd yn defnyddio offerynau wrth ymwneyd â dyn fel pechadur. Edrychir ar ddyn fel creadur cyfrifol yn llywodraeth y Goruchaf. Gwaith blaenaf crefydd y Testament Newydd yn ei pherthynas a dyn ydyw goleuo y meddwl. "Ewch a dysgwch yr holl genedloedd," oedd comisiwn Crist i'w Apostolion. Yr oedd pregeth nerthol Pedr yn blaenori dwysbigiad calonau tair mil dydd y Pentecost. "Ffydd sydd trwy glywed, a chlywed trwy air Duw." "Pa fodd y credant yn yr hwn ni chlywsant am dano, a pha fodd y clywant heb bregethwr?" Aeth Phylip i waered i Samaria, ac a bregethodd Grist i'r bobl, a'r canlyniad fu i lawer o'r Samariaid gredu. Gallai Paul blanu, ac Apolos ddwfrhau, ond yr oedd yn rhaid cael Ysbryd Duw i blanu egwyddor bywyd, ac felly peri cynydd. Nid oes cynydd lle nad oes bywyd, ond wedi cael bywyd y mae cynydd. Yr Ysbryd Glan a'r Gair sydd yn ail-eni. Nid y Gair heb yr Ysbryd, ac nid yr Ysbryd heb y Gair. Y wialen yn llaw Moses oedd i hollti y Môr Coch—nid Moses heb y wialen, ac nid y wialen heb Moses, ond y ddau. Cleddyf yr Arglwydd a Gedeon oedd i ddarostwng gelynion Israel. Y Gair yn llaw yr Ysbryd Glan sydd yn ail-eni pechadur. Gall cleddyf glwyfo, a bwyell dori y coed i lawr, ond rhaid cael llaw i ymaflyd ynddynt. "Wedi eich ail-eni, nid o had llygredig, eithr anllygredig, trwy Air Duw, yr hwn sydd yn byw ac yn parhau yn dragywydd." "O'i wir ewyllys yr enillodd efe nyni trwy air y gwirionedd." "Canys bywiol yw gair Duw a nerthol, a llymach nag un cleddyf daufiniog, ac yn cyrhaeddyd trwodd at wahaniad yr enaid a'r ysbryd, ac yn barnu meddyliau a bwriadau y galon."

Pan oedd Paul yn pregethu yn Philippi, yn mhlith y dorf yr oedd gwraig o'r enw Lydia, un oedd yn gwerthu porphor, o ddinas y Thyatiriaid, "yr hon yr agorodd yr Arglwydd ei chalon i ddal ar y pethau a leferid gan Paul." Er cystal ymresymwr oedd Paul, yr oedd yn rhaid cael agorwr y galon i ail-eni. Nid oedd neb yn fwy teimladwy o hyn nag Apostol mawr y cenedloedd. Anogai yr eglwysi yn barhaus i weddio am fendith Duw ar ei weinidogaeth. Asgwrn cefn yr eglwys, ebe Spurgeon, yw y cwrdd gweddi. Trwy foddion yn llaw yr Ysbryd Glan y mae Duw yn achub eneidiau. Dylai yr eglwysi gofio hyn. Boed llef Seion:

"O deffro, deffro, gwisg dy nerth,
O brydferth fraich yr Arglwydd;
Fel yn y dyddiau gynt a fu,
Amlyga 'th alluawgrwydd.

I enyn ynom nefol dân,
Boed dylanwadau 'th Ysbryd;
Aed gyda'th eiriau sanctaidd di
Nerth a goleuni hefyd."

III. *Fod dyn yn weithredol* (*active*) *yn ei ail-enedigaeth.*

Edrycha un dosbarth ar y pechadur yn ddiymadferth, fel Lazarus yn y bedd, a llawn mor oddefol ag yntau yn ei adferiad i fywyd. Tybir fod y termau, "creadur newydd," "dyn newydd," &c., yn golygu nad oes gan ddyn ddim i wneyd yn ei adenedigaeth. Meddir, nid oes ganddo lygaid

Digitized by Google

i weled, clustiau i glywed, calon i deimlo, nac ewyllys i weithredu, hyd nes cael anian newydd gan Ysbryd Duw. Yn ol y syniad hwn, nid oes gan ddyn ddim i wneyd, ond aros a dysgwyl am i'r Ysbryd Glan ei ail-eni. Pa fodd y mae cysoni y syniad hwn,

1. A rhyddid ewyllys? Nid yw Duw yn achub neb o'i anfodd. "A fyni di dy wneuthur yn iach?" ebe Crist wrth y claf wrth lyn Bethesda. "Os myn neb ddyfod ar fy ol i, ymwaded ag ef ei hun." Peth i'w dewis yw gwir grefydd. Mae y cydgordiad mwyaf rhwng Penarglwyddiaeth Duw a rhyddid ewyllys dyn.

2. Pa fodd y mae cysoni y syniad hwn â'r ffaith fod dyn yn fôd cyfrifol? Nid ymddengys yn gyfiawn dal dyn yn gyfrifol am yr hyn ni all oddiwrtho. Credwn mai gweithred rasol yw ail-enedigaeth; ond credwn hefyd, faint bynag yw anallu moesol dyn, fod ganddo allu i wrthwynebu yr Ysbryd Glan. "Na ddiffoddwch yr Ysbryd." "Ni fynwch chwi ddyfod ataf fi fel y caffoch fywyd." "A hon yw y ddamnedigaeth, ddyfod goleuni i'r byd, a charu o ddynion y tywyllwch yn fwy na'r goleuni." Yn hyn mae cyfrifoldeb dyn.

3. Pa fodd y mae cysoni hyn â galwadau cyffredinol y Beibl? "Deuwch i'r dyfroedd bob un y mae syched arno;" "Ewch a phregethwch yr efengyl i bob creadur;" "A'r hwn a ddel ataf fi, nis bwriaf ef allan ddim?" Gellid chwanegu llawer yn y cyfeiriad hwn. Hyfrydaf waith y Goruchaf yw achub. Ei iaith bendant ydyw, "Nid ymhoffaf yn marwolaeth yr annuwiol, ond dychwelyd o hono a byw." Mae cadwedigaeth y pechadur yn hollol o ras, a'i golledigaeth yn gwbl o hono ei hunan.

IV. *Fod ail-enedigaeth yn cael ei ddilyn gan effeithiau dymunol.*

1. Y mae dyn yn ei ail-enedigaeth yn cael ei ddwyn i gyflwr newydd yn ei berthynas a Duw. Symudir o un byd i un arall, o fyd y damnio i fyd y cadw—o deyrnas y tywyllwch, ar ba un y mae y diafol yn ben, i deyrnas y goleuni, lle y mae Mab Duw yn ben. Yr oedd teyrnas ysbrydol mewn golwg gan Iesu Grist pan yn ymddyddan a Nicodemus. A. Campbell a sylwa yn briodol iawn ar y gair adenedigaeth. "*Palingenesia*, adenedigaeth, sydd yn dygwydd ddwy waith—Mat. xix. 28, yr adnewyddiad, neu gyfnewidiad cyflwr neu sefyllfa; a Titus iii. 5, golchiad, neu *fath* yr adenedigaeth, mewn cysylltiad ag adnewyddiad y meddwl gan yr Ysbryd Glan. 'Geni drachefn' sydd ymadrodd cymhariaethol, ac mewn iaith gymhariaethol rhaid bod cyfatebolrwydd yn y cymhariaethau a ddefnyddir. Megys y mae y gymhariaeth o borth yn gofyn cae, neu ddrws yn golygu ty; megys y mae y gymhariaeth o gangen yn rhagolygu pren, neu winwydden; fel y mae y gymhariaeth o rwyd yn cyfateb i bysgod neu bysgodwyr, neu megys y mae y gymhariaeth o briodas yn gofyn priodfab a phriodferch; felly y mae y gymhariaeth o enedigaeth newydd, neu ail-enedigaeth, yn gofyn teyrnas. Oddiyma pan oedd yr Iesu yn son gyntaf am eni drachefn, yr oedd ganddo deyrnas yn ei olwg. Megys nas gall dyn briodi heb briodferch, neu blant eu geni heb dad a mam, felly nis gall neb gael ei eni drachefn heb dad a mam, a theulu neu gyflwr i gael ei eni iddo. Oddieithr geni dyn o ddwfr ac Ysbryd, ni ddichon efe fyned i fewn i deyrnas Duw."

2. Y mae dyn yn ei ail-enedigaeth

Digitized by Google

yn dyfod i amgyffred pethau ysbrydol. "Oddieithr geni dyn drachefn, ni ddichon efe *ddirnad* Teyrnasiad Duw." Dyfod i feddiant o'r ddirnadaeth ysbrydol yma oedd angen mawr Nicodemus, a dyma yw angen pob dyn di-ail-enedig, er ei alluogi i ganfod gogididogrwydd darpariaeth trefn achubol Duw ar ei gyfer. Yr oedd Nicodemus, fel yr Iuddewon eraill, wedi arfer cymaint a phethau gweledig crefydd—teml weledig, allor weledig, aberth gweledig—fel yr oedd yn anhawdd iddo ef ymsyniaw yn gywir am egwyddorion cyfundrefn ysbrydol. Yr oedd ei syniadau ef am deyrnas y Messiah yn gnawdol; o ganlyniad, rhaid oedd iddo ef gael ei eni drachefn, Mewn trefn i ddirnad Teyrnasiad Duw. "Eithr dyn anianol nid yw yn derbyn y pethau sydd o Ysbryd Duw, canys ffolineb ydynt ganddo ef, ac nis gall eu gwybod, oblegid yn ysbrydol y bernir hwynt." Mae y dyn ail-enedig yn gwybod cariad Crist, yr hwn sydd uwchlaw gwybodaeth—gwêl ogoniant brenin y deyrnas. O'r blaen yr oedd iddo fel gwreiddyn o dir sych, ond yn awr oll yn hawddgar, ac yn rhagori ar ddeng mil. Y mae yn gweled Iawn digonol ar ei gyfer yn mywyd a marwolaeth y Ceidwad; am hyny, y mae Crist wedi myned a'i holl serch. Gwelodd Moses "daledigaeth y gwobrwy," felly yr oedd yn alluog i ddyoddef adfyd gyda phobl Dduw, "gan farnu yn fwy golud ddirmyg Crist na thrysorau yr Aipht." Gwelodd Pedr yn ei Waredwr "etifeddiaeth anllygredig, dihalogedig, a diddiflanedig, ac yn nghadw yn y nefoedd;" am hyny, gallai gysgu yn dawel rhwng pedwar pedwariaid o filwyr yn y carchar, er ei fod yn gwybod fod Herod yn bwriadu i'w osod i farwolaeth dranoeth. Yr oedd Paul yn gallu canu yn y carchar nesaf i mewn, a gwynebu y dienyddle yn ddigryn, am ei fod yn edrych ar "goron cyfiawnder." "Ni welodd llygad, ac ni chlywodd clust, ac ni ddaeth i galon dyn, y pethau a ddarparodd Duw i'r rhai a'i carant ef. Eithr Duw a'i heglurodd i ni trwy ei Ysbryd; canys yr Ysbryd sydd yn chwilio pob peth, ie, dyfnion bethau Duw hefyd."

3. Y mae y dyn ail-enedig yn cynyddu ar ddelw Crist. Cynllun y bywyd newydd yn ei ddadblygiad yw cymeriad Iesu Grist. Mae pob bywyd yn rhwym o ddangos ei hun ar ddelw yr hwn a'i creodd, neu a'i cenedlodd ef. Mae ganddo nôd uchel o'i flaen; ond y mae yn sicr o'i gyrhaedd, am fod nerth bywyd ysbrydol yn gweithio ynddo ef. Mae bywyd Crist, fel *magnet* i'r bywyd ysbrydol sydd yn enaid y credadyn, y mae yn ei dynu ato ei hun mor agos, fel y mae yn derbyn argraff ei ddelw ddwyfol. Mae cynydd yn perthyn i bob bywyd—ysbrydol fel yr anianyddol. "Hyd oni ymgyfarfyddom oll yn undeb ffydd a gwybodaeth Mab Duw, yn wr perffaith, at fesur oedran cyflawnder Crist." Ymgeisiwn i ymgyrhaedd at y nôd hwn. Peidiwn ymfoddloni ar ryw fath o gymeriad. Adlewyrchwn gymeriad y Gwaredwr ar y byd, fel y byddom yn oleuadau dysglaer ynddo.

4. Y mae y dyn ail-enedig yn hiraethu am wlad well. Dyeithriaid a phererinion yw y saint yma. Nid yma y mae eu cartref gwirioneddol. Y maent wedi eu geni oddi uchod, ac yno y mae eu tynfa. Planigyn o'r wlad fry yw y bywyd ysbrydol a blenir gan Ysbryd Duw yn yr enaid, ac nid yw yn ei hinsawdd ei hun nes myned i'r nefoedd. Fel mae nodwydd y cwmpawd yn pwyntio bob amser i'r gogledd, a'r

Digitized by Google

wreichionen yn esgyn, felly y mae gwlad y gogoniant pur yn atdynu enaid y Cristion ati ei hun. Profiad llawer o honynt ydyw:

"'Rwyf yn dechreu teimlo eisoes
Beraroglau'r gwledydd draw,
Gyda'r awel bur yn effro,
Diau fod y wlad gerllaw;
Dere'r tir dymunol hyfryd,
Dere'r ardal sydd heb drai,
Dy bleserau nefol rywiau,
Gad i'm bellach eu mwynhau."

Tybiaeth wyddonol oedd yn cymell Columbus i chwilio am y cyfandir Americanaidd; ond y mae gan y Cristion sicrwydd addewid brenin y wlad: "Wele, yr wyf fi yn myned i barotoi lle i chwi, fel lle yr wyf fi, y byddwch chwithau hefyd."

## SYLFEINI CAETH-GYMUNDEB.

GAN Y PARCH. OWEN JAMES.

Gan fod teimladau celyd yn cael eu coleddu tuag at y Bedyddwyr o herwydd eu daliadau ar ordinhad Swper yr Arglwydd; gan fod y teimlad hwn yn cyfodi, o bosibl, oddiar ddiffyg dealldwriaeth, a chan fy mod inau wedi cael cryn fantais i ymgydnabyddu â daliadau y Bedyddwyr Neillduol yn America ar bwnc y cymundeb, dichon y goddefir i mi osod ger bron darllenwyr y WAWR fraslun mor fyr, mor gryno, ac mor eglur ag y gallaf o'r daliadau hyn. Ni cheisiaf brofi dim. Nid dyna yw fy amcan. Yn unig ceisiaf osod allan y daliadau hyny o eiddo y Bedyddwyr Neillduol sydd yn eu harwain i'r hyn a elwir "cymundeb caeth." Os oes rhywrai am weled ein prawfion ar y gosodiadau hyn, ymgymeraf a'u gosod ger bron ryw dro arall. Dichon fod y syniadau hyn yn dramgwyddus i lawer—byddent felly. Un peth a wn, a hyny yw, na roddant dramgwydd i neb ond i'r culfarn a'r caethfrydol. Y mae pawb eangfarn a rhyddfrydol yn cydnabod mai rhydd i bob meddwl ei farn, ac i bob barn ei llafar; ac os yw Bedyddwyr y Talaethau Unedig yn dal golygiadau neillduol, ac yn llefaru ac yn ymddwyn yn ol y golygiadau hyn, a hyny ar eu traul eu hunain, ac heb gyfyngu yn y mesur lleiaf ar ryddid pobl eraill i wneyd yr un peth yn eu ffyrdd eu hunain, ac ar eu traul eu hunain, onid yw hyn yn berffaith gyson âg egwyddorion rhyddid? Y mae yn anmhosibl i mi weled fod yma elfenau tramgwydd. Ond a ganlyn yw ein daliadau:

1. Y mae Cristionogaeth yn beth personol, ac yn beth cymdeithasol—y mae yn allu mewnol, ac y mae yn sefydliad allanol. Fel peth personol—fel gallu mewnol, y mae yn ffydd yn Iesu Grist, yn gariad, yn edifeirwch, ac yn heddwch tuag at Dduw; y mae yn rhyddhad oddiwrth bechod, yn gynydd mewn gras, yn obaith bywyd tragywyddol, ac yn llawer o bethau eraill. Ond fel peth allanol a chymdeithasol, y mae Cristionogaeth yn gynwysedig mewn ymaelodiad mewn sefydliad Cristionogol, ac mewn ymarweddiad priodol yn y sefydliad hwn. Gelwir y sefydliad yn eglwys. Gwna y mewnol ddyn yn Gristion; gwna yr allanol ef yn aelod o eglwys Gristionogol.

2. Nid oes un berthynas angenrheidiol rhwng crefydd bersonol a chrefydd eglwysig. Nid yw Cristionogaeth bur ynddi ei hun yn gwneyd dyn yn aelod o eglwys, ac nid yw aelodaeth eglwysig ynddo ei hun yn gwneyd dyn yn Gristion. Y mae llawer Cristion heb fod yn aelod eglwysig, a llawer aelod eglwysig heb fod yn Gristion. Gwir, fe

ddylai pob Cristion ymuno ag eglwys; y mae ei gynydd a'i ddefnyddioldeb yn ymddibynu ar hyny. Y mae Duw wedi bwriadu hyny, ac y mae y gwir Gristion yn sicr o ymuno â chymdeithas grefyddol os ca gyfle priodol. Ond y mae amgylchiadau yn lluddias yn aml. Gwir, o'r tu arall, fe ddylai pob aelod eglwysig fod yn Gristion, ac y mae yr eglwysi, fel rheol, yn mynu prawf boddhaol oddiwrth bob ymgeisydd am aelodaeth, ei fod yn Gristion gwirioneddol. Ond y mae rhagrith ac anwybodaeth yn peri llawer o anmherffeithrwydd yn y cyfeiriad hwn.

3. Y mae cyfranogi o swper yr Arglwydd yn ddyledswydd ac yn fraint eglwysig neu gymdeithasol. Y mae yn perthyn nid i bersonau Cristionogol, ond i eglwysi Cristionogol. Nid ydyw bod yn Gristion yn rhoddi hawl i'r cymundeb; yn ychwanegol at hyn rhaid bod yn aelod cyflawn mewn eglwys. Y mae gweddio, canu mawl, pregethu y gair, a lledaenu y gwirionedd, yn ddyledswyddau personol, yn cyfodi oddiar y ffaith ein bod yn ddynion, ac yn ddynion Cristionogol, tra y mae cymuno yn ddyledswydd sydd yn cyfodi oddiar y ffaith ein bod yn Gristionogion mewn aelodaeth eglwysig. Os nad wyf yn camsynied, y mae yr enwadau crefyddol yn gyffredinol o'r farn hon. Ni roesawant at fwrdd yr Arglwydd neb ond a fyddo yn aelod cyflawn mewn rhyw gymdeithas grefyddol neu gilydd.

4. Y mae eglwysi y Testament Newydd, neu y cymdeithasau Cristionogol a sefydlwyd gan yr Apostolion, wedi eu bwriadu, mor bell ag y mae eu cyfansoddiad a'u ffurf-lywodraeth yn myned, i fod yn gynllun, ac yn unig gynllun, i'r eglwysi yn mhob oes a gwlad hyd ddiwedd amser. Y mae yn amlwg oddiwrth hyn, nas gall un gymdeithas fod yn eglwys briodol a chyflawn, ond a fyddo wedi ei ffurfio yn ol y cynilun hwn.

5. Yr oedd eglwysi y Testament Newydd yn cael eu gwneyd i fyny o bersonau ag oeddynt wedi eu bedyddio ar broffes gredadwy o'u ffydd yn Iesu Grist. Ni chai neb eraill eu derbyn i'r eglwysi.

6. Bedyddio yw y weithred o drochi personau mewn dwfr ar broffes gredadwy o'u ffydd yn Iesu Grist. Nid yw un weithred arall yn fedyddio, ac nid yw cyflawni y weithred hon ar bersonau eraill yn fedyddio.

7. Y canlyniad cyntaf yw, nas gellir galw y cymdeithasau hyny sydd yn cael eu gwneyd i fyny o bersonau difedydd yn eglwysi o gwbl Y maent yn sefydliadau Cristionogol da, yn cael ei gwneyd i fyny o Gristionogion da, ac yn cyflawni gweithredoedd Cristionogol da, eto i gyd nid ydynt yn dyfod i fyny a'n desgrifiad o Eglwysi Cristionogol.

8. Yr ail ganlyniad, yn ol ein trydydd gosodiad, yw, nad oes hawl gan y cymdeithasau hyn i'r cymundeb. Os yw y cymundeb yn perthyn i'r eglwysi, ac os nad yw y sefydliadau hyn yn eglwysi priodol a chyflawn, nid oes dim yn fwy amlwg na'n gosodiad nad oes ganddynt hawl i'r cymundeb. Fel Cristionogion, gellir cyd-weddio, a chyd-ganu, cyd-bregethu a chyd weithio a hwy, ond am nad ydynt eglwysi rheolaidd nis gellir cyd-gymuno â hwy.

Dyna yw syniadau Bedyddwyr Neillduol America, fel eu deallir gan y mwyafrif yn ein plith. Dichon ein bod yn cyfeiliorni; os ydym, argyhoedder ni o hyny, a bydd i ni newid ein harferiad. Profer i ni y naill neu y llall, neu yr

Digitized by Google

oll o'r gosodiadau canlynol, a deuwn ar unwaith yn gymunwyr rhydd,—sef,

1. Fod y cymundeb yn perthyn i Gristionogion fel y cyfryw, ac nid i aelodau eglwysi Cristionogol.

2. Nad oes rhwymau arnom ni i ddilyn y cynllun Apostolaidd yn ffurfiad yr eglwysi, ac felly nad yw bedydd yn anhebgorol angenrheidiol i aelodaeth eglwysig.

3. Fod unrhyw weithred arall yn fedyddio heblaw y weithred o drochi mewn dwfr ar broffes gredadwy o ffydd yn Iesu Grist.

Nid oes eisiau gwawd na dirmyg, nid oes eisiau cyhuddo o gulni neu drahausder. Y mae gwahaniaeth cydwybodol mewn barn yn achosi digon o ymraniadau, heb i ni gynhyrfu teimladau chwerwon a digofus drwy edliwiau annheilwng.

Ymrodder fel dynion boneddigaidd ac ysgolheigion Cristionogol i brofi y naill neu y llall o'r gosodiadau uchod, a bydd i bob Bedyddiwr drwy y byd gydnabod ei gamsyniad.

---

# Amrywiaethol.

## Y PARCH. JOHN PENRY, M. A.

O amgylch y flwyddyn 1586, yr oedd gwr enwog o Gymru yn weinidog, yr hwn a elwid John ab Henry, neu yn ol arfer y Saeson, John Penry, M. A. Dywedir mai gwr o sir Frycheiniog oedd ef. Mae Mr. Neale, yn "Hanes y Puritaniaid," yn rhoi gair da iawn iddo am ei dduwioldeb a'i ddawn yn y weinidogaeth, ac yn nodi ei fod yn bregethwr canmoladwy yn y ddwy Brif Ysgol, sef Rhydychen a Chaergrawnt. Dywed ei fod yn fawr ei sel dros ei gydwladwyr y Cymry, ac mai efe (yn ol ei dystiolaeth ei hun) oedd y cyntaf a bregethodd yr efengyl yn gyhoeddus i'r hen Frutaniaid. Argraffodd ddau lyfr o'u plaid yn 1588, yn dangos truenus gyflwr y Cymry o eisiau moddion gras. Y flwyddyn hono yr argraffwyd y Beibl yn Gymraeg gyntaf i'r Llanoedd. Yr oedd yn y deyrnas elyniaeth mawr i wr oedd mor gyhoeddus ei sel dros grefydd, yn enwedig gan nad oedd, yn mhob peth, yn cytuno â defodau Eglwys Loegr. O'r diwedd, rhoddwyd ef i farwolaeth, yn 1593, yn wr ieuanc 34 oed. Bu farw yn gysurus. Nid yw hyn ond rhan o'r ganmoliaeth a rydd Mr. Neale i'r gwr da hwn. Nid yw ef yn son gair mai un o'r Bedyddwyr oedd Mr. Penry, ond yn unig ei gyfrif yn wr rhagorol o'r Puritaniaid. Buasai yn ffyddlondeb pe dywedasai wrth ei ddarllenydd fod y Cymro llafurus hwn yn cael ei gyfrif yn un o'r Ailfedyddwyr, yn enwedig gan fod gwr o Eglwys Loegr (Mr. Anthony Wood), ugain mlynedd o'r blaen, wedi cyhoeddi trwy y wlad mai blaenor yr Ailfedyddwyr oedd Mr. Penry yn ei amser.* Tebygid i Mr. Neale gymeryd ei hanes am y gwr hwn o waith Mr. Wood hefyd, canys y mae sylwedd yr hyn a nodir uchod yn ngwaith yr olaf. Dywed ef fod Mr. Penry yn fwy ei ddysg na chyffredin, yn cael ei gyfrif yn bregethwr adeiladol, ac yn wr da, wedi cael ei ddygiad i fyny yn y ddwy Brif Ysgol, ac yn pregethu yn y ddau le gyda derbyniad. Ond dywed ei fod yn groes i Eglwys Loegr tu hwnt i bawb a fu trwy holl deyrnasiad hir y Frenines Elizabeth. Efe a ysgrifenodd lawer o lyfrau yn erbyn ysbryd erledigaethus yr oes hono, a chafodd lawer ateb gwaradwyddus gan ddysgedig ac annysgedig.

Tebygol mai trwy y gwr hwn y daeth

---

* Y geiriau ydynt: "A most notorious Anabaptist (of which party he was in his time the Corypheus)."

Digitized by Google

y Cymry i ddeall gyntaf am fedydd y crediniol, wedi y diwygiad o Babyddiaeth. Nid oedd eto ond ychydig o ddiwygiad yn ein gwlad ni. Er fod yn bosibl i Mr. Penry fedyddio rhai o'r Cymry, eto, yr wyf fi yn meddwl nad ymgorpholodd un eglwys reolaidd yn eu plith dros o gylch deugain mlynedd wedi ei farw ef. Mae yr haneswyr sydd yn erlid y Puritaniaid yn mawr anmharchu Mr. Penry, er eu bod yn cydnabod ei fawr ddysg a'i ddawn. Mae yr haneswyr sydd dros y Puritaniaid yn rhoi clod mawr iddo, ond amryw yn celu ei fod dros fedydd y crediniol. Dywedir ei fod yn mawr dosturio wrth wlad ei enedigaeth, gan ofidio eu bod yn y fath dywyllwch ac anwybodaeth, o eisiau rhai i bregethu yr efengyl iddynt.—*O "Hanes y Bedyddwyr," gan y Parch. Joshua Thomas.*

## Y CYMRY GYNT.

Ond i Baganiaeth gan dybiau gweinion,
A nwydau brwth, ni ddenwyd y Bryth-
Drwy y nefoedd, a daear, a Neifion, [on;
Nid oedd a ddygai nodweddau ddigon
Addas i gael ufuddion—i'w ioli,
Ond eu mawr Geli, o dymer y galon.

Er i eraill fyn'd ar wyriad—hollol
Trwy wallus ymsyniad, [wan,
O ethryb ymddyeithriad—a ffydd
Yn llwybrau anian lle bu'u harweiniad.

Uchel drwy hydwrf chwyldroadau,
O afaelion noethion driniaethau,
Y Cymry ydynt â'u cymeriadau;
Gwiw y daliasant drwy gydol oesau,
Blinion a meithion, a'u serch yn mheth-
Hygar a diwyrn eu hen gredöau. [au

Rhoisant ogoniant Gwiwner,— wrth "wawl haul,"
Perth ei lun, hyd amser
Ei orlewyrch, drwy leuer—a phurdeb
Hywel, cyfundeb haul Cyfiawnder.

Y gun, der "Genadwri"—a fuant
Fywiog i'w harddelwi,
O dan ei heirdd edyn hi
Hwy a geir yn rhagori.

—*Aneurin Fardd.*

## TAITH FER I MINNESOTA.

Mr. Gol.—Gofynaf eich caniatad i gyhoeddi ychydig o hanes fy nhaith ddiweddar i'r Gorllewin. Ni roddaf fanylion dibwys, rhag trethu eich amynedd chwi a'ch darllenwyr.

Cychwynais i a'm gwraig o W. Salem i Mankato, Minn., a chyrhaeddasom ben ein taith yr un dydd. Nis gallaf ddyweyd i mi weled dim neillduol yn nghorph y dydd, oddieithr eangder braidd annherfynol y *prairies* yr aethom trwyddynt. Gormod o unrhywiaeth golygfeydd oedd ynddynt i daro fy chwaeth i, yn enwedig wrth feddwl am erwindeb y gauaf, a'r ystormydd geirwon a geir yno, y rhai sydd yn enill nerth anwrthwynebol ar adegau, trwy nad oes yno fryniau a choedydd i leddfu eu mynediad yn mlaen.

Y mae sefydliad mawr o Gymry yn Blue Earth Co., yn cyrhaedd, meddynt, o bymtheg i ugain milltir o hyd, a'i led hefyd yn fawr. Yr wyf yn canmol y Cymry am fod mor synwyrol a sefydlu mor gryno gyda'u gilydd, a hyny mewn gwlad dda o ran tir, ond fod yno brinder coed, fel y nodwyd. Nid oes ond ychydig o genedloedd eraill i'w cael yn eu mysg. Mae hyny yn llawer o fantais, yn neillduol felly gyda golwg ar fanteision crefyddol. Ystyriwyf y dylai y Cymry (a phob cenedl arall, o ran hyny) ymdrechu sefydlu mor agos at eu gilydd ag y byddo yn bosibl; ac nid yn unig fel cenedl, ond hefyd fel gwahanol enwadau crefyddol; oblegid y mae digon o brawfiadau yn dangos, nid yn unig nas gall Bedyddwyr a thaenellwyr fyw yn gysurus gyda'u gilydd, ond nas gall taenellwyr o wahanol enwadau fyw yn heddychol y naill gyda y llall. O herwydd hyny, barnaf y byddai yn dda iddynt yn awr, tra y mae gwledydd newyddion yn dyfod i'r farchnad, megys Dakota, Washington Territory, &c., feddwl am brynu tir fel y caffont fyw gyda brodyr o'r un golygiadau crefyddol â hwy eu hunain. Mae canoedd yn y wlad hon wedi treulio eu hoes mewn anghysur ac annefnyddioldeb mewn ystyr grefyddol, trwy ddilyn

Digitized by Google

esiampl Lot, sef edrych yn benaf ar wlad frâs, a lle manteisiol i gasglu cyfoeth, a hyny i raddau mawr ar draul tlodi eu heneidiau mewn ystyr ysbrydol, ac yn aml, fel yntau, lygru eu plant yn y fargen. Ofnwyf fod mwy o esgeulusdra wedi bod ar y pen hwn yn ein mysg ni fel Bedyddwyr nag un enwad arall. Gwelais ar fy nhaith lawer o deuluoedd o Fedyddwyr selog a pharchus, y rhai, pe buasent gyda'u gilydd, a fuasent yn ddigon i ffurfio eglwys gref a lluosog o Fedyddwyr; a phwy a wyr pa nifer o eglwysi felly a allesid eu cael trwy y gwahanol sefydliadau yn y wlad hon pe buasai mwy o sylw wedi ei dalu i'r mater hwn. Mae yn dda genyf feddwl fod yr holl deuluoedd y cyfeirir atynt mewn sefyllfaoedd cysurus ar ffermydd da, yn deuluoedd parchus, ac yn hynod garedig yn eu tai; ond y mae yn ddrwg genyf feddwl eu bod wedi eu colli o ran eu defnyddioldeb i'r enwad y perthynent iddo unwaith—yr enwad y credant fod ei egwyddorion yn fwy unol â dysgeidiaeth y Beibl nag un arall.

Barnwyf, Mr. Gol., y dylai pob eglwys yn Nghymru ac America wasgu ar ystyriaeth pob aelod fyddo yn codi ei lythyr i fyned i'r Gorllewin, neu ryw gyfeiriad arall, am iddo ymdrechu sefydlu lle y byddo gobaith iddo gael manteision crefyddol gyda'r enwad y perthyna iddo, sef Cristionogion yn credu yn yr un Duw, yr un Arglwydd, yr un ffydd, a'r un bedydd, ar iddynt feddwl mwy am y berthynas ysbrydol na'r un gnawdol. Yr oedd Iesu yn meddwl mwy o'r berthynas oedd rhyngddo â'r rhai oedd yn gwneuthur ewyllys ei Dad, yr hwn oedd yn y nefoedd, na'r berthynas oedd rhyngddo â Mair, fel ei fam naturiol.

Yr oedd yn dda genyf weled y Wawr mewn cynifer o deuluoedd y bum ynddynt, yn cael ei derbyn, ei darllen, a'i gwerthfawrogi. Mae yn rhyfedd genyf fod un dyn sydd yn proffesu ei hun yn Fedyddiwr heb dderbyn yr unig gyhoeddiad a feddwn yn America, yr unig un, meddaf, y gallwn amddiffyn ein hunain a'n hegwyddorion ynddo yn erbyn yr ymosodiadau haerllug a digywilydd a wneir arnom mor fynych. Gwelaf fod y Parch. R. H. Evans yn gwneuthur ail ymosodiad arnom yn y *Cyfaill*, a phe na bae y Wawr genym, ni byddai genym fel enwad un llys i apelio ato, yn yr hwn y gallem amddiffyn ein hunain. Wedi iddo gael amser i arllwys holl gynwysiad ei feddyliau dirmygus o honom, bwriadaf wneyd sylw o hono, a dangos fod deng mwy o wahaniaeth ac anghysondeb rhwng awduron taenellyddol, pan yn ceisio amddiffyn eu defod ddynol, nag sydd rhwng awduron y Bedyddwyr gyda golwg ar y gair *baptizo*, nac un peth arall. Mae yn fanteisiol i'r gwirionedd fod ei wrthwynebwyr heb wybod fod eu nerth hwynt yn gynwysedig mewn bod yn llonydd.—*W. Jones, Wis.*

---

## DINAS AR FRYN.

Mr. Gol.: Gan fod cymaint o sylw yn cael ei roi y dyddiau hyn i bynciau yr ysgol Sul, meddyliais wneyd ychydig o sylwadau ar Mat. 5:13–16. Gwelwn fod Iesu Grist yn defnyddio dwy gydmariaeth i ddangos ansawdd a pharhad ei deyrnas, neu yn hytrach ei eglwys. Mae yn ymresymu a'r dysgyblion fel hyn: Fod yn bosibl i halen fyned yn hollol ddiwerth, trwy ddiofalwch ac esgeulusdra. Yr ail gydmariaeth yw goleu canwyll a'i dodi dan lestr, a thrwy hyny ei gwneyd yn ddiwerth. Gallwn i feddwl fod yr addysg yn anocheladwy, sef, fod y ddwy gydmariaeth yn dangos yr anmhosibilrwydd i Gristionogaeth lwyddo heb ymdrech parhaus y dysgyblion. I gadarnhau hyn, y mae Crist yn dod a chydmariaeth wrthgyferbyniol i'r ddwy flaenorol, sef, "Dinas ar fryn, nis gellir ei chuddio." Mae y ddinas yma yn amlwg, yn annibynol ar ei thrigolion; gallent hwy fod yn lladron neu yn feddwon, eto, byddai eu dinas yn amlwg, heb iddynt hwy wneyd un ymdrech i'w chadw yn amlwg Ai tybed fod Iesu Grist yn cydmaru Cristionogaeth i ddinas ar fryn? Nid yw yn debyg ei fod, ond ei gwrthgyferbynu y mae, fel pe dywedasai, Nid ydwyf yn

Digitized by Google

cydmaru fy eglwys i ddinas ar fryn. Dangos y mae Crist fod yn bosibl i Gristionogaeth gael ei chuddio o'r golwg, a bod yn ddiwerth, fel yr halen a'r goleu; ac nid ei chydmaru â pheth anmhosibl ei guddio.—*Evan Roberts, Remsen.*

## YR HEN A'R NEWYDD.

Nid oes amheuaeth nad yw llawer iawn o'r cyfnewidiadau yn y Testament Diwygiedig yn welliadau ar y darlleniadau yn Nhestament y Brenin Iago. Mae yr engreifftiau sydd wedi ymddangos yn y WAWR, gan y Parch. W. Edwards, B. A., yn profi hyny yn amlwg. Eto, mae mor ddiamheuol y buasai yn well gadael llawer darlleniad fel ag yr oedd; a phur debyg y bydd yn angenrheidiol dychwelyd llawer o honynt, cyn daw y Diwygiedig—y Newydd—yn safon yn lle yr Hen.

Y mae ysgrif ddyddorol dros ben gan Matthew Arnold yn y *Nineteenth Century* ar y mater yma. Dadleua Mr. Arnold fod y Diwygwyr wedi aberthu prydferthwch yr hen ddarlleniadau yn fynych, heb daflu dim goleu ychwanegol ar y meddwl yn y gwreiddiol. Sonia gyda gradd helaeth o wirionedd ar gyflawnder cyfoeth yr iaith Saesoneg yn oes Elizabeth, a dwfn ddysgeidiaeth duwinyddion y cyfnod hwnw. Yna cyfeiria at y gwrthwynebiad llym o eiddo Deon Caeregent i'r Testament Diwygiedig; ac er nad ydyw yn cwbl gymeradwyo y Deon yn ei holl ymosodiadau, dyg yn mlaen un engraifft nodedig a'r hon y mae yn hollol gyfiawnhau y Deon. Y mae darlleniad y tair adnod (5—7) o'r benod gyntaf yn Ail Epistol Pedr yn y Testament Awdurdodedig fel hyn: "And beside this, giving all diligence, add to your faith virtue; and to virtue knowledge; and to knowlege temperance; and to temperance patience; and to patience godliness; and to godliness brotherly kindness; and to brotherly kindness charity." Wrth ochr y gwaith hwn o eiddo yr hen gyfieithwyr, ebe Matthew Arnold, gesyd y Deon waith y diwygwyr: "Yea, and for this very cause, adding on your part all diligence, in your faith supply virtue; and in your virtue knowledge; and in your knowledge temperance; and in your temperance patience; and in your patience godliness; and in your godliness love of the brothren; and in your love of the brothren love." Ychwanega Mr. Arnold, "Wrth yn unig osod y cyfieithiadau hyn ochr yn ochr, barna y Deon ei fod wedi gwneyd digon i gondemnio y cyfieithiad diwygiedig. Ac felly mewn gwirionedd y mae."

Fel hyn mae yr hen ddarlleniad yn y Gymraeg: "A hyn yma hefyd, gan roddi cwbl ddiwydrwydd, ychwanegwch at eich ffydd, rinwedd; ac at rinwedd, wybodaeth; ac at wybodaeth, gymedrolder; ac at gymedrolder, amynedd; ac at amynedd, dduwioldeb; ac at dduwioldeb, garedigrwydd brawdol; ac at garedigrwydd brawdol, gariad." A'r Newydd fel hyn:

"Ië, ac am y gwir achos hwn, ychwaneger ar eich rhan bob diwydrwydd; yn eich ffydd cyflenwch rinwedd; ac yn eich rhinwedd, wybodaeth; ac yn eich gwybodaeth, gymedroldeb; ac yn eich cymedroldeb, amynedd; ac yn eich amynedd, dduwioldeb; ac yn eich duwioldeb, gariad at y brodyr; ac yn eich cariad at y brodyr, gariad."

Fe wel y darllenydd Cymreig, nad yw yn alluog i ddeall y Seisonig, ragoroldeb yr hen ddarlleniad rhagor y newydd. Efallai fod hon yn engraifft eithafol. Nid ydwyf wedi bod mor ddedwydd a chael gafael, hyd yma, ar ysgrif y Deon dysgedig; a phe cawn, mae yn ddigon tebyg na chaffwn lawer ergyd mor farwol a hon.

Pan ddaeth y Testament Diwygiedig allan gyntaf, bum yn cymharu llawer o'r darlleniadau, a gydnabyddir yn gyffredin eu bod yn welliadau, â'r darlleniadau yn Nhestament yr *American Bible Union*, a gyhoeddwyd yn 1866, ac yn gyffredin yr oedd wedi rhagflaenu y cyfnewidiadau a wnaed gan y Diwygwyr.

Y mae yr adnodau uchod ynddo yn darllen fel hyn:

"Yea for this very reason, giving all

Digitized by Google

diligence, add to your faith fortitude; and to fortitude, knowledge; and to knowledge, self-controul; and to self-controul, patience; and to patience, godliness; and to godliness, brotherly kindness; and to brotherly kindness, love."

Y mae hwn yn nês at yr hen gyfieithiad; eithr yr wyf yn dra sicr y dyfarnai y Dr. William R. Williams yr Hen yn well na'r Newydd yn y ddau gyfieithiad diwygiedig.—*Ap P. A. Mon.*

---

## Y DREFN BLWYFOL YN MHRYDAIN.

Tua'r flwyddyn o. c. 636 y dechreuwyd rhanu y wlad yn blwyfi. Ar y cyntaf, defnyddid y gair *parskia* (*parish*—plwyf) i ddynodi y rhan hono o'r wlad a elwir yn awr *diocese* (esgobaeth), tra yr arwyddocâai y gair *diocese* y pryd hwnw, undeb o lawer o esgobaethau; felly, yn fynych, byddai esgobaeth yn ogymaint a theyrnas.*

Yn yr amser gynt byddai arglwydd y faenor† yn adeiladu eglwys ar ei dir at ei wasanaeth ei hun, ei deulu, ei ddeiliaid, a thrigolion y pentrefydd cyfagos. Ac ar ol adeiladu eglwys yr oedd yn angenrheidiol edrych pa fodd y gellid gwneuthur darbodaeth tuag at gynaliaeth gweinidogion i wasanaethu y cyfryw eglwysi, y rhai a roddent eu hunain i fyny yn gyfangwbl i waith y weinidogaeth; ond yn ol pa reol yr oedd gwneuthur hyny oedd y cwestiwn. Felly, yr y'm yn cael yn foreu iawn fod aelodau cyfoethog yr Eglwys yn ychwanegu at eu rhoddion gwirfoddol ryw ardreth dâl sefydlog ar gynyrch eu tir, tuag at wasanaeth yr Eglwys a chynaliaeth ei chlerigwyr. Yn awr, pan gyfnewidiai y tir yma ddwylaw, gwerthid ef yn ddarostyngedig i'r dâl yma, ac i'r prynwr byddai yn rhatach o'r ddegfed ran na phe gwerthasid ef heb y degwm; ac o ganlyniad, byddai y degwm, mewn gwirionedd, yn dyfod allan o boced perchenog y tir, er y dichon ei fod yn cael ei dalu gan y deiliad. Ac wedi hyny, yn raddol, yr hyn ag oedd ar y cyntaf yn unig ond ardreth-dâl wirfoddol sefydlog, a ddaeth (nid trwy rym *Act of Parliament*, neu unrhyw ymyriad y llywodraeth o gwbl, eithr trwy rinwedd amodau cyffredin o brynu a gwerthu), i fod yn ardreth-dâl sefydlog a rhwymedig. Byddai maintioli y plwyf yn ymddibynu ar faintioli etifeddiaeth yr hwn a adeiladai ac a waddolai yr eglwys.

Y mae yn ffaith fod y degwm yn cael ei dalu i'r Eglwys yn hir cyn i unrhyw gyfreithiau gwladol gael eu gwneuthur yn ei gylch. Ymddengys fod y degwm yn bodoli yn Lloegr yn amser yr Archesgob Theodorus (o. c. 669–690), a chrybwyllir am dano mewn cyfreithiau a briodolir i Edward y Cyffeswr (o. c. 1060) megys yn cael ei ofyn gan S. Awstin (o. c. 600), a'i roddi gan y brenin. Y gyfraith wladol gyntaf dros dalu y degwm a wnaed, fel y mae yn debyg, gan Offa, brenin Mercia (o. c. 777), a'r nesaf gan Ethelwulf (o. c. 855), yr hwn a gadarnhaodd gyfraith Offa, ac a'i bwriadodd i fod mewn grym dros yr holl wlad.—*Parch. Wm. I. Francis, B.A.*

* Theoph. Anglic., p. 108.

† Maenor—Y darn hwnw o dir, mwy neu lai, a roddid gynt i bendefig at ei wasanaeth ef a'i deulu.

---

## ADGOFION AM YR HEN DDAEAR

Y mae yn debyg y byddi di yn y bywyd tragywyddol yn sugno dedwyddwch o lawer o bethau o'r hen ddaear yma. Mi welais bethau ar yr hen ddaear yma a fydd yn werth eu cofio byth. Y mae rhyw bethau a gawsom ni eu gweled wrth fyned trwy y byd yma na anghofiwn ni byth mo honynt. Mi fum yn ymddyddan â gwr ychydig o amser yn ol oedd wedi dyfod i amgylchiadau da o amgylchiadau isel, ac am hyny yr oedd o yn son o hyd; 'doedd dim arall i'w gael ganddo. Y mae yn bur siwr genyf y cofi dithau am ryw bethau a fu yn mlynyddoedd yr hen oesoedd. "Abraham, Isaac a Jacob, na soniwch i chwi fod erioed yn breswylwyr y ddae-

ar; nid yw hyny yn anrhydedd yn y byd i chwi." O ! na, y mae tewi son am yr hen ddaear yma yn anmhosibl. Yma y gwelais i Iesu Grist gyntaf—yma y priodwyd ni—yr hen ddaear oedd eglwys y plwyf lle yr unwyd ni mewn glân briodas, yr undeb a roes hawl i'r etifeddiaeth fawr. Bendigedig fyddo Duw ! Y mae pethau wedi pasio ar yr hen ddaear yma sydd yn ei gwneyd yn werth ei chofio yn mhen miliynau o flynyddoedd wedi iddi fyned ar dân ! Wn i ddim pa drefn a fydd arni ar ol dydd y farn, ond bydd yn werth ei chofio.—*Parch. John Jones, Talysarn.*

---

## BRASLUN PREGETH.

### BRODYR YR IESU YN ANGHREDU YNDDO.

"Ac nid oedd ei frodyr yn credu ynddo."—IOAN 7 : 5.

Beth yw ystyr y gair "brodyr" yma sydd bwnc y gwahaniaetha duwinyddion yn ei gylch. Tybia llawer mai perthynasau agos i'r Iesu oeddynt, megys cefnderoedd, &c.; ond y mae y beirniaid mwyaf addfed yn bresenol yn barnu mai brodyr naturiol a phriodol i'r Arglwydd Iesu oeddynt. Bernir fod y cyfeiriadau Ysgrythyrol a wneir at "ei frodyr" yn profi hyn. Byddai tybied fod yr ymadrodd, "ei frodyr," yn cael ei ddefnyddio amryw weithiau i osod allan ryw berthynasau amgen na brodyr gwirioneddol yn rhoddi lle i'r wrthddadl drom, fod yr Ysgrythyrau yn defnyddio geiriau camarweiniol hawdd eu cywiro. Pwy bynag, gan hyny, a fyn gymeryd yr Ysgrythyr ar ei gair, a gymer yr ymadrodd, "ei frodyr," yn llythyrenol, sef eu bod yn blant i Joseph a Mair yn ddilynol i enedigaeth yr Iesu, trwy briodas gyfreithlon.

Am "ei frodyr," dywedir yma, nad oeddent yn credu ynddo. Paham ? Nodwn rai rai rhesymau a ymddengys i ni ag oedd yn peri hyny :

I. *Am fod yr Iesu yn dysgu pethau ymddangosiadol croes i'r ddysgeidiaeth deuluaidd a gawsent.*

Dysgasid hwy i fyny yn Nazareth mewn teulu crefyddol neillduol. Yr oedd Joseph yn "wr cyfiawn," yr hyn oedd yn cynwys y moesoldeb puraf, y ffyddlondeb trylwyraf i draddodiadau y tadau. Fel y cyfryw rhaid oedd ei fod ef, mewn undeb â Mair, yr hon a gawsai y fath ffafr o fod yn fam Gwaredwr y byd, yn dwyn y plant i fyny yn addysg ac athrawiaeth yr Arglwydd, ac yn selog dros y ddeddf, y seremoniau a'r traddodiadau. Heblaw hyn, yr oedd yr ieuenctyd Iuddewig yn cael eu dysgu yn gyffredin i gofio ac adrodd rhanau helaeth o'r Ysgrythyrau. Yn awr, pan y dechreuodd yr Iesu ar ei fywyd cyhoeddus, a dysgu pethau ymddangosiadol croes i'r hyn y dysgasid brodyr yr Iesu ynddynt, y canlyniad oedd eu bod yn tueddu i anghredu ynddo, a'i gymeryd yn dysgu pethau camarweiniol.

II. *Am ei fod yn cael ei wrthwynebu yn bendant gan flaenoriaid penaf y genedl.*

Yr oedd gan "ei frodyr," fel y lluaws cyffredin, y syniadau uchelaf am eu blaenoriaid. Mawrygol yn wir oedd eu parch iddynt. Yr oedd y genedl a gadwai mewn cof a pharch Moses, Elias, ac enwogion eraill, yn arfer edrych ar eu blaenoriaid presenol yn deilwng o barch, yn neillduol yr Archoffeiriad, ac aelodau y Sanhedrim oedd cynrychiolwyr Duw ar y ddaear. Hwynt-hwy oeddynt geidwadwyr yr Oraclau Bywiol, y deml a'r seremoniau. Pan welodd "ei frodyr" y rhai hyn yn ei wrthwynebu yn fygythiol pan y daeth allan fel y Messiah, gan gyhoeddi yn hyglyw egwyddorion teyrnas nefoedd, yr oedd eu hamheuaeth dwfn blaenorol mewn perthynas iddo, yn dyfnhau yn anghrediniaeth sefydlog.

III. *Am ei fod yn hwyrfrydig yn dangos ei hun i'r byd.*

Yr oedd amser gwyl y pebyll wrth y drws, ac yr oedd "ei frodyr" yn myned iddi. Anogent yr Iesu i gyd-ymdeithio â hwynt yno, gan ei anog ef hefyd i fyned i Judea, fel y gwelai ei ddysgyblion ei weithredoedd y rhai yr ydoedd efe yn eu gwneuthur. Ei ateb oedd: "Ni ddaeth fy amser i eto ;

Digitized by Google

eich amser chwi sydd yn wastad yn barod." Cyhuddid ef o'r blaen am yr hyn ydoedd ac a ddysgai; cyhuddid ef yn awr am yr hyn nad oedd ac na wnai. Methent weled cysondeb rhwng ei honiadau a'i weithredoedd cyhoeddus. Eu cwyn oedd, paham na fuasai yn dod allan ar unwaith, ac amlygu ei hunan yn ddiamheuol i bawb, a phrofi mai y Messiah ydoedd. Hwynt-hwy, druain, nid oeddynt yn deall ei drefn fawr, ddoeth, ef. Y fath ystyr sydd yn y geiriau, "Ni ddaeth fy amser i eto; eich amser chwi sydd yn wastad yn barod." Yr oedd gan Iesu ei amser. Y mae llawer braidd na chymhellant y Goruchaf Fôd i wneyd yn ol eu mympwyon a'u cynlluniau hwy, os ydyw yr hyn y myn ei bobl ei fod. Y fath ryfyg—y fath anghrediniaeth!!

## Ardrem Americanaidd.

GAN GWYLIEDYDD.

### Y BEDYDDWYR.

Os edrychir ar Mai fel mis y Cynadleddau Crefyddol, rhaid cydnabod Mehefin yn fis *Commencement* y prif athrofeydd a'r colegau trwy y wlad. Ynddo y cynaliwyd eleni, fel arfer, eiddo Vassar, Crozer, Newton, Brown, Lewisburgh, Denison, Chicago, Rochester, Madison, gydag eraill llai eu hynodrwydd. Uchel-wyliau meddyliol yw y rhai hyn, a cheir ynddynt hufen athrylith, addfedrwydd barn, coethder dysgeidiaeth, miniawgrwydd deall, dysgleirdeb talent, a grymusder *wit*. Dyma pryd mae llawer o'r hen fyfyrwyr yn dychwelyd i roddi tro am eu *Alma Mater*, pryd mae lluoedd o ieuenctyd yn troi allan i ddechreu ar waith bywyd o ddifrif yn eu gwahanol alwedigaethau, ar ol graddio yn anrhydeddus; a phryd hefyd mae llawer o'n brodyr gweinidogaethol, gydag eraill, yn cael cynffonau wrth eu henwau, y rhai sydd yn hongian yn aml yn ddigon chwithig, ac mewn rhai amgylchiadau sydd yn niweidiol i'w hiechyd cymdeithasol, mor bell ag y mae *gwynt* yn tueddu i wneyd hyny.

Mae yn ddyddorol sylwi ar gynydd cydmarol y gwahanol enwadau crefyddol yn y wlad, ac mae yn destyn llawenydd i bob Bedyddiwr, fod ein henwad ni wedi cynyddu mwy nag un enwad arall yn y deng mlynedd diweddaf. Mae cynydd y Bedyddwyr wedi bod yn 63 y cant, a'r Episcopaliaid yn 62 y cant. Er fod cynydd y ddau wedi bod agos yn gyfartal o ran nifer, eto rhaid cofio fod gwahaniaeth dirfawr rhwng safle foesol aelodau y ddau gorph—rhwng ysbrydolrwydd y naill a ffurfiolrwydd y llall. Ond y mae yn ffaith awgrymiadol, fod y ddau enwad sydd fwyaf tebyg i'w gilydd o'r holl enwadau mewn ffurflywodraeth eglwysig, mor bell oddiwrth eu gilydd mewn cynydd yn yr amser uchod. Tra mae cynydd y Bedyddwyr wedi bod yn 63 y cant, nid yw cynydd y Cynulleidfaolwyr ond 23 y cant—8 y cant islaw cynydd y boblogaeth. Pa reswm ellir roddi am y gwahaniaeth mawr hwn mewn dau enwad mor debyg i'w gilydd yn eu trefniadau eglwysig? Onid hyn yw y rheswm, fod y Bedyddwyr fel corph yn dal at y ffurf o athrawiaeth iachus—fel yn nyddiau yr apostolion—pan mae blaenoriaid yr enwad arall wedi gadael eu *moorings* Beiblaidd, gan *ddriftio* i gefnfor y "Dduwinyddiaeth newydd?"

Bedyddiwyd person dan amgylchiadau hynod nodedig yn ninas New York y Sul diweddaf yn Mehefin. Cafodd Mr. Charles Lawrence, Cadben y llong Brydeinig *Swansea*, ei argyhoeddi am ei gyflwr, pan ar fordaith i'r wlad hon yn ddiweddar. Ar ol ei droedigaeth, chwiliodd y Beibl yn ofalus am ei ddyledswyddau fel Cristion, a daeth i'r penderfyniad fod yn ofynol iddo gael ei drochi. Boreu y Sul uchod gadawodd ei long, gan fyned allan o'r ddinas i chwilio am eglwys Fedyddiedig, a chafodd ei gyfeirio o'r diwedd i'r *North Church* ar heol 11eg. Gan ei fod yn bwriadu hwylio cyn y Sul canlynol, galwyd yr eglwys yn nghyd cyn y cyfarfod hwyrol, er clywed ei brofiad, &c. Bu hynodrwydd cais y cadben am fedydd yn foddion i ddwyn tyrfa fawr yn nghyd; ac wedi cael llwyr foddlon-

Digitized by Google

rwydd yn ei argyhoeddiad, cafodd ei fedyddio gan y gweinidog ar ddiwedd yr oedfa, a rhoddwyd iddo ddeheulaw cymdeithas yn y dwfr, ar ol y bedydd.

Gan fod gweinidogion yr eglwysi Americanaidd yn cael mis neu ddau o *vacation* yn ystod yr hîn boeth, mae wedi dod yn arferiad i gau drysau yr addoldai yn ystod y tymor hwnw. Y mae hyn yn feius. Ni ddylid cau drws ty yr Arglwydd, pa un a ellir cael pregethwr ai peidio. Drws agored yr holl flwyddyn, bydded y tywydd yn boeth neu yn oer, yn sych neu yn wlyb, yw yr unig gynllun llwyddiannus.

Mae llawer o siarad ac ysgrifenu wedi, ac yn parhau i fod, yn nghylch mynychiad moddion gras ar y Sabbothau gan y werin. Cwynir fod dirywiad amlwg a gresynus yn bodoli yn hyn, a bod y drwg yn cynyddu yn flynyddol. Dichon fod llawer o wir yn hyn, yn neillduol yn Lloegr Newydd a'r Gorllewin; ond, a chymeryd y wlad at ei gilydd, nid yw pethau mor ddrwg ag y mynir i ni gredu. Y mae un o bob pump o'r boblogaeth heddyw yn gymunwyr efengylaidd proffesedig, ac mae o fewn terfynau i ddywedyd fod y rhai hyn yn cynrychioli deng miliwn ar hugain o Brotestaniaid, oll yn dal rhyw berthynas â chrefydd gyhoeddus. Yn 1800 yr oedd 7 y cant o'r trigolion yn gymunwyr; yn 1850 yr oedd 15 y cant; yn 1870 yr oedd 17 y cant; ac yn 1880, pan oedd y boblogaeth yn 50,152,866, yr oedd nifer y cymunwyr, a chymeryd yr eglwys Babyddol i fewn, ychydig dros 20 y cant. Mae cynydd yn nifer y cymunwyr oddiar 1800 wedi bod dair gwaith yn fwy na chynydd y boblogaeth yn yr un amser. Mae y ffaith yn galonogol, oni bae fod genym aelodau ffurfiol, diwerth, meirwon. Y maent yn chwyddo nifer pob enwad. Ond er fod aelodau ac eglwysi cysglyd a diwerth, y mae, er hyny, eithriadau gogoneddus. Dyma un o honynt. Yn 1847 corphorwyd eglwys Calfaria, N. Y., gyda 14eg o aelodau. Rhifa yr eglwys yn bresenol 1,125. Yn y tair blynedd ar ddeg diweddaf, mae yr eglwys hon wedi cyfranu at achosion haelionus tua miliwn o ddoleri, heblaw dwyn ei threulion, a chodi iddi ei hun deml newydd, gostfawr, i'r hon yr aeth i addoli yr ail Sul yn Mehefin. Y mae ambell i eglwys o Fedyddwyr gwerth son am dani.

## YR ENWADAU ERAILL.

Mae y Parchedig Dr. Booth, gweinidog eglwys y Presbyteriaid, yn University Place, New York, newydd ymddiswyddo, gan dderbyn *professorship* yn Ngholeg Princeton, a phasiodd ei eglwys benderfyniad i barhau ei gyflog hyd hydref 1884—rhodd ymadawol o $10,000! Mae ambell i weinidog lwcus!

Mae ysbryd hereticiaeth yn lledu, gan fyned yn fwy eofn fel y mae yn cryfhau ei nerth. Dywedai y Parchedig Dr. McKine, *rector* Eglwys y Drindod Sanctaidd, Harlem, New York, fel hyn: "Yr wyf yn gwrthod cydnabod fod yr Ysgrythyr yn fy rhwymo i gredu yn hollol dragywyddoldeb pechod ac uffern, y diafliaid a'r colledig yn uffern."

Yr un ysbryd hereticaidd sydd wedi dyfod i fewn fel afon i gorlan y Cynulleidfawyr hefyd, gan fygwth gwneyd difrod buan a galarus yn rhengau yr enwad parchus hwnw. Mae yn anhawdd, ar hyn o bryd, dychymygu beth fydd diwedd yr ymrafael presenol yn nghylch y "dduwinyddiaeth newydd." Digon yw dyweyd fod y rhagolygon yn dra chymylog, yn neillduol yn Lloegr Newydd. Fel hyn y dywed y *Christian Union* ar y pwnc: "Pwy bynag a adnewydda y ddadleuaeth, o'r naill ochr neu y llall, ac o dan unrhyw esgus, ni wna ddim i lesoli, ond llawer i ddrygu achos Crist. * * * Dylid eu cyfrif yn elynion i eglwys Crist, &c. Tra y mae bydolrwydd, yr hyn sydd enw arall ar baganiaeth, yn tangloddio ein Sabboth, yn cloi cloriau ein Beibl, yn hudo ein hieuenctyd o'r eglwys i'r *concert* Sabbothol a'r chwareudy; tra y mae llysoedd barn yn Lloegr Newydd Buritanaidd, yn enw trwydded, yn datod y cwlwm priodasol agos mor fuan ag y mae ein gweinidogion yn enw Crist

Digitized by Google

yn ei gylymu; tra y mae y *saloons* yn lluosogi, a *Young America* yn siglgerdded i angau; tra y mae anffyddiaeth ar un adeg yn dyrchafu yr Iesu trwy y wasg, a phryd arall yn ei groeshoelio mewn gwawd cyhoeddus, &c., y mae yr hwn sydd yn anog y dadleuon hyn rhwng dynion Cristionogol yn hoelio Crist o'r newydd wrth y groes, a'i osod yn watwar. Geill yr eglwysi Cynulleidfaol osod atalfa ar y dadleuon hyn pryd y mynont. Mae yn llawn bryd i'w hatal yn hollol ac yn orphenol." Gwir bob gair; ond y mae y lefain wedi cael llonydd yn rhy hir—y mae heddyw yn *allu* cryf yn Lloegr Newydd. Cadwed Duw ni ar safon y gwirionedd fel y mae yn yr Iesu Mae yn amlwg fod *un* gwyrad oddiwrtho yn beryglus iawn.

Saethodd un gweinidog Methodistaidd y llall, yn ddiweddar, yn y De, mewn gwaed oer, ac am achos sydd yn rhy ddibwys i'w enwi. Yn sicr, yr ydym yn byw mewn "amseroedd enbyd." B'le mae *grym duwioldeb?*

# Arf-dy y Cristion.

### YR IMPIAD YSBRYDOL.

Mae yr ysbryd yn toddi ac yn rhedeg meddyliau dynion i'r patrwn mawr, delw Crist, yn ol y Gair. Am hyny y sonir am yr "impiedig air;" fel y mae y garddwr, neu y gwinllanwr, yn dyfod a basgedaid o impiau pren afalau pêr i'w impio mewn bonyn o bren afallen sur; a bydd i'r impyn pêr roddi ei flas ar holl ffrwyth y pren, nes y llynca i fyny y surni yn ei bereidd-dra ei hun. Felly y mae'r Efengyl yn dwyn ei basged a'i himpiau i winllan yr hen Adda, lle nad oes ond coed surion; a thrwy law yr Ysbryd yn impio gair y bywyd yn nghalonau dynion meirwon, fel y dygant ffrwyth yn ol y gair, yn eu geiriau a'u gweithredoedd, nes y mae blas surni pechod yn cael ei ladd, ac y llyncir yr hyn sydd farwol gan fywyd. Gall gair y bywyd ddwyn ffrwyth peraidd, wedi ei impio ar hen foncyff surllyd iawn, a bydd y ffrwyth yn cyfateb i'r impyn, ac nid i'r hen foncyff. Mae yr Efengyl yn dwyn ffrwyth yn ol ei natur.—*Christmas Evans.*

### CYFFES YR AFRADLON.

Ti, ffynon pob cysuron,
  Adewais, O, fy Nuw;
Rhyfeddod, fyth ryfeddod,
  Im' ddyfod adre'n fyw!
O ganol temtasiynau,
  A gwag bleserau'r byd,
'Rwy'n gweled mewn gwirionedd
  Mai gwagedd y'nt i gyd!

Mi bechais yn dy erbyn,
  Yn d'erbyn, nefol Dad!
'Rwy'n dod, O! Geidwad Israel,
  Yn isel wrth dy draed!
Na thâl yn ol fy haeddiant,
  Ond rho faddeuant llawn,
Yn rhin yr aberth hwnw
  Fu farw un prydnawn.
—*Llywarch.*

### COLOFNAU YN NHEML DUW.

Cristionogion yn golofnau yn nheml Duw—tri enw yn ysgrifenedig arnynt, enw Duw—dinas Duw—ac enw Crist. Mae enwau Duw, y nefoedd, a Christ ar y Cristion, ac y mae enwau y Cristion arnynt hwy. Bydd y colofnau byth yn safadwy, "ac allan nid â efe mwyach." Efallai yr â llawer o'r hen *gelfi* allan—fel Judas a Demas, ond fe safa Ioan, a Phedr, ac Iago, a Phaul ,a Barnabas, y colofnau a'r llytherenau breision—y *capital letters*; arosant hwy yn weledig a darllenadwy yn y nos—safant fel Simeon a Hannah yn y deml yn dysgwyl Crist. "Gwyn fyd y preswylwyr," &c.—*D. E.*

—Pe na buasai un pechod yn cael ei gosbi yn y byd hwn ni buasai rhagluniaeth, a phe buasai *pob* pechod yn cael ei gosbi ni buasai angen am farn ddyfodol.—*Augustine.*

—Gredadyn! nid oes ond cam rhyngot a'r nef! Bechadur! bechadur! bechadur! nid oes ond cam rhyngot ag uffern! Y mae dy enaid yn nes i uffern nag yw dy gorph i'r bedd.—*W. Jay.*

Digitized by Google

# Bwrdd y Golygydd.

## YR ENWAD MEWN GALAR.

Nid ydym yn cofio ar hyn o bryd i farwolaeth un person, o fewn y chwarter canrif diweddaf effeithio mor ddwys ar yr holl enwad a marwolaeth Dr. Jones, Llangollen. Y mae yr holl enwad trwy Gymru yn galaru ar ei ol, a'u galar "megys galar Hadadrimon yn nyffryn Megiddon, a'r wlad a alara." Teimlir fod gwr Duw wedi ei symud, a bod y ddaear yn wacach o ddaioni ar ei ol, er fod y nefoedd yn llawnach. Beth bynag oedd gafael ei deulu ynddo, a'r myfyriwr ynddo, yr oedd gafael yr enwad ynddo bron yn llawn cymaint. Anwylid ei enw gan lawer nas gwelsant ef erioed yn bersonol, ar gyfrif ei rinweddau. Pan yr aeth i Athrofa Hwlffordd, ddeng mlynedd ar hugain yn ol, yn fachgen ieuanc tawel, ond sylwgar ac ymdrechol, yr oedd yn hollol anadnabyddus i'r enwad. Ni feddylid fwy o hono na rhyw fyfyriwr ieuanc arall yn dechreu ei dymor athrofaol. Bu yno am y ddwy flynedd gyntaf dan addysgiaeth y diweddar Barchn. D. Davies a T. Burditt; ac am y gweddill o'i dymor athrofaol dan addysgiaeth y Dr. Davies presenol, a Mr. Burditt. Anwylodd ei hun i'w gydfyfyrwyr y pryd hwnw, ac i laweroedd eraill yn y cylchoedd cymydogaethol yr arferai ymweled â hwy. Yr oedd efe yr amser hwnw yn fyfyriwr bob darn o hono, a pharhaodd felly hyd ei fedd. Pan y sefydlodd yn Llandudno, yn Awst, 1857, yr oedd efe yn gymarol anadnabyddus i'r enwad trwy Gymru; ond buan iawn ar ol hyn, daeth ei enw o flaen y cyhoedd, a pharhaodd felly yn ddidor hyd ei farwolaeth Cyhoeddodd res o bregethau yn y "Greal," ar y penodau cyntaf o'r llythyr at yr Hebreaid; a'i fwriad oedd i barhau nes gorphen yr holl lythyr; ond trowyd ef gan alwedigaethau eraill oddiwrth y bwriad hwnw. Yn yr un cyfnod, ymddangosodd cyfres o ysgrifau ganddo yn yr "Athraw," ar Hanes y Diwygiad Protestanaidd yn Mhrydain, gyda chyfeiriad neillduol at Gymru, y rhai ydynt yn bresenol wedi eu cyhoeddi yn un llyfryn bychan at wasanaeth ein hysgolion Sabbothol. Ar ol symud i Langollen, a chymeryd at olygyddiaeth y "Greal," yn olynydd i'r anfarwol Mathetes, daeth yn fwy adnabyddus i'r enwad. Yn fuan wedi ei symudiad, cyhoeddodd ei ddarlith ar Fedydd. Dilynwyd hon gan ei lyfr "Y weithred o Fedyddio;" a hwnw drachefn gan "Y Beibl a'i Ddehongliad." Cafodd fyw i ail-argraffu y ddau lyfr hyn, a'u cyflwyno mewn ffurf gyflawnach nag yr oeddynt ar y cyntaf. Bydd y ddau lyfr hyn yn gof-golofnau parhaus i'w lafur, i'w wybodaeth, i'w ddysgeidiaeth ac i'w farn addfed a theg ar bynçiau ac athrawiaethau Beiblaidd. Yr ydym yn teimlo yn llawen heddyw i ni, gydag ereill, lwyddo ein hapêl ato i ailgyhoeddi "Y Weithred o Fedyddio," yn y ffurf gyflawn y mae yn bresenol. Y mae y llyfr hwn yn anmhrisiadwy werthfawr i'r enwad; ac y mae yn sicr o fod yn llawlyfr ein dynion ieuainc ni ar y pwnc hwn am flynyddoedd lawer. Dygodd y gweithiau hyn ei enw o flaen yr enwad fel awdwr galluog, ysgrifenwr eglur a llawn, o'r radd flaenaf. Yr oedd yn ysgrifenu yn gyson iawn i'n holl gyhoeddiadau Cymreig, ac i'r Saesnig. Yn ei farwolaeth cafodd ein llenyddiaeth golled fawr, ac, am y tymor, anadferadwy.

Pan oeddid yn bwriadu sefydlu Athrofa y Gogledd yn 1862, edrychai yr enwad drwy y Gogledd, ato ef fel yr athraw clasurol. Mewn ysgrif a ymddangosodd yn y "Greal" ddechreu y flwyddyn hono, enwid Llangollen fel y lle goreu i sefydlu yr athrofa ynddo, o herwydd, yn un peth, bod yno athrawon parod, yn mhersonau y Parchn. J. Prichard a H. Jones; a phan gynaliwyd y cyfarfod i benderfynu y lle yn Mangor, dewisiwyd Llangollen yn lle y coleg, a'r brodyr hyn yn athrawon. Mae amser wedi profi doethineb y dewisiad. Yn 1866, ar ei ddewisiad ef yn Llywydd yr athrofa, y terfynodd

Digitized by Google

ei gysylltiad gweinidogaethol â'r eglwys yno, ac y dechreuodd ei gylch eangach o wasanaethu pwlpudau yr enwad pa le bynag y gelwid am ei wasanaeth. Tyfodd y sefydliad athrofaol dan ei ofal tyner a thadol ef i'w sefyllfa gadarn bresenol, a thyfodd yntau gyda'r athrofa i'w gyflawn faintiolaeth, mewn adnabyddiaeth a dylanwad enwadol.

Yn Rhosllanerchrugog y pregethodd y tro diweddaf ar y ddaear, y Llungwyn diweddaf. Ei destyn yn y boreu oedd 1 Ioan iii. 2, ac yr oedd rhyw ddyeithrwch nefolaidd o'i amgylch. Siaradai am y nefoedd fel pe newydd ddychwelyd oddiyno ar ol ymweled a'r wlad, ac ar ddychwelyd yno drachefn; ac felly yr oedd, er nas gwyddem hyny ar y pryd. Yr oedd rhyw eneiniad oddiwrth y Sanctaidd hwnw gyda'r bregeth hon. Pregethodd yn y prydnawn drachefn oddiar Heb. xi. 7, gyda difrifoldeb a dwyseiddwch anghyffredin, a hon oedd ei bregeth olaf ar y ddaear. Dywedai wrthym cyn dechreu, "Yr wyf yn teimlo yn wanaidd iawn. Nis gwn a allaf bregethu am ugain mynyd ai peidio; ond nis gallaf bregethu yn hwy na hyny;" ac felly y bu. Disgynodd o'r pwlpud i beidio esgyn yno drachefn, nes esgyn mewn cerbyd o angylion i'r nefoedd. Carem fawr weled y pregethau hyn yn argraffedig, fel ei eiriau cyhoeddus olaf dros yr Arglwydd Iesu yn y byd hwn. Beth wys oedd ei eiriau cyntaf yn y nefoedd! Os llosgodd ei fywyd megys canwyll allan, parha ei enw yn berarogl er daioni, a'i weithiau a oleuant eto i laweroedd am yr oesoedd dyfodol, ac efe ei hun yn byw gyda'i Dduw mewn mwynhad o berffaith ddedwyddwch. Y fath golled i'w deulu, ïe, y fath golled i'r coleg, y fath golled i'r enwad, oedd ei golli mor gynar yn mhrydnawnddydd ei fywyd; ond ein colled ni a drodd yn elw tragywyddol iddo ef.—*Seren Cymru.*

—Teimla y Parch. John Williams, Colwyn, G. C., yn ofidus ddarfod i afiechyd ei luddias i ddod at ei gyhoeddiadau yn Ohio.

## PERSONOL A CHYFFREDINOL.

Goddefer i mi yn gyntaf ddyweyd gair am ein misolyn, y Wawr. Yn y misoedd diweddaf mae wedi gwella llawer, ac ni fu erioed yn well. Mae mwy o drefnusrwydd yn ei gwneuthuriad, ac mae ei chynwysiad yn myned yn fwy blasus. Ysgrifenu yn dda a chwaethus mae y brawd Edred bob amser; ychydig, os *un*, o lenorion America sydd yn gwybod yn well sut i arfer ei ysgrifbin yn fwy manteisiol a hyfforddiadol nag ef. Pa un ai addurnol ai defnyddiol yw amcan y llith, mae ef yn lled debyg o gyrhaedd ei nod bob tro.

Diolch am yr "Ardrem Americanaidd," a "Gwladyddiaeth y Mis." Mae y Maes Cenadol, dan ofal y brawd Davies, Nanticoke, yn cydmaru yn dda gyda'r hyn a ddarllenir yn ein cyhoeddiadau Seisonig ar y pen hwn. Rhan bwysig, ddyddorol ac angenrheidiol iawn yn y cyhoeddiad yw hon. Yn wir, mae'r dyn iawn yn yr iawn le pan mae *Giraldus* uwch ben llenyddiaeth ein henwad. Gwaith drud, slafaidd, caled iawn, yw cyhoeddi misolyn ein henwad, gyda'r holl daliadau drwg, a dim taliadau, a thaliadau rhanog, a thaliadau oediedig, a'r *free-list*; mae yn rhyfedd fod y Wawr y fath lwyddiant. Byw ar olwynion y gerbydres y mae'r golygydd o flwyddyn i flwyddyn i gasglu enwau ac arian, ac i gynhyrfu yr enwad ar y mater, onide byddai'r Bedyddwyr Cymreig yn y Talaethau mor amddifad o gyhoeddiad ac y buont am flynyddau cyn i Giraldus afael yn y gwaith. Yn sicr mae yr enwad dan ddyled bersonol i'r golygydd am y llafur cyson ac enfawr y mae wedi, ac yn roddi dros y cyhoeddiad, ac yr wyf yn sicr nad yw yn ymgyfoethogi o hono. Rhwydd hynt i'r Wawr a'i golygydd llafurus.

Dyna lyfr gwir werthfawr, yw eiddo y Parch J. S. Thomas, Shenandoah, ar Ddylanwad Cymdeithasol Cristionogaeth. Dylai gael gwerthiant cyflawn a buan.

Rhoddwyd fi ar y ffordd yn ddiweddar i weled *manuscript* arall gan yr

Digitized by Google

un awdwr ar y pwnc, Perthynas y Cenedlaethau Cristionogol a Diwylliant y Byd. I'm tyb i mae yr olaf hwn yn waith mwy llafurus, eang, a defnyddiol na'r blaenaf. Ni wn am ddim yn yr iaith Seisonig yn gyffelyb iddo. Llyfr ydyw a ddylai fod yn llyfrfa pob Cristion, ac yn nghell pob Ysgol Sul. Nid wyf yn gwybod fod gan Mr. Thomas un pwrpas i gyhoeddi hwn; ond hyderaf y bydd y fath lwyddiant ar werthiant yr un sydd wedi ei argraffu eisioes ag fydd yn symbyliad i roddi *manuscript* y diweddaf trwy'r wasg.

Da genyf weled un o'r gweinidogion Cymreig yn rhoddi ei hun i astudio pwnc mor fawr, ac mor hynod bwysig i'r oes bresenol ag yw dylanwad Cristionogaeth ar y byd. I'm meddwl i yn y llinellau hyn o fyfyrdod ac o lenyddiaeth y gorwedd yr atebiadau mwyaf grymus i Ingersolliaid yr oes. Nid oes un ddadl a saif yn erbyn effeithiau bywiol, mawreddog, a dyngarol Crefydd y Groes.

Rhwyddineb a gaffo ein brawd i ddwyn allan drysorau o'r mŵn cyfoethog hwn, mŵn sydd heb ei agor hyd yn ddiweddar, ac heb ei weithio ond ychydig, mŵn ag y mae yn rhaid cael ymgysegriad *student* gonest, meddylgar, treiddiol, yn ogystal a Christion ymroddgar i'w archwilio. Mae yn gwawrio mwy o hyd ar bobl fod crefydd Iesu Grist yn "*foneddigaidd ac* yn hawdd ei thrin." Dysgwylia ysbryd yr oes hon i'r Cristion, yn enwedig i'r arweinwyr, fod yn *gentlemen*, yn y pwlpud, yr ystôr, yn yr ystryd, ac yn y wasg. Mae anfoneddigrwydd cwerylon eglwysig—heb fater pa barti sydd yn iawn—yn distrywio yr eglwys, yn ei gwneyd yn wawd y byd, ac yn ddilornus yn ngolwg cymdeithas. Mae un cweryl mewn eglwys yn ei throi yn ol mewn cynydd yn aml, flynyddau o amser, ac weithiau distrywir hi yn llwyr gan un o'r ysbrydion hyn.

Ymddengys i mi fod cyfnewidiad mawr wedi cymeryd lle parthed y mater hwn. Edrycher dros rifynau ein cyhoeddiadau wythnosol 25 o flynyddau yn ol—neu 20—brithir hwy gan gwerylon personol rhwng hyd yn nod bregethwyr yr Efengyl, yn y rhai y cyhuddid y naill a'r llall o anwiredd, rhagrith, a phob drygedd— ac yr wyf yn cofio yr *excitement* i weled y papyr bob wythnos; darllenid yr erthyglau miniog i gwmniau clustfeiniog, a'r ffraewr ffraethaf a mwyaf miniog ei frawddegau fyddai'r dyn goraf, a chanddo ef y byddai yr achos mwyaf cyfiawn.

Ond heddyw, mae cweryl personol mewn newyddur yn iselhau dyn—yn enwedig pregethwr; gwyddom am bwlpudwyr oeddynt yn enwog ddeg neu ddeuddeg mlynedd yn ol yn ein gwlad; heblaw *gloss* newydd-deb oedd arnynt, edmygid hwy fel dynion galluog oeddynt yn anrhydedd i'r enwad, ac yn addurn i'r genedl, ond trwy ffraeon diles yn y newyddyron maent wedi eu tryfinio nes yr ymddangosant yn dlodaidd; maent fel rhyw Samson eilliedig, eu nerth a'u gogoniant wedi eu gadael. Mae gwirionedd Pregeth y Mynydd yn dod yn fwy tanbaid bob dydd, "Gwyn eu byd y tangnefeddwyr." Mae boneddigrwydd crefydd, moesgarwch yr efengyl, ac urddas y weinidogaeth yn gwneyd cwerylon personol yn y wasg yn gasbeth ac yn ysgymunol. Da hyn!

Yn Athrofa Dduwinyddol Morgan Park, ger Chicago, mae Dr. Harper yn hyfforddi yn yr iaith Hebraeg. Dyn ieuanc yw'r Doctor, ond un o'r ysgolheigion mwyaf addfed, ac un o'r athrawon mwyaf bywiog a galluog yn yr Hebraeg yw yn America. Mae yn cadw ysgol Haf i'r pwrpas hwn i'r hon y gall gweinidogion eglwysi ddod am fis a chysegru yr oll o'u hamser i'r iaith. Mae ei dull o addysgu yn wahanol i'r drefn gyffredin, a meddyliwyf fod mis yn ei ddosbarth ef yn gystal a haner blwyddyn o'r hyn a geir yn gyffredin yn ein Hathrofeydd.

Hefyd cyhoedda gyhoeddiad misol (neu chwarterol), a elwir *The Hebrew Student*, amcan yr hwn yw trafod materion, pynciau, ac esboniadau mewn cysylltiad ag ysgrythyrau yr Hen Destament. Mae yn gyhoeddiad gwir dda, ac unigol yn ei bwrpas.

Mae pethau pwysig iawn wedi cymeryd lle yn ddiweddar yn amgylchiadau ein henwad yn America. Meddyliais

Digitized by Google

unwaith am anfon erthygl arnynt; ond gan eu bod yn dod yn llinell eich gohebydd "Gwyliedydd," gadawaf hwynt i'w ysgrifbin ef.

Os na flinaf ddarllenwyr y WAWR, bwriadaf anfon yn fwy mynych yn y dyfodol.

*Oshkosh, Wis.* H. O. R.

## YMWELWYR O GYMRU YN UTICA.

Nos Fawrth, Gorphenaf 24ain, bu y Parch. Jonn D. Evans, Caio, D. C., yn pregethu yn nghapel y Bedyddwyr Cymreig yn y ddinas hon. Pregethodd yn hyfryd, ac ebe teimlad pawb, "Melus, moes eto;" ac y mae yntau wedi lled addaw cydsynio â'r dymuniad. Mae yn wanaidd ei iechyd, ac efelly yn "tori" yn anamserol. Gall y daith hon fod yn llesol i'w iechyd—hyderwn mai felly y bydd. Y mae wedi "newid tipyn" er pan y gwrandawsom ef y "stalwm" yn Garn Dolbenmaen; ond yn sicr, y mae yn dal yn dda yn ei bregethu. Clywsom amryw a'i gwrandawodd yma yn achwyn yn fawr na fuasai ei gyhoeddiad wedi cael ei wneyd yn fwy hysbys, a thipyn "o dwrw" yn cael ei wneyd cyn ei ddyfodiad.

Yr oedd y Parch. B. James yn dechreu y cwrdd, ac wrth wrando, yr oedd ei wyneb yn gwneyd i rywun feddwl am wyneb Moses yn dod i lawr o'r mynydd; yn fynych lled droai ei wyneb at y gynulleidfa, gan wenu yn foddhaol, edmygawl, fel yn dweyd wrth y gynulleidfa, Onid yw yn pregethu yn dda?

Un arall enwog a fu yma ychydig yn ol oedd y Parch. John Williams, Colwyn, G. C. Y mae efe yn rhagori fel pregethwr mewn gwahanol ffordd i'r brawd Evans. Pregetha yn hynod Ysgrythyrol, difrifol, pwrpasol ac effeithiol. Gadawodd argraff dda ar y gynulleidfa yn Utica. Gan fod Mr. Williams a'r ysgrifenydd o'r un ardal yn enedigol, teimlwn ddyddordeb nid bychan yn ei ymweliad. Oddiar ein hadnabyddiaeth neillduol o hono ef, gallwn ddweyd ei fod yn wr rhagorol. Y mae yntau yn wael ei iechyd. Treulia ddiwedd Gorphenaf a dechreu Awst gyda ei frawd, y Parch. Owen A. Williams, yn Galesburgh, Ill. Wedi hyny bwriada alw gyda rhai o'r eglwysi ar ei ffordd i New York, o ba le y bwriada gychwyn am Gymru yn nechreu Medi. Os bydd y ffordd yn glir, bydd yn Hyde Park, Pa., Sabboth, Awst 19eg, ac yn Wilkesbarre Sabboth y 26ain, ac efallai yn rhai o'r eglwysi amgylchynol rhwng y Sabbothau. Hoffwn i Mr. Williams gael yr olwg oreu ar ein rhif fel enwad yn America. Bydd yn gaffaeliad cael cyfle i'w glywed ef.

## "GAIR AT EIN BRODYR YN Y WEINIDOGAETH."

*Cymanfa Bedyddwyr Siroedd Dinbych, Fflint, a Meirion.*

A ganlyn sydd ran o anerchiad y Cadeirydd, sef Mr. J. Simon, Rhuthin, yr haf hwn:

"Maddeuwch i mi am fy hyfdra. Bydded i chwi ymgadw yn mhell oddiwrth ysbryd gwamal ac ysgafn. Nid oes dim yn fwy anweddaidd ac anfuddiol. 'Na ddeued allan o'ch genau un ymadrodd ffol, na choeg-ddigrifwch,'—pethau nad ydynt yn gweddu i weinidogion y cysegr. Mae gormod o hyn wedi bod, nid wyf yn golygu yn y gymanfa hon), sef dynwaredu hwn, gwneyd sport o'r brawd arall, ac actio hen frodyr yn dweyd eu profiadau yn ein cyfeillachau. Alltudier, a melldithier, meddaf, yr hen arferiad gwrthun hwn o'n plith am byth. Mae digon o ddefnyddiau difyrwch i'w cael heb fyned i'r cyfeiriad yna; ac yn eich holl gyflawniadau crefyddol, boed i 'wylder a pharchedig ofn' eich llywodraethu."

## ATHROFA LLANGOLLEN.

Cyfarfu y pwyllgor lleol (*house committee*) yn y coleg dydd Llun, Mehefin 25, dan lywyddiaeth W. Coward, Ysw. Wedi rhoddi yr ystyriaeth fanylaf i'r

Digitized by Google

cwestiwn pa fodd i weithredu yn y cyfwng presenol, a chan gofio teimlad y cyfarfod a gynaliwyd dranoeth i angladd y diweddar Lywydd parchus Dr. Jones, penderfynwyd, "Ein bod, yn unol ag ysbryd y penderfyniad a basiwyd dranoeth claddedigaeth y diweddar Lywydd, yn cymeradwyo i'r cyfarfod blynyddol y priodoldeb o dderbyn *nominations* yn unig ar y 25ain o Orphenaf, ac yna fod y cyfarfod i gael ei ohirio hyd Medi 4ydd, a dewis Llywydd ar y dyddiad diweddaf. Y *nominations* i gael eu gwneyd mewn ysgrifen yn unig, a'u hanfon at Lywydd y Pwyllgor neu Ysgrifenydd yr Athrofa."

## LLENOROL.

"*Dylanwad Cymdeithasol Cristionogaeth," gan y Parch.* D. S. THOMAS, *Shenandoah, Pa.*

Dan y penawd uchod ymddangosodd yn *Seren Cymru* ysgrif fer, ond cynwysol a ffafriol iawn i'r awdwr, fel adolygiad y wasg ar y llyfr a nodir. Deallwn wrth ei adolygiad fod ei ysgrifenydd yn hollol anadnabyddus o'r awdwr, cyfaddefa hyny. Dywed: "Nid ydym yn synu i'r beirniad awgrymu ei gyhoeddiad, oblegid y mae yn waith ardderchog, teilwng o le amlwg yn ein llenyddiaeth Gymreig....Y mae ei ddosbarthiad o'i bwnc yn un hapus—y sylfaen a'r adeilad—ac mae y gwaith a welir ar y sylfaen a'r adeilad yn adlewyrchu clod i ben a chalon y brawd Thomas....Nid ydym yn cofio ar hyn o bryd i ni weled y brawd hwn erioed; ond y mae darllen ei lyfr yn peri i ni ddymuno cael adnabyddiaeth bersonol o hono ar gyfrif y gwaith hwn o'i eiddo....Y mae cymaint o angen llyfr fel hwn yr ochr hon yn ogystal a'r ochr draw i Fôr y Werydd....Ni chyfarfuasom er ys llawer dydd â llyfr Cymreig a roddodd i ni gymaint o foddlonrwydd a'r llyfr hwn. Dymunwn hir oes a llwyddiant lawer i'r awdwr, a charwn ei gyfarfod eto yn fuan ar y maes llenyddol."

Mae yn dda gan ein calon weled fod y llyfr hwn yn rhoddi y fath foddlonrwydd i ddyeithriaid anmhleidiol. Mae y llyfr yn awr wedi cael ei adolygu gan holl gylchgronau Cymreig y wlad hon, a chan lawer o brif lenorion ein cenedl yr ochr hon a'r ochr draw i'r Werydd, a chan ganoedd o ddarllenwyr cyffredin hefyd; ac y mae pawb yn ddieithriad yn mhob man yn cyd-dystio â'r beirniad dysgedig am werth a gwasanaeth y llyfr hwn.

Gall y brawd Thomas deimlo yn ddiogel bellach parth ei lyfr—y mae wedi sefyll *test y genedl*, ac nis gall ond hunanoldeb a rhagfarn ei ddibrisio. Gellir ei gael yn ddidraul gyda y *Post*, ond anfon un ddolar ($1) i'r awdwr,

REV. D. S. THOMAS,
*Shenandoah, Pa.*

— Y mae llythyrau Mr. John W. Jones yn y *Drych*, o Gymry, yn dra darllenadwy. Ar wahan oddiwrth y rhai hyn, gwel y cyfarwydd darllengar fod rhagoroldeb cynwysiad, a destlusrwydd trefniant ein hen bapyr cenedlaethol, yn parhau yn ei ragoroldeb arferol, yr hyn sydd i'w briodoli, wrth gwrs, i fedrusrwydd dihafal Mr. John C. Roberts.

—Mae y *Wasg* wedi gwneyd ei hymddangosiad eto, ac yn fwy trwsiadus a gloew ei gwisg nag erioed. Yr ydym ni yn mhlith y lluaws sydd yn dymuno i'n papyr wythnosol o Pittsburgh lwyddiant mawr a hir oes eto i lesoli a difyru plant Gomer yn America.

## MAN-LEWYRCHIADAU.

—Mae Dr. Cefni Parry wedi dechreu ar ei weinidogaeth yn Braceville, Ill., er dechreu Gorphenaf.

—Mae y Parch. James F. Richards, Newburgh, O., wedi derbyn galwad oddiwrth eglwys Seisnig Superior St., a bydd yn dechreu yn ei faes newydd y Sul diweddaf yn Awst.—*John Isaac Jones.*

—Drwg genym ddeall fod iechyd y Parch. Robert D. Evans, Wild Rose,

Digitized by Google

Wis., wedi bod yn wanaidd yn ddiweddar. Dymunwn iddo adferiad buan.

—Yn ddiweddar, anfonodd boneddwr o'r enw Williams, yn Slatington, gynt o Beaumaris, ysgrif-lech hardd i'r Parch. John W. Williams, D. D., Hyde Park, Pa., yn nghyd a'r englyn canlynol:

"Beaumaris bia mawredd—a bri teg
Y *Black-board* hardd glanwedd
Rhodd yw hon, yn arddunedd
Angel hoff efengyl hedd."

—Y nifer a dderbyniwyd trwy fedydd, adferiad a llythyrau, oddiar Ionawr, 1882, hyd yn awr, i eglwys Hyde Park, Pa., yw 308. Rhif presenol yr aelodaeth yw 564.

—Hawdd y gallwn gredu fod galar mawr yn canlyn marwolaeth annysgwyliadwy Mrs. Janie Alma Morris, anwyl briod Mr. Albert Lloyd Morris, Hyde Park, Pa., a merch i Thomas D. Davies, Ysw., un o brif oruchwylwyr Cwmni D. L. W. Gwelir cofiant iddi mewn rhan arall o'r rhifyn hwn. Cydymdeimlwn yn fawr â'r perthynasau yn eu trallod dwfn.

—Dylasai fod enw y Parch. B. James yn mhlith y gweinidogion a fuont yn gwasanaethu yn y Gymanfa ddiweddar yn Freedom, swydd Cattaraugus.

—Tua diwedd y mis hwn deallwn y bydd y Parch. John Edred Jones, Stonington, Ct., yn sefydlu yn Pittston, Pa. Hefyd hysbysir ni fod y Parch. W. B. Thomas, Hyde Park, ar sefydlu yn Kingston, gerllaw. Bydd hyn yn gaffaeliad nid bychan yn ddiau i'r enwad yn nyffryn y Wyoming.—Mewn perthynas i'r brawd Jones, y mae yn myned i eglwys, ni gredwn, all ei werthfawrogi; a'r brawd Thomas, yntau, sydd yn myned at frawdoliaeth ifanc llawn teimladau da at achos y Gwaredwr. Y mae ymroad fel hyn yn mhlith yr eglwysi i gael gweinidogaeth sefydlog a bugeiliaeth ofalus, yn adlewyrchu yn dda iawn arnynt.

—Mae y colera yn medi dynion wrth y canoedd yn ddyddiol yn yr Aifft, ac y mae y pla wedi dechreu medi y fyddin Brydeinig.

# Barddoniaeth.

## "HEN GAPEL WILLIAM OWEN."

Yn nhref Pittsburgh, ar hewl Chatham,
Gwelir capel bugail dinam;
Os nad gorwych, swyna f'awen,
Dyma gapel William Owen.

Ynddo bu am faith flynyddau,
Yn cyhoeddi Crist a'i angau;
Pwy a feia ein hysgrifen
Am ddweyd, "Capel William Owen?"

Onid yw yn wir fawreddig,
A'i hen furiau 'n gysegredig?
Mae pob peth im' fel yn drylen
O gylch capel William Owen.

Dyma'r drws yr aeth ef trwyddo
Lawer tro, gan ddwys fyfyrio;
Wed'yn lluoedd wneid yn llawen
Yn hen gapel William Owen.

De'wch i mewn—O, dacw'r pwlpud,
Lle bu'n traethu geiriau'r bywyd;
Yna byddai yn ei elfen,
Pwlpud capel William Owen.

Gwelwch eto, dyma'r seti,
Lle bu'r saint yn brwd addoli,
A'u meddyliau uwch y wybren,
Yn hoff gapel William Owen.

Yn yr oedfa ddylanwadol
Gwelwyd llawer edifeiriol,
Ac aml angel gwyn ei aden,
Fu'n hen gapel William Owen.

I ryw luoedd mewn blinderau,
Ar nos dywell amgylchiadau,
Fel gogleddol siriol seren,
Y bu capel William Owen.

'Rol dod adref o'r addoliad,
'Nol ehedai adfyfyriad,
At yr hwyliau tal eu hwylbren
Gaed yn nghapel William Owen.

Os gwasgarid rhai yn enbyd,
Fel plant Israel yn y gaethglud,
Cofio wnaent yr hen deml gymen,
Sef hoff gapel William Owen.

Os ar deithiau ceid aelodau,
Ac yn gweled gorwych demlau,
Tystient wed'yn mewn tôn addien,
"Harddach capel William Owen."

Gweithfa gras i lawer Cristion
Ag sydd heddyw dan ei goron,
Ac yn canu uwch yr heulwen,
A fu capel William Owen.

Ac os cofiant daith yr anial,
Hwy a gofiant am yr ardal,

Digitized by Google

A'r fan hono o'r ddaearen,
Lle mae capel William Owen.

A'u teyrnwiail hwy gyfeiriant
Lygaid engyl y gogoniant,
Drwy bellafoedd y ffurfafen,
At hen gapel William Owen.

Fe ei hun, pwy wyr na thremia,
Ac ar eraill y gwrandawa,
Pan yn dweyd mewn nefol acen,
Dacw gapel William Owen.

Oddiar dyrau uchel Gwynfa,
Gyda mawr ddyddordeb gwylia,
Beth a ddaw yn llaw tyngedfen
O hen gapel William Owen.

Hoffa weled ei hen ffryndiau
Yn parhau i ddringo'r rhiwiau,
A dyrchafu Crist a'i groesbren,
Yn hen gapel William Owen.

Os rhyw dro gwna chwyldroadau
Beri na b'o mwy ei seiliau,
Gwn y nodir ar ddesgrif-len
Lle bu capel William Owen.

I'r gweinidog cu presenol
Medda swynion arbenigol:
Teimla fod rhyw nef wythien
Yn hen gapel William Owen.

Llwyddiant f'o i'r achos gorau
Yn barhaus o fewn ei furiau;
Cadw draw b'o pob rhyw gynen,
O hen gapel William Owen.

Llawer oes a elo heibio,
Llawer f'o o adgyweirio,
Cyn y byddo'r gwaith ar orphen,
Yn hen gapel William Owen.

GIRALDUS.

## DYN DUW.

Dyn uchel, urddasol yw'r Cristion,
Mae'n gyfiawn a moesol—dyn Duw,
Ei fywyd arddengys rinweddau
Sy'n addurn i holl ddynolryw;
Mae'n bur ei uchelgais a'i amcan,
A'i olwg yn mlaen at y nod;
Mae'n gywir a didwyll ei galon—
Nid oes un rhagorach yn bod.

Dyn wedi ei symud o'r t'w'llwch,
Ac yn y goleuni mae'n awr;
Ei alw a gafodd i'r winllan,
Dyn ufudd a ffyddlawn, dyn mawr;
Mae wedi'i gyfnewid trwy'r Ysbryd,
Ac wedi'i aileni trwy'r Gair;
Mae'n ddiogel rhag y ddamnedigaeth,
Ac hefyd mewn gweddi mae'n daer.

Dyn ydyw'n dwyn delw yr Iesu,
Mae'n sanctaidd ei rodiad bob pryd,
Ac hefyd mae'n meddu'r grasusau,
Sef ffydd, gobaith, cariad yn nghyd:
Mae wedi ei lwyr fabwysiadu,
Mor gyson mae'n llanw ei le;
Cymdeithas ei frodyr mae'n hoffi,
Cyd-deithia â hwy tua'r ne'.

Dyn gwir edifeiriol am bechod,
A chafodd faddeuant trwy'r iawn,
Gan orphwys ei enaid ar Geidwad,
Mae'n profi'i lawenydd yn llawn;
Gan iddo wneyd cymod a'r Barnwr,
Datododd ei rwymau yn rhydd,
Ei olchi a gâ yn y ffynon.
Fe'i gwelir yn berffaith ryw ddydd.

Dyn ydyw sy'n darllen y Beibl,
Mor fawr yw ei barch i Air Duw:
Mae wedi cael gafael mewn trysor,
A gwyr fod ei Brynwr yn fyw;
'R ol chwilio y Dwyfol Ddatguddiad,
Meddianodd y perl uchel bris,
A gwelodd ei gyflwr colledig,
Nes rhedeg i'r noddfa mewn brys.

Dyn sydd yn ymffrostio'n yr Iesu,
Mor gryf yw ei ffydd yn y groes;
Fe'i cedwir drwy haeddiant Cyfryngwr,
Gwna'i ddilyn hyd derfyn ei oes;
Gwna roddi cynghorion i'w frodyr,
Derbynia'u cynghorion yn rhwydd;
Mor hoffus mae ef o'r frawdoliaeth,
Dymuna bob amser ei llwydd.

Dyn hoff o sancteiddrwydd yw'r duwiol,
Mae'n debyg i Grist yn mhob man;
Yn ddiwyd gwna redeg yr yrfa,
A châ ei goroni'n y man;
Mae yn cymdeithasu a'r nefoedd,
Derbynia fendithion trwy ffydd,
Ac er bod mewn rhyfel ysbrydol,
Mae'n sicr o enill y dydd.

Dyn ydyw sy'n teithio'r anialwch,
Mae'n myned i Ganaan i fyw,
Trwy ddilyn yr Iesu yn ddiflin,
Derbynir ef gartref at Dduw;
Ei serch sydd yn awr yn y nefoedd,
Ac yno fe'i gwelir heb boen,
Yn uno mewn cân annherfynol,
Gan seinio Hosanna i'r Oen.

*Utica.* W. MORLAIS EVANS.

## CRIST YN MARW.

Crist a'n prynodd pan yn marw
Un prydnawn ar bren y groes,
Teulu'r codwm nid anghofiodd
Yn ei ing a'i chwerw loes;
Hoeliodd ef yr hen ysgrifen
Ydoedd yn ein herbyn ni;
Am amlygu y fath gariad,
Iddo byth bo parch a bri.

Llyfrau'r ddeddf i gyd yn gochion
Wedi'u trochi yn y gwa'd,
Yr anfeidrol Dduw yn gwenu,
Ac yn rhoi maddeuant rhad;

Digitized by Google

Nid oes eisiau aberth mwyach,
Digon yw ei aberth Ef;
Trwy ei farw llwyr y talodd
Holl ofynion gorsedd nef.

O, anfeidrol fôr o gariad,
Duw yn achub euog fyd,
Yma gwelwn holl fwriadau
Mynwes Duw yn dod yn nghyd.
Buan bo holl gaethion Eden
'Nofio'n mlaen ar for yr iawn,
Ac fel engyl yn rhyfeddu
Gwyrthiau mawr anfeidrol ddawn.

*Parsons, Pa.* HUGH OWEN.

---

## LLINELLAU

AR OL MRS. JANIE ALMA MORRIS, HYDE PARK PENNSYLVANIA.

Jane Alma a wywodd fel lili mewn gardd,
Pan ydoedd ei dail yn ymledu;
Gwawl gobaith a yrai y caddug o'i blaen,
Gan addaw hir ddydd llawenychu;
Aeth ei chorph hi i'r bedd i'w falurio,
A'i henaid at Dduw i breswylio,
Ei phriod, a'i rhiaint, mae'ch Janie deg wedd
Mewn gwlad o lawenydd tu arall i'r bedd.

Gweddiwch am gymorth i deithio trwy'r byd,
Gan deimlo y bywyd anfarwol
Yn tynu eich meddwl o hyd ato ef,
Gan adael y pethau terfynol;
A'r byd rhaid i bawb i ffarwelio,
Rho'ir nefoedd i'r saint i breswylio;
Cewch weled eich Janie yn mhreswyl eich Duw,
Yn angel goleuni, a chyda hi fyw.

EBENEZER LLOYD.

---

# Y Maes Cenadol.

GAN Y PARCH. W. F. DAVIES, NANTICOKE, PA.

Ddarllenydd Hoff—Yr wyt wedi clywed llawer iawn, mi wn, am yr enwogion cenadol, Carey, Eliot, Williams, a Judson, ac eraill, a aberthasant gysuron ei bywyd er myned a goleuni gras Duw i dywyll-leoedd y ddaear, fel yn ddiameu, nad annerbyniol genyt fyddai ychydig o'u hanes, pa fodd y daethant i'r penderfyniad i gymerid â gorchwyl mor bwysig. Nis gallwn fyned ar ol y llu mawr sydd yn deilwng o sylw; ond cyfyngwn ein sylwadau i ychydig; a rhaid ein bod yn fyr ar bob un o'r ychydig hyny. Dechreuwn gyda Carey. Gwyddost fod Carey yn ysgolfeistr cyn myned yn genadwr, a phan yn gwneyd ei waith fel y cyfryw, y cenedlwyd y syniad cenadol yn ei feddwl. Yr oedd ganddo ddosbarth yn astudio daearyddiaeth. Wrth baratoi y wers, a sylwi ar y tiriogaethau eang a arddangosai y mapiau oedd o'i flaen, a meddwl am y miliynau anwybodus a breswylient y rhanau hyn, cynhyrfwyd ei enaid, a thaniwyd ei galon gynes gan ysbryd cenadol. Chwythwyd y tân hwn, a gwnaed ef yn fwy eiriasboeth fyth wrth ddarllen hanes teithiau y morwr enwog Capt. Cook. Trwy hyn rhoddwyd i baganiaid India genadwr ag mae ei goffadwriaeth yn berarogl trwy yr India fras, a'i enw yn anwyl gan ddaear a nefoedd.

Cynhyrfwyd y llafurus Joshua Marshman i fyned i'r maes trwy glywed fod Carey mewn eisiau cynorthwy; barnai y gallai efe estyn y cyfryw, a ffwrdd ag ef; a thaflodd galon ac enaid yn llosgi gan gariad at eneidiau i mewn i'r gwaith. Yr oedd Ward wedi bod yn ymddyddan â Carey cyn ei ymadawiad am India. Yn yr ymddyddan hwnw, bwriwyd digon o dân y gwaith i'w galon, fel nad orphwysodd yntau nes cyrhaedd yr un fro bellenig. John Thomas, pan yn feddyg yn India, a derbyniodd y fath argraffiadau wrth fod yn llygad-dyst o greulonderau a barbareiddiwch y bobl yn yr un wlad, fel y penderfynodd ddechreu cyhoeddi iddynt yn maes y "gwaed sydd yn llefaru peth gwell." Yr oedd gan y dyn da Thomas allu tu hwnt i'r cyffredin i ddwyn eraill i deimlo fel efe ei hun. Trwy ymddyddan â morwr calon galed a phechadurus un tro, dygodd ef yn gredadyn yn y Mab, ac i gynyg ei hun yn genad dros ei Geidwad i un o'r meusydd mwyaf anobeithiol y pryd hwnw, sef Ynysoedd Mor y De.

Dygwyd meddwl apostol mawr Burmah, yr enwog Adoniram Judson at waith ei fywyd trwy ddarllen "Y seren yn y Dwyrain" gan Claudius Buchanan. Llanwyd ei galon a serch at Burmah trwy ddarllen yr "Ymerodraeth Burmeaidd" gan Symes; ac arweiniwyd ef i faes ei lafur gan ddygwyddiadau rhag-

luniaethol a gymerasant le y blynyddoedd dilynol.

Daeth y Cristionogion brwdfrydig a'r cenadon selog Colman a Wheelock, i gydymdeimlad a'r gwaith cenadol trwy ddarllen am galedi a llwyddiant y rhai oeddynt wedi myned i'r Dwyrain o'u blaen. Hanes llafur, lludded, dyoddefiadau, a marwolaeth y didwyll Colman effeithiodd ar galon Sarah Hall (wedi hyny Mrs. Boardman a Mrs. Judson hefyd). Cawn hi pan yn ieuanc iawn, ei henaid pur yn ymawyddu am iachawdwriaeth y pagan anedwydd. Pan tuag un-ar-bymtheg oed canodd yn dlws a theimladol amryw benillion ar farwolaeth Colman; cydiodd y farddoniaeth fyw yn nghalon myfyriwr ieuanc yn Waterville College, N. Y., o'r enw Geo. Dana Boardman, yr hwn ni orphwysodd nes cael yr eneth farddonol a Christionogol ei hysbryd yn foddlon i ddod yn wraig iddo, a myned i Burmah i gyd-aberthu eu bywydau dros gadwedigaeth y trueiniaid tlawd. William Goodell, yr hwn fu yn Twrci am 40 mlynedd, a dderbyniodd y drychfeddwl cyntaf o'i ddyledswydd i fyned yn genadwr, yn nghwrdd ordeiniad Judson, Newell, Nott, a Rice. John Coleridge Pattison, a laddwyd yn ynysoedd mor y De, gan y rhai y ceisiai eu dwyn i'r goleuni a'r gwirionedd, a enillwyd yn genadwr trwy ymddyddan a Selwyn grefyddol.

Gwelwn trwy hyn fod gan Dduw fwy nag un ffordd i ddylanwadu ar y meddwl. Cei ragor y tro nesaf, a gair ar y galwad sydd am weithwyr i'r maes heddyw.

## HANESION CARTREFOL.

### Cymanfa Dwyreinbarth Pa.

Cynelir y Gymanfa eleni gyda yr eglwys yn Shenandoah (ac nid yn Hyde Park), Sadwrn, Sul a Llun, Awst 25—27. Agorir y gynadledd ddydd Sadwrn am 10 o'r gloch. Dysgwylir y gwna gweinidogion a chenadon yr eglwysi ymdrech tuag at brydlondeb. Bydd yn dda i'r eglwysi ystyried y bydd y treulion yn fwy i gynal Cymanfa yn Shenandoah nag yn Hyde Park, am fod y rhan fwyaf o'r eglwysi yn Luzerne a Lackawanna.

Hefyd, gelwir sylw Ysgrifenyddion yr eglwysi at y *blanks* ystadegol a anfonwyd iddynt trwy y *mail*, a dymunir arnynt i'w llanw, a'u dychwelyd i'r Ysgrifenydd wythnos neu ddeg diwrnod cyn y Gynadledd.—*J. P. Harris, Ysg.*

*At y rhai a fwriadant fyned i'r Gymanfa:*—Byddai yn dda i bawb a fwriadant ddyfod i'r Gymanfa yn Shenandoah, Pa. (Awst 25—27, 1883), ymweled a chyfeillion neillduol a lletyau ganddynt, ac anfon gair at y cyfryw yn brydlon, i'w hysbysu o'u bwriad, fel y gallo eu cyfeillion yn Shenandoah drefnu ar eu cyfer, ac i'r eglwys allu trefnu ar gyfer dyeithriaid. Bydd digon o le, a digon o roesaw i bawb yn Shenandoah, fel na raid i neb gadw draw. Dewch yn llu a llon; gwnawn ein goreu ar eich cyfer; a mynwch Dduw i ddod gyda chwi, fel y caffom wledd y cofir am dani byth. Yn gywir —*D. S. Thomas.*

### Leadville Shaft, O.

Sabboth, Mai 17eg, cynaliodd y Bedyddwyr gyfarfod i sefydlu eglwys yn y lle uchod, pryd y gwasanaethwyd gan y brodyr D. H. Jones, M. A.; W. J. Williams, Church Hill, O.; J. D. Jones, Ridge, a'r hybarch dad David Probert, Youngstown. Rhan y Parch. Mr. Probert oedd myned drwy y ffurf o gorphori yr eglwys newydd hon; ond gan iddo fethu dod yn brydlawn, o herwydd poethder neillduol yr hin, a ninau yn meddwl na fuasai yn dyfod o gwbl, fe fu y brawd Williams, o Church Hill, mor garedig ag ymgymeryd a'r gwaith, yr hyn a gyflawnodd yn ardderchog. Cafwyd pregethu y boreu, y prydnawn a'r hwyr, ac yr oedd cynulliadau a phregethu da. Nifer y frawdoliaeth yn corphori oedd deuddeg. Dychwelodd dwy atynt wedi galw cyfeillach. Y mae y brodyr a'r chwiorydd yn deilwng o bob cefnogaeth, ac y maent yn bwriadu adeiladu ty iddo Ef can gynted ag y gallont.

Digitized by Google

Dywedir fod rhygolygon y lle yn dda, am fod gweithfeydd newyddion yn cael eu hagor yma. Pob llwyddiant iddynt, a gras Duw fyddo arnynt, ac a wnelo y fechan yn fil.—*Brawd o'r Lle.*

Anfonwyd yr ohebiaeth uchod i'r swyddfa heb Utica o gwbl ar yr *address*, ac am hyny bu y llythyr yn crwydro y byd am fis. Dyna yr achos na fuasai yr hanes wedi ymddangos yn gynt.—Gol.

---

HYDE PARK, PA.

*Mr. Gol.*— Diameu eich bod yn dysgwyl gair neu ddau yn aml o hanes y lle poblogaidd hwn. Fel y gwyddoch oll mae ein parchus weinidog J. W. Williams, D. D., yn Nghymru, hen wlad y beirdd ar pregethwyr, ac hyderwn yn mwynhau ei hun. Treuliodd bymtheg mis o lafur caled, ond yn llwyddianus. Tra yr udai udgwn cenfigen, yr oedd Duw yn ei lwyddo, yr hwn, gobeithio, a'i nertho, gorph a meddwl, i ddychwelyd yn ol a chyfoeth bendithion y nef yn ei ganlyn. Cymundeb Mehefin derbyniasom 22 yn ychwanegiad at yr eglwys. Yr ydym wedi cael pregethu da er ei ymadawiad gan y brodyr Arthur Jones, o Regent Park Llundain, bachgen ieuanc hynod o obeithiol yw hwn; y mae yn fab i'r llenor (Gweirydd Wyllt) a'r Parch Evans, Caio. Y mae hwn yn wr mawr yn Israel, O! mae'n dlws; grymus a dylanwadol. Trueni fod henaint a gwendid yn ei ddal. Gobeithio y cânt eu dymumiad, sef adgyfnerthiad i fod yn alluog i weithio yn y winllan. Y mae yn gysur i'r Dr. fod dyddordeb y gynulleidfa yn cael ei gadw i fyny eto.

Ar y 13eg o Gorphenaf cafodd yr Ysgolion Sul bleserdaith i fan pleserus i blesera, sef Mountain Park, lle mae y Central R. R. of New Jersey wedi gwario dros ddeg mil o ddoleri, ac nid yn ofer, ond y mae ganddynt le dymunol a hyfryd. Tystiolaeth unfryd pawb yw, cawsom ein boddloni yn fawr.

Y mae gweithio egniol wrth sail yr ychwanegiad at y capel, daw yn barod cyn y gauaf.—*Ebenezer Llwyd.*

PLYMOUTH, PA.

Nos Fawrth, Mai y 29ain, cynaliassom ein hail gyfarfod adloniadol o dan nawdd yr Ysgol Sabbothol Fedyddiedig, a braint fawr fyddai i ieuenctyd pob Ysgol Sabbothol pe byddai trefniadau yn cael eu gwneyd i gael tri neu bedwar o'r fath bob blwyddyn, er mwyn dwyn allan chwaeth y cyfryw i adrodd, canu, &c. Mae y cyfarfodydd hyn wedi dwyn llawer un yn gyhoeddus yma, nad oeddynt erioed wedi bod o'r blaen, gyda phrawfion eglur o ddod yn adroddwyr a chantorion da, os ymdrechent yn y dyfodol, yr hyn yn ddiameu a wnant, os bydd y cyfleusdra yn ddigon aml, fel na bo diogi yn cael llywodraethu, ac yn gwrth-weithio eu chwaeth at bethau o'r fath hyn. 'Roedd yn dda genyf weled mwy o ddarnau Cymraeg ar y raglen ddiweddaf, ond credwyf ei fod yn bosibl cael mwy eto; byddai y cyfarfodydd hyn yn sicr o fod llawn mor llwyddianus, yn ariangar, yn adlonol, ac addysgiadol, ag yn bresenol; cofiwn am hyn y tro nesaf, a chyhyd ag y bo Cymro, Cymru a Chymraeg. Yr oedd y Rhaglen yn rhy faith i mi wneyd sylw unigol o'r rhai oll a gymerodd ran yn y cyfarfod, ond y darn a dynodd fwyaf o sylw feallai oedd y "Boreu cyn y Diluw," ac yn wir daeth John W. Williams yn o lew drwy gymeriad Noah, ond nid oedd yn werth gwneyd cydmariaeth a'r hen ddyn fel archadeiladwr; canys prin y gwnaeth John arch ddigon mawr iddo ef ei hun fyned i mewn, waeth son am neb arall, ond cafodd y darn hwn effaith neillduol ar lawer, canys gwelsom ruddiau amryw wedi eu dyfrhau gan ddagrau tosturiol. Terfynodd y cyfarfod ychydig wedi deg o'r gloch, ac aeth pawb adref wedi eu boddloni, a gwnaethpwyd elw rhesymol i'r Ysgol Sul o $13.

Sabboth Mehefin y 17eg, gweinyddodd ein parchus weinidog yr ordinhad o fedydd drwy drochiad ar bump o bersonau—deiliaid yr ysgol Sul y mwyafrif o honynt. Gan ddymuno y bydd i waed Iesu Grist y cyfiawn, a dywalltwyd ar y bryn, ein dal ni sydd ar ei enw idd

Digitized by Google

ei garu yn fwy eto yn y dyfodol, ac i enyn cariad yn nghalonau rhyw lu o bechaduriaid creulonaf ein hardal, fel y byddom yn cael eu gweled yn marw i'r gelyn twyllodrus y maent yn ei wasanaethu yn bresenol, ac yn rhoddi y *sack* iddo am byth, gan ddweyd wrtho "Ymaith a ti, Satan."—*John L. Jones.*

AUDENRIED, PA.

Yr ydym fel eglwys yn dra physur yn awr yn adgyweirio ein capel; John D. Evans Ysw., Shenandoah sydd yn meddu y *contract*.

Derbyniwyd saith o aelodau newyddion y Sabboth cymundeb diweddaf, a bydd eto wyth y cymundeb nesaf.—*Brawd.*

PALMYRA, O.

*Barchus Olygydd*—Gan fod rhai yn yr ardal yma yn siarad yn nghylch dyled ein capel, ac yn dywedyd ei bod yn llawer mwy nag ydyw, penderfynodd yr eglwys gyhoeddi yn y WAWR y gwirionedd. Yr holl ddyled sydd arnom yn awr ar y capel ydyw pedwar-ugain dolar. Hyderwn y gwna hyn o linellau foddloni y cyfryw a ymddangosant eu bod mewn pryder yn ei gylch. Dros yr eglwys—*Rees M. Rees, Ysg. Gorph.* 13, 1883.

—Yn mhlith penderfyniadau Cymanfa Morganwg, Meh. 14, 15, gwelwn a ganlyn: "Ar sail llythyr cymeradwyaeth, wedi ei arwyddo gan y Parch. Edward Jenkins, Llywydd Cymanfa Bedyddwyr Ohio a Dwyreinbarth Pennsylvania, America, i'r Parch. J. R. Jones, Houtzdale, Pa., rhoddwyd croesawiad cynes iddo gan y gynadledd trwy ddwylaw cymdeithas gan y Llywydd, gyda dymuniad Duw yn rhwydd iddo ar ei ymweliad â hen wlad ei enedigaeth. Felly hefyd, ar yr un adeg, ac yn yr un modd, rhoddwyd croesawiad i'n hanwyl frawd, y Parch. W. Williams, brawd Mr. J. Williams, Ystalyfera, yr hwn sydd yn genadwr ffyddlon yn Trinidad, ond yn awr ar ei ymweliad a gwlad ei enedigaeth. Deallwn fod y Parch. E. J. Edwards, o America (mab y Parch. J. Edwards, gynt o Brynmawr a Throedyrhiw), yn y gymanfa, ond nid oedd, mae yn debyg, yn y gynadledd ar amser croesawiad y ddau frawd blaenorol."

---

## *PRIODWYD—*

Mehefin 2, 1883, yn Ashland, Pa., gan y Parch. Jeremiah Griffiths, yn nhy rhieni y briodasferch, Mr. James Price, Ieu., a Miss Ann Jane Vaughan, y ddau o'r dref uchod.

Gorph. 6 yn Nanticoke, Pa., gan y Parch. J. P. Harris, Mr. Richard H. Hook a Miss Jennie Froster, ill dau o Shickshenny.

Ionawr 8, 1883, yn Shenandoah, Pa., gan y Parch. D. S. Thomas, Proff. Phillip T. Evans a Miss Sarah Ann Thomas, oll o Shenandoah, Pa.

Gorphenaf 3, 1883, yn Lansford, Pa., gan y Parch. D. S. Thomas, Shenandoah, Pa. Mr. Frank Barton a Miss Caroline Williams, merch ieuengaf Capt. T. C. Williams a'i briod.

Gorphenaf 9, 1883, yn Shenandoah, Pa., gan y Parch. D. S. Thomas, Mr. Richard Wall, o Shenandoah, Pa., a Miss Catharine Harry, o Dreorci, Cymru.

Mai 28, 1883, yn Freedom, Cattaraugus Co., N. Y. gan y Parch. W. M. Evans, yn ei dy ei hun, Mr John L. Williams a Miss Anna Davies, y blaenaf o Freedom, a'r olaf o Lime Spring, Iowa.

---

## *BU FARW—*

MRS. JANIE ALMA MORRIS.

Ei rhiaint yw Thomas D. Davies, Ysw., a Mrs. Mary Davies, ei wraig, o Hyde Park, yn Pennsylvania Eu merch Janie Alma oedd eu cyntafanedig, a ganwyd hi yn Providence, Pa, Ebrill 7, 1863. Magwyd hi yn maenor ei thad, mynwes ei mam, a mangre hyfrydwch, llawnder a mwynhad. Tebyg ydoedd i oenig yn y gorlan, colomen yn ffenestri cariad, ac megys Martha yn ei diwydrwydd, Mair yn ei chrefydd, a Dorcas yn mhlith ei chydnabyddion. Bedyddiwyd hi yn ieuanc, bu yn aelod pur yn y gynulleidfa, ac nid oes amheuaeth yn meddwl neb am ei pharodrwydd i farw, ac i fyw yn y ddinas dragywyddol.

Rhagfyr 20, 1882, priodwyd hi ag Albert Lloyd Morris. Daeth llu mawr yn nghyd, anrhegwyd Janie Alma a rhoddion lawer, gwlawiwyd dymuniadau daionus ar ei phen, a meddyliwyd y buasai angel dedwyddwch yn ei dilyn hi a'i phriod am flwyddi meithion. Agorwyd ystordy mawr, enillwyd masnach eang, a dechreuwyd adeiladu ty i'r ddeuddyn i breswylio Erioed ni bu dau mwy hoff o'u gilydd; syw oedd eu serch, cryf eu cariad, a chadarnach y cwlwm na'r cadwyni gemog, y doleni arian, a'r modrwyau aur. Eithr dyna

gwmwl yn duo, yr anwyl Janie yn glaf, angeu yn arfog i ryfel, ac er medrusrwydd meddygon, gweddiau dwys, ac wylofain mawr, bu farw Gorphenaf 11, 1883, rai mynydau wedi saith o'r gloch y prydnawn, yn 20 mlwydd oed. A oes rhyw gyfrinion yn ymguddio dan y rhif saith yn ei hanes hi? Ar y seithfed o Ebrill y ganed hi, am saith mis y bu yn briod, ac yn agos i saith yn yr hwyr y bu farw yn mhreswylfod ei rhieni, ac yr aeth i drigfanau y molawd, a'r goleuni nad yw yn machlud mwy. Dydd Sadwrn, y 14eg. yr oedd angladd mawr iddi, yr angladd cyntaf o'r anedd-dy, ac angladd aml o niferi—rhai ynddo o Harrisburgh, 150 o filldiroedd, eraill o Plymouth a Parsons, o Wilkesbarre a Scranton, o Providence a Minooka, ac o'r holl gylchoedd hyn yn ddirfawr dyrfa. Agos pedwar ugain o gerbydau, nemawr llai na dwy fil yn cychwyn, a'r wylofain yn anghyffredin. Anerchwyd y drugareddfa yn y ty gan y Parch. T. J. Phillips, Plymouth, pregethwyd gan y Parch. J. D. Evans, Caio, D. C., a bu y lluaws am awr gyfan yn edrych ar wyneb Janie Alma am y waith ddiweddaf gyda ni, a gwn am galonau yno ar dori. Traddodwyd anerchiadau priodol yn ymyl y bedd gan y Parchn. Owen James, M. A., yn Saesonaeg, a R. F. Jones (T. C.), Hyde Park, yn Gymraeg, a rhoddwyd ein cares i gysgu yn mhlith blodion y dyffryn, y derw tewfrig, ac yn llanerch sancteiddiaf y meirw yn Forest Hill. Erioed ni welais gymaint wylo mewn angladd; cymodwyd fy meddwl a'r bedd, a daethum i anwylo mangre y marwolion yn fwy na broydd y rhai byw yn y byd, yn ei boen ac yn ei bla. Awgrymodd ei marwolaeth hi a ganlyn i fy meddwl, yn wersi o'r amdo, o'r arch, ac o waelodion bedd:

1. Rhagluniaeth yn annealladwy i'r dynol.—Mae yn dywyll, ac iddi gwmwl; yn ddwfn, ac iddi fôr; yn ddirgel, ac iddi gyfrinion; ac yn ddiogel, ac iddi Dduw. Ei llong a hwylia, ei llwyth a gadwa, ei llaw a drefna, a'i llais a ddanfona o deml y Tragywyddol i ymadroddi am danc, ac y mae yn cymell y difraw i arafu, y diofal i addoli, a'r cyndyn i adwaen y Mawrhydi.

2. Rheolaeth y Goruchaf yn drefnyddol.—Dyna y seithmis i'r briodas, y symudiad sydyn, a'r seren yn machlud dan y cwmwl boreuol, oll yn ddirgelion anesboniadwy i ni; eto, y mae Un yn rhodio "ar amgylchoedd y ddaear" yn rheoleiddio amgylchiadau dynion, ac yn rhwyfo llestri cariad i ororau gwynfyd, i ogoniant y gwaredigion, ac i oleuni gwlad y dragywyddol orsedd, ac ni bydd niwl arni, nos ynddi, na neb yn "marw mwy" na methu.

3. Rhanbarth y bedd yn ddylanwadol.—Ar nawn ei chladdu buaswn yn cymeryd y bedd yn ei lle, ar yr amod i Janie Alma adgyfodi, a myned gyda'i phriod a'i rhieni yn fyw fel y bu. Erioed nis gwyddwn cyn yr awr y medrwn deimlo mor ddwys, galaru mor ddwfn, ac hiraethu mor ddirfawr. Archollwyd y ddwyfron, doluriwyd mynwesau myg, a thywalltwyd ffrydiau gorwyllt Marah i gwpan cyfeillion. Eto, i mi y mae swynion yn Forest Hill, rhagor monwentydd y ddaear, megys Greenwood i'r anwylaf, Mam[●] bendefigol, a Macpelah neillduedig o dwrw y byd a'i boen.

4. Rhagoriaeth y marw cynar yn ddeniadol.—Annyddan i'w phriod, annymunol i'w rhieni, ac anhyfryd i'w dwy chwaer, ei brawd, a lluaws ei charedigion. Er hyny, y mae i'r marw cynar ei ddengarwch, ei ddywenydd, a'i ddysgleirdeb, a daeth i Janie Alma y manteision hyn, a gellir mynegi:

"Dyma un a gafodd elw
  Trwy greulondeb brenin braw,
Er iddi deimlo ei ddyrnodiau,
  A syrthio'n farwol dan ei law.

Arbedodd iddi hi drafferthion
  A gofalon bywyd blin,
Cipiodd ymaith gwpan gofid
  Cyn ei roddi ar ei min.

Tra yn aros ei chyfeillion,
  Eu tristwch mawr a chalon drom,
Gwaew enaid i'r gewynau,
  A geiriau swrth i sisial siom.

Mae hi yn iach yn mro goleuni,
  Uwch trueni dynolryw,
Mewn cymdeithas ag angelion,
  Pur genadon gorsedd Duw.

Teithio gyda cherub tanllyd
  Trwy eangder dirfawr fry,
Mae'n siglo llaw â swynol seraph,
  A nefol argaff arni hi."

AWEL Y DYFFRYNOEDD.

MRS. MARY EVANS.

Ionawr 20, 1883. yn 66 mlwydd oed, bu farw Mrs. Mary Evans, anwyl briod y Parch. David Evans, Wheatland, Pa. Ymgynullodd torf o gyfeillion a pherthynasau at y ty, yn Wheatland, ar y 23ain, i hebrwng gweddillion priod anwyl, mam dyner, ac un o'r chwiorydd mwyaf synwyrol, i dy ei hir gartref. Gweinyddwyd ar yr achlysur gan y Parchn. D. Probert, T. M. Mathews, T. M. Evans, Griffiths, a Williams, (A.), a Brownet, (M.), Sais; yna rhoddwyd y gweddillion i orwedd yn Cemetery Sharon, Pa., i aros adgyfodiad y cyfiawn.

Dydd trwm oedd hwn, a chymylog iawn i deimlad yr hybarch dad, David Evans, ar ol treulio bywyd cysurus a blynyddau meithion yn nghymeithas priod oedd yn nodedig am ei synwyr a'i rhinwedd, ei theimlad a'i thynerwch. Rhaid heddyw oedd gwaeddi, "Moes i mi fan fel y claddwyf fy marw allan o'm golwg." Er mor anwyl, rhaid oedd ymadael heddyw. Tristwch i galon y puraf o'r brodyr, ac un o ragorolion y Bedyddwyr Cymreig yn America, oedd yr amgylchiad galarus hwn. Ond gwnaeth angau gymwynas ag un a fu yn wael ei hiechyd am agos i 30 o flynyddoedd, trwy roddi ei chorph i huno mewn tawelwch, a chymeryd ei henaid pur i'r trigfanau "lle nad oes neb yn dywedyd, claf ydwyf."

Digitized by Google

Genedigol oedd y chwaer Mrs. Evans o ardal Cilcwm a Llandyfri, Sir Gaerfyrddin. Yr oedd yn ferch i Thomas a Rachel Evans o'r gymydogaeth hono. Bu farw ei thad pan nad oedd hi ond plentyn, fel nad oedd ganddi un cof am dano. Ar ol marw ei thad symudodd ei mam yn fuan tuag ardaloedd Merthyr ac Aberdar, ac ail briododd, ag un o'r enw Evan Morgan. Bedyddwyr selog oedd ei mam a'i llysdad, ond gyda'r Annibynwyr yr arferai hi wrando, ac ymunodd a'r Annibynwyr yn Aberdar pan oddeutu 18 oed, tra yr oedd yr eglwys dan ofal y Parch. John Davies, Mynydd Bach, am yr hwn y coleddai syniadau uchel ar hyd ei hoes. Yn y flwyddyn 1840 ymunodd gwrthddrych y cofiant mewn priodas a'r hwn sydd heddyw yn galaru ar ei hol. Gweinyddwyd y seremoni gan Dr. Thos. Rees, Abertawy.

Yn y flwyddyn 1841 daeth Mr. a Mrs. Evans drosodd i wlad y Gorllewin, ac ymsefydlasant yn ardaloedd Pottsville, Pa. Yn fuan argyhoeddwyd y ddau o gywirdeb bedydd y crediniol, ac ymunasant â'r Bedyddwyr, a bedyddiwyd hwynt gan yr hybarch Wm. Morgan, Pottsville.

Yr oedd Mrs. Evans yn feddianol ar deimlad crefyddol dwfn a phur. Collodd filoedd o ddagrau mewn gweddiau am lwyddiant Seion. Yr oedd yn hynod ddarllengar yn y Gymraeg a'r Saesneg. Darllenodd y Beibl trwyddo amryw weithiau, a thrysorodd ranau ehelaeth o hono ar ei chof. Ei dewis lyfrau oeddynt y Beibl, Taith y Pererin, Palestina, gan John Mills, a gweithiau Spurgeon, ac yr oedd yn hynod gyfarwydd ynddynt oll. Yr oedd yn nodedig am ei chydymdeimlad a'r tlawd, a rhoddai bob amser hyd eithaf ei gallu. Dygai fawr sêl dros yr achos, a thros yr ysgol Sabbothol, a llanwai y swydd o athrawes yn deilwng. Ni fu iddi ond un plentyn, sef priod y Parch. T. Thomas, Sharon. Trwy y darfodedigaeth y gwnaeth angeu ei orchwyl arni, ond gwynebodd ein chwaer angeu heb fraw, ac aeth trwy yr afon yn orfoleddus, gan deimlo fod yr Iesu gyda hi yn ymchwydd yr Iorddonen. Y mae coffadwriaeth y cyfiawn yn fendigedig, a chofir am y chwaer Evans gan yr oll a'i hadwaenent, yn mhen blynyddau lawer, fel un o ragorolion y ddaear. Ni feddianodd y chwaer gyfansoddiad nerthol nac iechyd, ond anaml y methai ofalu am ddyledswyddau teuluaidd, gan na fu ond y diwrnod diweddaf o'i hoes yn gyfyngedig i'w gwely.

*Palmyra, O.* E. MORDDAL EVANS.

MRS. MARY ANN THOMAS.

Ebrill 2, 1883, yn Sharon, Pa., yn 34 mlwydd oed, Mrs. Mary Ann Thomas, priod y Parch. T. Thomas, Sharon, a merch y Parch. David Evans, Wheatland, Pa. Claddwyd ei gweddillion marwol yn ymyl ei mam anwylaf, yn *Cemetery* Sharon, ar y 4ydd o Ebrill. Gweinyddwyd gan amryw weinidogion. Cafodd gladdedigaeth barchus, a dangoswyd llawer iawn o gydymdeimlad dwys a'i phriod galarus, a'i phump o blant bychain amddifaid. Ganwyd Mrs. Thomas yn Danville, Pa., lle yr oedd ei thad yn gweinidogaethu ar y pryd. Hi oedd unig blentyn ei rhieni, ac yr oedd yn anwyl iawn ganddynt. Cafodd lawer iawn o fanteision addysg yn moreu eu hoes, a meddai feddwl cyflym a bywiog i afaelu mewn gwybodaeth, fel nad oedd yn un gorchest iddi ddysgu y dasg galetaf. Yr oedd wedi myned trwy yr ysgol uwchaf yn Danville cyn cyrhaedd ei 14 oed. Anfonwyd hi wedi hyny i Athrofa Lewisburgh, Pa. Bu yno am flwyddyn; ond gan i'w rhieni symud i Ebensburgh, Pa., barnai ei rhieni mai gwell oedd iddi aros gartref, ar gyfrif pellder y ffordd. Yn ystod ei harosiad yn Ebensburgh bu yn ysgolfeistres lwyddianus, a phan yno, yn 16 oed, bedyddiwyd hi, ar broffes o'i ffydd yn y Gwaredwr, gan y Parch. W. Owen, Pittsburgh, Pa. Symudodd gyda'i rhieni i Mineral Ridge, O., lle y bu ei thad yn gweinidogaethu am dair blynedd, a hithau, y rhan fwyaf o'i hamser, yn ysgolfeistres. Wedi hyny symudodd gyda'i rhieni i Shenandoah, Pa. Pan yma, yn ymyl 22 oed, ymunodd mewn glan briodas a'r Parch. Thomas Thomas, yr hwn ar y pryd oedd yn weinidog yn Ashland, Pa. Y gweinyddwr oedd y Parch. W. Morgan, Pottsville, Pa.; felly, mynodd ddau o'r gweinidogion hynaf a pharchusaf yn ei henwad i gyflawni y ddau orchwyl pwysicaf yn ei bywyd. Symudodd gyda'i phriod o Ashland i Ebensburgh, ac oddiyno i Sharon, Pa., lle y gorphenodd ei gyrfa ddaearol.

Meddai Mrs. Thomas ar luaws mawr o ragoriaethau a rhinweddau. Fel gwraig dyner a gofalus, anhawdd oedd cyfarfod a'i rhagorach. Bu yn gymorth mawr i'w phriod mewn rhagor nag un ystyr. Ymdrechai ddal ei feddwl i fyny yn ngwyneb amgylchiadau cyfyng a gofidus yn aml, gan wneyd y defnydd goreu o bob peth er cadw ei theulu mewn trefn a chysur. Fel mam, yr

Digitized by Google

oedd yn dyner a gofalus iawn o'i hanwyliaid bychain, ac yn nghyffiniau angeu, dywedai y carai fyw er mwyn ei phlant bychain anwyl. Fel Cristion, yr oedd ei dymuniad a'i phenderfyniad i fyw yn ol rheol, ac yn gyson âg egwyddorion Gair Duw. Ymdrechodd lawer yn erbyn anfanteision amgylchiadau a gwendid corfforol. Yr oedd ei henaid yn llawn sel dros achos y Gwaredwr, ei lwyddiant a'i burdeb. Yr oedd wedi byw fel nad oedd yn ofni marw. Cyn ei hymadawiad, gofynai ei phriod iddi os carai gael gwella. "Carwn wella er mwyn cael ychydig o gymdeithas ein gilydd yn hwy. Byddai hyny yn hynod ddymunol; ond," meddai, "nid wyf yn ofni marw yn awr. Nid yw angeu ond un bwlch cyfyng i fyned drwyddo. Ni phery y dagfa ddiweddaf ddim ond rhyw fynyd neu ddwy, ac yna af i mewn i baradwys; ac O! mor ogoneddus fydd hi yno."

Darllenai lawer yn ei dydd, a darllenyddes ragorol ydoedd hefyd yn y ddwy iaith. O ran ansawdd ei meddwl, yr oedd yn neillduol graffus, ac ymdrechai ddeall yr hyn oedd yn ddarllen. Yr oedd ei thalent i drysori Gair Duw yn ei chof yn nodedig iawn. Bydd y gorchestwaith a gyflawnodd yn Danville mewn cof yn mhen llawer o flynyddoedd, sef trysori yn ei chof ac adrodd y Testament Newydd bob gair. Dechreuodd ar y gorchwyl hwn cyn bod yn chwe' mlwydd oed, a gorphenodd cyn cyrhaedd ei deuddeg oed. Fel meistres ar ei gwaith, safai o flaen y gynulleidfa yn ddigryn bob nos Sabboth, ac adroddai benod. Yr oedd llawer iawn o son am dani y pryd hwnw, y tu yma a thu draw i foroedd. Cyhoeddwyd ei hanes yn *Seren Gomer*, ac ysgrifenodd John Samuel, Philadelphia, awdwr y "Welsh Letters," am dani i'r *Baptist Magazine*, fel y canlyn:

"*A Notable Little Girl.*—On a recent Sabbath afternoon, a very interesting meeting was held in Danville, Pa., for the purpose of presenting Miss Mary Ann Evans, daughter of Rev. David Evans, pastor of the Welsh Baptist church at that place, with a copy of Scott's Commentary on the New Testament, suitably bound, and a photograph likeness of herself in frame, representing her in the attitude of rehearsing the Scriptures in the public evening services of the church. She commenced the task when only six years of age, of rehearsing a chapter seven times each week, and has thus committed the entire contents of the New Testament to memory, repeating a chapter each Sabbath evening at the opening of the services, in the manner noted. The little maid acquitted herself with the greatest propriety and decorum, on no occasion requiring a correction, from the beginning of Matthew to the end of the Revelation. Her conduct is marked with a singular degree of sobriety and grace—an example to her fellow Sabbath School companions, and conducing greatly to the comfort and happiness of her parents. What a testimony is this to the value of Bible reading in youth, and especially of not merely reading the Bible, but of treasuring it in the memory."

Y mae y ffaith uchod yn hanes ei bywyd yn deilwng o'i chofio, ei chadw mewn cof a'i hefelychu, gan ieuenctyd ein cenedl a'n gwlad. Dywedir ei bod yn adrodd y Gair Dwyfol gyda y fath nerth a dylanwad, fel yr oedd rhai o gymeriadau gwaethaf a mwyaf anffyddol yr ardal yn myned i'r cyfarfodydd nos Sabboth, er ei chlywed yn adrodd. Nid ydym yn cofio i ni glywed am neb erioed a gyflawnodd y fath orchest a hon, ond gwrthddrych ein cofiant; ac onid yw y ffaith yn ddigon i siarad am y gallu a'r dalent?

Yr oedd Mrs. Thomas yn hynod gymdeithasgar a charedig, ac yr oedd ganddi barch mawr i weinidogion y Testament Newydd. Yr oedd ei henaid yn llawn sêl dros yr egwyddorion a'r enwad y perthynai iddo, ac yr oedd bob amser yn ddigon gwrol i siarad dros ei hegwyddorion. Ni cheid twyll ynddi hi, ac nid oedd yn cario ond yr un gwyneb a roddodd ei Chreawdwr iddi. Os tybir mai bai a ffaeledd yw bod yn ddidderbyn wyneb, rhaid co-

i'n Ceidwad wneyd iddo ei hun fwy o elynion am ddweyd y gwir a bod yn ddidderbyn wyneb nag un ffordd arall; do, fe'i rhoddwyd i farwolaeth am ddweyd y gwir. Yr oedd yr ymadawedig yn hynod gyfarwydd yn yr Ysgrythyrau, ac ymborth ei henaid oedd Gair Duw. Y corph gwanaidd sydd yn y bedd oer, ond yr enaid mawr a'r meddwl cryf a ehedodd fry at Iesu.

Collodd pump o rai bychain eu mam anwyl a thyner, ac eto mae rhagluniaeth y nef wedi gadael tad tyner a gofalus, gyda thaid anwyl, i gysgodi y rhai bychain rhag ystormydd byd o siomiant. Ystorm arw yn hwyr ei ddydd i'r hybarch dad o Wheatland oedd colli ei briod a'i unig blentyn mor agos i'w gilydd. Diwrnod du i'r brawd anwyl a phur, y Parch. Thomas Thomas, oedd dydd marwolaeth priod mor anwyl, a mam yr oedd cymaint o'i hangen, ac angen ei chymdeithas bur a goleu. "Gwerthfawr yn ngolwg yr Arglwydd yw mawrolaeth ei saint ef." Bydded i Lywydd y bydoedd ofalu am yr amddifaid, a chysuro meddyliau y y brodyr galarus yn eu tristwch.

*Palmyra, O.* E. Morddal Evans.

#### MR. ROBERT WATKINS.

Gorphenaf 11, 1882, yn Ashland, Pa., bu farw y brawd anwyl Robert Watkins, yn 83 mlwydd oed. Ganwyd Mr. Watkins yn Sir Drefaldwyn, G. C., Ebrill 17, 1779. Ymfudodd ef a'i briod i'r wlad hon yn y flwyddyn 1830. Nid anturiaeth fechan oedd mordaith o Gymru yn y cyfnod hwnw, edrychid ar y daith gyda phryder mawr. Yr hwyl-long, ac nid yr agerfad, oedd cyfrwng y trosglwyddiad. Glaniasant yn ddiogel, gan gyfeirio tuag ardaloedd Pottsville, yn Sir Schuylkill, lle yr oedd amryw deuluoedd o Ogledd Cymru wedi eu blaenu. Heb ymdroi llawer, daeth amryw Gymry i'r penderfyniad i wneyd cartref iddynt eu hunain fel amaethwyr. Ardal o'r enw Roaring Creek a ddewiswyd ganddynt yn drigle—lle pell iawn y pryd hwnw, heb un reilffordd na chamlas yn agos iddo. Pottsville a Minersville oedd iddynt yn lleoedd marchnad, a'r ffordd yn arwain drwy anialdir a thros fynyddoedd. Yn y lle hwn yr ymsefydlodd ein brawd ymadawedig, gan ddechreu byw yn America, ac fel y rhan fwyaf mewn gwlad newydd, dechreu heb ddim ond calon fawr, corph cryf, ewyllys benderfynol, ac awydd at waith. Prynodd dyddyn mewn lle manteisiol wrth droed y mynydd, a thrwy ddiwydrwydd, dyfal-barhad a chynildeb, daeth yn feddiant iddo—talodd am dano, a bu yn dreftadaeth i'w deulu. Yma y ganwyd iddynt saith o blant, pedwar o feibion a thair o ferched; mae chwech o honynt yn fyw, wedi gweled claddu tad a mam, ac un o'r merched wedi eu blaenu i'r "wlad well."

Dyn hynaws oedd ein hanwyl frawd, caredig, parod i gynorthwyo mewn angen, a gair da iddo gan bawb, a chan y gwirionedd ei hun. Yr oedd yn nodweddiadol am ei onestrwydd, ac yn ymdrechu byw heb fod yn nyled neb o ddim, oddieithr dyled i garu Duw a'i gymydog.

Byddai pregethu Cymraeg yn achlysurol yno, pan wnelai pregethwr o unrhyw enwad ymweled â hwynt, ond anaml y cymerai hyny le.

Tua Minersville y byddent yn cyrchu i'r moddion crefyddol, ond anaml y byddai amgylchiadau yn caniatau, gan fod y ffordd yn arw ac yn faith—dros ugain milldir o ffordd o bellder. Côf genyf glywed gwrthddrych ein coffa yn adrodd, ei fod wedi bod yn gweithio yn galed ddydd Sadwrn, ac i fater ei enaid ddyfod yn bwnc pwysig i wasgu ar ei feddwl tra wrth ei orchwylion yn y maes. Wedi swpera, dywedai wrth ei briod yn sydyn, ei fod yn bwriadu myned i'r cwrdd i Minersville y fory, ac i'w wely ag ef, ond nid i gysgu—y mae yn codi am dri o'r gloch y boreu, yn cychwyn ar ei ddeudroed dros y bryniau a thrwy yr anialdir, yn croesi y Broad Mountain, ac yn cyrhaedd Minersville erbyn amser cwrdd y boreu; ïe, mewn pryd i fod yn y cwrdd gweddi naw o'r gloch. Yr wyf yn awr, wedi 33 o flynyddoedd, yn cofio yr olwg, edrychiad y dyn tal, corphorol, ffarmwr Roaring Creek, yn y cyfarfod hwnw. O, mor ystyriol y gwrandawai ar Air

Digitized by Google

yr Arglwydd—gallesid meddwl ei fod yn yfed pob gair o'r bregeth; ac nid rhyfedd; heblaw fod yr angen wedi dyfod i'r teimlad, yr oedd yr ymdrech a'r llafur i ddyfod i'r moddion yn rhoddi archwaeth iddo at yr ymborth. Achwynir yn awr, os bydd milldir neu ddwy o ffordd i'r moddion, eu bod yn byw yn mhell, fel esgusawd am esgeuluso eu cydgynulliad; ond diau genym fod y pell ffyddlawn yn ystyried y moddion yn fwy melus na'r hwn sydd yn byw wrth ddrws y capel.

Côf genyf hefyd am y boreu y gwnaeth Robert Watkins broffes gyhoeddus o Fab Duw, yn y flwyddyn 1850. Yr oedd eglwys Minersville wedi gwneyd lle cyfleus i weinyddu yr ordinhad o fedydd ger y ffordd sydd yn arwain i bentref Llewelyn. Cronid y dwfr nos Sadwrn. Y boreu y bedyddiwyd Mr. Watkins, yr oedd y gronfa wedi gollwng dwfr, fel nad oedd dwy droedfedd o ddyfnder yn y llyn. Safai y diacon Isaac Jones yn fy ymyl, a dywedai, "Nid oes yna ddigon o ddwfr i'w gladdu. Beth sydd yn oreu i'w wneyd ?" "Er fod y brawd o Roaring Creek yn ddyn mawr esgyrnog, (dywedais) yr wyf yn meddwl y gallaf ei gladdu a'i godi hefyd." Aethom i waered ein dau i'r dwfr, ac wrth ei roddi ar waelod bedd, cyfododd ton ac a'i gorchuddiodd oll. Y dydd hwnw y derbyniwyd ef yn aelod o eglwys Minersville, a bu yn ffyddlon i gyrchu yno o bryd i bryd, ag ystyried pellder y ffordd, a'r anhawsderau.

Wedi i eglwys Minersville sefydlu cangen yn Ashland, yr oedd ei ffordd i'r moddion yn fyrach o 12 milldir. Gwnaeth ei gartref crefyddol gyda'r frawdoliaeth yn yr eglwys ieuanc. Yn Ebrill, 1870, gadawodd y fferm, a symudodd ef a'i briod i dreulio gweddill eu hoes, er mwyn cyfleusderau crefyddol, yn Ashland. Ond byr fu arosiad Mrs. Watkins. Daeth galwad i wysio ein hanwyl chwaer o'r babell ddaearol i'r "ty nid o waith llaw, tragywyddol yn y nefoedd." Gorphenodd ei gyrfa yn pwyso ar Waredwr ei henaid, Gorphenaf 28, 1874. Gellir dyweyd am dani fod sirioldeb a charedigrwydd yn yr awyrgylch yr anadlai. Bu yn fam hynaws, yn briod ymgeleddgar, ac yn Gristion gloew, a'i diwedd yn dangnefedd. Aeth i mewn i lawenydd ei Harglwydd.

Wedi symudiad R. Watkins i Ashland, gwelodd yr eglwys fod ynddo gymwysder i wasanaethu fel diacon, ac ni fu neb yn fwy didwyll a ffyddlawn yn y swydd hyd eithaf ei wybodaeth ef. Yr oedd yn hoff iawn o ddarllen ei Feibl, a'i fyfyrdod yn barhaus yn nghyfraith ei Arglwydd, ac yr oedd rhan helaeth o'r Gyfrol Ddwyfol ar gof a chadw ganddo. Ymbleserai i ymddyddan am fawrion weithredoedd Iôr, ac ymdrechai fyw yn ol cyfarwyddyd y Gair—rhodio yn ol y Reol hon, ac aml i friw a gafodd am nad oedd eraill yn gweithredu yn ol cyfraith ei Dduw. Galarai o herwydd bywyd anghyson llawer o'r rhai a broffesent fod yn ganlynwyr i Iesu Grist. "Gwae fi fy mod yn preswylio yn Mesech, ac yn cyfaneddu yn mhebyll Cedar," oedd ei acenion aml.

Gwnaeth ein brawd hoff ac eraill ymdrech ac aberth i godi achos crefyddol yn Roaring Creek. Cyfodwyd addoldy yno—ty bychan prydferth, yn rhydd i'r gwahanol enwadau bregethu ynddo. Yr oeddwn yn y cyfarfod agoriadol, ac nis anghofiaf garedigrwydd yr ardalyddion, a gwenau y Meistr mawr ar y moddion. Gwnaeth Watkins ei ran i'w adeiladu a thalu am dano. Yn gysylltiedig a'r addoldy y mae mynwent, lle y tawel huna ein hanwyl frawd a'n chwaer hyd foreu adferyd, pryd y bydd i'r marwol wisgo anfarwoldeb.

Yn absenoldeb y gweinidog, ac yn herwydd methiant yr ysgrifenydd i fod yno, gweinyddwyd yn yr angladd gan y brawd D. E. Bowen, yr hwn oedd ar ymweliad a'r eglwys ar y pryd. Testyn Mr. Bowen ydoedd Dat. 14:13. Wedi dychweliad y brawd Jer. Griffiths traddododd yntau bregeth angladdol oddiar Salm 73:24—"A'th gyngor y'm harweini, ac wedi hyny y'm cymeri i ogoniant." Diolch am arweinydd, ac am obaith y cawn gwrdd yn y gogoniant.

J. P. Harris.

Digitized by Google

# Y WAWR.

CYF. VIII.] MEDI, 1883. [RHIF. 6.

# Erthyglau Arweiniol.

## LLENYDDIAETH Y DYDD.

"IAGO, BRAWD YR ARGLWYDD," A GWEINIDOG Y FAM EGLWYS YN JERUSALEM.*

Yn mhlith y dysgyblion boreuol, canfyddir tri o bersonau yn dwyn yr enw Iago: Iago mab Zebedeus, Iago mab Alpheus, ac Iago brawd yr Arglwydd. Ar y cwestiwn pa un o'r tri hyn a ysgrifenodd Epistol Iago, cynygir y rhesymau canlynol:

Ni ddarfu un o'r hen awdwyr briodoli yr epistol i Iago fab Zebedeus. Efe oedd y merthyr cyntaf o'r deuddeg apostol, ac yn gymaint ag i'w ferthyrdod gymeryd lle yn nheyrnasiad Herod Agrippa I, O. C. 44, pedair blynedd ar ddeg ar ol yr esgyniad, buasai yr epistol, pe wedi ei ysgrifenu gan Iago mab Zebedeus, y gwaith cyntaf o holl lyfrau y Testament Newydd. Mae y cyfeiriadau yn yr epistol, ac hefyd amgylchiadau a ddarlunia yn bodoli yn yr eglwys, yn anghyson a'r fath dybiaeth. Y mae mwy i'w ddweyd dros y dybiaeth mai Iago mab Alpheus a'i hysgrifenodd. Ategir y dybiaeth hon gan ddamcaniaeth hen, mai yr un person oedd Iago mab Alpheus a'r hwn a lanwai y swydd o Esgob Jerusalem; ond nid oes gan y dybiaeth yna ddim arall yn ei ffafr, canys nid yw Iago mab Alpheus, neu Iago Leiaf, yn wybyddus i ni ond mewn enw, a dim arall. Ni choffeir un dygwyddiad am dano, ni phriodolir iddo yr un dywediad yn yr efengylau. Gwyddom lai am fab Alpheus nag am un o'r deuddeg apostol. Ni fyn rhai briodoli yr anrhydedd o fod yn awdwr epistol i neb tu allan i gylch yr apostolion. Mewn atebiad i hyn, dylid cofio fod y mwyafrif o'r deuddeg apostol yn adnabyddus i ni yn unig fel enwau, weithiau heb gymaint ag un dygwyddiad yn cael ei nodi am danynt. Gellir bron bod sicr, yn unol a hen draddodiad, a barnau diweddar mwyaf addfed, mai awdwr yr epistol ydyw Iago, Esgob Jerusalem, a brawd yr Arglwydd, yr hwn nad oedd yn apostol.

Wedi myned can belled a hyn, y mae braidd yn anmhosibl peidio dweyd ychydig mewn perthynas i frodyr yr Arglwydd. Y mae o leiaf bedair damcaniaeth yn eu cylch: 1. Eu bod yn feibion i Joseph a Mair. 2. Eu bod yn neioedd mabwysiedig Joseph. 3. Eu

* Early Days of Christianity. By Cannon Farrar, D. D.

Digitized by Google

bod yn feibion Joseph o briodas flaenorol. Ac yn 4. Eu bod yn feibion Joseph trwy briodas Lefiticaidd. Yr hyn sydd fwyaf tebygol ydyw, eu bod yn feibion i Joseph a Mair, yn ol priodas gyfreithlon, ar ol genedigaeth Crist. Yn y benod gyntaf o Efengyl Matthew, hysbysir ni, "A Joseph a gymerodd ei wraig, ac nid adnabu efe hi hyd oni esgorodd ar ei mab cyntafanedig." Y casgliad naturiol oddiwrth yr ymadrodd yna ydyw, ddarfod i Joseph a Mair fyw mewn glan briodas ar ol genedigaeth Crist, ac i blant gael eu geni iddynt. Ni ellir dweyd fod dim yn y ffaith fod i'r Iesu frodyr, fel hyn, yn anghydweddol ag urddas Mair nac ag urddas yr Iesu. Byddai dal hyny yn tynu i lawr gysegredigrwydd priodas. Pe yn wahanol, oni fuasai ymadroddion fel a geir yn yr adnod ganlynol yn gamarweiniol i'r eithaf: "Onid Mair y gelwir ei fam ef, a Iago, a Joses, a Simon, a Judas, ei frodyr ef."

Yn lle bod yn ddarostyngol iddo ef i fyw yn yr un ty gyda "brodyr" a "chwiorydd," plant ei fam, y mae rhywbeth rhyfeddol o brydferth yn y syniad ei fod ef hefyd yn gwybod am yr urddas llawn, y dedwyddwch, y diniweidrwydd a'r cysegredigrwydd a berthyn i fywyd priodasol; canys yn y fath fywyd, mae cariad dwfn a chynorthwyol brodyr a chwiorydd yn mheryglon, treialon, a llawenydd y byd, yn un o'r golygfeydd mwyaf cysegredig a fedd y ddaear. Ffurfia un ddolen ychwanegol yn nghadwyn yr undeb rhyngom a'r Gwaredwr, os cydgyfranogodd ef a ni yn hyn, yn gystal ag mewn cysylltiadau eraill bywyd, ag y gallasai efe fodd yn y byd fod yn un a ni ynddynt. Cofier hefyd, ni anadlodd efe un gair i ddyrchafu bywyd unigol uwchlaw bywyd priodasol.

Mewn perthynas i Mair yn y cysylltiad hwn, teimla pob Cristion y dylai mam ein Harglwydd dderbyn y parch mwyaf. Ffafriwyd hi yn neillduol, ac ni allasai gael ei dewis allan o filiynau yr hil ddynol i fod yn fam ein Harglwydd, heb fod yn meddu ar ragoriaethau a grasusau arbenig; eto, fel yn bwrpasol, ychydig a ddywedir am hyn. Ac ni amlygodd yr Iesu un duedd i orddyrchafu ei fam ar gyfrif y berthynas hon, ond yn hytrach anghymeradwyodd bob tuedd a allasai gyfodi yn ei ddilynwyr i'w mawrhau yn ormodol. Aml i dro y tystiodd yn benodol pwy oedd ei fam, ei frodyr, a'i chwiorydd. Y mae y duedd i orddyrchafu Mair, wedi peri i lawer dybied y buasai fod iddi blant eraill, hyd yn nod mewn cysylltiad cyfreithlon priodas, yn ddarostyngol iddi. Hyn sydd eglur, nad ellir tybied hyny heb dynu i lawr gysegredigrwydd priodas. Gan hyny, fy marn i yw, fod brodyr a chwiorydd ein Harglwydd yn blant gwirioneddol ei fam. Nid yw hyn fodd yn y byd yn ddamcaniaeth; ond yn dderbyniad o'r hyn y mae yr efengylau oll yn ddweyd. Ystyriwyf yn bosibl—ie, hyd yn nod yn debygol—fod meibion Alpheus, o'r rhai yr oedd dau neu dri yn apostolion, fel meibion Zebedeus, yn gefnderoedd i'r Iesu; ond nid wyf yn credu eu bod erioed wedi cael eu galw yn "frodyr" iddo ef.

### BYWYD A CHYMERIAD IAGO BRAWD YR ARGLWYDD.

Y mae yn un o nodau arbenig ymadroddion yr Ysgrythyrau, fod cymaint yn cael ei ddweyd am bersonau, hyd yn nod mewn gair neu ddau. Y mae llawer o bersonau y crybwyllir am danynt yn yr Ysgrythyr ond yn unig mewn dwy neu dair adnod; er hyny, o herwydd y fath ysbrydolrwydd a phriodol-

Digitized by Google

deb fydd i'r geiriau, yr ydym yn alluog i'w hadnabod yn dda. Yr ydym yn dyfod i feddu adnabyddiaeth o honynt pan y mae genym rai o'u dywediadau a'u hysgrifeniadau. Gallwn dynu darlun felly o Iago, gweinidog cyntaf y fam eglwys yn Jerusalem—un o frodyr yr Arglwydd. Gallwn ffurfio rhyw ddirnadaeth hyd yn nod am ei blentyndod, a'i ddygiad i fyny gyda'i frodyr a'i chwiorydd mewn cartref cyffredin yn Nazareth. Nid oedd Joseph ond saer pentrefol, ac fel y mae traddodiad yn tystio, nid oedd mewn modd yn y byd yn un medrus. Yr oedd saer mewn pentref neillduedig yn Galilea, yn rhwym o fod yn dlawd; ond y mae gagendor fawr rhwng tlodi ac angenusrwydd. Y mae amgylchiadau bywyd Dwyreiniol yn cymeryd ymaith yr holl bigiad o sefyllfa y tlawd diwyd. Y mae angenrheidiau bywyd yno yn ychydig a syml.

Ni pherthyn iddo ddim moethau — ddim arddangosiadau gwastraffus. Ychydig fara, ychydig aeron, ffynon o ddwfr, bwthyn cyffredin, un wisg i'w newid, ydynt yn ddigon i gynal llafurwr gonest yn gysurus a boddlon, a gall enill y pethau hyn yn rhwydd a sicr. Yr oedd llawer a eisteddent i wrando y bregeth ar y mynydd, gallwn fod yn sicr, a fedrent sylweddoli yn dda, oddiar brofiad personol, y gwynfydau a gyhoeddid i ran y tlodion, y rhai oeddynt hefyd yn dlodion yn yr ysbryd. Gwyddis y modd yr oedd Ysgrythyrau yr Hen Destament yn ffurfio y rhan benaf yn addysgiaeth teuluoedd Iuddewig cyfrifol—y modd y byddai y plant yn dechreu eu dysgu yn bump oed, ac yn parhau i'w myfyrio hyd oedran gwr, gan gysylltu â hwynt yn unig ddysgeidiaeth yr ysgrifenyddion.

Nodir Joseph, tad Iago, gan Matthew, fel un oedd yn "wr *cyfiawn.* "Y mae y gair hwn yn cyfleu ystyr mwy arbenig i Iuddew nag i ni. Tybia nid yn unig ei fod ef yn onest, anrhydeddus ac uniawn, fel y gwelwn oddiwrth ei ymddygiad yn mhob dygwyddiad yn amser genedigaeth a maboed Crist, y meddai efe ran ynddo, ond hefyd ddarfod iddo wneyd yn bwynt neillduol i gyfarfod â holl ofynion y ddeddf Foesenaidd. "Gwr cyfiawn" oedd un a wnai elusenau, a aethai i'r gwyliau blynyddol; un oedd fanwl yn nghadwraeth y Sabboth—un a gadwai reolau y puredigaeth Lefiticaidd—un a barchai y Rabbiniaid mawrion—un a fynychai addoliad y synagog—un a arferai y gweddiau penodedig—un a wisgai y phylacterau—un oedd yn myfyrio yn gyson y gorchymynion, y deddfau, y barnau, y tystiolaethau, gair, ac ewyllys y Duw a wnaethai gyfamod â'u tadau. I fod yn ddyn cyfiawn yn ol y drychfeddwl Iuddewig, oedd bod yn "Hebrewr o'r Hebreaid," rhodio yn holl orchymynion ac ordinhadau yr Arglwydd yn ddiargyhoedd. A hyn oedd amcan y teulu sanctaidd.

Nid yn unig arferai Joseph fyned i fyny i Jerusalem i wyl y Pasg, ond aethai Mair gydag ef, er, oblegid blinder a pheryglon y daith, ystyrid hyny yn ddiangenrhaid. Y mae yn sicr, gan hyny, ddarfod i Iago gael ei addysgu yn awyrgylch Iuddewiaeth fanylaidd, efallai nid yn rhydd oddiwrth y gwladgarwch brwdfrydig, a'r gwerthfawrogiad mawrygol o freintiau y genedl Iuddewig a feddai y Galileaid. Ond yn Iago ymffurfiodd y tueddiadau hyn yn foesoldeb o'r fath oreu—yn foesoldeb nid yn unig nerthol, ond hyd yn nod llym sanctaidd. Yr oedd wedi tyfu i fyny yn mhlith dynion a merched o natur brydferth a syml—yn

Digitized by Google

mhlith rhai yr oedd eu heneidiau pan yr edrychent allan yn gloewi mewn cydymdeimlad; pan yr edrychent i mewn, yn gwrido gan wyleidd dra.

Nid ydym yn gwybod dim am ei frodyr eraill, ond yr ydym yn gallu gweled yr un nodweddau arbenig yn meddwl ei frawd Judas. Ai ni allwn dybied ddarfod i gariad cyson at ddaioni, a chasâd cyson at ddrwg, gael ei ddwyseiddio yn eu meddyliau i raddau mawr trwy eu cymdeithasiad ag UN oedd yn sanctaidd, diddrwg, dihalogedig, a didoledig oddiwrth bechaduriaid? Efallai ein bod yn canfod un effaith o'r cymdeithasiad hwnw yn y grediniaeth ddofn oedd gan Iago yn effeithiolrwydd gweddi. Y mae y ddyledswydd a gwerth gweddi yn cymeryd lle nid bychan yn nysgeidiaeth ei Epistol, a llefara am dani fel un a gawsai ei ddysgu mewn perthynas iddi gan yr Arglwydd Iesu. Yn yr ystyr hwn, yn gystal ag yn mhob ystyr, ai nid rhaid fod presenoldeb Mab Duw yn y bwthyn cyffredin hwnw yn Nazareth yn cario dylanwad er peri i ddynion duwiol gasau pechod gyda mwy o ddygasedd nag mewn canlyniad i gael eu dwyn i fyny gan rieni crefyddol, ac oddiwrth eu gwaith yn darllen yn unig lyfrau sanctaidd?

Yn ysgrifeniadau Iago a Judas, canfyddwn brofion o adnabyddiaeth agos â llyfrau yr Ysgrythyrau. Y Beibl oedd wedi bod eu prif lyfrgell. Yn Iago gallwn hyd yn nod olrhain y rhanau o'r Ysgrythyr ag oeddynt fwyaf hoff ganddo, a'r argraff oeddynt wedi ei adael ar ei feddwl. Mae yn cyfeirio at Abraham, at Rahab, at Elias; cyfeiria at bum' llyfr Moses, at y Salmau, at Esaiah, ac at y prophwyd Amos. Ond yr ysgrifenwyr hyny o'r Hen Destament a draethasant fwyaf o'r ddoethineb ymarferol yr oedd efe wedi yfed mwyaf o'u hysbryd. Yr oedd yr Iuddewon yn tybied, ac yn tybied yn gywir, eu bod hwy yn feddianol ar "ddoethineb" foesol ag oedd yn drysor neillduol i'r genedl. Nid athroniaeth ydoedd. Nid oedd yn ddigon cyfundraethol, ac yr oedd wedi ei sylfaenu yn ormodol ar brofiad a thueddiadau ymarferol sydd uwchlaw prawf i gyd-daraw ag ystyr gyffredin yr enw hwnw.

Yn awr, mae y "ddoethineb" Iuddewig yn dwyn mwy o gysylltiad â buchedd nag â damcaniaeth. A'r fath hwn o ddoethineb mae Epistol Iago yn ymwneyd fwyaf. Mae ei lythyr yn dangos ei fod yn gydnabyddus a llyfrau yr Apocrypha. Ond y mae ffaith arall o berthynas i Iago sydd yn myned yn mhell i roi cyfrif am ei safle, ei gymeriad, a'r dôn a fabwysiada, a'r hon hefyd a dafla oleuni gwerthfawr ar fuchedd Joseph a'r teulu sanctaidd. Yr oedd (os derbyniwn dystiolaeth Hegesiphus) yn Nazaread o'r groth. Gelwid Joseph yn "wr cyfiawn" am y rhesymau a nodasom yn barod. Tebygol mai am ei fod yn Nazaread yr oedd Iago yn cael ei alw "y cyfiawn." Yr oedd diwedd yr oes Iuddewig yn oes o addunedau. Yr oedd fod yr eryrod yn dechreu ymgasglu ac ysgwyd eu hadenydd uwchlaw y tir sanctaidd yn creu gofid ac ofn yn nghalonau yr Iuddewon. Fel Nazaread, yr oedd Iago yn sanctaidd o'i febyd. Ni phrofodd efe erioed win na diod gadarn; a'r neillduolion eraill perthynol i'r urdd hono a berthynai iddo yntau, y rhai oll oeddynt yn cyduno i'w wneyd ef yn gymeriad pur a dilychwin.

---

Gwna lawer o dda heb ond ychydig o drwst.

Digitized by Google

## CHWAREU TEG I SIMON MAGUS.

GAN MR. EVAN ROBERTS, REMSEN, N. Y.

Mae yn ddiamheuol nad oes hanes un dyn yn y Testament Newydd yn derbyn mwy o gam gan esbonwyr na hanes Simon Magus. Mae pawb yn ei erbyn, ac yn ei osod allan fel dyn drwg a phechadurus. Os bydd eisiau argraffu ar feddyliau y lluaws fod rhyw bersonau yn meddu cymeriadau gwaeth na'r cyffredin, cymherir hwy i Judas a Simon Magus. Nis gwn paham y llusgir Simon druan, ac y mynir ei roddi ar y blaen yn y rhestr dduaf o bechaduriaid a fu yn y byd erioed. Yn sicr nid yw y Beibl yn awdurdodi neb i wneyd hyny. Cyhuddir ef am fwriadu cam-ddefnyddio y fendith oedd yn ei cheisio, ac yntau heb amlygu hyny, na'r apostolion yn ei gyhuddo o'r fath beth. A thra y dywed yr Ysbryd Glan mewn modd pendant, ei fod wedi credu yn yr hwn oedd Phylip yn ei bregethu, sef Iesu Grist, myn dynion na chredodd erioed. Ond credaf fi yr hyn y mae yr Ysbryd Glan yn ei ddweyd. Gwnawn ymchwiliad byr i'r hanes, a cheisiwn chwareu teg i Simon.

Cawn yn Actau yr Apostolion fod Phylip wedi myned o Jerusalem i Samaria, ac yno bu yn foddion i blanu eglwys i Iesu Grist, ac yn mhlith y dychweledigion, nodir un dyn hynod allan fel hyn. "A Simon yntau hefyd a gredodd, ac wedi ei fedyddio, a lynodd wrth Phylip." Act. 8: 13. Yr un peth oedd glynu wrth Phylip a glynu wrth Feistr Phylip, sef Ceidwad y rhai cadwedig; ac nid ydym yn cael ar ddeall ei fod wedi syrthio oddiwrth y gras o lynu wrth Grist hyd ei fedd. Yn mhen rhyw gymaint o amser wedi hyn clywodd yr eglwys yn Jerusalem am lwyddiant Phylip yn Samaria. Cofier mai derbyn gair Duw, ac nid ei wrthod, ddarfu y Samariaid. Cofier hefyd mai nid myned yno i'w gwastadhau a ddarfu yr apostolion. Dim son fod dim o'i le yn yr eglwys; ac y mae yr amgylchiadau yn myned yn mhell i brofi fod heddwch ac undeb yn bodoli yn eglwys Samaria. Yn ddilynol i fynediad Pedr ac Ioan yno er cynorthwyo Phylip, cawn y ddau apostol yn cyfranu y doniau gwyrthiol; a phan welodd Simon mai trwy osodiad dwylaw yr apostolion y rhoddid yr Ysbryd Glan neu y doniau gwyrthiol, Simon, druan, yn ei ddiniweidrwydd a'i anwybodaeth, a gynygiodd arian iddynt am ei gynysgaeddu ef a'r gallu hynod hwnw. Mae yn naturiol i ni dybio fod Simon yn gyfoethog; a'r un mor naturiol yw i ni dybio ei fod yn barod i roddi o'i gyfoeth at wasanaeth crefydd. "Efe a gynygiodd iddynt arian." Yr oedd ei ddyben, yn ddiamheuol, yn ol rhediad yr ymadroddion, yn dda, er iddo gamgymeryd y llwybr. Gwrandewch: "Fel ar bwy bynag y gosodwyf fy nwylaw, y derbynio efe yr Ysbryd Glan." Cofier nad oes lle teg i gasglu, llawer llai seiliau i haeru, mai er mwyn hunan-glod, er mwyn gwneyd arian, a bod yn fwy llwyddianus yn ei hen fasnach, y gwnaeth efe hyn, canys yr oedd efe yn awr yn *gredadyn;* ac os gwedir nad ydoedd wedi credu, gwader hefyd na fedyddiwyd ef, gan mai yr un awdurdod sydd genym dros y naill a'r llall. (Act. 8: 13.) Ac fel credadyn a Christion y mae ef am gael eraill i fwynhau bendithion yr efengyl a gogoneddi ei Hawdwr hi. Gwrandewch ei reswm, yr hwn ni amheuwyd gan Petr nac Ioan: "Fel ar bwy bynag y rhoddwyf fy nwylaw y derbynio efe yr Ysbryd Glan." Yr oedd am gael y

Digitized by Google

gallu hwn er mwyn y Samariaid ac eraill—"pwy bynag y gosodwyf fy nwylaw arno." Nid oes yma awgrym am elw personol na hunan-glod, ond llesâd eraill. Eto i gyd yr oedd syniad Simon yn annhraethol ry isel gan Petr, (er nad yw yn condemnio ei amcan). "A gynygiodd iddynt arian." Am hyn, a hyn yn unig, y mae yr apostol yn rhoddi y fath gerydd llym iddo.

"Bydded dy arian gyda thi i ddistryw, am i ti dybied y meddienir dawn Duw trwy arian. Nid oes i ti na rhan na chyfran yn y gorchwyl hwn," sef cyfranu y doniau gwyrthiol. "Edifarha, gan hyny, am *dy* ddrygioni HWN." Sylwer, dim ond un camsyniad. Ac wedi gwneyd y camsyniad, gwelwch mor ostyngedig yw Simon. Gallasai ddadleu â Petr, a dweyd fod dysgyblion Iesu Grist wedi gwneyd cymaint camsyniadau ag yntau lawer gwaith, ac na cheryddodd eu Hathraw hwy gyda'r fath lymder erioed. Ond nid yw yn gwneyd y fath beth, nac yn arddangos unrhyw hunanoldeb nac ystyfnigrwydd. Ni chnodd y wialen, fel y gwneir gan lawer yn ein hoes ni. Ond mor fuan ag y deallodd y trosedd, ymostyngodd yn is nag i wisgo sachlian a lludw, gwisgodd edifeirwch fel mantell hyd y llawr. Gwelodd yr apostolion ef mewn bustl chwerwder (edifeirwch), y man lle y dymunent weled pob troseddwr. Teimlodd Petr drosto, a dywedodd, "Gweddia Dduw, a faddeuir i ti feddylfryd dy galon." Ni ddywedir iddo weddio drosto ei hun, ac ni ddywedir i'r apostolion weddio trosto ychwaith, eto y tebygolrwydd yw iddo weddio drosto ei hun, ac i'r apostolion weddio trosto hefyd; canys pa bryd y canfyddwn y fath deimladau dwysion yn neb, nad yw y teimlad hwnw yn troi yn weddi, a pha le y ceir yr apostolion yn gwneyd dim yn debyg i wrthod gweddio dros y rhai a ddeisyfant ran yn eu gweddiau?

Yn awr gwrandewch ar Simon yn ei dristwch a'i alar. "Gweddiwch drosof." Dyma berl o uchel bris yn ei brofiad, nad yw yn cartrefu ond yn nghalon y Cristion. Os na weddiodd Simon drosto ei hun, yr oedd ar fai, canys gan nad faint oedd mawredd ei bechod, rhaid ei fod yn faddeuadwy, neu ni fuasai Petr yn gorchymyn iddo edifarhau a gweddio. Ac os gwrthododd yr apostolion weddio trosto, ac yntau yn erfyn arnynt wneyd hyny, ymddangosant i mi yn feius iawn. Cristion oedd Simon pan ddaeth Petr ac Ioan i Samaria, ac am ddim a wyddom, felly y gadawsant ef.

Paham y gelwir Simon Magus yn Simon y swynwr?—ai tybed fod cymaint o ddynion yn cymeryd yn ganiataol mai dyn annuwiol oedd ef? Yn sicr, nis gallaf weled fod mwy o reswm dros alw Simon yn Simon y swynwr, nag sydd dros alw Paul yn Saul yr erlidiwr. Mae yn wir fod yr Ysgrythyr yn son llawer am Paul, ond yn ddystaw am Simon, a phan y byddo Duw yn ddystaw dylai dynion fod felly. Claddwyd swynyddiaeth Simon yn yr un bedd ag y claddwyd erledigaeth Saul o Tarsus, yn mynwent fawr anghof Duw. Gall Simon ganu,

'Satan a'i blant sy'n edliw fy meiau,
A dweyd fod fy mhechod yn ormod i'w faddeu.'

Cofier mai un bai sydd yn cael ei roddi yn erbyn Simon, a hwnw o fewn terfynau maddeuant. Ni wyddai efe ddim am godi cynwrf yn yr eglwys yn Samaria; ni soniodd erioed am newynu Phylip, ei weinidog, ymaith, nac am sefyll mewn un modd ar ffordd llwyddiant crefydd, onide cawsai deimlo pwys cerydd Petr am y cyfryw dros-

Digitized by Google

eddau. Ac os dywedir fod y Beibl yn ddystaw am dano wedi hyn, dywedwn ninau fod Simon yn gallu hawlio manteision y dystawrwydd o'i du ef; ac yr ydym ni yn foddlon i'r penill hwn fod yn fedd-argraff iddo.

"A oes pererin yn y byd,
Na welir ynddo fai,
Am hwn mae'r Iesu'n eiriol fry,
A'r nef yn llawenhau."

## UNDEB CYMANFAOL AC EGLWYSIG.

Yn y WAWR am Gorphenaf, cafwyd yr atebiad i mi gan y Parch. John Seth Jones, mewn perthynas i'r pwnc uchod. Bobl anwyl, beth oedd ar y brawd yn fy iselhau yn ei feddwl ef, fel yn fy amheu fy mod yn ddarllenwr cyson o'r WAWR, a fy mod yn anghymwys i farnu ei ysgrif, am ddarfod i mi fod yn "ddiofal" ac "arwynebol" wrth ei darllen? Ni wnaethum ond rhoddi ychydig ofyniadau cystal ag y medrwn, mewn iaith mor foneddigaidd ag y gallaswn. Yn mha le y mae wedi cael yr ysbryd a'i gyrodd i ysgrifenu fel y gwnaeth? Nid wyf yn gwybod i mi roddi achos iddo erioed fod mor angharedig ddifrifol. Ystyriwyf yn deg i mi roi unrhyw ofyniad i'r boneddwr a fuasai yn dal cysylltiad agos iawn â'r hyn a ysgrifenasai i'r cyhoedd, ond i hyny fod mewn iaith weddus. Os oedd geiriadaeth y gofyniadau yn aneglur iddo, neu os oedd y gofyniadau yn arddangos fy mod wedi bod "yn ddiofal" ac "yn arwynebol," neu yn arwyddo fy mod wedi camsynied ei feddwl, paham na fuasai, fel boneddwr caredig a Christion, yn ceisio genyf egluro fy meddwl yn y gofyniadau?

Dylai y Parch. Mr. Jones a minau yn yr ymdrafodaeth hon, ystyried mai fel tystiolaethwyr, ac nid fel rheithwyr, y dylem ymddangos. Y darllenwyr yw y rheithwyr—hwy sydd i farnu a fum i yn "ddiofal" ac yn "arwynebol" o'ch ysgrif.

Yn y WAWR am Gorphenaf, gwelaf y geiriau hyn: "A deallwch hyn, frawd, nad oes na gair na brawddeg o'r ysgrif wedi syflyd, nac un ymresymiad wedi dadymchwelyd na'i droi yn ol; mae y cyfan yn aros fel yr oeddynt, o ran dim a wnaethoch chwi iddynt." Mae yn debyg eu bod wedi dadymchwelyd drwy weithred rhywun arall. (?) Bobl anwyl, nid wyf fi wedi gwneyd dim iddynt—nid wyf wedi cynyg gwneyd dim iddynt—rhoi ychydig ofyniadau a wnaethum i. "Os oedd rhyw gyfeiliornad yn yr ysgrif, paham na fuasech yn ei nodi allan, er lles yr ysgrifenydd yn bersonol, a darllenwyr y WAWR yn gyffredinol?" Yr oeddwn wedi gweled rhai pethau gwrthun iawn yn yr ysgrif, ac nid oeddwn am eich barnu yn rhy fyrbwyll, cyn cael gwybod eich meddwl, dyna y rheswm i mi anfon y gofyniadau atoch.

Yn niwedd yr ysgrif caf y geiriau hyn: "Cofier, ni bydd i mi wneyd un sylw pellach ar ddim a ddywedir gan J. B. T., na neb arall, yn y drafodaeth hon, hyd nes y byddo rhywbeth yn galw am hyny er amddiffyn yr ysgrif wreiddiol, yr hyn nad oedd y tro presenol, canys ni wnaeth Mr. Thomas, fel y gwyr y darllenydd." Pa ddarllenydd feddylia y brawd? Un o ddarllenwyr y WAWR yw J. B. T., ac y mae yn amlwg y modd y teimla efe yn ngwyneb yr ysgrif. Pe byddai o ryw bwys i Mr. Jones, gallaf ddweyd, a dweyd y gwir, i mi glywed rhai o ddarllenwyr y WAWR, o Fedyddwyr ac eraill—meddylwyr galluog iawn, yn dweyd fod y gofyniadau ar dir teg ac ysgrythyrol yn anatebadwy. Bydded

hyna fel y bo, barna di, ddarllenydd, drosot dy hun.

Gan nad yw fy ngofyniadau wedi "syflyd" un o hoelion yr ysgrif, paham yr ymdrafferthodd y Parch. Mr. Jones i gyfansoddi yr ysgrif o'm blaen? Gan na wna sylw pellach i ddim ond mewn amddiffyniad i'r ysgrif wreiddiol, ai nid amddiffyniad i'r ysgrif wreiddiol yw hon, mewn rhan modd bynag? Pa achos gwneyd sylw o'r gofyniadau, os nad oedd perygl i'r ysgrif oddiwrthynt?

Diolch i chwi, Mr. Golygydd, am y gofod a roisoch yn y WAWR i'r mater. Yr oedd un yn dweyd wrthyf ychydig ddyddiau yn ol, fod y WAWR yn dyfod yn fwy agored a theg i gyhoeddi pethau pwrpasol a gwir angenrheidiol i'r werin eu gweled a'u clywed, a thrwy hyny yn eu cydmaru i'r *Seren Gomer*, dan olygiaeth yr anfarwol Joseph Harris. Gobeithiwyf fod darllenwyr y WAWR wedi darllen yr ysgrifau a'r gofyniadau, a ffurfio barn ddiduedd. Dywedaf eto, mae genyf barch mawr i'r sefydliad Cymanfaol fel *advisory meeting*, ac nid fel *parliament*, neu *congress*.

JOHN B. THOMAS.

**Dymunem ar i'r brodyr fod yn hynaws yn yr ymdriniaeth hon. Dymunem ar i'r brawd Thomas, ac eraill, gofio hefyd, er mor "agored" yw y WAWR, nad ydym yn hoffi cefnogi ysgrifau fyddo yn taro yn erbyn ein ffydd a'n hymarferion fel enwad, oddieithr fod rhyw wall yn cael ei ddangos ynddynt, a bod rhyw beth gwell yn cael ei ddangos yn ei le. Os nad ydyw y Gymanfa yn cael ei deall genym yn ol ei chyfansoddiad a'i dyben gwreiddiol, neu os nad ydyw yn cael ei chario yn mlaen genym fel y cyfryw, y mae croesaw i ysgrifenu yn deg er dangos hyny.—GOL.**

---

# Amrywiaethol.

## WICLIFFE.

Yn nechreuad y bedwerydd ganrif ar ddeg gwnaeth Wicliffe, "seren ddydd y diwygiad" yn Lloegr, ei ymddangosiad, gan daranu yn nerthol yn erbyn y Babaeth, a rhoddi cyfieithiad i ni o'r holl Feibl. Bu wrthi am bedair blynedd, medd rhai, deg mlynedd medd eraill, pa fodd bynag gorphenodd y gwaith yn y flwyddyn 1380. Tybiodd y Pab fod ei hen elyn wedi disgyn i'r bedd yn ddisylw, ac mewn dystawrwydd; ond yn ddisymwth efe a ddychrynodd pan ddeallodd ei fod yn fyw, ac wedi cyfieithu Gair Duw, a'i osod yn nwylaw y bobl. Cyffrodd ei ddigofaint ato, fel nad oedd terfyn i'w gynddaredd erledigaethus. Gwnaeth bob ymdrech i atal lledaeniad y Beibl, ond yn fuan, ac er ei waethaf gosodwyd copi o hono yn mhob eglwys, a'r bobl yn tynu yn dorfeydd i'w ddarllen yn awyddus. Deng mlynedd ar ol ei farwolaeth, dygwyd mesur i Dy yr Arglwyddi i wahardd ei ddarllen. Pedair blynedd ar hugain ar ol ei farwolaeth cynaliwyd cyngorfa fawr yn St. Paul, yn Llundain, er penderfynu nad oedd un llyfr o eiddo Wicliffe, yn enwedig ei Feibl, i gael ei ddarllen yn ddirgelaidd na chyhoeddus; ac y diarddelid pwy bynag a gaed yn euog o'r pethau ysgeler hyn. Deng mlynedd ar hugain ar ol ei farwolaeth condemniwyd ei holl ysgrifeniadau i'w llosgi, fel yr oedd yn anhawdd cael copi o' Feibl yn un man yn amser William Tyndal. Deugain mlynedd ar ol ei farwolaeth penderfynodd Cynghorfa Constance i agor ei fedd, codi ei gorph, a'i losgi yn llwch, ac felly y gwnawd, a thaflwyd ei lwch i'r afon Swifft, yr hon a lifai heibio i fynwent Lutterworth, lle y bu yn llafurio, a'r lle y claddwyd ef. Cariodd yr afon Swifft ei lwch i'r Avon, a'r Avon drachefn i'r Severn, a'r Severn eilwaith i'r culforoedd, a'r

Digitized by Google

rhai hyny drachefn i'r cefnfor mawr, ac yno y maent heddyw, ac y byddant hyd ddydd barn. Ond er llosgi ei gorph a'i ysgrifeniadau, lledaenodd ei syniadau, gwasgarodd ei egwyddorion, a'i wirioneddau, fel ei lwch, dros wyneb yr holl ddaear.

> "The Avon to the Severn flows,
> The Severn to the sea;
> Thus widely spread as Wickliffe's dust,
> Shall Wickliffe's teaching be."

Triugain mlynedd ar ol marw Wicliffe y dyfeisiwyd y gelfyddyd o argraffu—celfyddyd sydd wedi bod o werth annhraethol i'r byd, a hefyd i Air y Gwirionedd. Dyfeisiwyd hi gan un o'r enw John Gutenberg, yn Mayence, ar y Rhine. Bu y syniad yn gweithio yn ei feddwl am ugain mlynedd, ac o herwydd ei amgylchiadau, gorfu arno ddatguddio ei ddyfais, ac ymddiried ei feddylddrych i Faust, gof aur o'r lle, a chytunodd hwnw ag yntau i fynu yr arian angenrheidiol er gwneyd y llythyrenau a'r wasg. Yn y flwyddyn 1450 yr argraffwyd y llyfr cyntaf erioed yn yr holl fyd, a dywedir mai y Beibl ydoedd hwnw. Yr oedd hyny yn briodol iawn i'r ddyfais ddwyfol newydd hon, i gael ei chysegru drwy ddwyn allan yn gyntaf Air yr Arglwydd. Beibl Lladinaidd ydoedd, yr hwn a alwyd "The Mazarin Bible."—*Seren Gomer.*

## FFYDDLONDEB.

Diamheu fod ffyddlondeb yn un o'r rhinweddau hyny ag y dylai pob Cristion eu harfer, er llwyddiant i'r achos bendigedig, ac er budd iddo ei hunan. Nid ydyw y Gair yn gofyn i ni gyflawni dim ag sydd yn uwch na'n galluoedd. Gweithreded pawb yn ol eu cymwysderau a'u cyfleusderau. Mae llawer un i'w gael ag sydd yn feddianol ar dalentau da, yn gallu canfod drwy yr Ysgrythyrau feddwl y Bod mawr yn dra eglur. Er fod y cyfryw un, neu rai, yn aelodau o'r eglwys, eto i gyd y maent yn anffyddlon gyda'r gwaith mawr o oleuo y byd. Medrant fod gartref o'r ysgol Sul, tra mae yr ieuenctyd yn erfyn eu cynorthwy, am eu cyfarwyddyd ar ddechreu eu taith trwy anial y byd; maent yn gofyn hyfforddiant yn mhen eu ffordd. Gan hyny, fe wel pob proffeswr fod ei le yn yr ysgol Sul yn ogystal ag mewn cyfarfodydd eraill, o herwydd medra wneyd cymaint, os nad mwy, o les yno. Yr oedd Crist ar y mynydd yn cyhoeddi i'w ddysgyblion mai hwy oedd "goleuni y byd, dinas ar fryn, nas gellir ei chuddio," &c. Pwy sydd i fod felly yn y ganrif hon? Pwy ond y rhai sydd yn proffesu eu bod yn canlyn y Mab i ba le bynag yr elo? Ïe, ac i ymeangu ei deyrnas ogoneddus ef. Rhaid i ryw rai fod yn ffyddlon cyn y delo yr amser hwnw sydd i wawrio, pan fydd gwyneb y ddaear wedi dyfod yn debyg i wyneb y nefoedd—pan fydd heddwch fel yr afon, a chyfiawnder fel tonau y môr.—*Simon Lewis, Lansford, Pa.*

## SICRWYDD CADWEDIGAETH Y CREDINIOL.

Buddugoliaethodd Mab Duw ar y groes.

> Pan hoeliwyd Iesu ar Galfaria,
> Holltodd creigiau gwlad Judea;
> Er ei glywed yno'n gruddfan,
> Calon dyn oedd eto'n gyfan.

Er hyny buddugoliaethodd Mab Duw; ac yn hyn sicrhaodd gadwedigaeth pob un a gredo. Nid oes achos ofni y bodda y corph tra y byddo y pen uwchlaw y tonau. Bu gwasgu mawr arno; do, do'n wir; a gwasgwyd ef yn isel iawn; ond nid yn rhy isel i godi. O, naddo! diolch am hyny; ond daeth i'r lan, gan lefaru yn groew wrth y crediniol, "Byw wyf fi." Er trymed yr ergyd, er pwysau anfeidrol pechod, er mor ddwfn y bu raid i mi fyned er cael hyd i *bottom slate* y perlau gwerthfawr, Byw wyf fi! Er trymed pechod, er cynddaredd dyn, er llid Duw, er digofaint diafol, ie, ie, "Byw fyddwch chwithau hefyd." "Cred yn yr Arglwydd Iesu Grist a chadwedig fyddi." Yn bresenol ceir Mab Duw yn uchel ei ben—wedi ei ddyrchafu yn uchel. Pa mor uchel? Nis gallaf ddweyd; ond gwn hyn, ei fod mor uchel ag y myn ei

Digitized by Google

Dad iddo fod, a phawb yn y nef wen yn ei addoli. Y mae Duw wedi caru â chariad tragywyddol, cariad digyfnewid, cariad rhad, di-droi-yn-ol—"Caraf hwynt yn rhad, canys trodd fy llid oddiwrthynt." Mae yn y bwriad tragywyddol i'w gogoneddu—myn y Jehofa mawr ei fwriad i ben—myn, siwr, 'does neb all ei rwystro. Gall ef ddweyd uwch y bydysawd enfawr, "Fy nghyngor a saif, a'm holl ewyllys a wnaf."

Rhoddodd Crist waed ei galon er eu prynu ar y pren; anrhydeddodd y ddeddf, gogoneddodd y priodoliaethau, gorchfygodd y diafol, boddlonodd y Tad, ac felly sicrhaodd gadwedigaeth y rhai a gredant yn yr Iesu. Y mae ein Harchoffeiriad ni yn bresenol yn y nef, yn eiriol ar sail ei waed a'i aberth ei hun. "Mae i ni eiriolwr," &c. Bendigedig byth am hyn. Sicr yw, fe'th gedwir, gredadyn. Diolch iddo byth am hyn. Syrth yr haul yn llwch i'r llawr; syrth y lloer i Lyn Erie, cyn byth y syrth y gwir gredadyn yn rhy bell i law dyner ei Waredwr allu ei achub. Syrth coron Iesu oddiar ei ben gogoneddus cyn y metha gael hyd i berlau ei goron. O! fel y bydd y crediniol yn canu weithiau, onidê?

"Ar lan 'r Iorddonen sefyll wyf,
Gan fwrw golwg brudd
Ar ddedwydd diroedd Canaan draw,
Lle mae trysorau'm ffydd."

"Yno tyf pob ffrwythau pêr,
Fy ffydd yn awr a'u gwel,
Y bryniau a'r dyffrynoedd pur,
Lle llifa llaeth a mel."

Trugaredd Duw a'u tyn o bob trawsedd.

"Miloedd heddyw sydd yn moli,
Yn y nefoedd am eu golchi;
Buont unwaith yn eu llygredd,
Ond fe'u tynwyd â thrugaredd."

Bu trugaredd trwy yr oesau
Yn tynu a thynu o'r dyfnderau;
Ond er tynu myrdd o'u llygredd,
Tynu eto mae trugaredd;
Tynu cryf oedd tynu pechod,
Tynodd hwynt i warth a thrallod,
Ond er cymaint tynfa llygredd,
Tynu'n gryfach wnaeth trugaredd.

"Cred yn yr Arglwydd Iesu Grist, a chadwedig fyddi. Diolch. Amen.—
*Christopher Bach.*

## Y BEDYDDWYR O DAN WAHANOL ENWAU.

---

Dylai yr efrydydd ieuanc mewn Hanesiaeth Eglwysig gadw mewn golwg o hyd y ffaith fawr mai hanes yr Eglwys Babaidd—y ffydd a lygrwyd—y mae efe yn ddarllen yn mhob *Ecclesiastical History;* a bod y *wir ffydd* i'w holrhain yn mhlith yr "Hereticiaid," y rhai a elwid ar wahanol enwau mewn gwahanol leoedd; ac nad yw yr enw "Bedyddwyr," &c., yn ddigon eang o lawer i gynwys holl egwyddorion ac arferiadau gwahaniaethol Cristionogion ag sydd yn myned yn awr dan yr enw hwnw, a'r hwn hefyd ni fabwysiadwyd ganddynt fel eu henw, hyd y Diwygiad Protestanaidd, pan y daeth i'w gwahaniaethu hwy mewn modd arbenig oddiwrth yr holl enwadau Protestanaidd eraill. Ond ni fu y Bedyddwyr erioed yn arddel yr enw Ail-fedyddwyr (*Ana-baptists*), na Gwrth–fedyddwyr plant (*Antipædobaptists*), oblegid llysenwau ydynt a roddwyd arnynt gan eu gelynion. Gwrthodant y cyntaf am nad ydynt byth yn *ail* fedyddio neb a fyddo wedi ei fedyddio yn iawn y waith gyntaf; a gwrthodant yr ail am nad yw *gwrthwynebu* bedydd plant yn gwneyd i fyny un ran o'u cyfundrefn, ond yn unig fel y mae yn dyfod yn achlysurol ar eu ffordd wrth amddiffyn bedydd y crediniol.

Ond nid yw wahaniaeth pa enw a ddefnyddir, yn yr egwyddorion y mae olrhain *hanes y ffydd.* Dyna y genedl Iuddewig, fel engraifft, yn myned dan wahanol enwau yn y Beibl, megys, "Meibion Jacob," "Plant Israel," "Yr Hebreaid," "Ephraim a Judah," "Yr Iuddewon, &c.; ond yr un ydoedd y genedl o ran ei hunaniaeth naturiol a'i ffydd o hyd. Felly y Bedyddwyr, pa un bynag ai "Wycliffiaid," "Lollardiaid," "Mennoniaid," "Cathariaid," "Waldensiaid," "Manicheaid," "Nofatiaid," "Montoniaid," "Cristionogion," "Dysgyblion," neu beth bynag y gelwir hwynt, yr un ydynt dan bob enw, tra byddont yn ymgorpholi ar yr egwyddor fawr Feiblaidd, fod Teyrnas Crist yn cael ei gwneyd i fyny yn unig

Digitized by Google

o Gredinwyr Bedyddiedig, y rhai a gydnabyddant Grist fel eu hunig Frenin, a'i Air Ef fel eu hunig Gyfraith mewn crefydd.

Nid yw y dyn, yr hwn pan wel nad oedd yr enw "Bedyddwyr" mewn bod yn flaenorol i'r Diwygiad Protestanaidd, a dybia oddiwrth hyny nad oedd Cristionogion yn dal o honynt yr egwyddorion uchod mewn bod, yn ddim ond maban, heb fedru eto gerdded wrth y coed.—*Spinther.*

## GWEINYDDU Y CYMUNDEB.

Mr. Gol.—Goddefwch i mi alw sylw rhai o ddiaconiaid ein heglwysi at ddull anmharchus rhai o honynt o osod bara ar fwrdd yr Arglwydd. Nid wyf yn gweled fod ein heglwysi yn unffurf ac unol yn hyn. Mae rhywbeth yn unol ac unffurf yn y geiriau, "un bara," ac "un corph"—un Crist, ac un eglwys. Gwelir rhai diaconiaid yn dod a rhan o dorth, neu dafell o fara, i'w gosod ar fwrdd yr Arglwydd. Onid rhan o Grist sydd fel hyn yn cael ei bortreadu ar y bwrdd, ac nid Crist cyfan—torth? Ai rhan o Grist a fu yn dyoddef ar y groes? Ai rhan o'i einioes a roddodd ef yn bridwerth dros lawer? Ai rhan o Iawn a roddodd i'r Tad? Beth sydd gan y rhai hyn i'w ddweyd wrth y taenellwyr, y rhai a wlychant ran o ddyn a phlentyn, gan ei alw yn fedydd? Nid oes digon o iawn, o aberth, o ddyoddefiadau, yn y portread taenellyddol, nac yn y dafell fara ar fwrdd yr Arglwydd.

Gwelais mewn eglwys Annibynol y bara wedi cael ei dori yn dameidiau cyn dod i'r cwrdd; yr wyf wedi clywed am eraill yn gwneyd felly. Torodd Crist y bara yn ngwydd ei ddysgyblion. Gwelais mewn eglwys Fedyddiedig yn y wlad hon ddull newydd mewn cymundeb. Torodd y gweinidog (sef Dr. Taylor, yn awr yn Italy) dorth fechan yn ddwy, ac ni thorodd hi yn dameidiau mân, ond gadawodd i bob aelod dori ychydig ei hunan o'r dorth doredig hon, pan oedd y diaconiaid yn myned a'r bara oddiamgylch. Yr oedd y dull hwn yn newydd i mi, eto yr oeddwn yn gweled rhywbeth yn syml ac yn ddymunol iawn ynddo.

Gweinidogion sydd yn rhanu yr ordinhad yn mhlith rhai enwadau, ac nid y diaconiaid. Ni sefydlodd Crist y swydd ddiaconaidd pan sefydlodd y swper: "Efe a'i torodd ac a'i rhoddes iddynt."

Barna rhai gweinidogion na ddylid cynal y cymundeb un amser ond yn y nos, am y rheswm mai yn y nos y bwyteid y Pasg, ac mai yn y nos y sefydlodd Crist y swper. Dyma oedd barn y Dr. William Roberts (*Nefydd*). Mae rhai diaconiaid mor ddiofal, esgeulus, o'r cymundeb, na wnant barotoad prydlon ar ei gyfer, ond ant i dy cymydog am win boreu Sabboth, neu i'r dafarn, a thori tafell o fara o'r dorth at y cymundeb; ac weithiau yn ffwdanu yn ngosodiad y llian ar y bwrdd, a thywallt y gwin yn ngolwg y gynulleidfa, a hyny ar amser dechreu yr oedfa. Mae pethau fel hyn yn rhy anweddus a thrwsgl yn nhrefniad bwrdd yr Arglwydd. Y mae diaconiaid, gofalus, gweithgar, doeth a bucheddol, o werth mawr i eglwysi, ond nid yw bonglerwyr yn werth dim.—*Timotheus.*

## BYDOLRWYDD.

Y mae tri o alluoedd, sef y byd, y cnawd, a'r diafol, fel tri o dywysogion cedyrn, nerthol, mewn cyd-ymdrech gwastadol am gael teyrnasu ar bob calon; ac os caiff un o'r tri dderbyniad, gan unrhyw galon, yr anrhydeddusaf o'r tri yn ngolwg y cyffredin yn y dyddiau hyn, yn enwedig yn y wlad hon, ydyw y byd. Mae bydolrwydd yn sicr o gadw gorsedd y galon oddieithr i un cryfach nag ef ddyfod i orchfygu, oblegid nid ā efe byth allan o hono ei hun. Y mae yn gweithio ei ffordd yn mlaen yn debyg iawn i'r rhai hyny sydd yn cadw llety-dai yn y dinasoedd mawrion ac ar lanau y moroedd; y mae y rhai hyny yn anfon allan redegwyr i gyniwair am ysglyfaeth, pan y maent hwy eu hunain yn aros yn eu ffauau i wledda ar yr an-

Digitized by Google

rhaith. Felly mae gan fydolrwydd ei redegwyr, y rhai a elwir twyll, dichell, a chelwydd; ond hwy a ymwthiant i'n plith dan yr enwau gonestrwydd, cywirdeb a gwirionedd; felly ni chaiff yr un fargen na chytundeb, nac un math o amodau yn y byd fyned yn mlaen. gymaint a gwerthu tir, buwch, na dafad, na bydd y rhai hyn yno yn y fan yn gwylied am eu hysglyfaeth; ac nid ymfoddlonant ar gyniwair trwy y byd yn unig, ond ânt yn eithaf hyf dros y trothwy i mewn i'r eglwys.—*Mrs. Martha Price, Oshkosh, Wis.*

## BRASLUN PREGETH.

### CREFYDD YN GOLEUO LLWYBR Y CYFIAWN

"Ond llwybr y cyfiawn sydd fel y goleuni, yr hwn a lewyrcha fwyfwy hyd ganol dydd."—DIAR. 4 : 18.

Fel y mae goleuni yr haul naturiol yn cynyddu ar lwybr y teithiwr, hyd haner dydd, felly yn ol ein testyn y mae goleuni crefydd yn mwyhau ar lwybr y cyfiawn ar ei daith trwy y byd hwn, nes y cyrhaeddo haner dydd y nefoedd. Pa fodd y mae ei lwybr yn goleuo felly? Beth yw y pethau hyny yn ei grefydd ag ydynt yn peri fod ei lwybr yn dyfod yn barhaus yn fwy goleu?

I. *Trwy ei fod yn cynyddu mewn profiad.*

Nid yw mwyafrif mawr dynolryw yn dysgu nemawr oddiwrth eu hymdeithiad trwy y byd. Gellir dweyd yr un peth am lawer o genedloedd—yn wir yr holl genedloedd nad ydynt yn dwyn nodweddau gwareiddiad. Yr hyn sydd yn codi un genedl i raddau helaeth yn uwch na'r llall, yw, nid yn gymaint nifer eu brwydrau llwyddianus, ond o herwydd yn hytrach eu bod yn *dysgu mwy* oddiwrth eu rhyfelgyrchoedd, yn gystal a gweithredoedd eraill o'u heiddo. Adfyfyriant, a gwelant lle y methasant a lle y llwyddasant. Felly y cyfiawn, tyna addysg oddiwrth ei fethiantau; ac fel y mae yn teithio yn mlaen y mae ei stôr o wybodaeth brofiadol yn cynyddu, yr hon a wrthdafla ei llewyrchiadau ar ei lwybr dyfodol.

II. *Trwy ei fod yn cynyddu mewn gwybodaeth am Dduw.*

Mae ei wybodaeth yn dod yn helaethach, yn gyflawnach o'r cymeriad dwyfol yn barhaus, nes y byddo llewyrchiadau ysbrydol yn ymdaenu ar ei lwybr. Mae hwn yn oleuni oddi-*fry*—goleuni Haul cyfiawnder. Ac fel y teithia efe ffyrdd rhinwedd, y mae yn dyfod yn fwy galluog yn barhaus i dderbyn ychwaneg o'r goleuni nefol hwn.

III. *Trwy ei fod yn cynyddu mewn sancteiddrwydd.*

Mae sancteiddrwydd yn oleuni ynddo ei hun. Yr elfen hon sydd yn gwneyd y saint yn oleuni y byd. Trwy hon y maent yn gallu gweled eu llwybr eu hunain. Wrth wneyd dyledswydd deallir hi yn well, ac y mae pob cam a roddwn yn ffordd crefydd yn ychwanegu goleuni dwyfol ar ein llwybr. Mae y dyn da yn dyfod i ddeall fod pob peth yn gweithio er daioni iddo.

IV. *Trwy ei fod yn cynyddu mewn gobaith.*

"Gobeithia yn yr Arglwydd a gwna dda," ebe y Gair. Mae y dyn drwg wrth ddilyn ei ddrygioni yn teimlo ofn am y dyfodol. Mae y gydwybod o'i fewn yn prophwydo drwg, a thrwy hyny yn tywyllu ei lwybr. Mae yn hollol wahanol gyda y dyn da. Trwy ei fod ef yn gwneuthur daioni, mae yn siriol ei galon a'i ysbryd, ac y mae prophwydoliaeth yn ei fynwes sydd yn peri iddo deimlo yn gysurus gyda golwg ar y dyfodiant. Gall gredu y geiriau hyny "Dywedwch, wrth y cyfiawn mai da fydd iddo."

Fel hyn, y mae y *pedair elfen* a enwasom yn ffynonellau goleu a lewyrchant yn gynyddol ar lwybr y Cristion fel y teithia yn mlaen hyd at ben ei yrfa, yn fwy-fwy hyd ganol dydd. Amen.

—Trallodion, os gwnawn ddefnydd priodol o honynt, ydynt genadon cariad o'r nefoedd i'n gwahodd ni yno.—*Hen Awdwr.*

Digitized by Google

# Pethau yn yr Eglwysi.

## RHOI EMYNAU ALLAN.

Y mae Pliny wrth ysgrifenu am y Cristionogion, yn eu desgrifio fel rhai yn canu emynau o fawl i Grist. Yn amser y diwygiad mawr Protestanaidd, cyfaddefai y Cardinal Cazetan am Luther, "Yr hwn a'i emynau sydd wedi ein gorchfygu ni." Er fod y Cymry yn rhagori ar genedloedd eraill mewn canu cynulleidfaol, eto y mae genym lawer o le i ddiwygio yn y cyfeiriad hwn, a ninau fel enwad.

### DEWIS EMYNAU.

Mae eisiau diwygiad yn newisiad emynau. Nid yw pob emyn yn briodol i bob amgylchiad. Mae gwahaniaeth rhwng cwrdd gweddi a chwrdd pregethu; rhwng yr ysgol Sul a'r gyfeillach; rhwng cwrdd gweddi cyffredin yr eglwys a chwrdd gweddi lle y byddo un yn glaf, corph marw, neu angladd; rhwng cyrddau yr wythnos a chyfarfodydd y Sabboth. Ac nid yw pob emyn yn gyfaddas i'w chanu yn yr amrywiol gyfarfodydd hyn. Dylid deall beth sydd yn ateb y gwahanol amgylchiadau. Ac nid yr un emyn wna y tro i ddechreu ac i ddiweddu cyfarfod. Ond rhyfedd mor ddifater yw llawer un parth natur yr emyn a rydd allan—yr un emyn yn mhob man, gan nad beth fydd yr amgylchiad. Y mae eisiau i ddyn *feddwl*, i'r dyben i addoli Duw yn iawn, yn enwedig yn gyhoeddus, er adeiladaeth y gynulleidfa. Detholer emynau priodol i bob amgylchiad.

### DARLLEN YR EMYNAU.

Mae cyfarfodydd yr wythnos yn cael eu hesgeuluso yn warthus nid yn unig gan bersonau a gadwant draw o honynt, ond hefyd gan y rhai a'u cariant yn mlaen. Mae eisiau diwygiad wrth roi emynau allan yn y rhai hyn. Dylai pob brawd fod yn barod i waith, a dechreu y gwaith ydyw rhoi emyn allan. Os defnyddir llyfr emynau, dylai fod rhif yr emyn ar ei gof, ac yn barod ar unwaith i'w nodi a'i darllen allan.

Daw ambell i frawd i'r cwrdd mor ddifeddwl ac anmharod i gymeryd rhan a phe na ddysgwylid iddo ef byth fyned "i waith." Gelwir arno i roi emyn allan, yna pendryma yn ofidus, ceisia gofio emyn, chwilia am lyfr, edrycha dros ei du dalenau ol a blaen, ni wyr pa emyn i roi allan, ac o'r diwedd darllena rywsut, ryw emyn o hono, yn hollol anghymwys i'r amgylchiad. Yn y cyfamser bydd sylw y bobl wedi ei dynu ato, amser gwerthfawr wedi ei golli, a'r gynulleidfa wedi myned i feddwl am aflerwch y brawd, ac wrth hyny golli ysbryd a blas addoliad.—Pa ryfedd nad yw pobl yn hoffi dyfod i gyrddau yr wythnos?

### PWY DDYLAI ROI YR EMYNAU ALLAN?

Sylwasom fod rhai eglwysi yn dewis rhyw frawd neillduol i roi emynau allan. Gwell genym ni i bob brawd a elwir i waith gael rhoi emyn allan hefyd. Bydd hyn yn gwresogi ei ysbryd yn nesach at yr orsedd. Sylwasom hefyd fod hyn yn cael ei wneyd ar y Sabboth, yn y cyfarfodydd pregethu. Ca y pregethwr ddarllen y benod, gweddio, a phregethu, ond ni cha roi emyn allan i ganu. Paham? Rhag iddo roi allan emynau anghyfarwydd? Ië. Wel, os yw yr eglwys newydd gael llyfr emynau newydd a dyeithr, ac os yw y cantorion yn ymarferyd yn yr wythnos i ddysgu emynau a thonau erbyn y Sabboth, gall fod *peth* priodoldeb yn hyn. Ond eto, ai tybed nas gall arweinydd y canu hysbysu y pregethwr pa emynau sydd i'w canu, ac nas gall y pregethwr ddarllen y rhai hyny gystal a'r brawd penodedig? Mae fod aelod cyffredin yn rhoi emynau allan dros ei frodyr, a thros y gweinidog, yn awgrymu mai efe yw y meistr yn y gwaith, ac nas gall neb ei wneyd cystal ag ef. Credwn y byddai yn well i lynu wrth yr hen ddull. Mae rhai brodyr, a rhai pregethwyr hefyd, yn hoffi rhoi emynau allan yn y gwasanaeth y byddont hwy yn arwain, am fod hyny yn foddion i barotoi eu meddwl a'u hysbryd at y rhanau eraill o'r gwasanaeth.

Heblaw hyn, barnwn, a hyny oddiar

Digitized by Google

sylwadaeth a phrofiad personol, fod gosod brawd neillduol i roddi allan yr emynau yn yr addoliad yn niweidiol. Mae ef ei hun yn gorfod chwilio am emyn tra y byddo y brawd arall yn gweddio, neu yn pregethu. Yn hytrach na chyduno i ymwneyd â Duw mewn gweddi, neu graffu ar y pregethwr yn egluro ffordd y bywyd, bydd yr hwn sydd yn rhoi yr emynau allan yn troi tudalenau y llyfr i chwilio am yr emyn priodol; a bydd hyn yn tynu sylw llawer o'r gynulleidfa, ac felly yn rhwystr yn yr addoliad. O'r ochr arall, bydd y brawd wedi parotoi emyn yn barod erbyn y ca ei alw, a'r pregethwr wedi parotoi ei emynau i gyd cyn agor y cyfarfod. Felly bydd pawb at eu rhyddid i gyd-addoli.

Y mae ein pregethwyr yn ddigon hysbys o'n gallu a'n medrusrwydd, ac yn ddigon call i beidio rhoi allan emynau ar fesurau anghyfarwydd. Gochelant rhag cynyg gwthio y cantorion i'r clawdd, gan y byddai hyny yn lladd dylanwad y bregeth. Maent hwy yn gall, ac am gael cwrdd da, yn sicr i chwi. Mae rhoi allan emynau yn gofyn gofal mawr ac ymdrech neillduol, a dylai pawb, yn enwedig ein pregethwyr, geisio â'u holl egni i wneyd y gwaith hwn yn deilwng ac effeithiol.

Mae canu yn waith i lawer. Mynych y gwelir yr hwn sydd yn rhoi yr emyn allan i ganu yn ymgilio o'r maes, gan adael canu yr emyn i eraill yn hollol; ac y mae llwyddiant yr emyn yn ymddibynu i raddau helaeth ar fod y gynulleidfa yn gallu cyduno yn hawdd a rhwydd i'w chanu. Felly wrth roi allan emyn, dylid yn gyntaf (pan ddefnyddir llyfrau) hysbysu yn hyglyw rif yr emyn a'r mesur. Dylid gwneyd hyn ddwy waith cyn dechreu darllen. Yna dylid darllen yr emyn neu ei hadrodd yn ysbryd y syniadau a gyflea, gan ymdrechu teimlo anwyldeb a phwysigrwydd y syniadau hyny. Dylai y geiriau gael eu llefaru yn groew, yn eglur, a chyda phwyslais priodol, fel y byddo y gynulleidfa yn canfod a theimlo y pethau a dueddasant y llefarwr i ddewis yr emyn hono ragor rhyw emyn arall DIDYMUS.

# Ardrem Americanaidd.

GAN GWYLIEDYDD.

## Y BEDYDDWYR.

Yn misoedd Gorphenaf ac Awst, mae gweinidogion yr eglwysi Americanaidd yn cael eu gwyliau blynyddol—seibiant oddiwrth lafur caled—*stop* ar riw bywyd, er cael amser i anadlu ac adenill y nerth a gollwyd. Mae hyn wedi dod yn arferiad cyffredin yn yr eglwysi, ac mae yn un canmoladwy, llesol, a gwir angenrheidiol. Crwydra y brodyr da, bryd hyn, o fan i fan ar ymweliad â hen gyfeillion, neu er mwyn pleserau diniwed, neu er mwyn yfed awelon iachus y mynyddoedd, y goedwig a'r ffynonau. Aiff llawer dros fôr y Werydd ar ymweliad byr a'r Hen Fyd; ond dichon fod y mwyafrif yn cyrchu tua glanau y Werydd. Mae rhai gweinidogion mor lwcus a chael digon o arian gan eu heglwysi i dalu eu holl dreulion yn ystod eu *vacation*.

Yn y blynyddoedd diweddaf, mae y gwahanol enwadau wedi sefydlu *camping grounds* crefyddol, i'r rhai y cyrcha y miloedd yn wyr llen a lleyg, er adeiladaeth feddyliol ac ysbrydol, yn gystal a llesiant corphorol. Yn yr ystyr hwn mae Point Chatauqua, yn Nhalaeth Efrog Newydd, wedi enill safle uchel fel lle perthynol i'r Bedyddwyr. Ryw ddwy neu dair blynedd yn ol, darfu i ryw Fedyddwyr anturiaethus brynu un o'r mil ynysoedd sydd yn britho afon y St. Lawrence, yr hon yn mhen ychydig o flynyddau a fydd yn ysmotyn atdyniadol arall i lawer o'r llu Bedyddiedig, fel mae rhai o'r ynysoedd eraill yn barod i rai o'r enwadau eraill. Y mae genym le campus arall mewn ynys fechan o'r enw Martha's Vineyard, yr hon sydd yn gorwedd ar fynwes Môr y Werydd, nid pell oddiwrth Newport, Rhode Island. Yma y cynelir yn flynyddol, am yr wyth mlynedd diweddaf, wyl grefyddol am wythnos, neu ragor, pryd y gellir gweled a chlywed rhai o brif ddynion ein henwad, o ran dysg, talent, doniau a duwioldeb, yn siarad ar wahanol bynciau

Digitized by Google

pwysig, heblaw pregethu yr efengyl, bob dydd. Cynaliasant eu huchel-wyl yno eleni o Awst 12fed i'r 20fed, a chymerwyd rhan yn y gwasanaeth gan amryw o gewri yr enwad, perthynol i amryw Dalaethau. Heblaw pregethu yn ddyddiol, siaradwyd ar bynciau fel hyn: "Eisteddleoedd rhyddion neu rentiedig, pa un oreu?" "Perthynas yr eglwys Gristionogol a'i gweinidogaeth â phynciau y dydd," megys, Dirwest, Diwygiad y Gwasanaeth Gwladol, Darganfyddiadau, &c. Pwy na ewyllysiai fod yno i glywed y cewri yn siarad?

Heblaw hyn, mae Bedyddwyr Connecticut wedi prynu darn o dir ar y Long Island Sound, yn agos i New London, gan ei ranu yn *lotiau*, er gwneyd yno bentref hafaidd. Gwerthwyd yr holl lotiau mewn ychydig wythnosau; ac yn mhen dwy neu dair blynedd, bydd yno *gottages* heirdd wedi eu hadeiladu, a thabernacl prydferth at wasanaeth yr enwad yn y Dalaeth. Amcenir ef yn benaf fel lle perthynol i'r ysgolion Sabbothol. Enw y fangre yw *Crescent Beach*. Hwn fydd Mecca Bedyddwyr Connecticut o hyn allan.

I'r fath leoedd a nodwyd mae llawer o'n gweinidogion yn myned i dreulio eu gwyliau, a dychwelant at eu praidd gyda nerth ac iechyd newydd.

Pan yn son am weinidogion, mae yn llawenydd mawr i feddwl fod mudiad newydd wedi ei gychwyn yn ddiweddar, er sefydlu cartref cysurus i hen weinidogion angenus, yn nghyd a'u teuluoedd dibynol. Mae y "Baptist Ministers' Home Society, N. Y., wedi dyfod, yn ddiweddar, yn sefydliad breiniedig. Anrhegwyd y Gymdeithas hon y llynedd â thy helaeth, yn nghyd a rhai erwau o dir, yn ninas Efrog Newydd, er rhoddi cychwyniad i'r amcan daionus. Bwriad y Gymdeithas hon yw gofalu am amgylchiadau tymorol gweinidogion yr efengyl, pan fyddant, trwy afiechyd neu henaint, wedi eu hanalluogi i lafurio yn yr areithfa. Ei chylch ydyw Talaethau New York, New Jersey, a Connecticut. Mae yr iawn ddynion tu cefn i'r mudiad. Yn ddiweddar, anfonodd yr Anrhydeddus Horatio Gates Jones, Philadelphia, Pa., lythyr at Dr. Scofield, Ysgrifenydd Gohebol y Gymdeithas, yn dweyd fod y diacon George Nugent, o'r ddinas hono, wedi gadael rhan helaeth o'i eiddo mawr i'r amcan gogoneddus hwn. Yr ydys yn barnu fod y swm tua $400,000; ac ar farwolaeth Mrs. Nugent, bydd y gweddill o'r ystad yn myned i'r un cyfeiriad. Da, frawd, da a ffyddlon, pwy bynag ydwyt; bydd y weithred haelionus hon tuag at hen weinidogion tlodion a methedig, yn anwylo dy goffadwriaeth i filoedd o honom. Dyma weithred yn llygad ei lle. Y mae genym gartrefleoedd cysurus i bob dosbarth o ddynion, yn agos, ond i genadon methedig Crist. Hyd yn bresenol, nid oedd gan hen-*generals* y groes ddim ond caredigrwydd oer y byd i ymddibynu arno yn aml mewn henaint, penllwydni, a methiant. Ond ymddengys fod amser gwell o flaen y dosbarth teilwng, ond hir-esgeulusedig hwn. I Dduw bo'r diolch!

Y mae amryw bethau pwysig wedi cymeryd lle yn yr enwad yn ddiweddar, ond pallai gofod i fanylu arnynt yn bresenol, felly ni chaf ond crybwyll yn yr ysgrif hon am y cyfnewidiadau sydd newydd gymeryd lle yn Mhwyllgor Gweithredol yr Undeb Cenadol yn Boston. Mae yr Anrhydeddus J. W. Merrill wedi ymddiswyddo, ar ol gwasanaethu yn ffyddlon am ddeunaw mlynedd, a'r Parch. S. F. Smith, D. D., wedi ei ethol yn ei le. Mae Dr. Smith wedi treulio blwyddyn yn ddiweddar yn India ac Ewrop, nid yn unig ar ymweliad, ond i fyfyrio ansawdd y Genadaeth, a bydd hyn yn fantais fawr iddo fel aelod o'r Bwrdd. Dr. Hovey oedd Cadeirydd y Bwrdd am y naw mlynedd diweddaf; ond gan fod ei ddyledswyddau yn Newton yn hawlio ei holl amser, y mae yntau hefyd wedi gorfod taflu ei swydd i fyny, a'r Parch. Dr. A. K. Potter, Boston ("*Six*" yr *Examiner*), wedi ei ddewis yn ei le. Yr Anrhyd. E. C. Fitz yw y Cadeirydd presenol. Bydd y dewisolion hyn yn hynod dderbyniol i holl gyfeillion deallus yr Undeb Cenadol. Heb ym-

Digitized by Google

helaethu, mae golwg lewyrchus, addawol a chysurlawn, ar yr holl wersyll Bedyddiedig, a buasai yn dda iawn genyf ddweyd yr un peth am

YR ENWADAU ERAILL.

Y mae y Cynulleidfaolwyr yn colli tir, ac mae prif ddynion yr enwad yn brysur wrth y gwaith o chwilio allan yr *achos*, er trefnu mesurau i osod atalfa ar y dirywiad. Barna eu papyr enwog, y *Congregationalist*, tra yn sylwi ar erthygl y Parch. Mr. Thiving, mai'r prif achos yw, "*Our neglect to train our children as Congregationalists*," &c., fel mae y Methodistiaid, y Bedyddwyr (?) a'r Episcopaliaid, yn gwneyd. Gwyn fyd na fyddai hyn yn wir am y Bedyddwyr, ond nid yw, fel mae y mwyaf cywilydd iddynt. Y mae lle i ofni hefyd fod golygydd y newyddiadur uchod wedi methu taro y nôd gyda golwg ar ddirywiad, lle bynag y byddo. Mae y *gwir* achos yn gorwedd yn y ffaith nad yw y tân nefol yn disgyn digon i ddifa yr aberth sydd ar yr allorau. Ac mae lle i ofni, mewn gwirionedd, nad oes lawer pryd fawr o aberth i'w losgi o gwbl.

Cymerodd amgylchiad awgrymiadol iawn le yn ddiweddar yn New Haven, Conn. Yr oedd eglwys Gynulleidfaol yr Howard Avenue yn y ddinas uchod wedi rhoddi galwad i'r Parch. Chas. W. Park i ddod ati fel gweinidog. Y mae Mr. Park yn ddyn o safle uchel yn yr enwad. Graddiodd o athrofeydd duwinyddol Amherst ac Andover; llafuriodd fel cenadwr yn India am unmlynedd-ar-ddeg, a dychwelodd i'r wlad hon ddwy flynedd yn ol. Galwodd yr eglwys yn New Haven gyngor o'r eglwysi cylchynol i'w sefydlu. Ar ol ei holi yn hir a manwl, caed allan ei fod yn gogwyddo tuag at "Adferiad," a'i fod yn credu fod posiblrwydd o brawf ar ol marw, hyd yn nod i'r rhai a gawsant brawf yn y bywyd hwn. Ond i gapio'r *climax*, nid ydyw yn credu mewn bedydd babanod, na'i fod ef ei hun wedi ei fedyddio erioed. Y mae yn anfoddlon i fedyddio babanod, ond gwnelai weinyddu y seremoni arwyddol fel *cysegriad*, gan hawlio eu bedyddio drachefn pan yn ymofyn am aelodaeth eglwysig, wedi cyrhaedd oedran synwyr; deall a barn. Nid oedd ei olygiadau yn foddhaol ychwaith am awdurdod Ddwyfol yr Ysgrythyrau. Wedi hir siarad a chyfnewid meddyliau o'r neilldu, nacaodd y cyngor uno yn ei sefydliad. Er hyny, penderfynodd yr eglwys i'w gadw fel gweinidog. Ond nid yw y diwedd wedi dod eto. Dyna engraifft o'r lefain uffernol (gyda yr eithriad o fedydd babanod) sydd ar waith yn bresenol yn gwenwyno, yn suro, ac yn lladd cynydd *ysbrydol* llawer o'r enwadau "eraill." Duw a gadwo y Bedyddwyr i lynu wrth y gwirionedd fel y mae yn yr Iesu yn y dyfodol, fel maent wedi arfer gwneyd yn y mynedol

---

# Arf-dy y Cristion.

Y FATH DDYN YW Y CRISTION.

Edrychwch y fath un yw y Cristion. Mae ein cymdeithas yn cael ei rhanu i ddau ddosbarth: y rhai ydynt yn eofn, ymofyngar, ond heb fod o dan lywodraeth parch, ac yn cadw yn ol gan ychydig o grefydd. Y rhai hefyd y gellir eu galw yn grefyddol, ond gyda eu holl ragoriaethau, ni allwn lai na theimlo fod elfenau eu cymeriad yn fenywaidd, yn hytrach na gwrywaidd, ac na feddant un afael, neu eangder dynol, ac yn glynu wrth deimlad yn hytrach nag wrth wirionedd. Yn awr, sylwer beth yw Cristion fel y darlunia Crist ef. Y mae efe yn ddyn gwyneb clir ac agored, ar yr hwn y mae Duw wedi argraffu delw y gwirionedd, hyd yn nod llygaid yr hwn a lewyrcha yn ddysglaer gan anrhydedd ; yn edrychiad ac ymddangosiad yr hwn y gellwch weled rhyddid, dynoldeb, geirwiredd ; dyn gwrol—dyn ardderchog, gwyneb agored, haelfrydig, didwyll, gydag, efallai, lawer o feiau, rhyddid yr hwn all gymeryd y ffurf o wylltineb neu fyrbwylldra, ond byth ffurf isel.

Ddyn ieuanc ! os bu i chwi gael eich cadw oddiwrth grefydd gan ei gwendid a'i chulni ymddangosiadol, cofiwch, y

Digitized by Google

mae yn beth dynol i fod yn Gristion. —*F. W. R.*

EUOGRWYDD.

Mae euogrwydd am ddrwg a wnaed i'w anghofio, pan y mae yn llethu yr enaid ac yn rhwystro diwygiad. Mae ffordd trwy ba un y gellir ymlid hyd yn nod pechod allan o'r cof. Os edrycha dyn yn mlaen at y pechod a fwriada gyflawni, a boddloni ei hun ei fod yn anocheladwy, ac oblegid hyny yn edrych arno yn ddibwys, y mae yn gweithredu fel coelgrediniwr. Ond os gwna dyn hyn yn rhanol, ac edrych yn ol, gan deimlo fod pechod, ar ol iddo fyned heibio, wedi dyfod yn rhan o hanes creadigaeth Duw, ac nad yw byth i'w ddileu ymaith, nid yw yn gwneyd ond yr hyn y mae Rhoddwr yr efengyl yn ganiatau iddo wneyd. Ond er mor ddrwg yw y canlyniadau o wneyd yn ysgafn o bechod yn y byd, y mae adfyfyrio arno yn ormodol wedi bod yn waeth. Y mae adgno meddwl wedi gwneyd mwy o niwed nag hyd yn nod beiddgarwch. Adgno meddwl a benderfynodd dynged Judas; adgno meddwl a lanwodd fynachdai yr oesau a dynion a merched, y rhai y daeth eu bywydau yn ddiwerth i'w cydgreaduriaid. Adgno meddwl sydd yn cofio beiau y gorphenol, fel ag i ladd pob yni i wneyd dim dros Grist; canys pan y torwch galon y Cristion, y mae hi wedi darfod arno i wneyd un cynydd mwyach. O, y mae arnom eisiau pob peth ag sydd yn obeithiol a chalonogol ar gyfer ein gwaith, oblegid y mae Duw yn gwybod nad yw yn un hawdd! Ac am hyny, y mae yr efengyl yn dod at y rhai mwyaf euog o honom ar y cychwyn gyda'r newydd bendigedig o faddeuant. Yr ydych yn cofio y modd yr oedd Crist yn ymddwyn at bechod: Pechod o orthrwm a rhagrith yn gondemniol a dirmygus; ond pechod o wendid—"Oni chondemniodd neb di?" "Naddo neb, Arglwydd?" "Nid wyf finau yn dy gondemnio di. Dos, ac na phecha mwyach." Fel pe buasai am i ni feddwl mwy am yr hyn a allwn fod, nag am yr hyn ydym wedi bod.

T. W. R.

ESGUSODION PECHADURIAID.

Er mor lluosog yw yr esgusodion a wneir gan bechaduriaid pan eu cymellir i dderbyn yr efengyl, fe ellir cynwys y cyfan mewn tri; sef diffyg amser, diffyg gwybodaeth, a diffyg gallu. Gan fod Duw yn rhagweled y gwnaent yr esgusodion hyn, efe a benderfynodd na chaent yr un sail deg i'w gwneyd. Trwy roddi y Sabboth, efe a roddes amser iddynt at grefydd; wrth roddi ei air a'i genadon, efe a ddug oddiarnynt yr esgus o anwybodaeth; a thrwy addaw cynorthwyon yr Ysbryd Glan i'r rhai a'i gofynai, efe a'u gwnaeth yn ddiesgus o'u hanallu i ufuddhau iddo. —*Dr. Payson.*

BENDITHION DAEAROL.

Dywed yr enwog Hannah More, yn ei "Duwioldeb Ymarferol," fod tri pheth yn anhebgorol angenrheidiol er gallu mwynhau yn briodol fendithion rhagluniaeth Duw:—hyny yw, ystyriaeth ddiolchus o ddaioni y rhoddwr; ystyriaeth o annheilyngdod y derbyniwr; a meddwl yn ddifrifol am fyrder ac ansicrwydd eu parhad. Y cyntaf a'n gwna yn ddiolchgar; yr ail yn ostyngedig; a'r trydydd a'n gwna yn gymedrol.

AMSER.

Amser yw tragywyddoldeb yn ei fabandod.

Blodeuyn amser yw cyfleusdra; gwna ddefnydd o hono cyn iddo wywo.

Yn ein hamser byr yr ydym yn hau ein gwynfyd, neu ein gwae, am dragywyddoldeb.

Nid yw amser byth yn gorwedd yn drwm arnom ond yn unig pan fyddom yn ei gam-ddefnyddio.

Y mae gwerth mawr ar amser ac arian. Yr hwn a gam-ddefnyddia y naill nid yw yn debyg o iawn-ddefnyddio y llall.

Y mae pob dyn sydd yn iawn ddefnyddio ei amser, yn gogoneddu Duw, yn llesâu ei hun, ac yn gwneyd daioni i'w gyd-greaduriaid.

Digitized by Google

# Bwrdd y Golygydd.

## PETH HEB EI EISIAU.

Cof-golofn i "Jones, Llangollen," yw y peth hwnw! Yr hyn sydd yn gwneyd y peth yn rhyfedd iawn yw, fod y drychfeddwl hwn wedi cael "ei godi i'r gwynt" gan bersonau mor hyglodus. Gwyddom fod pob Bedyddiwr yn hwtio y gof-golofn hon. Oni fuasai yn well gadael i ddeddf pwys a thyniad moesol roddi ei le priodol i Jones? Taid anwyl, y mae hi yn dlawd iawn yn y byd coffadwriaethol y dyddiau hyn, pan na cheid neb amgen Jones, Llangollen, i'w anrhydeddu! Diolchwn i Cadwgan am ei wroldeb yn dangos gwrthuni y mudiad. Beth am orchest-gampau Jones, Llangollen? Diau y cydnabydda pawb mai fel cablwr a gwrthwynebydd y Bedyddwyr yr adnabyddid ef yn fwyaf cyffredinol. A myned i gymell y Bedyddwyr, gydag eraill, i wneyd ymdrech egniol i gael cof-golofn i goffadwriaeth hyd ddydd tranc yr arch-gablwr hwn! Y fath ddigywilydd-dra.

## RHOI EMYNAU ALLAN.

Ar dudalen arall yn y rhifyn hwn, mae gohebydd medrus yn dwyn y pwnc hwn i sylw. Gobeithiwn y ca yr hyn a ddywed y sylw a deilynga. Yr ydym ni dros i'r pregethwr, os bydd un, roi emynau allan. Yr anhawsder yw, fod amryw o'n heglwysi heb bregethwr cyson, ac oblegid hyny o dan angenrheidrwydd er mwyn hwylusdod a threfn, i gael rhyw *un* neillduol i ddarllen yr emynau i'w canu. Y mae hyn yn cael ei wneyd yn deilwng hefyd gan amryw frodyr da, gweithgar a selog, mewn amryw fanau. Ond y mae eithriadau. Gwell genym glywed y pregethwr yn rhoi emynau allan ei hunan. Credwn fod tuedd yn hyny i'w gynesu ef, a'i roi yn y cywair priodol i draethu geiriau y bywyd. Ni fynem ar un cyfrif daflu un awgrym angharedig at frodyr da, y gwyddom fod eu calon yn y gwaith, ac yn arfer darllen yr emynau yn y moddion cyhoeddus. Yn y lleoedd y mae gweinidog, onid gwell, ar y cyfan, fyddai ei gael ef i wneyd y gwaith hwn?

## Y LLYWYDD NEWYDD.

Y mae yn hysbys erbyn hyn i lawer o'n darllenwyr, fod y Parch. Gethin Davies wedi ei ethol yn olynydd i'r diweddar Dr. Hugh Jones, fel Llywydd Coleg Llangollen. Can belled ag y gellir barnu o bell, ymddengys y dewisiad yn ddoeth. Heblaw fod Mr. Davies yn cymharu yn ffafriol iawn ag eraill a enwid fel rhai cymwys i'r lle, y mae ganddo gymwysderau profiad o flynyddoedd fel athraw clasurol y coleg. Mae ei symudiad i'r gadair wag trwy hyn yn esmwyth a naturiol.

## YR ESGEULUSWYR.

Y mae yn ofidus gweled aelod crefyddol yn esgeuluso presenoli ei hunan yn y moddion. Cloff *iawn* yw rhai yn y peth hwn. Deuant ambell dro, mae'n wir, gan lusgo ar ol. Sul pen y mis deuant. Maent yn *sal* yn fynych, peswch neu anwyd yn poeni—yn sionc iawn foreu dydd Llun, er hyny. Yn awr, beth mae y rhai hyn yn ei feddwl, tybed? Rhaid nad ydynt yn cael fawr o flas ar bethau crefydd. Y mae yn *sicr* nad oes fawr o lewyrch yn bosibl os na ofalir mynychu moddion gras. Mae y moddion cyhoeddus mor angenrheidiol i'r proffeswr ag yw y gwlith a'r gwlaw ar y llysiau. Pe bae llawer i esgeuluswr yn gwybod mor ysgafn y cymerir ef yn fynych, oblegid ei lesgedd, credwyf y diwygiai yn fuan. O, na cheid mwy o sel yn mhlith y dosbarth diffrwyth hwn.

—**Hysbysir fod bradwriaeth Nihilistaidd peryglus wedi ei ddarganfod eto yn Rwsia, a lluaws wedi eu cymeryd i'r ddalfa.**

Digitized by Google

## GOHEBIAETH O GYMRU.

Daeth i'm llaw yn ddiweddar gyfrol newydd a elwir "*Phases of Christian Truth,*" sef cyfrol o bregethau gan y Parch. A. J. Parry, Abertawe. Yr oedd yn llawen iawn genyf fod yn mwriad yr awdwr gydsynio â chais ei gyfeillion a'i edmygwyr, drwy osod y gyfrol yn y wasg. Yr oedd yn dda genyf osod fy enw i lawr fel tanysgrifiwr, ac felly yr oedd genyf yn naturiol ddysgwyliad awchus am dani; a phan y daeth, ni chefais fy siomi. Clywais y nifer luosocaf o'r pregethau (25 mewn nifer) yn cael eu pregethu, ac yr wyf, wrth eu darllen, yn meddwl am bwyslais hyfryd ac effeithiol yr awdwr pan y bydd yn traddodi uwchben cynulleidfaoedd mawrion. Prif nodwedd Mr. Parry fel pregethwr, ond odid, yw *nerth*. Mae yn fanwl iawn; y mae weithiau yn eglur iawn, weithiau yn berseiniol iawn, ond mae bob amser yn gryf iawn. Nid yn gryf gorphorol a feddyliwn, er ei fod felly, ond yn gryf feddyliol, ac yn gryf ysbrydol. Nis gall neb ddweyd am ei bregethau fel y dywedai Robert Hall am ryw bregethwr, "Nid oes ganddo un 'fel' neu 'gyffelyb' yn ei bregethau,"—fod y Pregethwr Mawr yn dweyd fod teyrnas nefoedd yn gyffelyb i lawer o bethau. Nid y *prydferth* sydd yn denu ei sylw yn gymaint a'r *mawr;* hoffa wrando ar swn Niagara y gyfrol ysbrydoledig, a darlunio treigliad y dyfroedd dros y ceugant ofnadwy. Ychydig o bregethau sydd ganddo yn ymwneyd â golygfeydd deniadol glanau llyn Galilea a llethrau yr Olewydd, ond mae yn hollol gartrefol yn nghwmni Paul yn darlunio *nerthoedd* yr efengyl a golud gras. Mae y gallu dadansoddol sydd yn dod i'r golwg yn y pregethau hyn yn dra nodedig.

Mae gan Mr. Parry yn wastad gyfoeth o *illustrations*, a'r rhai hyny wedi eu casglu oddiar feusydd Ysgrythyrol, gwyddonol, hanesyddol, yn gystal ag amgylchiadau cyffredin bywyd. Dyfynir amryw o'i *illustrations* yn y *Sword and Trowel*, gan Mr. Spurgeon, yr hwn a rydd gymeradwyaeth uchel i'r pregethau. Diolchwn am yr awdwr, ac i'r awdwr am y llyfr hwn. Yn mhlith y lluaws o ddynion rhagorol sydd genym fel enwad yn Nghymru, nid oes dysgleiriach mewn talent a moes na gweinidog Bethesda, Abertawe.

Ond yn Saesneg y mae y llyfr wedi ei ysgrifenu. Sieryd hyn lawer. Mae yn glod i'r awdwr ei fod yn gallu ysgrifenu Saesneg mor glasurol, ond cyfyd rhyw deimlad rhyfedd ynom wrth feddwl fod yr hen iaith yn cael ei gwthio i le mor gyfyng.

Dyma gyfrol eto yn Saesneg, o waith Cymro, sef "*Echoes from the Welsh Hills,*" gan y Parch. D. Davies, Weston Super Mare. Llyfr difyr a gwerthfawr iawn yw hwn eto, yn meddu tuedd i beri i'r Saeson, os ceisiant, ein deall fel cenedl, a deall ein pethau goreu, ein crefydd a'n pwlpud. Hyderaf y bydd gwerthiant mawr ar hwn, fel y symbylir yr awdwr i ddwyn cyfrol arall allan.

Y fath golled chwerw a gawsom er pan ysgrifenais atoch o'r blaen! Ein hanwyl athraw o Langollen wedi cael ei gymeryd at y mwyafrif. Yr Arglwydd a roddodd, a rhodd werthfawr iawn oedd Dr. Jones i Ogledd Cymru —i Gymru i gyd o ran hyny—a'r Arglwydd a gymerodd ymaith. Am hyn eto ni ddylem achwyn.

> "Os bydd eisiau agor moroedd,
> Bydd rhyw Foses yn gyfleus;
> Ni cha'r nefoedd un Elias,
> Heb i'r byd gael Eliseus."

Bwriada ysgrifenydd y llinellau hyn ysgrifenu cofiant iddo, yn unol a chymelliad unfrydol cynadledd Cymanfa Dinbych, Fflint, a Meirion, ac os bydd gan rai o'ch darllenwyr ryw ffeithiau dyddorol am ei hanes, bydd yn dda iawn genyf eu cael, a'u cael yn fuan.

Mae y Proff. Davies wedi cael ei ethol yn olynydd i'r Dr., fel Llywydd yr Athrofa, a hyny mewn modd tawel a heddychol iawn. Yr oedd sylwadau y Parchn. Dr. Roberts ac A. J. Parry ar yr achlysur yn glod nid bychan iddynt. Yr oedd eu hymddygiad Cristionogol hwy, gallu y Cadeirydd, y Parch. J. Jones, Felinfoel, ac ysbryd brawdol y cyfarfod lluosog, yn peri fod

Digitized by Google

y gylchwyl eleni yn un a hir gofir, ac yn briodol iawn pan oedd y Coleg yn 21 mlwydd oed.

Mae Mr. Davies wedi bod yn weithiwr difefl yn y winllan er pan mae yn y Gogledd, wedi profi nad oes arno ofn gwaith. Mae wedi cael gwaith pwysig yn bresenol. Caffed iechyd a nerth i'w gyflawni. Yr eiddoch yn frysiog, gyda chofion cywir,

H. CERNYW WILLIAMS.

## GOFYNIADAU.

*Mr. Gol.*—Carwn gael gwybod trwy gyfrwng y WAWR, Pa beth oedd yr achos o ymadawiad y Bedyddwyr â'r Feibl Gymdeithas, a pha bryd y cymerodd hyny le? Atebiad i'r uchod a rydd foddlonrwydd i lawer yn y lle hwn heblaw—*David James.*

*Mr. Gol.*—A fyddwch chwi neu rai o'ch gohebwyr mor garedig a rhoddi eglurhad ar Esaiah 1 : 18; hyny yw, rhoddi ychydig resymau i ddangos fod y cyfieithiad presenol yn un cywir, neu ynte roddi cyfieithiad priodol o'r adnod; canys y syniad naturiol sydd yn codi o'r adnod, fel y mae yno yw, mai y pechodau sydd yn cael eu glanhau nes byddant yn wyn fel eira a gwlan, ac nid yr enaid neu gyflwr ysbrydol y dyn, fel yr ydym yn cael ein dysgu o'r pwlpudau. Bydd llawer yn ddiolchgar am eglurhad ar yr uchod.—*Gwilym Bach.*

## MAN-LEWYRCHIADAU.

—Deallwn fod y brawd Evans, diweddar o Bontfaen, D. C., wedi ymsefydlu yn weinidog ar yr eglwys yn Olyphant, Pa. Da iawn; llwyddiant i'r brawd yn ei faes newydd. "Pobl ei ofal fyddont yn bobl ei gysur."

—Y mae y Parch. Henry Thomas, Lansford, Pa., fel arfer, yn llawn o waith, ac nid yw ei lafur yn ofer yn yr Arglwydd. Mae yno fedyddio mynych.

—Dysgwylir y bydd capel Hyde Park yn ardderchog ar ol yr adgyweiriad presenol. Dylai fod yn ardderchog, canys y maent wedi myned i draul fawr.

—Yr ydym yn clywed fod y brodyr Ednyfed; Dr. Williams, Hyde Park; John R. Jones, Houtzdale; a John R. Jones, Minersville, yn dychwelyd yn ol ddechreu mis Medi, o wlad y gân, i gymeryd eu rhan eto yn helyntion y byd Americanaidd. Dylent weithio yn iawn yn awr ar ol cael y fath wyliau yn Nghymru anwyl.

# Barddoniaeth.

## GALAREB

AR OL Y DIWEDDAR BARCH. HUGH JONES, D. D., LLANGOLLEN.

Beth yw'r wylo mawr a glywaf,
  Dwylaw'n mhleth fry tua'r nen?
Beth yw'r newydd alar wisgoedd
  Welaf draw yn Nghymru wen?
Oes rhyw D'wysog wedi marw,
  Fu'n fendithiol idd ei wlad,
Neu ryw filwr a hynododd
  Gynt ei hun ar faes y gwa'd?

Beth, fy enaid, all fod heddyw,
  P'am yr wyt mor brudd dy wedd?
A oes eto iti gyfaill
  Wedi 'i guddio yn y bedd?
Oes, yr anwyl Jones, Llanfachreth,
  Enw llawn o swyn i mi—
Wrth yr enw hwn fe'i gelwid
  Yn y coleg gyda ni.

O, hen fangre gysegredig,
  Lle treuliasom flwyddi'n nghyd,
A lle ffurfiwyd cyfeillgarwch
  Ddaliodd drwy holl ddrygau'r byd!
Siriol gyfarch wnai bob amser
  Pan y cwrddem ar ein hynt;
Teimlai ryw ddyddordeb rhyfedd
  Alw heibio'r dyddiau gynt

Nid yr olwg gyntaf arno
  Oedd yr olwg oreu gaed;
Ymddadblygu wnai yn raddol,
  A chynyddu yn ddi-baid;
Oedd yn hynod o ddirodres,
  Diymhongar yn mhob man,
Myfiaeth cas ni welwyd ynddo,
  Cydymdeimlo wnai â'r gwan.

Digitized by Google

Oedd yn ddyn o ddysg a doniau,
Ac athrawus yn ei ddydd,
Dringodd i'r lywyddol gadair,
Lle'r eglurai air y ffydd ;
Drwy ddiwydrwydd ac ymroddiad
Aeth i'r lan i'w uchel sedd,
A llywyddodd am flynyddau
Mewn anrhydedd mawr a hedd.

Mae ymroddiad yn wir dalent,
Talent aur o uchel ryw,
Hyn yw allwedd y dirgelwch,
Llwyddiant mawr ein cyfaill gwiw;
Gosod wnaeth ei nod yn uchel
Yn ffurfafen dysg a llen,
Ar hyd grisiau dyfal bara
Ca'dd y goron ar ei ben.

Yn ei bwysig swydd fel athraw,
Rhoes i bawb foddlonrwydd llawn,
Cymwysderau gwir ddysgawdwr,
Welwyd ynddo'n amlwg iawn ;
Safai'n uchel yn meddyliau'r
Pwyllgor a'r eglwysi oll,
Y myfyrwyr hen a newydd,
Carent bawb heb un ar goll.

Gwelaf ddarlun hardd o'i berson
Yn grogedig ar y mur,
Cariad rodd myfyrwyr ydyw
Idd eu hathraw tirion, pur.

Nid esgynodd uwch cyffredin
Fel traddodwr yn ei ddydd ;
Nid pereidd-der llais, ond pethau,
'Nillodd iddo'r enw sydd ;
'Doedd na chorwynt na llifeiriant,
Chwaith na chwmwl, mellt a thân;
Seren dirion, llawn goleuni'n
Agor yr Ysgrythyr lân.

Hen ddull anwyl Phylip dduwiol
Gyda'r eunuch, enwog wr,
Pregethu Crist drwy'r Ysgrythyrau,
Nes y daethant at ryw ddw'r ;
Dangos Crist yn iawn dros bechod,
Brenin Seion er ei glod,
Dysgu bedydd y crediniol,
Er iawn ddilyn ol ei dro'd.

Mae 'i bregethau a'i holl weithiau
Yn gynyrchion addfed, clir,
Ddaeth i'n rhan drwy ddwys fyfyrdod
Ac ymchwiliad am y gwir ;
Chwiliai'r Ysgrythyrau gwreiddiol,
Lle ceir dyfroedd bywiol clir,
Fel y tarddodd dan yr orsedd,
Dysglaer fel y grisial pur.

Do, gwas'naethodd ei genedlaeth,
Do, bu'n ffyddlon weithgar was,
Do, bu'n filwr dysglaer, gwrol,
Do, bu farw ar y ma's.

O, fy mrawd a'm cyfaill serchog,
Ti wyt heddyw'n wael dy wedd,
Minau sydd yn drwm fy nghalon,
Syn fyfyrio ar dy fedd ;
O, mae hiraeth bron fy llethu,
A chynyddu mae o hyd,
Dan ddylanwad adfyfyrdod
Ar ein gyrfa yma 'nghyd.

Af yn ol draw i'r gorphenol,
Dros ysgwyddau blwyddi maith,
Pan gwrddasom ni a'n gilydd
Gyntaf ar ein marwol daith ;
Llawer profiad gaed er hyny,
Weithiau'n lleddf ac weithiau'n llon;
Cyfnewidiol a siomedig
Doniau goreu'r ddaear hon.

O, fy nghyfaill mwyn, caredig,
Nis gwyr neb fy nheimlad i,
Ond y rhai cyffelyb feddwl,
Ac anwyldeb atat ti ;
Y mae ffyrdd ein Tad goruchaf
I ni'n ddwfn a dyrys iawn;
Ti, fy mrawd, yn myn'd mor gynar
Oddiwrthym y prydnawn.

Myn'd a gadael plant a phriod,
Pawb a'th garent di bob awr;
O, gymylau a thywyllwch
Sydd o gylch yr orsedd fawr !
Arglwydd Dduw, O, cofia'i weddw,
A'i amddifaid bach i gyd,
Nerth a gaffont oll i sefyll
Dan drallodion chwerwon byd.

'Nawr, fy nghyfaill, deuaf drosodd
Yna i'r dyfodol mawr,
Gallaf ddod er maint y pellder
Rhyngom sydd mewn mynyd awr ;
Wyf yn gaeth mewn pabell briddlyd,
Is na'r angel herwydd hyn ;
Ond er hyny gallaf deithio'n
Gyflym fel yr angel gwyn.

Syllais arnat nes dy golli
Dan gysgodion angeu du,
Clywais lais fel pe 'n dywedyd,
Awn, pob peth yn barod sy';
Safwn inau'n syn fy ysbryd,
A gofynais, Beth yw hyn ?
Dwfn ddystawrwydd a thywyllwch
A deyrnasai drwy y glyn.

Sylwodd Mab y Brenin arnaf,
Ac ymaflodd yn fy llaw,
A dywedodd mewn llais tyner,
Gwel, mae'th gyfaill ar lan draw.
Gyda hyn mae'r du gymylau
Yn diflanu ar bob llaw,
Gwelwn drwy derfynau amser
Froydd hyfryd byd a ddaw.

Gwelwn dyrfa ogoneddus,
Clywn foliant uchel mawr,
Gwelwn fy anwylaf gyfaill
Yn dysgleirio fel y wawr ;
Syrthiais lawr ger bron y genad,
'Roedd fy enaid oll ar dân,
A dywedais, "Bendigedig,"
Am y fwyn efengyl lân.

Digitized by Google

O, Hugh Jones, gâd imi aros
Mynyd arall gyda thi,
Gâd im' eto dywallt deigryn
Bychan ar dy feddrod di.
*Johnstown, Pa.* DAVID JONES.

## MEDDWDOD.

[BUDDUGOL.]

Mae medd'dod fel cancr gwenwynig trwy'r tir,
I galon cymdeithas yn treiddio;
Ein hie'nctyd a syrthiant yn ebyrth i'r bir,
Ac oll yn eu gwarth sy'n ymffrostio!
Mewn llestri arian-deg y gwirod a geir
Ar fyrddau rhan fawr o'r trigolion;
Y plant wrth y miloedd mewn dellni, a wneir
Gan dadau a mamau yn feddwon!

Edrychwch i mewn i garchardai y wlad,
A lenwir â deiliaid y dafarn!
Nid ydynt ond meusydd trueni a brad—
Cynhauaf y ddiod sydd gadarn!
Clywch grochlef ofnadwy y llofrudd, a wnaed
Yn ellyll â chyffer duw medd'dod!—
Fe'i hyrddiwyd i afael "Dialydd y Gwaed,"
Tra'i 'menydd ar dân gan y gwirod.

Pob dinas sarheir gan y bwystfil a'i nôd—
Ei demlau a frithant bob heol:
Addolwyr duw *Bacchus* a ganant ei glod
Yn *swn yr addoliad Crist'nogol!*
Yr erchyll wirod-tai y'nt felldith yr oes,
Trwy fagu tyrfaoedd y meddwon;
Mae aflan neuaddau gwatwarwyr y GROES
Yn gymhlith â themlau Duw Seion!

Gruddfanau y gweddwon esgynant at Dduw,
O filoedd trigfanau trueni—
A llefain plant bychain am gymorth i fyw,
O achos yr yfed a'r meddwi!—
A chri calon-ddrylliog y dyner fam gwyd
Mewn angerdd at orsedd Cyfiawnder—
"O Dduw! a gaiff gweddi plant bychain am fwyd,
A gweddi y fam fyn'd yn ofer?"

Glan Eglwys yr IESU trwy gydol pob oes,
A boenir, a *glwyfir* gan fedd'dod—
(Ow! 'r dirmyg ofnadwy ga ABERTH Y GROES
Gan drachwant traflyncwyr y ddiod!)
Ei chlwyfau y'nt ddyfnion, mae'n uchel ei chri,
A'i phen a ostynga mewn tristyd:
Hi wyla am feibion a fuont mewn bri—
Am ambell *Athrylith o'r Pwlpud!*

Nerth addysg, nerth rhinwedd, nerth crefydd Mab Duw,
Ddyrchafo y byd mewn glân Sobrwydd;
Hyfforddier ein meibion a'n merched i fyw
Uwch gafael y meddwol waradwydd.
Chwi feddwon, a chwithau lymeitwyr, mae llef
Yr oes yn condemnio eich pechod;
A gwir fod Datguddiad yr Ysbryd o'r Nef,
Fod Dydd y Dialedd yn dyfod!
APMADOC.

## PENILLION

Am dair o farwolaethau a gymerasant le yn nheulu Mr. David W. James, Johnstown, Pa., yn Awst, 1882. Bu farw Elizabeth, y ferch-yn-nghyfraith, a'i baban, un ar y 5ed, a'r llall ar y 14eg; ac yn ddiweddaf, ar y 26ain o'r un mis, bu farw Melvania, merch Mr. James a'i briod.

Yn ei seithfed mlwydd ar hugain,
A hi'n fam a phriod cu,
Yr ergydiodd angeu creulawn
Saeth i'w chalon dyner hi;
Methodd dagrau mam a phriod,
Chwaith na llef ei merch ddinam,
Estyn mymryn ar hoff fywyd
Priod hoff a thyner fam.

Gyda bod y fam yn cyrhaedd
Fry lle chwyth awelon iach,
Clywyd llais fel pe'n dywedyd,
Dos i gyrchu ei baban bach;
Ar y gair mae'r angel eilwaith
Ar ei edyn claer mewn hedd,
A chymerodd yr un fechan
At ei mam i'r nefol wledd.

Dafydd James a'i anwyl briod
Sy'n trwm wylo dan eu clwy;
Ac wrth geisio eu cysuro,
Trown i wylo gyda hwy;
Os yw'r fam yn mynych gyrchu
Lle mae bedd ei hanwyl ferch,
Na ddirmyger ei hymddygiad,
Arwydd yw o'i mamawl serch.
PARCH. D. JONES.

# Y Maes Cenadol.

GAN Y PARCH. W. F. DAVIES, NANTICOKE, PA.

Mae gyda ni y tro hwn eto ychydig o enwau y carem sylwi arnynt. John Elliot, yr "Apostol Cenadol at y dyn coch," a dderbyniodd ei dueddiadau at y gwaith cenadol wrth ddarllen am y sêl angerddol a ddangosid gan y Jesuitiaid. Yn flaenorol i ddyddiau Elliot, nid oedd fawr, os yn wir, ddim, wedi ei wneyd gan y Colonists Protestanaidd er gwareiddio a Christioneiddio yr Indiaid. Gwir fod rhyw syniad o hyn, gallem feddwl, yn mhlith trigolion Massachusetts, oblegid cawn ar sêl y diriogaeth yno ddarlun o Indiad, ac arni yn argraffedig y geiriau cenadol hyny, "Tyred drosodd a chym-

Digitized by Google

orth ni," ond nid oedd neb wedi myned oddigerth y Jesuitiaid Pabyddol.

David Brainerd a ddygwyd i deimlo y dylai fyned a Gair y Bywyd i'r Indiaid, o dan weinidogaeth ddylanwadol yr enwog Whitefield, pan ar daith bregethwrol trwy New England. Aeth atynt, a bu yn ddyfal am flynyddau lawer i godi y dyn gwyllt o'i sefyllfa farbaraidd i "ryddid gogoniant plant Duw."

Christian Schwartz, y cenadwr Danaidd enwog, yr hwn a enillodd ymddiried hyd yn nod y creadur creulon Hyder Ali, a'r hwn wnaeth gymaint o'i ôl yn Nghanolbarth y rhan Ddeheuol o India, a gynhyrfwyd i fyned i'r maes trwy ymddyddan am y gwaith â chenadwr yn Tamul, o'r enw Halle, pan yn argraffu Gair Duw yn iaith y bobl oedd yn llafurio yn eu plith.

Henry Martin, wrth wrando ar y Parch. Mr. Simeon, gweinidog duwiol yn Cambridge, yn son am waith Carey yn India, a daniwyd ag ysbryd yr un gwaith. Wedi i'r wreichionen fyned i'w galon, ni orphwysodd nes cyrhaedd maes ei lafur, a dangosodd yn fuan mai dyn wedi ei godi i'r gwaith ydoedd gan Dduw.

James Henderson, y cenadwr meddygol yn China, a benderfynodd gysegru ei hun i'r meusydd paganaidd mewn cwrdd cenadol yn Edinburgh. Mae James Henderson yn sefyll yn y rhes flaenaf o holl feddygon cenadol y byd.

Daeth y byd enwog David Livingstone i ymaflyd yn y gwaith trwy ddarllen apeliad Mr. Gutzlaff i eglwysi Prydain ac America ar ran China. Erbyn heddyw, mae hanes bywyd Carey, Judson, Livingstone, ac eraill, wedi cyneu tân cenadol mewn llawer mynwes ag sydd draw yn nhywyll-leoedd y ddaear y dydd hwn yn meddwl am ddim ond pa fodd mae cael y trigolion anwybodus i fwynhau pelydrau Haul cyfiawnder.

Y Parch. Mr. Wilks ddylanwadodd ar feddwl y merthyr cenadol, John Williams, Erromanga.

Allen Gardner, i'r hwn mae America Ddeheuol mor ddyledus, a gynhyrfwyd i fyned yno i bregethu pan yn forwr ar ymweliad a gwahanol borthladdoedd y De, a gweled gweithredoedd anfad y gallu Pabyddol yno, ac hefyd llwyddiant anarferol y Genadaeth yn Tahiti.

Yr Esgob Charles F. Mackenzie, y merthyr cenadol o Zambesi, Affrica, a enillwyd i'r ffydd genadol trwy ymddyddan a chenadwr o Delhi, India.

Buasai yn dda genym osod ger bron gychwyniad bywyd cenadol mwy o'r Cymry sydd wedi myned i'r maes; ond nis gallwn—nid ydynt wrth law genym.

Mewn Cymanfa Genadol yn India, gwnaed apeliad taer am ragor o genadon. Sylfaenwyd yr apeliad ar y ffeithiau canlynol: "Fod poblogaeth India yn ddau gant a haner o filiynau—pum' gwaith cymaint a'r Talaethau Unedig; cant a naw-deg o honynt yn Hindwaid, duwiau y rhai sydd yn ymgorpholiad o lygredd; haner can' miliwn yn Fahometaniaid; yr iaith Saesoneg yn enill tir mor gyflym, fel y gellir cario yn mlaen ran fawr o'r gwaith yn yr iaith hono; y maes mor helaeth, fel mae ynddo le i amrywiol fathau o dalentau, a llu braidd diderfyn o weithwyr; fod llwyddiant mawr y deng mlynedd diweddaf yn sicrhau buddugoliaeth hollol yn y diwedd."

Mae eisiau mawr yn mysg y Teluguaid. Mae yno 20,000 o Gristionogion, a dim ond 21 o genadon ar gyfer y rhai hyny, ac hefyd i efengyleiddio y miloedd sydd yn eu hamgylchynu. Assam yn waeth; mae perygl colli yno yr hyn a enillwyd, oddigerth cael rhai i lanw lleoedd y rhai sydd wedi meirw yno, neu ddychwelyd adref yn herwydd afiechyd. Burmah hefyd sydd heb haner digon, ac felly Siam. Rhyw ddyrnaid bach sydd yn China fawr. Gellid gosod yn China fil o genadon heddyw, a bychan fyddai yno drachefn i ateb ei miliynau pobl. Galw mae pobman--Japan, Corea, Ynysoedd y De, Affrica, a llawer man o Ewrop. "Tyred drosodd a chymorth ni," yw y llais a glywn o'r holl wledydd hyn. Atolygwn ar i "Arglwydd y cynauaf anfon gweithwyr i'w gynauaf."

---

Na werth rinwedd i brynu golud.

Digitized by Google

## HANESION CARTREFOL.

### YMADAWIAD GWEINIDOG.

*Mr. Gol.*—Dymunir gwneyd yn hysbys fod y brawd D. W. Jones, wedi rhoi mis o rybudd i roddi eglwys Fedyddiedig Mineral Ridge, O., i fyny ar Sabboth yr 16eg o Medi. Gwnaethhyn o'i ddewisiad ei hun. Mae amgylchiadau y lle wedi bod, ac yn parhau yn erbyn ein cynydd a'n llwyddiant. Y mae ar yr adeg bresenol yn anmhosibl i ni allu cynal gweinidogaeth sefydlog. Y mae cymeriad y brawd yn ddiargyhoedd, ac nid oes achos i neb fod mewn un math o betrusdod yn ei gylch. Mae wedi bod yn lletya gyda mi oddiar pan y mae yn y lle, o ganlyniad myfi a'm gwraig all dystiolaethu oreu am dano, yn nghyd a'r eglwys un ag oll. Dymunwn ei lwyddiant pa le bynag yr elo, ac i'r gair a bregethir ganddo fod yn allu Duw er achub llawer o bechaduriaid.

Dros yr eglwys a'r brawd,

L. MATHIAS, *Ysg. yr Eglwys.*

### CASGLIADAU AT GAPEL NILES.

*Cyfrifon y Casgliad Cyntaf, cyn y Sheriff Sale. Drwy law y Parch. E. Jenkins.*

Derbyniwyd yn Niles fel y canlyn:

| | | |
|---|---|---|
| Russian Mill | $39 | 00 |
| Old Mill | 44 | 00 |
| Andrews' Mill | 20 | 00 |
| Niles Mill | 10 | 00 |
| Furnace | 3 | 00 |
| Tref Niles | 60 | 00 |
| Arian y Concert | 16 | 00 |
| Aelodau yr eglwys | 15 | 00 |
| Warren Mill | 20 | 00 |
| Hubbard | 4 | 95 |
| Cyfanswm | $231 | 95 |

*Taliadau Allan.*

| | | |
|---|---|---|
| I'r Parch. E. Jenkins am lafur dwy wythnos yn casglu | $20 | 00 |
| Am *supply* am Sabboth | 4 | 00 |
| Am dreulion y *cars* | 1 | 95 |
| I L. Mathias, *Trustee* | 206 | 00 |
| Cyfanswm | $231 | 95 |

Pob peth yn iawn. *Archwilwyr*—Wm. Williams, Diacon; Lazarus Mathias, *Trustee;* D. M. Job, Ysgr.

*Casgliadau at Gapel Niles wedi y Sheriff Sale, drwy law y Parch. Edward Jenkins.*

| | | | | |
|---|---|---|---|---|
| Girard, O. | $64 | 75 | | |
| Sharon, Pa. | 30 | 50 | | |
| Justus, O. | 2 | 25 | | |
| Massilon, O. | 20 | 25 | | |
| Lake Shore | 17 | 65 | | |
| W. Side, Cleveland, O. | 6 | 39 | | |
| Newburgh | 36 | 65 | | |
| Weathersfield | 10 | 00 | | |
| Mineral Ridge | 2 | 50 | | |
| Warren | 35 | 00 | | |
| Youngstown | 41 | 50 | | |
| Leadville | 15 | 65 | | |
| D. Davies, Coalburgh. | 1 | 00 | | |
| Mrs. D. Morris, Clevel'd | 10 | 00 | | |
| James Ward, Niles | 50 | 00 | | |
| John R. Thomas, Niles, | 50 | 00 | | |
| Akron | 15 | 25 | | |
| Oddiwrth y gwrandawyr | 27 | 00 | | |
| | | | $436 | 34 |
| Ysgol Sul y capel | 30 | 00 | | |
| Yr eglwys | 55 | 00 | | |
| Cyngherddau | 72 | 95 | | |
| *Tea party* | 62 | 00 | | |
| *Votes* am y Beibl, Mrs. Ann Job | 128 | 20 | | |
| Eto, Richard Evans | 50 | 60 | | |
| Drwy law y Parch. D. C. Thomas | 20 | 00 | | |
| *Mite Society* | 22 | 00 | | |
| | | | $440 | 75 |
| | | | $877 | 09 |

| | | |
|---|---|---|
| Talwyd allan gan y Trysorydd yn Warren, y ddyled, y llog, a chostau y *Sheriff sale* | 852 | 75 |
| Talwyd i'r Parch. E. Jenkins am dreulion y *cars*, llythyrau a chylchlythyrau | 23 | 70 |
| | 876 | 45 |
| Yn llaw y trysorydd | | 64 |
| | 231 | 95 |
| Y ddau gasgliad yn gwneyd | $1109 | 04 |

Derbyniwyd yn ychwanegol at yr

uchod, drwy law E. Jenkins, $5 oddiwrth frawd di-enw o Wisconsin, at gapel Niles, ac y maent yn llaw y Trys.

*Archwilwyr*—John Howells, Diacon; James Jones, Trysorydd; D. M. Job, Ysgrifenydd.

---

### YMADAWIAD I'R DEHEU TEG.

*Mr. Gol.*—Caniatewch i mi gongl o'r WAWR er hysbysu fy nghyfeillion y byddaf yn cychwyn ganol Hydref, os gwel Duw yn dda, i gartrefu yn De-Land, Volusia Co., Florida. Wedi cael gan y boneddwr o Fairport, E. N., ar enw yr hwn y gelwir y lle uchod, amodau tra manteisiol, yr ydym wedi prynu fferm *oranges*, neu yn hytrach prynwyd gan fy mhriod, oblegid ei harian hi sydd yn y pryniad. Er ys blynyddoedd y mae hi yn dyoddef oddiwrth y *catarrh* a gwendidau eraill, a feddyginiaethir yn hin hyfrydol gwlad yr aur-afalau—o leiaf credir felly.

Er y byddaf yn rhoddi i fyny y weinidogaeth sefydlog, nid wyf yn bwriadu tewi dweyd am Grist a'i groes. Gwnaf a allwyf, tra y parhao bywyd, i gyhoeddi iachawdwriaeth Duw. Bydd yn dda genyf anfon ambell linell i'r WAWR, a thrwyddi hi ddal cyfrinach â chwi a'm cenedl. Boed bendith y nef arnoch, ac ar eich misolyn gwerthfawr. Llwyddiant lawer i'r WAWR, ac i'r sawl a rodio yn ei goleuni hi, yw dymuniad, yr eiddoch yn gywir,

E. EDWARDS.

*Milesbury, Centre Co., Pa.*

---

### BRACEVILLE, ILL.

*Mr. Gol.*—Gwelais yn y WAWR am Awst fod y Parch. H. C. Parry (*Cefni*) wedi dechreu ar ei weinidogaeth yma. Mae hyny yn gamsyniad mawr, er fod y brawd Parry wedi ateb i ddod i Braceville, a'i fod i ddechreu y Sabboth cyntaf yn Gorphenaf. Ond trwy fod yr eglwysi yn Missouri mor daer am iddo aros, ac yn codi yn ei gyflog, mae y brawd wedi penderfynu aros yno. Ond trwy drugaredd, er fod eglwysi Braceville a Braidwood wedi cael eu siomi yn ein brawd Parry, mae Duw wedi gofalu anfon un arall yn ei le, fel na chaffont eu siomi yn gwbl. Mae y Parch. T. M. Griffiths, o South Chicago, wedi dechreu ar ei weinidogaeth yn Braceville a Braidwood er y Sabboth diweddaf yn Gorphenaf, ac yr ydym yn credu fod dyfodol llwyddianus o'i flaen. Mae y brawd yn bregethwr da, ac yn Gristion dysglaer, ac y mae yn barchus iawn gyda phob enwad yn y lle. Sabboth y 5ed o Awst, cawsom y pleser o'i weled yn Braidwood yn derbyn pedwar yn ol oddiar dir gwrthgiliad, a chawsom gyfarfodydd da trwy y dydd, a'i wrando yn rhoddi anogaethau taerion yn ei bregeth yn yr hwyr, oddiar y geiriau hyny, "Am hyny mae yn rhaid i ni ddal yn well ar y pethau a glywsom, rhag un amser i ni eu gollwng hwy i golli." Barn pawb yw mai rhagor o'r fath bregethau sydd eisiau ar y byd.—*Abiah Bach.*

---

## *PRIODWYD—*

Yn Youngstown, O, Gorph. 28, 1883, gan y Parch. D. Probert, Mr. James Havard a Miss Mary J. Richards, efe o Warren, a hithau o Mineral Ridge.

Yn Utica, N. Y., Awst 16, 1883, yn nhy rhieni y briodasferch, gan y Parch. Owen F. Parry, Remsen, y Parch. Henry H. Parry, o Brooklyn, N Y., a Miss Jennie Williams, o'r ddinas hon.

---

## *BU FARW—*

#### MR. THOMAS O. EVANS.

Ebrill 11, 1883, yn Youngstown, O., bu farw un o hen aelodau yr eglwys Fedyddiedig yn y dref uchod, sef Thomas O. Evans, ar ol hir gystudd. Ei brif anhwyldeb oedd diffyg anadl (*phthisic*). Cafodd ei flino ganddo am rai blynyddoedd, eto cyrhaeddodd yr oedran addawedig, sef 70 mlynedd, a throsodd; felly y diweddodd ei yrfa, a syrthiodd fel twysen addfed i'r bedd, y boreu a nodwyd, gan bwyso ei enaid ar aberth y groes. Dywedai yn aml yn ei gystudd, "Mae yr awr yn nesu pan y caf hollol ryddhad, a bod gyda'r Iesu, yr hyn sydd lawer gwell na bod yma." Rhoddodd yn destyn i ddweyd arno yn mhen y mis ar ol ei gladdu, "Byw i mi yw Crist, a marw sydd elw." Mae colli ei gwmni yn ofid i ni, ond yn elw bythol iddo ef Mae ei golli wedi rhoi archoll i'n hanwyl chwaer, priod yr ymadaw-

Digitized by Google

edig, yn ei henaint, i'r plant, ac i'r eglwys i'r hon y perthynai.

Ganwyd Mr. Evans yn Three Roses, yn Sir Gaer, ac ymbriododd a'n hanwyl chwaer sydd eto yn fyw. Esther Lewis oedd ei henw morwynig. Cawsant naw o blant, o'r rhai y mae pump yn fyw, tri mab a dwy ferch, sef Benjamin, Thomas, a Dafydd, a Mary Ann Jones a Harriet Thomas. Cafodd Mr. a Mrs. Evans gyd-fyw am 49 mlynedd. Buont am gryn amser yn byw yn Ystalyfera, D. C., ac ymfudasant oddiyno i America tua 22 mlynedd yn ol, ac ymsefydlasant ar ffarm yn ymyl y dref hon. Ar ol bod ar y ffarm amryw flynyddoedd, gorfuwyd hwynt i'w rhoi i fyny o herwydd af iechyd a methiant, ac ardrethu ty, a byw ar y tipyn oeddent wedi ei ddarparu trwy eu diwydrwydd, ac yno y bu ein brawd hyd ei farwolaeth. Yr Arglwydd a fyddo yn dyner o'i weddw alarus.

Dydd Gwener, y 13eg, ymgasglodd tyrfa luosog i drosglwyddo ei weddillion i'r bedd. Yr oedd ein brawd yn adnabyddus iawn trwy yr ardal, gan hyny yr oedd yno amryw o genedlaethau eraill; eto yr oedd y gwasanaeth yn Gymraeg. Yn y ty, canwyd, yna darllenodd a gweddiodd y Parch. Wm. Hughes, a siaradodd yr ysgrifenydd. Yna cawd anerchiad tra phwrpasol gan y Parch. Ebenezer Evans, M. C., yna ar ol canu cychwynwyd tua'r gladdfa. Claddwyd yn mynwent y ddinas, lle yr huna ein brawd hyd foreu udganiad yr udgorn.

D PROBERT.

### MR. THOMAS WILLIAMS.

Yn Youngtown, O., bu farw, Mawrth 31, 1883, Mr. Thos. Williams, priod Mrs Sarah Williams, ar ol cystudd am oddeutu deng-niwrnod, ond hynod o boenus, o glefyd y giau. Er i Mr. Williams, gael corph cryf, gwrol, eto pan ddaeth brenin braw nid hir y bu cyn tynu y daearol dy i lawr. Gadawodd wraig anwyl, pedwar o blant, a lluaws o berthynasau a chyfeillion i alaru ar ei ol.

Ganwyd Mr. Williams yn Palmyra, O. Mab oedd i Wm. a Martha Williams. Yr oedd yn un o naw o blant, chwech o fechgyn a thair o ferched, o'r rhai nid oes ond chwech yn fyw. Pe cawsai Mr. Williams fyw hyd Mai 15, 1883 buasai yn 47 oed. Ymunodd mewn priodas a Miss Sarah Thomas, a chawsant gyd fyw am yn agos i 22 o flynyddoedd. Bu iddynt ddeg o blant, o'r rhai nid oes ond pedwar yn fyw. Ni fu Mr. Williams yn aelod crefyddol, ond yr oedd yn meddu parch mawr i grefydd a chrefyddwyr. Diau iddo deimlo chwant i ymuno lawer gwaith, ac wedi addunedu dod ryw amser; eto fel llawer, yn meddwl fod amser lawer yn ol, hyd nes i'r awr gyfyng ddod. Yn ei oriau olaf gweddiai yn daer a difrifol iawn am drugaredd, gan ddweyd wrth yr Arglwydd, "Ti wyddost nad oes genyf fi ddim sydd yn teilyngu dy ffafr, ond mae haeddiant Iesu yn ddigon; O, maddeu, maddeu fy meiau." Ar ol hyn dywedai, "Iesu anwyl, os caf wella o'r trwbwl yma, ti gei weled o du pwy y byddaf; 'rwy'n foddlon i wneyd beth bynag a fyddi yn ofyn; ti wyddost fy mod yn dy garu di a'th waith." Ac yr ydym yn credu oddiar farn cariad iddo gael trugaredd; ac yr ydym yn hyderus ei fod mewn gwell lle na bod yma.

Yr oedd Mr. Williams yn briod gofalus a sobr, yn dad tyner, yn gymydog parod, cymwynasgar, a theimla yr ardal ei golled Ei iaith heddyw at y rhai sydd ar ol ydyw, "Am hyny byddwch chwithau barod," &c., am y teimlai yn ddwys yn ei oriau olaf na buasai wedi canlyn Crist yn ei fywyd.

Am 1 o'r gloch, Ebrill 2, taeth tyrfa fawr ynghyd i'w angladd. Darllenodd a gweddiodd y Parch. D. Hopkins, yna awd a'r gwasanaeth yn mlaen mewn rhan gan yr ysgrifenydd, a'r Parch. Snodgrass yn Saesneg. Ar ol canu awd i cemetery y dref, yna gweinyddwyd gan yr urdd Odyddol. Nerth a gaffo ein hanwyl chwaer i fod yn dawel, gan bwyso ar yr hwn a fedr ofalu am dani yn ei thrallod blin, a pharotoi i'r wlad well yr ochr draw.

D. PROBERT.

### MRS. ANN MORGANS.

Yn Morris Run, Pa., Ebrill 19, 1883, y gorphenodd y chwaer ffyddlon hon ei gyrfa ddaearol. Ganwyd a dygwyd hi i fyny yn Tonypistyll, plwyf Mynydd Islwyn, sir Fynwy, D. C. Bedyddiwyd hi yn Beulah, yn yr un sir, gan y Parch. Thomas Evans, tua'r flwyddyn 1838, a pharhaodd yn aelod cyson a ffyddlon o'r eglwys hono am flynyddau, hyd nes iddi symud i Cwm Rhondda, lle y deallwn iddi fod yn wir deilwng o'i phroffes hyd nes y daeth i America, ac ymsefydlu yn Morris Run, yn y flwyddyn 1869. Yn ystod yr amser y bu yma, sef tua 13 o flynyddau, enillodd iddi ei hun enw da a gradd dda gan bawb a'i hadwaenai; a chan y gwirionedd ei hun. Teimlwn fel eglwys gryn hiraeth ar ei hol. Cymerwyd hi i ffwrdd yn dra sydyn; ni fu yn glaf ond ychydig o ddyddiau, a hunodd yn yr Arglwydd ar y dyddnodiad crybwylledig. Gadawodd gylch eang o berthynasau i alaru ar ei hol, sef pedair merch, a phob un o honynt a theulu lluosog ganddi. Rhoddodd lawer o gyngorion da i'w phlant, gweddiodd lawer drostynt, ac ymdrechodd lawer i gael gan ei phlant ffurfio eu barn a'u hymarferiadau wrth reol syml a phendant y Tastament Newydd, fel yr oedd eu mam wedi gwneyd. Yr oedd yn Fedyddwraig egwyddorol, ac ymdrechodd lawer i gael ei phlant i goleddu yr un syniadau a hi ei hunan. Brydnawn yr 21ain ymgasglodd torf luosog a pharchus yn nghyd i dalu y gymwynas olaf i'w gweddillion marwol. Awd a'i chorph o dy ei merch, sef Mrs. James Beechy, gyda'r hon yr oedd yn aros ar y pryd, tua'r capel lle yr arferai addoli ei Duw mor ffyddlon, lle y cynaliwyd gwasanaeth coffadwriaethol. Gweddiodd y Parch. D. P. Jones, (A.), a phregethodd yr ysgrifenydd oddiar Dat. 14 : 13. Yna aethom yn orymdaith lu-

Digitized by Google

osog tua chladdfa Morris Run, lle y gosodwyd ei chorph i orphwys yn y gwely pridd. Yr oedd pawb oedd yn yr angladd yn credu eu bod yn parchu coffadwriaeth chwaer dduwiol. Ein gweddi yw ar i'w phlant gael y fraint o efelychu eu mam yn ei duwioldeb.

JOHN M. EVANS.

ELIZABETH JONES.

Rhyfedd mor greulon yw angeu o hyd! Nid yw yn syndod iddo gael yr enw "gelyn," a "brenin y dychryniadau." Gall yr hen frawd anwyl Wm. D. Jones a'i briod, Wilkesbarre, Pa., dystio yn awr mewn galar dwys, fod ang eu yn elyn creulon. Awst 22, 1881, ganwyd iddynt eneth dlos, yr hon ddaeth yn llawn swyn i'r teulu. Galwent hi yn Elizabeth, ac yr oedd pob peth a berthynai iddi yn peri iddynt ei hanwylo. Mai 14, 1883, yr oedd yn iach a llawen, yn chwareu o amgylch y ty mor fywiog a llon ag erioed, ond tranoeth yr oedd yn llonydd, yn gorwedd yn nwylaw oerion marwolaeth. Ymaflodd y *membranous croup* ynddi, a throsglwyddodd hi o dir iechyd a bywiogrwydd i dir marwolaeth mewn 25½ o oriau. Cludwyd ei chorph i'r bedd Mai 18, a'r Parch. Hancock yn gweinyddu. Ymgysured y rhieni yn y ffaith mai y gelyn *olaf* yw angeu, ac mai ond ar y *corph* yr effeithia efid. Mae Elizabeth yn iach yr ochr draw, uwchlaw pob poen a briw. Ymdrechwn oll i fod yn barod i'r wlad well. D. S. T.

MR. JOHN MORRIS JONES.

Ddechreu mis Ebrill, yn Hyde Park, Pa., bu farw yr hen bererin John Morris Jones, yn y 74ain mlwydd o'i oedran. Ymfudodd i'r wlad hon o Mountain Ash, D. C., yn yr hwn le y treuliodd lawer o'i amser. Bu yn aelod ac yn ddiacon yno am lawer o flynyddoedd. Gweinyddwyd ddydd ei angladd gan y brodyr Dr. Williams, a Jones, Pontfaen, D. C. Dy munwn heddwch i'w lwch. EB LLOYD.

MRS. JOHANNAH EDWARDS.

Yn Mineral Ridge, O., ar ol hir a blin gystudd, yn 48 mlwydd oed, bu farw Mrs. Johannah Edwards, anwyl briod Mr. Edward Edwards. Yr oedd y chwaer anwyl hon yn enedigol o Sir Faesyfed, G. C. Enw ei thad ydoedd Thomas Boulter. Bu ef farw pan oedd hi yn ieuanc. Yn mhen tri mis wedi ei gladdu symudodd ei mam a'i brodyr i'r Deheudir, i ardal Victoria, Sir Fynwy, D. C., ac yno y cyfarfyddodd hi ac Edwards a'u gilydd, ac fe'u hunwyd mewn glan briodas yn eglwys y Bydwellty. Yn mhen tro cododd ynddynt awydd am ddyfod i America, a glaniasant yn y wlad hon yn 1862, a sefydlasant yn y lle uchod, lle y gwnaethant iddynt eu hunain gartref cysurus, ac yno mae y rhan sydd yn aros o'r teulu yn bresenol, mewn dygn alar ar ol priod anwyl a mam ofalus.

Bendithiwyd hwy fel teulu a naw o blant, tri o'r rhai a groesasant i'r byd arall o'i blaen hi, ac y mae chwech ar ol yn cyd-alaru a'u tad tyner a gofalus —ie, yn nyffryn galar.

Yr ydoedd yr ymadawedig yn aelod hardd yn nghyfundeb y Bedyddwyr er ys amryw flynyddau. Bedyddiwyd hi gan y Parch. D. Evans, Wheatland, a gellir dweyd ddarfod iddi harddu ei phroffes. Bu yn hir yn esgoreddfa y plant, yn ofni tori trwyddi; yr oedd pwysfawrogrwydd y gorchwyl o arddel Mab Duw yn cael lle dwfn iawn yn ei meddwl—ofni tynu gwarth ar yr enw rhagorol. Gwyn fyd na b'ai pawb yr un fath; byddai llai o rifedi o wrthgilwyr ar hyd y byd.

Cafodd gystudd trwm a maith iawn. Dyoddefodd yr oll yn amyneddgar a dirwgnach, gan ddal ei gafael yn gryf a diysgog yn y Prynwr byw hyd y diwedd, a bu farw a'i phwys ar yr Iesu. Cafodd fy anwyl chwaer y tynerwch a'r sirioldeb mwyaf yn nhymor ei chystudd; ni arbedwyd na thraul na thrafferth, ddydd na nos. Do, gwnawd ymdrech deg i gadw angeu draw, ond ni lwyddwyd yn yr amcan; efe drechodd, er ymdrech meddygon, ffyddlondeb priod, dagrau heilltion chwech o blant, cymwynasgarwch cymydogion a chwiorydd crefyddol, cymerodd hi ymaith; colledodd y teulu yn fawr, yr eglwys yn fawr, a'r gymydogaeth yn fawr. Gellir dweyd heb betruso, fod Mrs. Edwards yn chwaer oedd yn ofni Duw, yn wraig ofalus, yn fam dyner, ac yn gymydoges heddychlawn a rhinweddol. Gwelir ei heisiau.

Gorph. 11 oedd dydd ei hangladd, pryd yr eglur brofwyd yr uchod a llawer mwy, drwy y dorf fawr (yn cael ei gwneyd i fyny o wahanol genedloedd) ddaeth yn nghyd i weini y gymwynas olaf iddi, mai un felly ydoedd hi. Cludwyd ei gweddillion i fynwent Ohltown, pentref gerllaw y Ridge. Mae yno amryw o berthynasau yn gorwedd

Digitized by Google

eisoes, ac yno rhoddwyd hi i orphwys yn eu mysg. Ac O! 'r fath lu o ddagrau gysegrodd briddell ei bedd. Yr Arglwydd fyddo yn dyner a grasol i'w phriod caredig a gofalus, yr hwn sydd heddyw mewn dagrau ar ol un fu yn gydymaith ffyddlon iddo am wyth-ar-hugain o flynyddoedd. Gweddiodd lawer drosto. Do, bu hi yn ymgeledd gymwys iddo drwy yr holl daith. Hefyd, bydded i'r nefoedd ofalu yn dirion am ei phlant, y rhai sydd mewn galar prudd o herwydd colli eu hanwyl fam. A bydded i'w llwch hi orphwys mewn heddwch. Gweinyddwyd ar amgylchiad y claddedigaeth gan Jones, Ridge, a'r ysgrifenydd, y cyntaf yn Gymraeg a'r olaf yn Saesneg. J. W. JAMES.

MRS. ELIZABETH EVANS.

Awst 2, 1883, bu farw ein hanwyl chwaer Elizabeth Evans, yn 84 mlwydd oed, yn nhy ei hanwyl fab Evan L. Evans, New Straitsville, O. Bu Mrs. Evans yn weddw am 40 mlynedd. Bu yn y wlad hon am 36 mlynedd. Bu yn aelod parchus a ffyddlawn o eglwys Crist am 17 mlynedd, a hunodd gan orphwys ei henaid ar haeddiant yr Iesu. Bu eich gohebydd gyda hi ychydig ddyddiau cyn ei hymadawiad, yn cynal cyfarfod gweddi, ac yr oedd hi yn cyd-weddio â ni. Cafodd gladdedigaeth barchus, y brawd Charles Jones, B. A., yn gweini yn y capel ac ar lan y bedd. Gadawodd ei mab a'i merch-yn-nghyfraith ac wyth o blant bychain i alaru ar ei hol. Yr Arglwydd a'u cysuro, yw gweddi, D. E. JONES.

MRS. WILLIAMS.

Mai 18, 1883, wedi cystudd byr, ond blin iawn, ymadawodd a'r fuchedd drallodus hon Mrs. Williams, anwyl briod Thomas R. Williams, North Ebensburgh, Pa., a merch i'r henafgwr efengylaidd, Evan R. Evans. Gwisgodd ein chwaer Grist yn y bedydd saith mlynedd ar hugain yn ol, o dan weinidogaeth y diweddar frawd David Jenkins, ac ni fu unwaith o dan gerydd eglwysig byth er hyny, fel y dywedwyd wrthyf. Cafodd ein hanwyl frawd a'i ymadawedig briod ddeg o blant—pedwar o fechgyn a chwech o ferched. Y mae saith o honynt yn awr yn fyw—dau o honynt yn briod. Credwyf na theimla neb a'i hadwaenai fy mod yn arfer gormodiaeth wrth ddweyd, fod yr ymadawedig yn un o'r gwragedd mwyaf Cristionogol a hynaws yn yr ardaloedd hyn. Diau i'w hanwyl briod a'i phlant, yr eglwys a'r ardal, gael colled ddwys yn ei marwolaeth. Dangoswyd ar ddydd ei chynhebrwng fod yr ymadawedig, a'i theulu anwyl gwedd-illedig, yn gorwedd yn ddwfn yn serch yr ardalyddion, oblegid ni welais yn y wlad erioed gynifer o bobl yn nghyd. Yr oedd tua thriugain o gerbydau yn llawn, a llawer iawn ar geffylau.

Cymerodd y claddedigaeth le ddydd Sul canlynol, pryd y pregethwyd ar yr achlysur galarus gan yr ysgrifenydd, oddiar 1 Thes. 4: 18. Gwrandawyd yn astud iawn gan y dyrfa fawr ar seiliau gobaith y Cristion am adgyfodiad, ac yn neillduol am nodwedd ddymunol a gogoneddus i'w gyflwr yn yr adgyfodiad. Yn herwydd presenoldeb cynifer o Saeson, cynaliwyd (ar gais) y gwasanaeth i gyd yn Saesoneg. Yn yr angladd, darllenodd yr ysgrifenydd y llythyr cydymdeimladol canlynol oddiwrth y Parch. John Z. Jones, Johnstown:

"MR. THOS. R. WILLIAMS A'I DEULU GALARUS—*Anwyl Frawd a'i Blant*—Heno, wedi derbyn *despatch*, daeth fy anwyl frawd a chyfaill, y Parch. Ll. Rees, i'm ty, ac hysbysodd fi y newydd pruddglwyfus am farwolaeth eich priod, a mam garedig. O dan deimlad dwys yr hysbysai fi, ac fe'm tarawodd â rhyw syndod, yn gystal a galar. Yn yr amgylchiad chwerw hwn, nis gwn am well cysur na'ch cyngori i ddarllen y rhan olaf o 1 Thes. iv. Dyna un o adnoddau cysur yr Apostolion i alarwyr ar dir gobaith yn eu hamser hwy, ac felly y maent i chwithau ac eraill sydd yn gyfryw yn yr amser presenol. Nac edrychwch am eich priod yn y bedd, ond codwch eich golwg i fynydd Seion, i blith yr 'eneidiau a berffeithiwyd,' yno y mae yn canu yn beraidd am

Digitized by Google

'Waed y groes a gwyd y graith,
Na welir mo'ni eilwaith.'

Ni chaiff y llwch ar ei harch, na'r llygredigaeth i fewn, ladd y gobaith yr adfywheir y corph ar lef yr archangel. Boed i'w phlant anwyl ymestyn i ddilyn yn ei llwybr, a thyfu i fyny i fod yn gysur i'w tad. Gan fod fy anwyl frawd Mr. Rees i weinyddu yn yr angladd, gall ef eich hysbysu yn mhellach am fy nheimlad.

Dyma wers newydd i'r ardalyddion oll i ymestyn at fod yn barod, gan na wyddant y dydd na'r awr y daw Mab y dyn. Gyda y dymuniad dwysaf am i'r efengyl gael bod yn gysur i chwi a'r perthynasau oll, y gorphwysaf, yr eiddoch yn yr Arglwydd,

JOHN Z. JONES."

Mae yr efengyl wedi ei rhoddi gogyfer a chaledi a thrallod; a'r rhai na wyddant am galedi a thrallod ydynt mewn cyflwr ag nas gallant ynddo ddeall a mwynhau yr efengyl. Duw yn ei ras fyddo yn borth a chysur parod i'r teulu anwyl trallodus.

*Johnstown, Pa.* LL. REES.

MRS. REBECCAH EVANS.

Priod oedd y chwaer ymadawedig i Thomas E. Evans, Coalburgh gynt, ond yn awr yn Reynoldsville, Jefferson Co., Pa. Ganwyd Mrs. Evans yn y flwyddyn 1840, mewn lle o'r enw Cefnllech, plwyf Llanbadarn Fawr, Sir Ceredigion. Enw ei rhieni oedd John ac Elizabeth Edwards; hi oedd yr ieuengaf o wyth o blant. Symudodd ei rhieni o Cefnllech, pan oedd gwrthddrych ein cofiant yn ieuanc iawn, i le o'r enw Goginan, pan oedd rhwng tair a phedair oed. Claddwyd ei rhieni, gan adael chwech o amddifaid i alaru ar ol rhieni tyner. gofalus a chrefyddol. Gofalwyd am dani hi yn anwyl gan ei dau frawd a'i chwaer, yr hon a fu fel mam iddi drwy ei hoes, fel na theimlodd erioed bwys y golled o golli ei rhieni. Yn y flwyddyn 1853 ymunodd â chrefydd, pan yn yr oedran tyner o 13 oed. Derbyniwyd, bedyddiwyd, a rhoddwyd deheulaw cymdeithas iddi gan y Parch. David Jenkins, gweinidog y Bedyddwyr yn Jezreel, Goginan. Cadwodd ei chymeriad yn ddilychwyn tra y bu yno. Yn y flwyddyn 1857 ymfudodd hi a thair chwaer iddi a theulu o honynt i'r wlad hon, yn nghydag ysgrifenydd hyn o nodiant, ac ymsefydlasom yn Brier Hill, Mahoning Co., Ohio. Yma y derbyniwyd ei llythyr eglwysig, yn nghydag eiddo ei thair chwaer a'i brawd-yn-nghyfraith, (sef Mr. Evan Evans, yr hwn sydd flaenor parchus yn eglwys y Bedyddwyr yn Coalburgh), gan y Parch. D. Probert. Yn y fl. 1858 priododd a Mr. Thos. E. Evans, yn Brier Hill, y Parch. D. Probert yn gweinyddu. Bu y cysylltiad hwn yn hapus iawn, gan iddynt fyw bywyd cysurus tra y buont byw gyda'u gilydd. Ganwyd iddynt bymtheg o blant, o'r rhai y mae chwech wedi eu claddu, a naw yn fyw i alaru eu colled am fam dyner a gofalus. Treuliodd wyth mlynedd yn Brier Hill, a deunaw mlynedd yn Coalburgh, ac ni chafwyd achos i ddwyn achwyniad yn ei herbyn mewn eglwys nac ardal yn ystod y chwe' mlynedd ar hugain y bu fyw yn America.

Mis Mawrth diweddaf, symudodd hi a'r teulu i Reynoldsville, Pa. Yr oedd ei phriod wedi myned yno ychydig o fisoedd o'i blaen, i arolygu gwaith glo Hamilton Company. Ni theimlodd yn dda oddiar ei symudiad, ond gobeithiai nad oedd yr un perygl. Yr oedd ei hawydd yn fawr am fod gyda ei phriod a'i phlant, er mwyn eu cysuro, ond ni chafodd ond ychydig o fwyniant wedi y cwbl. Cafodd ei tharo gan ryw boen arteithiol yn ei phen; mynwyd y meddygon goreu yn yr ardal i weini arni; ond wedi iddynt wneyd arbrawf, cafwyd mai ei dolur oedd y lluosbed (*polypus*), math o grugdardd yn ei chlust; aeth o dan *operation*, ond i ddim dyben. Cafodd ei chystuddio yn galed am tua phedwar mis. Ni chafodd dim ei arbed er mwyn gwneyd ei hadferiad yn llwyddiant, ond yr oedd sirioldeb a gofal ei phriod a'i phlant, a pherthynasau, yn nghyd a dyfais y meddygon goreu yn yr ardal, yn rhy aneffeithiol i gadw angeu draw. Bu farw prydnawn y 27ain o Orphenaf, 1883, yn 43 mlwydd

Digitized by Google

oed. Bu farw fel y bu fyw, yn dawel a diofn, mewn llawn hyder ffydd o adgyfodiad gwell.

Claddwyd ei rhan farwol y Sabboth canlynol, yn Reynoldsville, Pa., pryd y gweinyddwyd ar yr achlysur wrth y ty ac ar lan y bedd gan y Parch. Mr. Dean, gweinidog y Bedyddwyr Seisnig yn y lle. Trodd y ddwy Gyfrinfa ag oedd ei phriod yn aelod o honynt, sef y *Knights of Pythias* a'r *Odd Fellows*, allan fel un gwr i ddangos eu cydymdeimlad â'u brawd, ac i dalu y gymwynas olaf i weddillion marwol ei anwyl briod. Nos Sul, Awst 12fed, traddododd y Parch. D. Probert bregeth angladdol ar ei hol yn Coalburgh, i dyrfa luosog, oddiar Act. 9: 36, 37, yn cael ei ddilyn gan y Parch. Mr. Evans, Caio, yr hwn oedd yma ar ymweliad, oddiar Mat. 26: 6. Cafwyd dwy bregeth sylweddol a da gan y ddau frawd, ac yn hynod o darawiadol i'r amgylchiad. Cafodd yr hen dad Probert weini iddi mewn tri amgylchiad pwysig: yn 1857, derbyniodd ei llythyr eglwysig o'r Hen Wlad; yn 1858, priododd hi â Thos. E. Evans; ac yn 1883, yn traddodi pregeth angladdol ar ei hol.

Bellach nid oes genym ond dymuno heddwch i'w llwch, yn nghyd a nodded Rhagluniaeth dros ei theulu galarus. Ei chefnder hiraethus, J. E. JENKINS.

D. S.—Dymunir ar i *Seren Cymru* godi yr uchod, er mwyn cyfeillion a pherthynasau yr ymadawedig yn yr Hen Wlad.—J. E. J.

### MRS. MARY JONES.

Awst 9, 1883, yn Ridgeway, Wis., bu farw Mrs. Mary Jones, yn 70 ml. oed. Merch ydoedd i Rees a Sarah Rees, o yn agos i Lanbedr, Sir Aberteifi, D. C.

Cafodd yr ymadawedig y fraint o ymuno ag achos Mab Duw yn moreu ei hoes, a pharhaodd i fyw yn deilwng o'i phroffes am dair blynedd a deugain o blaid achos y Gwaredwr. Bedyddiwyd hi ar broffes o'i ffydd yn Mab Duw gan y Parch. John Williams, Aberduar, a pharhaodd yn aelod ffyddlon, diwyd a gweithgar, hyd angeu, fel y credwn ei bod wedi derbyn coron y bywyd, yn ol addewid Iesu Grist i'w blant.

Ymbriododd â David D. Jones, o'r un lle, yn Ebrill, 1845; ac yn y flwyddyn 1849 symudodd gyda'i phriod i America, a daethant i'r lle hwn, sef Ridgeway. Ar ol sefydlu yma, rhoddodd ein hanwyl frawd a'n chwaer eu hunain yn aelodau yn eglwys y Bedyddwyr, a daliodd ein chwaer yn ffyddlon hyd ei marwolaeth.

Yr oedd yr ymadawedig yn fam i chwech o blant. Claddwyd dau o honynt er's llawer o flynyddoedd yn ol. Gadawodd briod hawddgar a phedwar o blant i alaru ar ei hol, sef dau fab a dwy ferch, y rhai ydynt yn aelodau heirdd a diwyd yn y lle hwn, yr hyn oedd yn hyfrydwch iddi hi fod ei phlant yn arddel Crist yn Waredwr i'w heneidiau. Yr oedd yr ymadawedig yn briod hawddgar a rhinweddol, ac yn fam dyner a gofalus. Ymostyngodd yn ei chystudd i ewyllys yr Arglwydd, a rhoddodd dystiolaeth eglur ei bod yn myned i wlad well i fyw.

Ar y 10fed o Awst, cymerodd ei hangladd le, pryd y daeth lluaws mawr o drigolion y gymydogaeth yn nghyd i ddangos eu parch iddi hi a'r teulu galarus. Yn y ty, cyn cychwyn, darllenwyd a gweddiwyd gan yr ysgrifenydd. Claddwyd yr hyn oedd farwol o honi yn mynwent Bethesda, capel y Bedyddwyr. Gweinyddwyd gan y Parchn. D. E. Phillips, J. Davies a'r ysgrifenydd. Yr Arglwydd fyddo dirion wrth ein hanwyl frawd sydd wedi cael ei amddifadu o'i briod hoff.

J. THOMAS.

D. S.—Dymunir i *Seren Cymru* godi yr uchod.

### MRS. ANNE REES PHILLIPS.

Yn Freedom, Sir Cattaraugus, N. Y., Mawrth 17, 1883, yn 70 mlwydd oed, bu farw Mrs. Anne Rees Phillips, anwyl weddw y diweddar Mr. Jonathan M. Phillips. Ganwyd Mrs. Phillips mewn amaethdy o'r enw Treclyn, Eglwys Wen, Sir Benfro, D. C. Yr oedd teulu Treclyn yn enwog yn mhlith y Bedyddwyr yn y parthau hyny am ei letygarwch i weinidogion a phregeth-

Digitized by Google

wyr o bob parth o Gymru, ac am ei haelfrydedd tuag at bob achos da. Chwaer i Mrs. Phillips oedd anwyl briod y diweddar Barch. W. R. Davies, Caersalem, Dowlais. Bedyddiwyd ein hanwyl chwaer yn Ebenezer, gan y Barch. John Lloyd, o Ferthyr, tra yr oedd hi yn bur ieuanc, a daliodd afael gadarn yn y ffydd hyd y diwedd. Bu yn cadw ei gwely am amryw flynyddau, a dyoddefai y cwbl yn hynod dawel a dirwgnach. Er y cwbl, bu farw yn dra sydyn ac annysgwyliadwy, y mae yn dra thebyg o glefyd y galon. Cafodd bob ymgeledd yn ystod y tymor maith y bu yn orweddog a allasai caredigrwydd priod tyner galon a phlant anwyl, a gallu meddygol, ei weinyddu iddi. Cafodd ergyd trwm yn marwolaeth ei phriod, ac ni fu yn yr anial dyrys ond pedwar ar ddeg o fisoedd cyn myned ato ef i'r wlad well, i bresenoldeb uniongyrchol ei Phrynwr, ac i uno mewn caniadau o folawd iddo byth. Gadawodd bedwar o blant, sef tri mab ac un ferch, mewn galar dwys ar ol un o'r mamau mwyaf tyner a gofalus. Nawdd y Goruchaf a fyddo yn cysgodi drostynt. Bydded i Arglwydd y lluoedd ddwyn y meibion yn lle y tadau, a'r merched yn lle y mamau, yn Seion.

Cafodd yr ymadawedig gladdedigaeth anrhydeddus a lluosog. Gosodwyd ei gweddillion i orwedd yn mynwent Ebenezer, capel y Bedyddwyr Cymreig, hyd foreu udganiad yr udgorn diweddaf. Gweinyddwyd ar yr achlysur gan y Parch. Mr. Plumb, Elton, N. Y., yn absenoldeb yr ysgrifenydd. Heddwch i'w llwch.

W. M. EVANS.

### MRS. PHEBE WILLIAMS.

Yn Freedom, Swydd Cattaraugus, N. Y., Ebrill 2, 1883, bu farw Mrs. Phebe Williams, anwyl briod Mr. D. L. Williams, yn 56 mlwydd oed. Yr oedd Mrs. Williams yn enedigol o ardal Login, Sir Gaerfyrddin, D. C. Ymfudodd hi a'i phriod i'r wlad hon yn y flwyddyn 1851, a sefydlasant yn yr ardal hon. Bu ein chwaer yn dyoddef arteithiau ofnadwy y gymalwst (*rheumatism*) am ugain mlynedd! Bu am wyth mlynedd yn methu cerdded dim. Yr oedd y dolur hwn wedi dirgamu ei haelodau allan o'u ffurf naturiol, fel na fedrai wneyd braidd un defnydd o honynt. Cafodd ei bedyddio ar broffes o'i ffydd yn Mab Duw yn Login, pan yn 16eg oed, gan y diweddar D. Evans, yr hwn oedd yn weinidog yno y pryd hwnw. Daliodd ei gafael yn ei Cheidwad hyd y diwedd. Bendith fawr iddi hi oedd cael ymollyngiad o gadwynau dirdyniadol ei chystudd maith a chaled. Gadawodd briod a dau o blant, sef mab a merch, mewn galar ar ei hol.

Claddwyd hi yn mynwent Ebenezer, capel y Bedyddwyr. Gweinyddwyd ar yr amgylchiad gan yr ysgrifenydd.

W. M. EVANS.

---

## NODION CYFFREDINOL.

—Bu hanesion yn y newyddiaduron yn ddiweddar fod arch Noah wedi ei darganfod gan ddirprwywyr Tyrcaidd oeddynt yn gwneuthur rhyw ymchwiliadau mewn perthynas i *avalanches*, mewn pantle ar fynydd yr Ararat, yn orchuddiedig gan rew, oddieithr ychydig o un pen. Mae wedi ei gwneyd o goed gopher, meddir, math o goed nad yw yn tyfu ond ar wastadeddau yr Euphrates. Gan mai o ffynonell Dyrcaidd y daw y newydd rhyfedd hwn, aroswn nes y cadarnheir yr hanes cyn meddwl ychwaneg yn ei gylch.

—Awgryma papyr Ffrengig y priodoldeb i amryw o'r galluoedd Ewropaidd gymeryd cydfeddiant o Mecca, i'r dyben o roddi atalfa ar y pererindodau Mahometanaidd yno, ac felly i rwystro lledaeniad y colera, yr hwn a achosir trwy dyru cynifer o bobl yn nghyd yn y ddinas heintus hono.

—Haner can' mlynedd yn ol corphorwyd pentref Chicago, yr hwn a orchuddiai y pryd hwnw lai na milldir ysgwâr, gyda phoblogaeth o 350. Yn awr y mae ganddi 600,000 o drigolion, a mesura bump wrth saith milldir. Dyna gynydd cyflym.

—Nid oes ond tri dyn yn Nhy y Cyffredin yn awr oeddynt yno pan esgynodd Victoria i'r orsedd—Mr. Gladstone, Mr. Talbot, yr aelod dros sir Forganwg, a Mr. Villiers, yr aelod dros Wolverhampton. Iarll Grey yw yr unig aelod sydd yn fyw o'r Weinyddiaeth oedd mewn swydd y pryd hwnw.

—Ar ol sefyll allan am tua mis, profodd *strike* y telegraphwyr yn fethiant.

Digitized by Google

—Croesodd yr agerlong "City of Rome," o Queenstown i New York, yn ddiweddar, mewn chwe' diwrnod ac 20 awr a haner—y fordaith gyflymaf a wnaed erioed, meddir. Cymerodd yr "Alaska," yn ei mordaith gyflym yn Mai, chwe' diwrnod, 22 o oriau a 16 o fynydau i groesi.

—Mae John Holland, o Bentonsport, Iowa, yn 102 mlwydd oed. Aeth i Nashua, N. H., yn ddiweddar, i ymweled â'i ferch. Gan fod John yn cnoi tobaco, yn mygu, ac yn cymeryd *toddy* ambell dro, y mae yn lled sicr na fydd efe byw i weled canrif eto.

—Y mae y llywodraeth Ffrengig yn dyner iawn wrth ei charcharorion yn y sefydliadau cosbawl. Mae yn caniatau gwragedd i'r sawl o honynt a'u hewyllysiant, y rhai a gymerir o garcharau Ffrainc.

—Mae gan Kentucky un *pauper* i bob 800 o drigolion; Indiana, un i bob 500; Ohio, un i bob 430; Pennsylvania, un i bob 338; Massachusetts, un i bob 328.

—Yn Kernersville, N. C., siomwyd Philip Comfort gan ei gariad, a bu y truan mor ynfyd a chyflawni hunan-laddiad trwy lyncu papyraid o binau.

## DYDDANION.

### PETHAI ANYMYNOL.

Peth anymynol iw gweled gweraig a et ei gwr ar ei ffen, ac yn smocio pebell mor ddued ar gelo.

Peth anymynol iw gweled merched ieuanc yn cesani ei gilydd, gan fod dygon o fechin ieianc i'w gael.

Peth anymynol iw gweled dyn yn redeg o di i di i gail gweled y WAWR, yn lle ei derbin e in.

Peth anymynol iw gweled gwinidog efengyl yn smocio ar y riolidd.

Peth anymynol iw gweled dyn mewn ymdrech caled i osod dyn mewn swidd am 5 dolar.

Peth anymynol iw gweled gweinidog efengyl a ffelentin ar ei feraich tua mis oid, ac yn dywetid y geiriai yni iwch ei ben, Yr wif yn dy fediddio di yn enw y Tad a'r Mab a'r Ysbryd Glan, ac eb rin gair o fewn i'r Testament Newidd i gyflawni y fath ddefod.

Peth anymynol iw coiddi cwrdd am saith o yr geloch, a neb i'w ddechre cyn with.

Peth anymynol iw gweled riw deg yn redeg o di i di i fegian bwididd, a myned i'r coid y mhorthi arno.

Peth anymynol iw anfon am weinidog i Ren Welad i ddyfod i'r welad hon, ac ar ol iddo ddyfod, gweled ail-odai ei eglwis yn redeg terwi y roll ardal at gwanol genedlodd i dreio gwenithir riw fath o gyfelog iddo, a rai yni yn melldithio y regelwis.

Y riddoch id y tero nesaf,

Y REN BANWR.

—Adroddir y chwedl ganlynol am y Barwn Rothschilds: Un diwrnod daeth y Barwn Von G. i swyddfa yr arianwr mawr. "Cymerwch gadair, syr," ebai Rothschilds, heb godi ei ben oddiar ei ysgrif. "Syr," meddai Von G., "yr ydwyf finau fel chwi, yn Farwn o'r Ymerodraeth, a meddyliwyf y dylaswn gael fy nghyfarch fel y cyfryw." "Mil o bardynau," ebai Rothschilds; "Barwn o'r Ymerodraeth? yna cymerwch *ddwy* gadair, hyd nes y caf gyfle i ymddyddan â chwi."

—Dywedodd Ysgotyn yn ddiweddar am yfwr caled: "Rhoddodd elyn yn ei enau i ladrata ymaith ei ymenydd; ond dychwelodd y gelyn ar ol ymchwiliad manwl, wedi methu cael dim ymenydd!"

—"Beth a'ch dygodd chwi i garchar?" gofynai Yankee i Negro yn y *penitentiary*. "Dau gwnstabl, sah." "Iê, ond a wnelai anghymedroldeb ddim â'r peth?" "Gwnelai sah; yr oeddynt ill dau yn feddw."

—Dywedodd milwr Gwyddelig a ymfalchïai yn ei wroldeb, ddarfod iddo ymladd yn mrwydr Bull Run. Pan ofynwyd iddo a ddarfu iddo encilio a dianc, fel y gwnaeth eraill ar yr achlysur nodedig hwnw, atebodd: "Mae y rhai na redasant yn aros yno eto."

—Gofynodd dyn unwaith i weinidog, os oedd yn bosibl i ddyn berthyn i seindorf bres (*brass band*), a bod yn Gristion. Yr ateb oedd, "Nid wyf yn gwybod paham nad all; ond os bydd yn fynych yn ymarferyd ar ei *cornet* neu *trombone* yn ei gartref, y mae yn anmhosibl i'r dyn sy'n byw y drws nesaf fod yn Gristion."

Digitized by Google

# Y WAWR.

CYF. VIII.] HYDREF, 1883. [RHIF. 7.

# Erthyglau Arweiniol.

## GLYNWN WRTH YR YSGRYTHYRAU.

Y mae ein hoes yn llawn cynhyrfiadau. Y mae y byd yn myned yn ei flaen, ond nid heb olwyno llawer yn anesmwyth. Mae daeargrynfäau mewn manau. Ceir byd ac eglwys yn teimlo yr effeithiau. Fel canlyniad i'r ysgydwadau yn y byd crefyddol, mae llawer o newid yr hen derfynau a osododd y tadau. Mae gwyddoniaeth yn honi pethau mawrion, ac yn cyflawni pethau mawrion. Y mae y naill wyddor yn taflu goleuni ar y llall, nes creu un goleuni mawr gwareiddiol. Ond yr ydym i gofio fod *llawer* iawn o'r hyn a honir fel "goleuni yr oes" yn dywyllwch ac yn gyfeiliornadau dybryd. Drwg-dybiwn bob amser y wybodaeth hono fyddo yn honi gormod. Mae *personau* i'w cael felly. Condemniant ol a blaen bawb a phobpeth. Wrth gwrs, "y nhw" ydynt safonau cred ac ymarferiad. Hyn sydd yn peri i ni deimlo yn ddirmygus at y gwatwarwr Ingersoll. Y mae pawb sydd yn groes iddo ef yn ffyliaid. Y mae yn rhy uchel, yn rhy ddigyfeiliorn, i gydnabod fod neb yn gwybod dim ond efe. Fel y mae rhesymeg gau weithiau yn dangos ei gwendid wrth brofi gormod, felly y mae yr amheuwr hwn, wrth honi gormod o ddoethineb, a thori eraill i lawr ar bob llaw fyddo yn dysgu yn wahanol iddo, y mae yn peri i ni amheu ei anffaeledigrwydd, a thrwy hyny wanhau ein ffydd ynddo. Ond nac ofner, y gwirionedd a saif.

Ein hamcan yn benaf yn hyn o ysgrif yw galw sylw at y ffaith fod llai o amheuwyr i'w cael yn mhlith y Bedyddwyr na'r un enwad arall, a'u cymell i barhau i lynu wrth yr Ysgrythyrau sydd wedi bod yn achos fod llai o wyr felly yn ein plith. Yr ydym wedi cael cryn gyfleusderau yn y blynyddau diweddaf i wybod cyfrinion daliadau gweinidogion ac aelodau perthynol i'r gwahanol enwadau, a gallwn dystio na chyfarfuom ag un engraifft bron yn ein plith ni o neb yn tueddu i wyro mewn barn oddiwrth ddysgeidiaeth gyffredinol ac eglur y Beibl, yr hyn nad allwn ddweyd am aelodau enwadau eraill yn y cysylltiad hwn. Gallwn gyfeirio yn wir at ysgrifau yn y papyrau yn fynych ydynt yn sawrio o'r amheugar; ond nid ydym wedi sylwi fod dim o'r fath yn dyfod o gyfeiriad yr enwad Bedyddiedig. Ebe y gwrthwynebydd, "O, yr

Digitized by Google

ydych chi, y Bedyddwyr, bob amser yn proffesu bod yn well na phawb, ac yn eddwl nad oes neb yn deilwng o'u galw yn Gristionogion ond y chwi." Na, na, peidiwch a thadogi gormod o berffeithrwydd honiadol i ni. Ond honwn gymaint a hyn yn bendant, nad ydym yn ol i neb mewn ymlyniad wrth yr Ysgrythyrau. Iĕ, mwy na hyn, meiddiwn ddweyd, ein bod wedi bod yn fwy ffyddlawn yn ein hymlyniad wrth yr Ysgrythyrau sanctaidd nag unrhyw blaid o bobl. Ein harwyddair erioed sydd wedi bod, "At y gair ac at y dystiolaeth." Ni fynwn i neb ymofyn am le yn ein plith heb broffesu ffydd uniongyrchol yn nysgeidiaeth yr Ysgrythyrau yn yr oll a wnant. Ac os dygwydd weithiau, fel y mae yn eithaf posibl, ac fel yr ydym wedi sylwi weithiau ar hyny yn ffaith, sef, fod unigolyn wedi dod i'n plith oddiwrth enwad arall, neu o'r byd, wedi cydymffurfio yn allanol â'n hegwyddorion, ond heb ei enill yn gydwybodol, nid oes fawr o barch i hwnw (os adnabyddir ef fel y cyfryw) yn ein mysg, gan nad beth fyddo ei ragoriaethau personol.

Y mae yr adeg wedi dod o'r diwedd nad oes dim a saif, dim a lwydda, ond fyddo wedi ei sylfaenu ar y ffeithiau cadarnaf. Nid oes oes hir eto i draddodiadau dynol. Mae gwyddoniaeth yn hawlio y medda hi ffeithiau a gwirioneddau anhyblyg. O'r goreu, gadewch i ni eu cael. At hyn yr ydym bob amser yn cyrchu; am hyn yr ydym yn llafurio. Gallwn fforddio, fel enwad, i longyfarch gwir wyddoniaeth yn ei thaerni am ffeithiau. Credwn hefyd y bydd i'r ysbryd gwyddonol sydd yn gogwyddo mor egniol at ddechreuad pethau, effeithio yn ddaionus er creu awydd cyffelyb yn mhlith enwadau crefyddol i chwilio am *ddechreuad* ymadroddion Duw. Haleliwia, meddwn, henffych i'r dydd pan y byddo hen draddodiadau llesg a thlodion, disail a diwerth, yn cael eu gadael o'r neilldu o'r tu ol am byth, a'r ffeithiau tragywyddol am Iesu o Nazareth yn unig yn sylfaen ffydd ac ymarferiad cyffredinol, a'r pethau a ddysgodd efe i'w ganlynwyr yn cael eu hanwylo fel y trysorau penaf. Gadewch i ni, gan hyny, lynu wrth yr Ysgrythyrau. I ni, nid yw hyn yn un newyddbeth, canys trwy ein holl hanes dyma ein *policy*. Beth bynag fydd chwyldroadau y dyfodol, beth bynag a ddadymchwelir, nis gwn am un o'r pethau a gredir yn ddiamheu yn ein plith, nad yw yn sylfaenedig ar ddysgeidiaeth eglur a phendant yr Ysgrythyrau, ac yn neillduol y Testament Newydd. Yr amddiffyn dwyfol a fyddo arnom, rhag i ni byth wyro oddiar ei lwybrau gwerthfawr drud. Ebe y gwr doeth, "Fy mab, na ollwng hwynt allan o'th olwg, cadw ddoethineb a phwyll; yna byddant yn fywyd i'th enaid, ac yn râs i'th wddf." Felly y dylem ninau yn ein hymlyniad diysgog wrth y gwirionedd fel y mae yn yr Iesu —parchu ei eiriau. "Cylyma hwy am dy wddf, ysgrifena hwy ar lech dy galon."

*Penygraig.* ATHRAWYDD.

—Nis gall y drygionus ofni dim mor ddrwg, na'r cyfiawn ddymuno dim mor dda, ag sydd yn wirioneddol wedi eu bwriadu iddynt.

—Y mae pob cam pechadurus yn symudiad oddiwrth Dduw; y mae pob cam mewn bywyd sanctaidd yn fynediad yn mlaen tuag ato.

Hen awdwr da, a sant rhagorol, a ddywed: "Os ydych yn amcanu at fod yn berffaith, nid oes eisiau i chwi wneyd pethau anghyffredin; ond ceisiwch wneyd pethau cyffredin mewn ffordd anghyffredin o dda. Nac amcenwch at lawer ar unwaith, ond dechreuwch trwy fod yn ffyddlawn ar ychydig."

Digitized by Google

## YR ATHRAWIAETH O GYFIAWNHAD.

GAN Y PARCH. LLEWELYN REES, JOHNSTOWN, PA.

*Rhif I.*

Yr athrawiaeth o gyfiawnhad credadyn yn Nghrist, ni a dybiwn, yw y bwysicaf o holl athrawiaethau y Beibl. Nid priodol chwaith yw dweyd *athrawiaethau* y Testament Newydd. Nid oes ond un yno, sef "yr athrawiaeth sydd yn ol duwioldeb." O herwydd mai un athrawiaeth sydd yno, y mae unoliaeth pethau eraill yn canlyn: "Un Arglwydd, un ffydd, un bedydd, un Duw a Thad oll." Un ffordd, un Bugail, un gorlan, un enw newydd, un wisg, un pâr o esgidiau, un porth, un nefoedd, un genedl, un athrawiaeth, un gobaith, un sect. Yn herwydd lluosawgrwydd yr athrawon sydd yn ac o'r byd, mae lluosawgrwydd pethau eraill yn canlyn. Nid athrawiaeth; ond "athrawiaethau cythreuliaid," duwiau yn lle Duw, arglwyddi yn lle Arglwydd; yn lle Crist, Cristiau; yn lle y ffydd, ffyddiau; yn lle bedydd, bedyddiadau, yn tarddu o air yn meddu pob ystyr; yn lle sect, sectau amryw; yn lle un enw, enwadau; yn lle un corph, cyrph lawer, &c. I fod yn gywir, feddyliwn y dylid dweyd, y wir grefydd, ond crefyddau gau; y ffydd Gristionogol, ond ffyddiau y byd.

Credwn yn ostyngedig mai yr athrawiaeth o gyfiawnhad y credadyn yn Nghrist yw uchel nôd eithaf trefn gras. At hyn y cyfeiria yr holl drefn. Mae yr oll a roddwyd gan y Nef, a'r oll a ofynir gan ddynion, er mwyn cael Duw a dyn i safleoedd cydgyfarfyddol, ar y rhai y gall y blaenaf gyfiawnhau yr olaf. Heb dderbyn y cyfiawnhad sydd yn Nghrist Iesu, nid oes nefoedd i ddyn, ac hebddi nid yw yn bosibl iddo ochelyd colledigaeth. Yn wyneb hyn, pa ryfedd fod y benod dra gogoneddus Rhuf. viii. yn cael ei huchelnod yn yr athrawiaeth dan sylw, ac i'r duwinydd mawr (Paul) fyned i hwyl fawr Gymreig wrth son am dani.

Er mwyn gosod y pwnc holl-bwysig hwn yn y goleuni egluraf ag sydd yn ddichonadwy, ni a sylwn yn fyr ei wahanol agweddau:

I. *Cyfiawnhad ynddo ei hun—beth a feddyliwn wrtho.*

Cyfiawnhad sydd derm llysol, ac arferid ef gynt i ddangos sefyllfa anrhydeddus amddiffynydd (*defendant*) yn wyneb y gyfraith. Golyga y term hwn mewn llysoedd daearol, ddyfarniad ffafriol y llys i'r cyhuddedig—fod y cyhuddiadau yn ei erbyn yn ddisail, ac felly dori grym pob erlyniaeth yn ei erbyn. Yr ystyr hwn a roddir i'r term cyfiawhau yn gysylltiol a'n Hiachawdwr yn mhob man, megys, "Wedi ei gyfiawnhau yn yr ysbryd," hyny yw, fod Duw, trwy adgyfodi ei Fab, a disgyniad yr Ysbryd ar ddydd y Pentecost, yr hyn oedd gyflawniad o addewid y Tad, yn profi fod cyhuddiadau yr Iuddewon yn erbyn yr Iesu i gyd yn anwireddus. Dyma Dduw ei hun, mewn modd neillduol, yn arddel ei Fab trwy ddiddymu ei angau, a'i wneyd yntau yn flaenffrwyth gogoneddus o adgyfodiad y myrdd a gredant ynddo trwy yr ymadroddion am ei farwolaeth iawnol. Dyna yr unig ystyr ddylid roddi i'r term cyfiawnhau yn ei berthynas a'n Hiachawdwr glan, dihalog, a didoledig oddiwrth bechaduriaid. Can belled a hynyna y mae ystyr y term dan sylw yn cyrhaedd yn y defnydd a wneir o hono mewn llysoedd daearol.

Yn nghysylltiad y term â chyfiawnhad y credadyn, y mae iddo ystyr nad yw y term ynddo ei hun yn ei olygu—rhaid wrth eiriau eraill i gynorthwyo i

Digitized by Google

ddangos yr ystyr. Er fod y dyn wedi cael ei gyfiawnhau ger bron Duw, mae yr achwyniadau yn y gynwys-scrif yn aros o hyd am dano, gyda golwg ar ei hen fuchedd. Ni wna Duw ddefnydd danodol na chondemniol o honynt, y mae'n wir, mwy na phe bae wedi eu hanghofio, neu hwy wedi eu gwrthbrofi; eto, gwir yw y cyhuddiadau. Nid yw y dyn wedi ei gyfiawnhau yn ngwyneb y cyhuddiadau; ond yn unig gyda golwg ar y gosb ddyledus. Dedfryd y llys sydd wedi ei drosi ar arall, ac nid y cyhuddiadau. Yr oedd Iesu mawr yn ddihalog (sylwedd yr oen dianaf a pherffaith-gwbl dan y gyfraith) yn ngolwg y Nef--yn gymaint felly ag ar un awr o'i fywyd dygwyddlawn—pan grymai ei ben dan bwys ein bai. Gan hyny, golyga y term dan sylw drosiad dedfryd y llys ar y Meichiau, ac nid trosiad y cyhuddiadau. "Cosbedigaeth ein heddwch ni a roddwyd arno ef," ac nid cyfrifiad o'n beiau gweithredol ni. Dynolryw a bechasant, ond efe a gosbwyd; plant y gwr a'r wraig a aethant ar gyfeiliorn, ond Had y wraig a gafwyd yn nyrysni y goron ddrain, ac o dan ddialedd ofnadwy y Nef ar bechod. Maen tramgwydd tost yw yr athrawiaeth hon i'r Undodiaid a'r Cyffredinoliaid. Methant weled, meddynt, gyfiawnder mewn arbed yr euog, a rhoddi y diniwed i'r fflangell.

I feddwl yr ysgrifenydd, mae y dirgelwch sydd yn oblygedig yn athrawiaeth yr Iawn, fel y delir hi allan genym yn yr ysgrif hon, yn llawer llai na'r dyryswch a'r anghysondeb a geir yr ochr arall. Annealladwy i ni yw, pa fodd y gall y rhai a ymrwystrant gyda yr athrawiaeth fendigedig hon weled caredigrwydd dihalog yn y Creawdwr, pan wedi trefnu i oen, llo, colomen, a chreaduriaid diniwed eraill, gael eu lladd i fod yn fwyd i'r creadur sydd yn pechu yn ddirfawr bob dydd yn erbyn yr Hwn a'i gwnaeth! Annealladwy yw hefyd pa fodd y gall y cyfryw feddylwyr gredu y cyhoeddir *jubili* gyffredinol yn ngororau gwae! Os gall Duw yn mhen can' mil o oesau waredu heb edifeirwch, paham na all yn awr? Pa beth sydd yn amgylchiadau presenol y colledigion, ac yn eu rhagolygon, yn ol ystyr y termau desgrifiadol o'u cyflwr a ddefnyddir yn y Beibl, yn dueddol i dywys i edifeirwch a ffydd, y rhai ydynt amodau maddeuant pechodau? Anmhosibl cael ffydd heb dystiolaeth, ac anmhosibl cael edifeirwch gwirioneddol y galon, heb ddadblygiad o gariad a charedigrwydd at y pechadur. Credwn fod bodolaeth anwn a'i phoenau annesgrifiadwy yn ddadblygiad o gariad a daioni; ond at bwy? Nid at y rhai a boenir. Iaith ffeithiau profedig yn amgylchiadau y cyflwr anaele yw, "Ha fab, coffa i ti dderbyn dy wynfyd yn dy fywyd, ac felly Lazarus ei adfyd; ac yn awr y dyddenir ef, ac y poenir dithau." A oes tuedd mewn cosb i ddwyn dyn i gasau y trosedd a'i dygodd i'r poen hwnw? Nac oes. Mae yn anathronyddol wrth hanes yr hil a chythreuliaid, ac yn ngwyneb egwyddorion trefn Duw at y "carcharorion gobeithiol" ar y ddaear. Rhaid cael caredigrwydd dadblygedig at y pechadur i'w dywys i edifeirwch. Cymwynasgarwch a hir-amynedd sydd gan Dduw i beri edifeirwch. Gall dyn drwy gosb drom gael ei wneyd i fod yn fwy gochelgar a chyfrwys i ymgadw o afaelion dialeddol y gyfraith; ond sicr genym na wna iddo garu y gyfraith a'i cosbodd, na'r swyddogion a'i daliodd. Byddai yn dda i holl lunwyr cyfreithiau a gweinyddwyr dysgyblaeth

Digitized by Google

mewn teuluoedd ac eglwysi gofio hyn. Os mynir cael dyn yn rhydd oddiwrth ei fai, yr hyn yw holl ddyben yr efengyl ar y ddaear, gofaler fod gonestrwydd a chariad gwresog a phur yn cyd-ieuo yn y drefn yr ymddygir tuag ato.

## SECT MAE YN MHOB MAN DDYWEDYD YN EI HERBYN.

Mr. Gol.—Gwelaf fod syniadau Spurgeon a Robert Hall ar Gymundeb wedi eu codi mewn rhan yn y *Cenhadwr* y misoedd diweddaf, gyda y bwriad, mae yn debyg, o feithrin teimladau drwg tuag at y Bedyddwyr. Ymddangosodd yr un pethau yn y *Cyfaill* er's amser yn ol, gyda yr un bwriad, mi gredaf. Barnwyf fy mod i ac eraill wedi dangos yn ddigon eglur i bob dyn rhesymol, nad yw y Bedyddwyr yn haeddu y cyhuddiad a ddygir yn eu herbyn, eu bod yn gaeth gymunwyr. Nid wyf yn bwriadu gwneyd un sylw ar waith y Cyhoeddiad a nodwyd, ond yn unig ddweyd, na byddai yn amgen na thegwch yn y rhai sydd yn ein beio roddi i'r cyhoedd gerydd R. Hall i'r taenellwyr am eu bod yn beio y Bedyddwyr. Mae y cerydd yn darllen fel y canlyn: "Mae y Bedyddwyr a'r taenellwyr yn cyduno mewn un egwyddor oddiwrth yr hon mae yr arferiad a ystyrir mor wrthwynebol yn ganlyniad angenrheidiol. Dylai hyn atal y dirmyg, a dystewi twrw cynhyrfus y rhai a gondemniant y Bedyddwyr am ymddygiadau, y rhai, pe baent ond cyfnewid eu syniadau ar y pwnc o fedydd, byddai i'w hegwyddorion eu hunain eu gorfodi i'w mabwysiadu." A wnaiff Gol. y *Cenhadwr* roddi y cerydd uchod yn ei Gyhoeddiad y cyfle cyntaf? Nid oes un enwad o daenellwyr wedi mabwysiadu golygiadau Spurgeon a Hall ar gymundeb, ac eto condemniant y Bedyddwyr trwy y blynyddoedd am beidio eu mabwysiadu. Mae cysondeb yn galw am iddynt, naill ai derbyn golygiadau y dynion uchod ar gymundeb, neu ynte roddi heibio gondemnio y Bedyddwyr byth mwy.

Gwelaf hefyd fod rhywun yn yr un Cyhoeddiad am Mehefin a Gorphenaf, o dan fantell dienw, yn beirniadu fy ysgrif yn y Wawr, ar "Ddechreuad Bedydd Babanod." Buasai yn dda genyf gael amddiffyn fy hun yn yr un Cyhoeddiad ag y beirniedir fi ynddo, ond mae y ffafr hono wedi ei gwrthod i mi eisoes yn y *Cyfaill* a'r *Cenhadwr*, yr hyn, yn fy marn i yw hanfod sectariaeth a chulni. Cwyna fy ngwrthwynebwr o herwydd brawddeg o'm heiddo, ei bod yn "angharedig ac anfrawdol." Ond yr wyf yn methu deall paham y dylai un taenellwr gynhyrfu o herwydd y frawddeg hono, gan ei bod yn cyfeirio at amser pell, pell, cyn bodolaeth un enwad o daenellwyr ar y ddaear. Nid wyf yn barnu ei fod yn gyfiawn condemnio neb am weithred a wnaed cyn eu geni. Cyfeirio yr wyf at Fedyddwyr y canrifoedd cyntaf, y rhai oeddynt wedi myned yn afiach yn y ffydd mewn perthynas i fedydd, fel yn hanfodol i iachawdwriaeth, hyd yn nod fabanod, a'r cyfeiliornad hwnw yn eu ffydd wedi achosi cyfeiliornad yn eu gweithredoedd, fel yr aethant i fedyddio plant a fuasent yn afiach, ac yn debyg o farw, oblegid credent nad oedd gobaith am neb a fuasai farw yn ddifedydd, fod dim yn ei aros ond damnedigaeth; ac ymddengys fod y dybiaeth hon wedi ei choleddu mor gyffredinol gan y tadau Cristionogol, yn ol tystiolaeth Dr. Wall, yr hwn a ddywed "eu bod, er yn gwahaniaethu

Digitized by Google

mewn pethau eraill yn nghylch iachawdwriaeth babanod, eto credent oll fod y rhai oedd yn meirw yn ddifedydd yn colli y nef." Y tadau hyn, trwy eu hurtrwydd sydd wedi bod yn euog o newid gorchymyn yr Arglwydd Iesu Grist, o ran dull a deiliaid. Hwynthwy a ddygasant i mewn y cyfnewidiad sydd wedi troi allan o eglwys Crist y darlun prydferth a roes ef ynddi o'i ddyoddefiadau, ei farw, ei gladdu, a'i adgyfodi. Hwy yn briodol ydynt y cysegr-ysbeilwyr y cyfeiriaf atynt yn y sylwadau o'm heiddo, y rhai y cwyna fy ngwrthwynebwr o'u herwydd; ac os yw ef yn meithrin ac amddiffyn yr unrhyw gyfeiliornad, y mae yn dyfod yn agored i'r un cyhuddiad, mor bell ag y mae yn tebygu i'r tadau boreuol hyn.

Ymddengys hefyd nad yw fy nhystion ar "ddechreuad bedydd babanod" yn boddloni fy adolygydd. Dylasai sylwi na addewais ar y cyntaf roddi iddo hanes mor fanwl am ei ddechreuad fel ag i nodi yr wythnos, na'r mis, nac hyd yn nod y flwyddyn y dechreuwyd bedyddio babanod; oblegid dygais un tyst sydd yn dywedyd "nas gellir dweyd yn bendant a manwl yr amser y dygwyd ef i mewn." Ond y maent oll o'r braidd yn cyd-dystiolaethu mai tua diwedd yr ail, neu ddechreu y drydedd ganrif y dechreuodd. Cwynir hefyd fod fy nhystion, amryw o honynt, yn rhai dinod, diweddar, anmherthynasol, ac anadnabyddus.

Ar ol siarad yn isel am lawer o'm tystion, mae fy meirniad yn dyfod a'i dystion yn mlaen, y naill ran o honynt heb fod yn fwy boreuol nac adnabyddus, nac ychwaith un yn fwy nodedig mewn dim na y rhai a ddygais i yn mlaen. Dygir hefyd amryw dystion boreuol iawn—rhai oedd yn byw yn fuan ar ol yr apostolion; ond dyna sydd yn ofidus i'm cyfaill, nad oes un o honynt, hen na diweddar, yn cyfeirio at benod, adnod, na gair o'r Ysgrythyrau i brofi bedydd babanod. Haerant ei "fod yn arferiad yr Eglwys Gyffredinol, yn draddodiad apostolaidd, a'i fod wedi ei drosglwyddo i lawr oddiwrth yr apostolion," &c. Pe buasai y tadau boreuol hyn yn dyfod ag un adnod i'r pwrpas o'r Testament Newydd, buasai yn ddigonol brawf, tra nad yw deng mil o'r fath haeriadau yn profi dim ond un peth, a hyny ydyw, eisieu prawfiadau gwell. Cofier hefyd mai yr un dynion sydd yn cael eu dwyn yn mlaen gan yr Eglwys Babaidd i brofi y naill haner o'i thraddodiadau ofergoelus, ac mai yn yr un dull y mae y Pab yn amddiffyn ei draddodiadau ag y mae y tadau hyn yn amddiffyn bedydd babanod, sef, fel arferiad yr eglwys, wedi ei gario i lawr oddiwrth yr apostolion. Ond pa fodd y daeth i lawr, a thrwy bwy, ac at bwy, i ba le, a pha bryd y daeth, ni chynygir dweyd, ac nis gwyr neb—hyd yn nod yr Hollwybodol ei hun; a hyny o herwydd y rheswm na chymerodd y fath beth le erioed. Os do, profer hyny. Peth arall, os yw tystiolaeth y dynion hyn yn profi rhywbeth, mae yn profi mai ar y cleifion y dylid gweinyddu bedydd, oblegid mai plant yn ymyl marw a fedyddid ar y cyntaf. Mae yn rhaid i'm gwrthwynebwr, yn nghyda thaenellwyr yr oes hon, fyned at ryw dadau eraill i chwilio am sail i fedyddio babanod iach. Edrychai y tadau Cristionogol hyn ar fedydd fel talfyriad o bethau dwyfol, ac yn gofyn tynerwch (*indulgence*) Duw yn y gweinyddiad o hono. Ai felly y mae taenellwyr yn edrych arno yn awr, atolwg? Os felly, nid ydynt yn rhwym o brofi ei fod yn Feiblaidd. Ymddeng-

Digitized by Google

ys fod pethau yn arwain i'r tir hwn. Dywedodd Henry Ward Beecher, mewn pregeth a draddododd yn Brooklyn, Mai, 1864: "Os dengys profiad fod rhyw ordinhad neillduol yn dda, y mae genych hawl i'w mabwysiadu, pa un bynag a ydyw yr Ysgrythyr yn cyfeirio ati neu beidio. Eich rhagorfraint yw gwneyd felly, am eich bod yn Gristionogion, ac yn rhydd, heb fod yn rhwym i unrhyw ddefod nac arferiad." Ar y tir yma, gall y Pab o Rufain amddiffyn pob defod a osododd yn yr eglwys Babaidd, a herio gwrthwynebiad holl daenellwyr y byd; oblegid gall ddyfod a thystion lluosocach na hwynt oll, i brofi fod yr holl ddefodau a ddygodd ef i mewn i'r eglwys yn dda. Os taw rhywbeth fel hyn yw Independiaeth, gellir dweyd yn briodol, "Oddi wrthynt hwy oll, gwared ni, Arglwydd daionus." Ond pa ddyben ydyw ysgrifenu ar y pwnc hwn i'r WAWR, gan fod ei ddarllenwyr yn Fedyddwyr digon cadarn eisoes? Gan hyny, ni fwriadaf ysgrifenu rhyw lawer yn ychwaneg. Yn fy nesaf, bwriadaf ychwanegu at fy nhystion, a'r rhai hyny yn fwy adnabyddus, fel na byddo y gwrthwynebiad hwnw yn cael ei ddwyn yn eu herbyn, nac un gwrthwynebiad arall.

*Wis.* W. JONES.

---

# Amrywiaethol.

## CATECHISM Y BEDYDDWYR;

*Neu, Addysg Fer yn Egwyddorion y Grefydd Gristionogol, yn unol a Chyffes Ffydd Cymanfa Llundain, 1689. Cyfieithiedig gan y Parch. R. Ellis (Cynddelw).*

Gwyr cedyrn yn yr Ysgrythyrau oedd hen Fedyddwyr yr ail-ganrif-arbymtheg. Mae genyf chwech o wahanol Gyffesau Ffydd, y rhai a gyhoeddent o bryd i bryd er amddiffyn eu hunain rhag enllib a gormes. Yr olaf a gyhoeddasant ydyw Cyffes Ffydd Cymanfa Llundain, yn 1689, ac o'r Gyffes hono y tynwyd yr Holwyddoreg hon, yr hon a alwyd mewn ffordd o arbenigrwydd, "THE BAPTIST CATECHISM." Cafodd ei chyhoeddi yn fuan ar ol y Gymanfa hono. Nid oedd yr hen frodyr da yn golygu i'w penderfyniadau hwy mewn Cymanfa fod yn amod aelodaeth, ond yn ddatganiad o'u golygiadau, ac yn help i'r eglwys ddeall yr Ysgrythyrau; a thybiaf y gall y Catechism hwn lesoli deiliaid ein hysgolion Sabbothol, a'n haelodau eglwysig hefyd. Rhenais y gwaith yn benodau er hwylusdod i'r ysgolion. Os gwna yr athrawon a'r dysgyblion ddysgu yr adnodau yn llawn, a'u hadrodd yn y manau y maent wedi eu nodi, a chroesholi ychydig, cânt weled yn fuan fod y Catechism hwn yn gorph cynwysfawr o dduwinyddiaeth iachus. Mewn gobaith y caiff dderbyniad croesawgar gan ieuenctyd ein heglwysi, y gorphwys—*Y Cyfieithydd.*

### PENOD I.

### *Am Dduw.*

GOFYNIAD. 1. Pwy yw y bôd cyntaf a phenaf?

ATEB. Duw. Esa. xliv. 6. xlviii. 12. Salm xcvii. 9.

G. 2. A ddylai pawb gredu fod Duw?

A. Dylai pawb (Heb. xi. 6.); ac ynfydrwydd yw peidio. Salm xiv. 1.

G. 3. Pa fodd y gwyddom fod Duw?

A. Y mae goleuni natur mewn dyn, a gweithredoedd Duw, yn datgan yn amlwg ei fod (Rhuf. i. 19, 20. Salm xix. 1—3. Act. xvii. 24); ond ei air a'i Ysbryd yn unig sydd yn gwneuthur hyny yn llawn ac effeithiol er iachawd-

Digitized by Google

wriaeth pechaduriaid. 1. Cor. ii. 10. 2 Tim. iii. 15, 16.

G. 4. Pa beth yw gair Duw?

A. Ysgrythyrau sanctaidd yr Hen Destament a'r Newydd yw gair Duw, ac unig reol anffaeledig ffydd ac ufudd-dod. 2 Tim. iii. 16. Eph. ii. 20.

G. 5. A ddylai pawb ddefnyddio yr Ysgrythyrau sanctaidd?

A. Nid yn unig caniateir i bawb, ond gorchymynir i bawb, ac anogir pawb i ddarllen, gwrandaw, a deall yr Ysgrythyrau. Ioan v. 38. Dat. i. 3. xvii. 18, 19. Act. viii. 30.

G. 6. Pa bethau a gynwysir yn benaf yn yr Ysgrythyrau sanctaidd?

A. Cynwysant yn benaf yr hyn a ddylai dyn ei gredu am Dduw, a pha ddyledswyddau a ofyna Duw gan ddyn.

G. 7. Pa beth yw Duw?

A. Ysbryd yw Duw. (Ioan iv. 24), anfeidrol (Job xi. 8, 9), tragywyddol (Salm cx. 2), anghyfnewidiol (Iago i. 17), yn ei hanfod (Exod. iii. 14), ei ddoethineb (Salm cxlvii. 5), ei allu (Dat. iv. 8), sancteiddrwydd (Dat. xv. 4), cyfiawnder, daioni, a gwirionedd. Exod. xxxiv. 6.

G. 8. A oes mwy nag un Duw?

A. Nac oes, dim ond un bywiol a gwir Dduw. Deut. vi. 4, 7 Jer. x. 10.

G. 9. Pa sawl person sydd yn y Duwdod?

A. Y mae tri pherson yn y Duwdod—y Tad, y Mab, a'r Ysbryd Glan; a'r tri hyn ydynt un Duw, yr un mewn sylwedd, cydradd mewn gallu a gogoniant. 1 Ioan v. 7. Mat. xxviii. 19.

G. 10. Pa beth yw arfaethau Duw?

A. Arfaethau Duw yw ei fwriadau tragywyddol yn ol cyngor ei ewyllys, yn yr hyn, er ei ogoniant ei hun, y rhagordeiniodd efe pa beth bynag a ddygwydda. Eph. i. 4, 11. Rhuf. ix. 22, 23.

G. 11. Pa fodd y mae Duw yn cyflawni ei arfaethau?

A. Y mae Duw yn cyflawni ei arfaethau yn ngweithredoedd creadigaeth a rhagluniaeth.

G. 12. Pa beth yw gwaith y greadigaeth?

A. Gwaith y greadigaeth yw gwaith Duw yn gwneuthur pob peth o ddim, trwy air ei nerth, mewn chwe' diwrnod, a phob peth yn dda iawn. Gen. i. oll. Heb. xi. 3.

---

## NATUR BARDDONIAETH.

Cytunir yn gyffredin mai iaith y nwydau, neu y dychymyg, wedi ei fywiogi, a hono wedi ei ffurfio yn fynychaf mewn mesur penodol, yw barddoniaeth. Metha athronwyr a phenderfynu yn mha le i osod y llinell rhwng prydyddiaeth a rhyddiaeth, neu draethawd. Celfyddyd greadigol yw prydyddiaeth, a'i dyben yw difyru y serch, a chynhyrfu y teimladau gyda nerth ac egni. Golygid prydyddiaeth, a hyny efallai, yn briodol, y fwyaf dwyfol o'r holl gelfyddydau; oblegid anadliad, neu amlygiad, o'r egwyddor hono sydd ddyfnaf a goruchelaf yn y natur ddynol ydyw—mewn geiriau eraill, egwyddor y chwenychiad hwnw, nad oes un meddwl dynol yn ddyeithr iddo, am ryw beth cryfach, uchelach, a mwy treiddiol, nag a all bywyd cyffredin ei roddi. Nid oes un athrawiaeth yn fwy hysbys yn mhlith Cristionogion nag anfarwoldeb dyn; ond nid ydyw hyny mor ddealladwy i lawer, fod egin, neu egwyddorion, bywyd dyfodol y credadyn, yn awr, wedi eu hamdoi yn ei enaid, fel y mae egwyddorion y planigyn yn yr hedyn. Fel canlyniad anocheladwy i'r cyfansoddiad hwn, y mae yr enaid, wrth gael ei feddiannu gan y galluoedd nerthol hyn, yn ymestyn beunydd tu draw i'r hyn sydd yn bresenol ac yn weladwy, gan ymdrechu yn erbyn rhwymau ei garchardy daearol, a cheisio gwaredigaeth a llawenydd mewn pethau anweladwy. Yn debyg i hyn y mae ysbryd prydyddol yn meddwl dyn; nid yw bardd yn foddlawn ar bethau gweladwy yn ei ymyl, ond y mae yn ymestyn at bethau anweladwy a dychymygol; y mae hyn yn ein harwain at ffynonell darddiol prydyddiaeth. Y mae yr hwn nad all ddeongli, drwy ei wybodaeth ei hun, yr hyn a ddywedwyd, yn awr, heb feddu y gwir agoriad i weithion o athrylith. Nid yw efe wedi treiddio i ddirgelfa-

Digitized by Google

oedd cysegredig yr enaid, lle y genir ac y megir prydyddiaeth, ag sydd yn tynu i fewn nerth anfarwol, gan bar-otoi ei hadenydd i'w ehediad nefol. Prydyddiaeth yw un o'r moddion pen-af i goethi a dyrchafu cymdeithas. Y mae yn codi y meddwl uwchlaw byw-yd cyffredin, rhydd iddo seibiant oddi-wrth ofalon trwmfrydig. Y mae yn tueddu, pan fo yn gweithredu yn bri-odol, fel Cristionogaeth, i ysbrydoli ein natur. Y mae yn wir fod pryd-yddiaeth wedi cael ei gwneuthur yn offeryn o ddrygioni, &c., ond pan y mae yn ymostwng fel hyn, y mae yn tywyllu ei thân, ac yn colli llawer o'i grym. Y mae prydyddiaeth yn perth-yn yn agos i'n serchiadau goreu. Y mae yn ymhyfrydu yn nhlysni a gor-ucheledd natur yn allanol, ac yn yr enaid. Ei dyben mawr hi yw cludo y meddwl tu draw, ac uwchlaw llwybrau sathredig, sychlyd, a blinderus bywyd cyffredin, a'i ddyrchafu i elfen burach. —*Caledfryn.*

## ANGHYMEDROLDEB.

Y mae y gair hwn wedi cael ystyr mwy cyfyng na'i wir ystyr. Y mae yn cael ei gymwyso yn gyffredin at berson-au sydd yn arfer a chymeryd gwirod-ydd poethion; ond y mae yr un mor gymhwysadwy at bob troseddiad o ddeddf cymedroldeb. Y mae pob gweithred a ellir ei gwneyd yn gyf-reithlawn er lles i un ei hun, pan garir hi i eithafion, yn weithred o anghym-edroldeb; ac y mae pob gweithred o'r fath, yn gynarach neu yn ddiweddar-ach, yn cael ei dilyn gan ryw fath o ddyoddefaint, yn ol ei natur a'i gradd. Y mae gormod o lafur corph neu fedd-wl yn gymaint o anghymedroldeb ag ydyw i ddyn wneyd ei hun yn ddwl neu yn hurt drwy gymeryd ymborth, neu drwy gymeryd gwirodydd yn afres-ymol neu yn benchwiban; ond y mae gwahaniaeth mawr yn y gradd o ang-hymedroldeb yn y mathau o eithafion. Nid ydyw anghymedroldeb mewn as-tudiaeth, yr hyn sydd yn dwyn mar-wolaeth anamserol ar rai prydiau, yn cael ei gollfarnu fel trosedd anfoesol (er yn ddiau ei fod), oblegid fod y dy-ben sydd yn arwain i hyny yn cael ei ystyried yn un anrhydeddus. Y mae colli iechyd a chymeriad drwy gamarfer yr hawlfraint o gymeryd lluniaeth, yn cael ei chollfarnu yn gyffredinol, obleg-id fod y dyben a'r gweithredoedd a wnelir mewn ufudd-dod i'w gymelliad-au, yn afresymol ac yn waradwyddus. —*A. C.*

## DEIGRYN MERCH.

Deigryn merch, O pa beth ydyw?
  *Gem* dysgleiriaf cariad pur,
Gloddiwyd o ddyfnderau calon
  Bery'n ffyddlon fel y dur;
Ac fel gemau yn gyffredin,
  Y mae'r deigryn hwn yn *ddrud*—
Yn rhy ddrud i neb ei brynu
  A dillynaf aur y byd.

Deigryn merch, O pa beth ydyw?
  *Gwlithyn* tyner purdeb serch,
Wthiwyd dros geulanau'i chalon
  Gan ryw brofedigaeth erch;
Araf-dreigla dros ei gruddiau
  Yn arwyddlun teg ei lun
O'r diffuant serch sy'n foroedd
  Llawn yn nghalon dyner mun.

Deigryn merch, O pa beth ydyw?
  Rhyw weledig swynol *ddawn,*
Mewn mudanrwydd geir yn siarad
  Geiriau oll o serch yn llawn;
Pan mae'r *tafod* wedi methu
  Traethu iaith y galon lwys,
Gall y *deigryn* wneuthur hyny
  Gyda swyn-gyfaredd dwys.

Er y bydoedd, ni charaswn
  Fod yn achos byth i'r un
Deigryn *gofid* i ymlwybro
  Dros angylaidd ruddiau mun;
Ond mi garwn fod yn gyfryw
  Yn eich syniad, anwyl ferch,
Fel y gallech, yn eich cariad
  Ataf, golli "deigryn serch."

—*Y Frythones.*

Digitized by Google

## JEHOFAH.

Fe roddodd y Mawrhydi Dwyfol ei enw mawr a phriodol i Moses, sef JEHOFAH, (Ex. vi. 2, 3), gan ddywedyd na fu erioed yn adnabyddus i Abraham, Isaac, na Jacob, wrth yr enw Jehofah. Y mae y Mawrhydi Dwyfol wedi gweled yn dda amlygu ei hun yn yr enw Jehofah, fel enw priodol iddo ef ei hun yn unig; hyny, yw, yn anghysylltiedig ag unrhyw wrthddrych arall, megys Duw Abraham, Duw Israel, Creawdwr, Duw y duwiau, &c. Dan yr enwau a nodwyd olaf y mae ei Fawredd yn amlygu ei hun; ac felly yn cael ei adnabod fel Creawdwr y nefoedd a'r ddaear, a'r hyn oll sydd ynddynt, yn ei ragoriaeth ar bob gwrthddrychau eraill a elwir yn dduwiau; ac fel unig wrthddrych addoliad Abraham, Israel, a'r holl dduwiolion yn mhob oes. Ond yn yr enw Jehofah y mae y Mawrhydi Dwyfol yn amlygu ei fodolaeth oruchel ac hunan-ymddibynol ynddo ei hun, yn anghysylltiedig â'i weithredoedd, ac â'i holl greaduriaid. Y mae dysgedigion yn addef fod yn anhawdd deongli yr enw Jehofah yn eglur a phriodol. Fe olygai y dysgedigion Iuddewig ei fod yn enw dirgelaidd ar yr unig wir Dduw, ac na ddarfu i neb ei ddeall ef wedi y prophwydi; ac am hyny nid ydynt hwy un amser yn seinio yr enw Jehofah, ond yn arfer y gair *Adonai*, sef Arglwydd, yn ei le ef, pan y darllenant lyfrau Moses, y Salmau, y Prophwydi, &c. Diau mai y deongliad goreu a fedrwn gael o'r enw gogoneddus hwn, Jehofah, ydyw yr hyn a ddywed Duw ei hun am dano ei hun, yn Ex. iii. 14, sef YDWYF YR HWN YDWYF. Hyny yw, Bôd yn hanfodi ynddo ei hun, yn annibynol ar neb nac ar ddim arall; yr hyn ni ellir ei ddywedyd am neb ond am Dduw yn unig. Dengys yr enwog Calmet, ac eraill, fod yr Iuddewon yn golygu yr enw Jehofah yn annhraethadwy, ac na ddarfu i neb ond dynion sanctaidd Duw, megys Moses, y prophwydi, &c., ddeall gwir ystyr yr enw goruchel hwn a roddodd y Mawrhydi Dwyfol arno ei hun idd ei was Moses yn Horeb; ac felly nad all, neu o leiaf na ddylai, dynion adrodd, dywedyd, neu seinio yr enw sanctaidd a dirgelaidd hwn, oddieithr mewn gweddi; os byddent yn gyntaf wedi deall ei wir ystyr.—*Y Parch. John Jenkins, D. D., Hengoed.*

## Y WEINIDOGAETH.

"Rhoddwch i ni weinidogaeth ddysgedig," yw galwad yr oes euraidd hon. Cyflawnir hyn, ac eto darbosiad anegluradwy yw, fod llawer o eglwysi enwadol sydd a gweinidogaeth ddysgedig ganddynt, wedi hyfforddiad neillduol mewn llenddysg a duwinyddiaeth am saith mlynedd, yn methu yn eu hamcan o alw allan ddynion at grefydd, ac y mae llawer o'r eglwysi yn weigion o wrandawyr. Os oes cymaint o ymddibynu ar weinidogaeth ddysgedig, glasurol a duwinyddol, paham y metha y weinidogaeth gyrhaedd y bobl, a methu yn hollol eu dwyn i ystyried eu dyfodol mawr? Er eu holl golegau clasurol a duwinyddol, a'u hymddibyniad ar y nod uchel o ddysgeidiaeth brofadwy, paham y mae cymaint o weinidogion orthodoxaidd heb alwedigaeth yn yr eglwysi enwadol, a phaham y mae rheidrwydd arnynt i geisio bywoliaeth mewn gwahanol alwedigaethau bydol? Clywir llawer o dwrf am ddysgeidiaeth a gwaddoliad i golegau, a dywedir llawer ar y rheidrwydd o ddysgeidiaeth uwchraddol, er cyfarfod anffyddiaeth ac amheugarwch yr oes; ac eto y mae pobl lawer yn ymbalfalu mewn tywyllwch ysbrydol, ac yn myned o ddrwg i waeth. Ffaith yw fod y mwyafrif o'r gweinidogion clasurol yn methu cyrhaedd y bobl, ac os na ellir eu cyrhaedd, ofer yw dysgwyl am eu troedigaeth.

Dymunol iawn yw caffael dysgeidiaeth, ond onid oes yna rywbeth arall, mwy pwysig, yn hawlio sylw y weinidogaeth yn narbosiad adenedigaeth foesol na'r hyn a elwir yn gyffredin "dysgeidiaeth?" Dysgeidiaeth, heb ei sancteiddio gan weddi a chariad at Dduw, sydd fel halen wedi colli ei flâs, a phrofa yn ddamnedigaeth yn hytrach

nag yn fendith i gymdeithas. Rhaid i'r dysgawdwyr a ymofynant yn unig am fywyd alwadol (*professional life*), y rhai a ddysgwyliant i'r bobl eu gwasanaethu, a'r rhai a wrthodant wasanaethu y bobl yn gyfartal â'r bobl, fel ag i'w dyrchafu, droi allan yn fethiant.

Mae y wlad yn cael ei rhedeg gan ddysgedigion, y rhai sydd heb le, nerth, na dylanwad. Llawer o honynt ydynt mewn sefyllfa gardotawl; ac eto dynion cyffredin, heb feddu dysgeidiaeth uwchraddol, mewn galwad parhaus, a chanddynt fwy o waith nag a allant gyflawni. Y mae yn ffaith nodedig fod llawer o bregethwyr colegawl yn gwneyd hysbysiad am leoedd—yn ceisio lleoedd trwy ohebiaeth, gan ymddibynu llawer ar y ddiareb, "Cân di benill mwyn i'th nain, fe gân dy nain i tithau," a phan yn methu cael galwad yn gorfod ceisio galwedigaeth arall. Y mae galwad parhaus am weinidogaeth glasurol, a hawlir na lwydda yr eglwysi heb y cyfryw, tra y mae rhif luosog o weinidogion clasurol yn methu a chael galwad, a llawer o'r rhai sydd yn pregethu, yn pregethu i seddau gweigion, a *self-made men* mewn galwad parhaus. Paham y mae hyn? Ai am fod dynion yn cael eu dysgu uwchlaw y bobl, yn hytrach na'u dysgu i lawr at y bobl? neu ynte am mai dysgeidiaeth feddyliol, heb ddysgeidiaeth y galon yw? Neu ddysgeidiaeth swyddol, ac nid un Gristionogol?—neu ddysgeidiaeth yn llawn o gariad at Dduw, ac yn anadlu ysbryd Crist. Dysgeidiaeth sydd yn arwain i lawr i ddyfnderau isaf dyoddefiadau dynol; ac nid dysgeidiaeth sydd yn ceisio parch ac anrhydedd a chymeradwyaeth dynion. Dysgeidiaeth yn golygu gwaith sancteiddiol; ac nid un yn ymgeisio am oruchafiaeth. Mae dylanwad a llwyddiant y weinidogaeth yn ymddibynu mwy ar egwyddor bur a bywyd dilychwin—bywyd wedi hollol aberthu ei hunan i waith y weinidogaeth, o gariad at Dduw a lles eneidiau. Dynion yn llawn o ysbryd Duw, sel dros y gwirionedd, a'r cariad hwnw yr hwn a'u cynorthwya, wedi cwblhau pob peth, i sefyll. Yr eiddoch,

*Lewisburgh.* PERERIN.

## ARDDODIAD DWYLAW.

Ymddengys yn eglur i mi ei fod yn annichonadwy i neb ddwyn unrhyw honiad tebyg i reswm safadwy, i brofi y gallasai fod unrhyw ddyben mewn golwg, nac un amcan yn cael ei ateb, yn ngwaith yr apostolion yn gweddio dros, ac yn gosod eu dwylaw ar Barnabas a Saul, wrth eu neillduo i faes eu llafur gweinidogaethol yn mhlith cenedloedd, heblaw sefydlu, trwy gyfarwyddyd yr Ysbryd Glan, ac wrth hyny egluro i ni y rheol sanctaidd wrth yr hon y mynai Pen yr eglwys i'w swyddogion gael eu hurddo, neu eu hordeinio i wasanaethu eu gwahanol swyddau yn ei eglwys ef yn y byd hyd ddiwedd amser; canys pwy a ddichon brofi fod unrhyw achos yn galw am, na bod unrhyw ddyben neillduol yn cael ei ateb trwy weddio dros, a gosod dwylaw ar y diaconiaid a'r gweinidogion gan yr apostolion a'u cydlafurwyr, ar sefydliad y cyfryw swyddwyr gyntaf yn yr eglwys efengylaidd, mwy nag sydd yn bresenol o alwad am arfer yr unrhyw drefn wrth ordeinio gweinidogion a diaconiaid dewisedig gan yr eglwysi i weini eu gwahanol swyddau yn eu plith. Gan nad oedd unrhyw ddawn neillduol yn cael ei gyflwyno gan yr apostolion i'r saith diacon, na chan y brodyr yn Antiochia i Barnabas a Saul, trwy weddio drostynt a gosod dwylaw arnynt, wrth eu neillduo idd eu gwahanol swyddau, y mae yn amlwg nad allasai fod dim mewn golwg, nac un dyben yn cael ei ateb, yn y cyfryw ddefod neu gyflawniad, yn amgen na gosod trefn Duw mewn gweithrediad, yn nghyda dangos i ninau y rheol a'r modd i neillduo neu ordeinio swyddogion yn eglwysi Crist yn ol y gosodiad dwyfol hyd ddiwedd amser.—*Y Parch. John Jenkins, D.D., Hengoed.*

Yn y prydnawn rhesyma â thi dy hun, a dywed, Pa fodd y treuliais i y dydd hwn? A ydwyf yn well nag oeddwn ddoe? A ddarfu i mi, trwy ras Duw, orchfygu unrhyw ddrwg? Os do, llawenha, a rho'r gogoniant i Dduw.

Digitized by Google

## YMERAWDWYR RHUFAIN.

Arosodd yr ymerodraeth, ar ol marwolaeth Augustus, am agos i dri chanrif, mor belled ag yr oedd ei threfniadau gwladwriaethol yn myned, braidd yr un peth ag oeddynt yn ei amser ef; ac nid yw Hanesiaeth Rhufain, yn ystod yr amser hwnw, fawr arall ond hanes nodweddiadau personol o'r naill ymerawdwr ar ol y llall. Ymddengys fod rhai o honynt yn engreifftiau, o ran eu nodweddiadau, o'r llygredd a'r drygioni eithaf ag y dichon y natur ddynol byth gyrhaedd; yr oedd eraill o honynt yn ddynion gwir fawr o ran eu meddyliau, ac yn wir deilwng o'u sefyllfa. Ar y cyntaf, yr oedd yr ymerodraeth yn cael ei meddianu fel genedigaeth-fraint gan y rhai a allent honi eu tarddiad berthynasol o Augustus; ond yn y diwedd, gwir dadogiad (*patrons*) yr urddas penadurol oedd y byddinoedd, ac yn neillduol y *praetorian cohorts.* Yr oedd dyrchafu hoff flaenoriaid i'r swydd ymerodrol, ac wedi hyny eu llofruddio hwynt er mwyn y rhoddion a fyddid yn y cyffredin yn dderbyn ar eu dyrchafiad, wedi dyfod yn ddifyrwch gan amryw o'r byddinoedd, ac ar rai prydiau byddai yn dygwydd fod amryw ymerawdwyr ar yr un pryd—gwahanol fyddinoedd yn yr ymerodraeth bob un wedi penodi ymerawdwr. Canlyniad y drefn hon o sefydlu ymerawdwyr gan y milwyr, oedd dyrchafu dynion i'r urddas uchaf yn yr ymerodraeth wedi eu geni yn mhell oddiwrth Rufain, a threulio eu dyddiau yn y gwersyll, nad oedd ganddynt un agosrwydd nac anwyldeb at ddinas y Cæsariaid. Yn y cyfamser, dan yr holl ymerawdwyr, y naill fel y llall, yr oedd y cenedloedd oedd wedi ymgorphori dan reolaeth Rhufain, yn tynu yn mlaen yn barhaus at y cyflwr hwnw, allan o'r hwn yr oedd cymdeithas ddiweddar i gyfodi. Ond rhaid i'r darllenydd farnu drosto ei hun am lafur a thrafferth y gwahanol genedloedd olynol o'r Celtiaid, Yspaeniaid, Groegiaid, Affricaniaid, ac Asiaid, y rhai a anwyd ac a gladdwyd yn ystod y tair canrif bwysig hyn, yn ystod y rhai yr oedd gwareiddiad diweddar yn cael ei boreufaethu; y cyfan a ellir roddi yma yw rhestr amseryddol o'r ymerawdwyr yn ystod yr amser hwn:

| | | |
|---|---|---|
| Augustus........ | o 30 c.c. hyd | 14 o.c. |
| Tiberius ........ | " 14 o.c. hyd | 37 " |
| Caligula ........ | " 38 " | 41 " |
| Claudius ........ | " 41 " | 54 " |
| Nero .......... | " 54 " | 68 " |
| Galba, Otho, Vitellius | 68 " | 70 " |
| Vespasian.... ... | " 70 " | 79 " |
| Titus............ | " 79 " | 81 " |
| Domitian........ | " 81 " | 96 " |
| Nerva........... | " 96 " | 98 " |
| Trajan .......... | " 98 " | 117 " |
| Hadrian ........ | "117 " | 138 " |
| Antonius Pius.... | "138 " | 161 " |
| Marcus Antonius. | "161 " | 180 " |
| Commodus ...... | "180 " | 192 " |
| Pertinax ........ | "198 " | |
| Septimus Severus. | "193 " | 211 " |
| Caracalla........ | "211 " | 217 " |
| Heliogabalus .... | "218 " | 222 " |
| Alexander Severus | "222 " | 235 " |
| Julius Maximinus. | "235 " | 238 " |
| Gordian.......... | "238 " | 243 " |
| Philip .......... | "243 " | 249 " |
| Decius.......... | "249 " | 251 " |
| Gallus .......... | "251 " | 253 " |
| Valerian a Gallienus | 253 " | 260 " |
| Gallienus ....... | "261 " | 268 " |
| Aurelius ........ | "268 " | 270 " |
| Aurelianus ...... | "270 " | 275 " |
| Tacitus ......... | "275 " | 276 " |
| Florian .......... | "276 " | |
| Probus.......... | "276 " | 282 " |
| Carus........... | "282 " | 284 " |
| Diocletian a Maximian..... ... | "284 " | 305 " |

## DEDDF AC EFENGYL.

Y mae y ddeddf yn dangos ein pechod, ein clwyf, a'n perygl; a'r efengyl yn dangos Iachawdwr, meddyginiaeth a noddfa. Y ddeddf foesol a gynwys ddelw o Dduw fel Duw sanctaidd a chyfiawn yn ei lywodaaeth; yr efengyl ydyw delw ei raslonrwydd fel Duw iachawdwriaeth pechaduriaid euog.—Deddf ac efengyl yw sylwedd y datguddiad o'r nef; a phrif amcan duw y

Digitized by Google

byd hwn yw dallu meddyliau dynion yn nghylch y naill neu y llall.—*Christmas Evans.*

## PRESBYTERIAETH JONES LLANGOLLEN.

Byddai yn dda i ohebydd mewn wythnosolyn dewi am ei "ddichellgar," ei "lechwraidd," ei "grochan," a'i "bysgota cwsmeriaid." Ensyniadau llofruddiog fel yna allant daflu y Delphos hwn dros ddibyn dyfnach na'r aphwys yn Rhiwabon. Dywedodd yn ddiweddar i Jones gael ei dderbyn gyda y Presbyteriaid yn Cincinnati; ond gallaf ddarnio ei anwiredd, hollti ei haerllugrwydd, malu ei ddigywilydddra, a llorio ei rym i Nant Capel Noni. Darllenwyr y WAWR a wahoddir i sylwi ar a ganlyn.

I. Paham y bu y cynygiad. Am i olygydd y *Diwygiwr* gyhoeddi y gwr o Langollen yn "anonest," yn rhoddi dagrau yn y swyddfa yn lle arian i dalu ei ddyledion, a Llangollen yn ail gyhoeddi llythyrau y golygydd, yn cynwys yr "*animals,*" y "*Brute,*" ac ymadroddion eraill, yn ei brofi yn erlidiwr enwad neillduol. Do, do, darllenais y "drafodaeth hon" drwyddi, ac y mae rhywbeth mwy nag "*ysmala*" ynddi. Drwy hon y gadawodd Mr. J. Annibynia, y rhedodd o Rydybont, y diangodd i America, ac y cynygiodd ei hun i Bresbyteriaid Cincinnati; ond *gwrthodwyd* ef yn y modd mwyaf pwyllog a phenderfynol gan y blaid hono, wedi ymchwiliad manwl i'r drafodaeth ysmala.

II. Prawf o'r gwrthodiad. Mae yn y *Cenhadwr Americanaidd* am Ionawr, 1856. Y mae heddynadon yr Henaduriaeth yn galw cerubiaid i gau y dramwyfa, yn bolltio y drws, ac yn argraffu "*No admittance*" ar ei gapan, ei orsin, a'i drothwy. Dyma y darn: "Mr. John Jones, Llangollen, wedi bod yn pregethu i'r eglwys Bresbyteraidd Gymreig yn Cincinnati, yn absenoldeb gweinidog rheolaidd, a ymddangosodd o flaen Presbytery Cincinnati, a chan osod ger bron ryw lythyrau a phapyrau, fel tyst-lythyrau, gofynodd am gael ei dderbyn i'r corph. Ar gynygiad, rhoddwyd ymofyniad Mr. Jones, a'r holl bapyrau a'r llythyrau perthynol i hyny, dan sylw y pwyllgor sefydlog ar dyst-lythyrau. Y pwyllgor sefydlog a gyfarfu amryw weithiau, ac wedi ymchwiliad gofalus i'r holl achos, a gwrando yn faith ar Mr. Jones, teimlent fod galwad arnynt i gyhoeddi cymaint o'u gweithrediadau ag a gynwysir yn y dyfyniad canlynol o'u cofnodion:

'1. *Penderfynwyd,* Nad yw Mr. Jones wedi gosod ger bron y pwyllgor unrhyw bapyrau neu lythyrau ag y gallant gydnabod fel yn dyfod oddiwrth unrhyw gorph eglwysig, neu unrhyw weinidog rheolaidd.

2. *Penderfynwyd,* Fod ysgrifenydd y pwyllgor yn rhybuddio Mr. Jones i beidio, o'r dyddiad hwn yn mlaen, a'i lafuron yn eglwys Bresbyteraidd Gymreig Cincinnati.

Trwy orchymyn y pwyllgor,
THOMAS J. BRIGGS, Cadeirydd,
JOHN D. THROPE, Ysgrifenydd.
*Cincinnati, Rhag.* 3, 1855.'"

Ar amlen y mae atebion o Gwrdd Trimisol Llandeilo, i dri gofyniad am Jones, o'r wlad hon, ac un yw: "Whether he acted honestly with his creditors—printers, merchants, &c.?" "Reply—Very far to the contrary. Signed on behalf of the Conference by
JOHN JONES, B. A.
*Hermon, Oct.* 23, 1855."

III. Pa beth fu y canlyniad. Mewn ty, gyda chwmni yn Morganwg, o gwmpas y flwyddyn 1858, rhoddwyd misolyn yn fy llaw, a hanes bedyddiad Mr. Jones, Llangollen ynddo. Tebyg ydoedd y cyhoeddiad i'r *Diwygiwr*, y *Dysgedydd*, y *Drysorfa*, y *Seren*, yr *Eurgrawn*, neu y *Greal.* Darllenais y nodyn yn fanwl, ac yr oeddem oll yn ei gredu, yr un fath a newyddion eraill o America, megys y rhyfel, rhyddhad y caethion, poblogrwydd Beecher, a phethau eraill yn yr amseroedd hyny. Ac onid yw y dystiolaeth yna mor gredadwy a llythyrau y Rhos, methiant y Moelfre, a *handbills* y flwyddyn 1841? Tystiaf na chlywais neb, o un enwad,

Digitized by Google

yn amheu bedyddiad y gwr mawr o Langollen cyn y misoedd hyn, ac wedi 26 o flynyddoedd ar ol y bedydd hwnw. Prin y gwyddys y pwy, y pryd, a'r pa le y bedyddiwyd y Rhufeiniaid; ond dywed Paul eu claddu gyda Christ yn y bedydd, gan rywun, rywbryd, ac yn rhywle.

Rhyw greadur bychan, brwnt, a bwaog, yn bwrw budreddi o'i gylla du, mewn ymadroddion enllibus ar y byw, dan yr esgus o ganmol y meirw a gwyngalchu beddrod gwr hynod a fu. Adwaedd yw hon yn adfywio bloedd erlidwyr y blynyddoedd gynt; ac nid parchu gweddillion Mr. Jones, druan, mwy na gwaelodion y môr ac esgyrn y behemoth.—*Astaroth.*

## GWYNFYD Y DUWIOL.

Os bydd i ddyn feddu nodedigrwydd, hyd yn nod yn yr hyn sydd dda, gwna hyny ddeffro cenfigen mewn rhai, ac anfoddlonrwydd mewn eraill. Mor ychydig ymddibyna arnynt! Yr oll sydd yn hanfodol er gwir gysur i ddyn a orwedd yn agored i bob dyn gymeryd gafael ynddo. Nis gall pob dyn ddyfod yn ysgolhaig, ond gall pob dyn gael ei wneyd yn ddoeth i iachawdwriaeth. Nis gall pob dyn ddyfod yn gyfoethog, ond gall pob dyn feddianu y cyfoeth anchwiliadwy sydd yn Iesu Grist. Nis gall pob dyn gerdded ar uchel-fanau y byd, ond gall pob dyn ddyfod yn fawr yn ngolwg ei Dduw.

Gwyn fyd y dyn na wna yr Arglwydd gyfrif iddo ei bechodau, i'r dyn hwnw nid oes digofaint yn aros—dim colyn gan angeu i'w ladd, dim damnedigaeth yn ei aros. Nid yw y crediniol yn ddiddefnydd, O, nag ydyw—awydda i weithredoedd da, ei ddymuniad yw gwneyd yr hyn sydd dda—mewn cyflawniadau daionus bydd yn cael boddlonrwydd.—*Christopher Bach.*

—Y mae dymuno gallu dweyd pethau na ddywedodd neb hwynt erioed o'r blaen yn peri i rai pobl ddweyd pethau na ddylai neb eu dweyd.

# Pethau yn yr Eglwysi.

## YN Y CWRDD.

Yn y cwrdd? Ië. Pa gwrdd? Cwrdd crefyddol—cwrdd Cristionogol. Mae yno fwy nag un. Oes, y mae yno Dduw a dyn wedi cyfarfod â'u gilydd yn y cwrdd.

Mae Duw yn *odd* iawn; mae yn *particular* iawn, yn sylwgar iawn. Y mae llygad Duw ar bob un sydd yn y cwrdd, a'i glust yn agoredig at bob sain yno. Os wyt yn y cwrdd, cofia fod Duw yn gwylio pob symudiad o dy eiddo yn y fan hon yn neillduol. Y mae y lle yn gysegredig; mae gwasanaeth y "cwrdd" o bwys tragywyddol i dy enaid. Gan hyny tâl sylw ymarferol i gyngor y doethaf o blant dynion: "Gwylia ar dy droed pan fyddech yn myned i dŷ Dduw, a bydd barotach i wrando nag i roi aberth ffyliaid."—Preg. 5: 1. A phriodol i ti hefyd gofio cyngor hen Ficer Llanymddyfri:

"Cyn dy fyn'd i'r Llan, wrth gerdded,
Meddwl i b'le 'r wyt ti'n myned;
O flaen pwy, ac i ba bwrpas?
A dos gwed'yn iddi n addas."

*Can* 80: 1.

### RHOI ABERTH FFYLIAID YN Y CWRDD.

Beth yw hyn? Mae *ffwl* yn camddefnyddio pethau ac amser—yn ymddwyn yn groes i reswm a gweddusrwydd. Ceir rhai hyd yn nod ar enw crefydd yn rhoi aberth ffyliaid yn y cwrdd.

Gwelwch y dyn yna; mae yn rhy ddiog i eistedd yn weddus yn ei eisteddle—rhaid iddo ryw led-orwedd yn ddioglyd a ffiaidd yr olwg arno. Gwelwch fel y pwysa ei ben ysgafn ar ei fraich, neu y plyga ar yr eisteddle o'i flaen. Y capel yw ei wely ar y Sul. Mae yn mwmian gysgu, yn 'chwyrnu,' nes aflonyddu yr addolwyr. Gwelir rhai yn y cwrdd yn dylyfu gên, *gape,* mor ben-uchel, ceg-agored a thrystiog, nes peri i'r cellweirus chwerthin, a'r duwiolfrydig ofidio wrth feddwl fod dynion mor ynfyd a dyfod i'r cwrdd i

Digitized by Google

roi aberth ffyliaid fel hyn, yn lle addoliad gweddus i'r Arglwydd. Mae eraill yn y cwrdd yn syllu ar bawb o'u hamgylch mor fanwl a phe baent wrth y gwaith o dynu darlun cywir o ffurf eu gwynebau, lliw a dullwedd eu dillad, gan nodi hyd yn nod raniad gwallt y pen, a nifer a lleoliad botymau y gwisgoedd. Gallesid meddwl mai eu gwaith hwy yn y cwrdd ydyw argraffu *Magazine of Fashion;* ond rhoi aberth ffyliaid yw hyn oll. Nid rhyfedd nad yw y cyrddau mor hwyliog yn awr ag oeddent yn y dyddiau gynt. Y pryd hwnw äi y bobl i'r cwrdd i addoli, i gynorthwyo yn yr addoliad cyhoeddus, i wrando i ddeall, i deimlo fel ag i dderbyn ysbryd i waeddi, "Amen," "Bendigedig," "Diolch," a "Haleliwia." Ond yn awr ni cheir y pethau hyn, o herwydd nad yw y bobl yn ymddwyn yn y cwrdd, yn gwrando, yn dysgwyl, ac yn meddwl, fel ag i dderbyn cynhyrfiadau ysbrydol drwy addoli yn iawn a gwresog. Gyfaill, os wyt yn myned i'r cwrdd, eistedd yn drefnus, gwrando yn astud, ac ymbil â Duw yn yr ysbryd am ddylanwad dwyfol. Bydded dy ystum a phob peth o'th eiddo y fath ag i wneyd yr addoliad yn gysurus i ti dy hun, yn hwylus i'th gydaddolwyr, ac yn ogoniant i Dduw.

—

PRYDLONDEB YN Y CWRDD.

Pa bryd y dechreuodd y cwrdd? Cyhoeddwyd ef i ddechreu am 10 y boreu. Beth ganwyd yno gyntaf? Nis gwn i; canys yr oeddynt wedi dechreu y cwrdd cyn i mi gyrhaedd yno. Pa benod a ddarllenwyd? Wn i ddim. Wel, pa bryd yr aethost ti i'r cwrdd? Dichon ei bod 10 neu 15 mynyd wedi deg. Sut y bu hyn? O wel, yr wyf yn hoffi cysgu boreu Sul, ac yn hoffi ymgomio â'r teulu a'r cymydogion, ac wrth wneyd hyn y mae yr amser yn myned heibio heb yn wybod i mi. Wel, wel, ai fel hyn y gwnei bob dydd? Nage; ond yr wyf yn gorfod bod wrth fy ngwaith yn union am saith bob boreu, neu caf fy ngyru adref, neu cwtogir fy nhâl. Gyfaill, a oes dim cywilydd arnat fod yn fwy gofalus am wasanaeth dynion nag am wasanaeth Duw? Cofia fod Duw yn dysgwyl cael ei barchu, cystal a neb o feistriaid y ddaear. Y mae ganddo ef deimlad, a gwyr pan y mae dynion yn ei ddiystyru. Gwell genyt siarad a'th deulu, a'th gymydogion, ac â dynion ar hyd y ffordd, na bod yn nhy yr Arglwydd mewn pryd i gymeryd rhan yn y canu mawl cyntaf yn ngwasanaeth Duw, a gwrando ar eiriau Duw yn cael eu darllen! Gwylia rhag i'r Meistr mawr dy yru adref ryw dro; ïe, gwylia rhag iddo gwtogi dy gyflog i'r graddau fel ag i dy adael heb ddim i gynal dy enaid tlawd am dragywyddoldeb. Dichon mai ti sydd yn chwareu yr organ, neu yn dechreu y canu, a thrwy nad wyt yn y cwrdd yn brydlon, mae y canu cyntaf yn cael ei adael allan, neu y mae yn cael ei wneyd yn anfedrus iawn, am mai wrthyt ti y dysgwylia y bobl. A wyt yn gallu gwrido? Dichon mae y gweinidog wyt. Mae yr amser ar ben er ys pump neu ddeg mynyd, ac y mae y bobl yn y capel yn aros y gwasanaeth, a neb i'w ddechreu yn briodol, yn ol y cyhoeddiad. Dichon mai y diacon, trefnwr y cwrdd, wyt; mae y bobl yn eu heisteddleoedd yn brydlon, ond nid yw y blaenor yno i drefnu y cwrdd; dysgwyliant wrthyt ti; ond pa le yr wyt? Neu os nad wyt ond un o'r gwrandawyr cyffredin, oni wyddost fod trwst dy gerddediad a symudiad dy gorph wrth fyned i'r eisteddle, yn rhwystro y bobl i ddeall a sylwi yn briodol ar y gwasanaeth? Mae cyngorion Ficer Llanymddyfri yn briodol eto:

"Cod y bore ar y wawr-ddydd,
Am y cynta' â'r uchedydd,
I gael treulio dydd yr Arglwydd
Mewn duwioldeb a sancteiddrwydd.

Nid diwrnod ini gysgu,
Nac y dordain yn y gwely,
Ond diwrnod i'w sancteiddio,
Yw'r dydd Sabboth oll tra gantho."

*Can* 150 : 13, 14.

ESIAMPL.

"'Siampl sydd yn well na chyngor,
Er maint fo dysg a dawn y doctor;
Haws yw myn'd ar ol trafaelwr,
Na dysgu'r ffordd wrth glywed canwr."

Digitized by Google

Felly, gyfaill,

"Dos i'r eglwys gyda'r cyntaf,
Aros ynddi gyda'r olaf;
Tra f'ech yno na fydd segur,
Gweithia waith dy Dduw yn brysur."
*Can* 80 : 12.

Yn gywir, DIDYMUS.

---

# Arf-dy y Cristion.

---

GWISGIAD Y CRISTION.

Y rhai a roddant am danynt yr Arglwydd Iesu a wisgir â gwisg pedwar plyg. 1. Gyda gwisg o gyfiawnder cyfrifol Crist. 2. Gyda gwisg o sancteiddiad. 3. Gyda gwisg o amddiffyniad. 4. Gyda gwisg o ogoniant. Gellir galw y cyntaf yn wisg *gauaf*, am ei bod yn gorchuddio drosom ni; yr ail yn wisg *haf*, am ei bod yn ein haddurno ni; y drydedd yn *rhyfel-wisg* (*coat of arms*), oblegid ei bod yn ein cadw yn *ddiogel;* y bedwaredd yn *wisg priodas*, oblegid nad oes derbyniad i swper yr Oen hebddi hi. Gellir galw y tair cyntaf, ein *gwisg ddyddiau gwaith*, oblegid fod yn rhaid i ni eu gwisgo holl ddyddiau ein bywyd. Ond y bedwaredd yw ein gwisg *ddydd gwyl*, oblegid na raid i ni ei gwisgo hyd nes y byddo wythnos ein pererindod yn Bacha wedi ei gorphen, a Sabboth ein gorphwysfa dragywyddol wedi dechreu yn y Jerusalem newydd.

---

DUWINYDDIAETH A LLENYDDIAETH.

Er ein bod yn ystyried duwinyddiaeth fel y benaf o'r holl wybodaethau, yr ydym yn teimlo hefyd na ddylai duwinyddion gau eu hunain i fyny mewn ysbryd mynachaidd oddiwrth y byd mawr sydd o'u hamgylch; oblegid y maent, trwy hyny, yn crebachu eu meddyliau, ac yn gwneuthur eu hunain yn greaduriaid gweiniaid ac afiachus. Y mae y dyn sydd yn cyfyngu ei holl fryd at un gangen o wybodaeth yn gyffelyb i dir wedi ei gadw trwy y blynyddau at yr unrhyw gnwd, nes y mae yn y diwedd yn colli ei ffrwythlonrwydd. Nid oes dim yn well i dir, nac i ddyn, na newid yr hâd; tra y gofelir na byddo efrau ac ysgall yn cael eu hau yn gymysg a'r gwenith. Dylai y duwinyddion fod yn gyfarwydd mewn modd arbenig yn hanes llenyddiaeth y byd, ac yn ngweithiau y prif awduron llenyddol hen a diweddar.—*Lewis Edwards, D. D., Bala.*

---

DIRWEST.

Hedd a gwynfyd sydd yn llifo
Dros dy lwybrau, ddirwest lon;
Blodau gobaith sy'n adfywio,
Rhai oedd wedi gwywo bron;
Clyw'r hyfrydlais, brudd afradlon,
Tor d'amheuon, tyred mwy,
Daw a hedd i loni'th galon,
Daw a balm i wella'th glwy.'
—*Islwyn.*

---

GRONYNAU EURAIDD.

—Os mynwch fod yn gryf, gorchfygwch eich hun.

—Yn naear dyoddefgarwch y mae blodau amynedd yn tyfu.

—Enw y llwybr sydd yn arwain i ddedwyddwch yw *boddlonrwydd*.

—Y mae dyfal-barhad yn ffortiwn dda, a diwydrwydd yn etifeddiaeth ragorol.

—Y neb nad yw yn gweled nac yn teimlo gwerth awr, ni wel ac ni theimla hefyd werth blwyddyn.

—Y rhai ydynt bob amser yn barod i gynorthwyo eraill a gânt gymorth eu hunain pan fydd yn rhaid iddynt wrtho. "Adfesurir iddynt drachefn."

—Ystyriwch eich bywyd, pwyswch eich amcanion, gwyliwch ar eich ymddygiad, ac ni byddwch yn hir cyn dysgu neu ddarganfod digon i'ch galluogi i ffurfio barn garedig am eraill.

—Os oes genych dalentau, gwna diwydrwydd ychwanegu atynt; os nad oes ond galluoedd cyffredin, gwna dyfal-barhad gyflawni y diffygion. Nid oes nemawr ddim yn anmhosibl i'w gyrhaedd drwy lafur egniol a threfnus, na dim, yn wir, i'w gyrhaedd hebddo.

Digitized by Google

# Bwrdd y Golygydd.

## COFIANT A THRYSORFA.

Ebe y Parch. H. Cernyw Williams, Corwen, G. C., mewn llythyr atom, Awst 20fed: "Bwriadwyf gyhoeddi Cofiant i Dr. Hugh Jones, Llangollen, yn unol ag anogaeth Dinbych, Flint, a Meirion. Nid wyf wedi meddwl yn neillduol am ddarlun o hono eto. Os bydd trefniant felly, anfonaf atoch.

Mae mudiad ar droed i godi trysorfa er budd y weddw a'r tri phlentyn ar ddeg sydd wedi eu gadael ar ol. Gosodwyd y mater o flaen cyfarfod blynyddol Athrofa Llangollen, a chafwyd addewidion am y swm o 185 o bunau yn y fan a'r lle. Byddaf ddiolchgar am eich cynorthwy yr ochr yna, yn unol a'ch addewid garedig."

Bydd y nodyn uchod yn dra dyddorol i'n holl ddarllenwyr. Dyma wr teilwng o gofiant. Bydd cyflawnder o ddefnyddiau i wneyd y cofiant yn drysor gwerthfawr, canys yr oedd bywyd y gwrthddrych yn nodedig o lafurus a defnyddiol. Peth arall, mae yr iawn berson wedi ei apwyntio i'w ddwyn allan, un oedd yn dra adnabyddus â'r Dr. Jones, ac un hefyd oedd yn meddu cydymdeimlad dwfn â theithi ei gymeriad.

Mewn perthynas i'r drysorfa, credwn y bydd Bedyddwyr Cymreig America yn sicr o deimlo yn falch o gael cyfle i wneyd eu rhan. Hyderwn y bydd y mudiad yn cael ei ddwyn i sylw yr eglwysi yn fuan yn ffurfiol a threfnus yn y cyfarfodydd chwarterol. Yr ydym yn meiddio prophwydo nad oes dim yn angenrheidiol er sicrhau llwyddiant ond dwyn y peth yn rheolaidd a theg o flaen yr enwad. Os gallwn ni yn bersonol wneyd rhywbeth i helpu, gwnawn ein goreu, ac o galon. Yn yr haner canrif diweddaf, ni bu farw gweinidog o'n plith mwy teilwng na Dr. Jones, ac hynod chwith genym ydyw y syniad na allwn ddysgwyl llythyr oddiwrtho mwyach i'n lloni a'n cefnogi. O frodyr, gadewch i ni wneyd ein goreu tuag at y drysorfa hon i'w weddw a'i amddifaid.

## CYMANFA SHENANDOAH.

Yn ychwanegol at yr hanes llawn a dyddorol o'r Gymanfa hon a welir yn y rhifyn hwn, gan yr ysgrifenydd medrus, dymunem wneyd nodiad byr. Tebygol na chafwyd Cymanfa mor lewyrchus er's llawer blwyddyn. Nid ydym yn cofio i ni weled er pan oeddym yn ieuanc iawn y fath ddylanwad dwfn, dwys, a phur, yn cydfyned a phregethu yr efengyl. Yn niwedd yr oedfa, sylwem fod teimladau da y bobloedd yn ymddyheu am dori allan yn y canu, fel dyfroedd cryfion yn gwthio ymaith y gwrthglawdd f'ai yn eu hatal, a phan yn perseinio y geiriau "Ni bydd diwedd byth ar swn y delyn aur," anhawdd oedd gan y dyrfa ddiweddu swn eu telynau hwy. Collwyd llawer o ddagrau o dan y weinidogaeth yn Nghymanfa y Bedyddwyr yn Shenandoah eleni. Bydd llawer mewn blynyddau i ddod yn cofio gyda hiraeth pruddaidd, a boddhad melus, am yr hwyliau anwyl a gafwyd ynddi. Cafwyd prawfion eglur nad yw Duw yr hen dadau wedi ein hanghofio. Yr oedd yr eneiniad oddiwrth y Sanctaidd hwnw yn ddiau yn disgyn ar y moddion. Yr oedd cyfarch ac ysgwyd dwylaw yn niwedd yr odfaon yn waith pleserus. Nodweddid y cynadleddau drwyddynt gan gydweithrediad a theimladau da. Deallwn fod y frawdoliaeth yn Shenandoah wedi bod yn cadw cyfarfodydd cyson am wythnos, i weddio am wenau Duw ar y Gymanfa, ac yr oedd y cyfarfod gweddi boreu Sabboth yn llawn o ddymuniad am y gwlith nefol.

**—Cymerasai drên bedair-milldir-ar-ddeg o hyd i gludo yr holl yd a gyrhaeddodd Chicago mewn dau ddiwrnod yn ddiweddar.**

Digitized by Google

## MAN-LEWYRCHIADAU.

—Ebe gohebydd, wrth adrodd hanes cyfarfodydd Undeb Bedyddwyr Cymru, yn Ebbw Vale, D. C., yn ddiweddar. "Cawsom gyrddau gwir dda a llwyddianus. Yr oedd anerchiad y Llywydd, O. Lewis, Ysw., yn wir dda, felly hefyd papyrau Jones, Blaenyllechau, a Davies, Pontypridd, pregethau Roberts, Treforis, a Humphreys, Manchester, ac areithiau Thomas, Pwllheli, Davies, Beulah, Phillips, ——, a Williams, Lerpwl."

—Mae y frawdoliaeth yn Audenried; Pa., wedi gweithio yn rhagorol yn ddiweddar, trwy adgyweirio a phrydferthu eu ty addoliad. Y mae golwg lewyrchus ar yr achos yn y lle o dan weinidogaeth a bugeiliaeth y brawd llafurus a ffyddlon, y Parch. Thomas D. Evans.

—Dychwelodd y brodyr yn y weinidogaeth o Gymru yn heinif a llon, a dywedir iddynt gael croesawiad mawr yno, sef Dr. Fred. Evans, Dr. Williams, Hyde Park, John R. Jones, Houtzdale, a John T. Griffiths.

—Y mae y brawd D. S. Thomas, Shenandoah, ar daith yn y Gorllewin yr wythnosau hyn, yn gwerthu ei lyfr. Teilynga dderbyniad croesawus.

—Bydd y Parch. Wm. J. Williams, Church Hill, O., yn pregethu yn Providence, Pa., y Saliau cyntaf yn Hydref.

—Yn nechreu Hydref, bydd y Parch. D. J. Evans, Caio, D. C., yn dychwelyd i Gymru.

—Bydded hysbys i'n cyfeillion yn Pittston, Pa., mai gan ybrawd Jacob W. Evans y gellir cael yr *Oriel* yno.

Mae y llywodraeth Ffrengig yn dyner iawn wrth ei charcharorion yn y sefydliadau cosbawl. Mae yn cael gwragedd i'r sawl a ewyllysiant eu cael, o garcharau Ffrainc.

—Awdwr yr emyn wladgarol Americanaidd, yr hon sydd yn dechreu, "*My country, 'tis of thee,*" yw y Parch. S. F. Smith, yr hwn sydd yn foneddwr hybarch o 75 mlwydd. Y mae efe a'i briod wedi dychwelyd adref yn ddiweddar, ar ol gwneyd taith o amgylch y byd. Cyfansoddwyd yr emyn uchod 50 mlynedd yn ol, ac er iddo gyfansoddi llawer o emynau eraill, nid oes yr un o honynt mor boblogaidd a'r un grybwylledig.

—Mae gan Kentucky un *pauper* i bob 800 o drigolion Indiana, un i 500; Ohio, un i bob 430; Pennsylvania, un i bob 338; Massachusetts, un i bob 328.

# Barddoniaeth.

## ADGOF AM HEN GYFEILLION.

Cofio'r wyf â chalon ddrylliog
Am fy hen gyfeillion enwog,
Sydd yn huno yn eu beddau,
O dan gloion cedyrn angau.

O, fy hen gyfeillion anwyl,
Ofer i mi mwyach ddysgwyl
Am gael gair na dim oddiwrthych,
Er dymuno hyny'n fynych.

Fy nghyfeillion fu'n cyd-chwareu
A myfi sydd yn eu beddau
Agos oll, hyn leinw 'nghalon
A mawr alaeth ac och'neidion.

Eu hagweddau sydd yn amlwg
Yn parhau o flaen fy ngolwg,
Ac nis gallaf byth anghofio
Un o honynt nes fy mhriddo.

Synu'r wyf pa beth yw'r achos
Fy mod i fy hun yn aros,
A'm cyfoedion yn eu beddau,
O dan gwrlid oerllyd angau.

Llawer bachgen chwim 'rwy'n gofio,
Iechyd ar ei ruddiau'n dawnsio,
Ond cyn cyrhaedd ei gyhydedd
Syrthio wnaeth i gell y dyfnfedd.

Cofiaf hefyd lawer geneth
Oedd a'i hymddygiadau'n ddifeth,
Gyda gruddiau roddent ini
Ddarlun tlws o'r rhos a'r lili.

*Johnstown, Pa.* CADWGAN FARDD.

## Y BEDD.

Y bedd, oer anedd unig—lle gwyra
Holl gewri parchedig;
Y man dirym a dim dig,
Y nod addfed gorphwysedig.

TREFRYN ROBERTS.

Digitized by Google

## I'R YSGOL SABBOTHOL.

*Y Don neu y Mesur*, "SWEET HOME."

I'r ysgol Sabbothol yn unol yn awr,
Cydunwn, cydganwn, cydfolwn, lu mawr;
Can's rhad yw ei rhoddion i holl ddynolryw,
Athrawes bur berffaith Crist'nogaeth, gwir yw.

Mae boneddigeiddrwydd i'w ganfod yn hon,
Addysgu, cynyddu, yw'r nôd sydd ger bron;
Lledaenu bo'i deiliaid mewn cariad trwy'r byd,
Hyfforddi eu gilydd fel plant o un fryd.

A chwithau athrawon yr ysgol hardd hon,
Dewch, gweithiwch eich goreu yn llawen a llon,
Fel byddo ei chynydd i'w ganfod yn glir,
A'i dysglaer ogoniant yn foliant trwy'r tir.

Ceir allan wybodaeth y ffordd i ni fyw,
Trwy gyfrwng yr ysgol Sabbothol, gwir yw;
Cynyddu mewn rhinwedd a gras yw'r prif nôd,
A'r amcan mewn golwg sydd ganddi yn bod.

A rhedwn yr yrfa osodwyd o'n blaen,
Gan edrych ar Iesu, prif destyn y gan;
A rhodio 'n ol rheol y Gair yn ddiwad, [Tad.
Gan barchu 'i orch'mynion, fel plant o'r un

A gwyliwn rhag gwyro ar aswy na'r dde,
Ond dilyn yn uniawn ffordd dd'wedodd efe,
Sy'n arwain i'r bywyd, heb ynddi 'r un bai;
Gochelwn roi ati, na'i thynu ddim llai.

O, gwelwn mor eglur a chywir yw'r Gair,
Un Arglwydd, un bedydd, un ffydd ynddo geir;
A d'weded a dd'weded arglwyddi y byd,
Fe saif Duw yr un yn eu herbyn i gyd.

Wel, llwyddiant i'r ysgol Sabbothol, er dod
A'i deiliaid i weled a chanfod y nôd;
A charu'r gwirionedd y byddo pob un,
Gan roddi parch iddo, a byw yn gytun.

*Dodgeville*, AB TREBOR.

## "LLE YR WYF FI."

Iesu mawr yn awr lefarodd
Am dano ei hun, ac am y nefoedd,
Lle 'r wyf fi, chwithau ddeuwch,
I ogoniant a dedwyddwch.

Lle 'r wyf fi, lle llawn o foliant,
Yma gwelwch fy ngogoniant;
Haul y nef o hyd yn gwenu,
Heb un cwmwl i'w oleuni.

Lle 'r wyf fi, cartrefle'r Duwdod,
Lle heb ynddo ddim anghydfod,
Lle y gwelwch, nid allanol,
Ddyfnion bethau yr Anfeidrol.

Yn y cread a rhagluniaeth,
Ond yn benaf iachawdwriaeth,
Yno canwn anthem trwyddi
Am y gwaed fu yn ein golchi.

Heddwch fydd o hyd fel afon,
Cariad Duw sydd fel yr eigion;
Ninau'n nofio yn y llawnder,
Wedi dianc o'r gorthrymder.

CHRISTOPHER BACH.

## "BYDD DDA."

LLED EFELYCHIAD.

Ni ddywed Duw, bydd brydferth, dewr, neu ddoeth,
Na dim a ofer brisia dyn yn werth barha—
Anrhydedd, gallu, neu ddysgeidiaeth goeth,
Clyw dyner lais dy Dad, fy mab, "Bydd dda."

Ymroddi wnawn i ddringo grisiau clod,
Mawredd, gogoniant, a'u coronau; Ha!
Dringwn i gwympo bron ar bwys ein nôd,
Gan ddiystyru ei gyngor Ef: "Bydd dda."

Dyben bodolaeth heb ei ddeall sydd
Yn peri gofid, poen, a bythol blâ;
Gwrando ei eiriau Ef yn elw fydd,
Fy mab, bydd bwyllog, ystyr, O! "bydd dda."

"Bydd dda!" daioni Duw o'th amgylch sydd,
Yn darpar, trefnu, er diwallu'r byd;
Ufudd-dod iddo'r greadigaeth rydd,
Ei air yw deddf yr holl elfenau i gyd.

"Bydd dda!" ymdora storm yr olaf ddydd
Yn gawod danllyd i ddifodi'r drwg;
Tad pob daioni iti'n dwr a fydd,
Pan ffy yr anwir o flaen mellt ei wg.

Ar ol i amser dori'r olaf don
Ar draethell deg trag'wyddol wlad yr hâ',
Caiff plant ufudd-dod hardd fynediad llon
I'r pur drigfanau ato Ef, "Bydd dda."

MATHRAFAL.

## ENGLYNION

I LENA MARGARET, Merch Fechan Mr. IOAN HUGHES a'i Briod, Utica, N. Y.

Rhosyn ha' yw Lena lon—yn oedran
Diniweidrwydd purlon;
Oes eneth o gymaint swynion
A ddeil wedd sydd ail i hon.

Ei gwyneb sy'n llawn o geinion—glendid
Mewn gwawl hoender hylon;
Iach eilwaith gorph a chalon,
Yn aeres serch erys hon.

HEDYN MEIRION.

Digitized by Google

## IESU YN FOREU.

Cyn galw 'i fodolaeth y mawrion fynyddau,
Y bryniau a'r meusydd, cyn paentio y blodau,
Cyn rhychu gwelyau y miloedd afonydd,
Na chasglu y dyfroedd yn foroedd aflonydd;
Cyn ffurfio creadur na thaenu'r ffurfafen,
Cyn goleu yr huan, y lloer nac un seren,
Cyn bod un pysgodyn yn chwareu'n yr eigion,
Pan nad oedd aderyn i ganu alawon,
Draw, draw'n nhrag'wyddoldeb preswyliai yr Iesu,
Yn Dduw doeth anfeidrol yr oedd y pryd hyny.

*Dell Roy.* MORFRYN.

## AR FARWOLAETH

Maban JOSEPH T. a RUTH ROBERTS, Cleveland, Ohio.

Hyfryd iach, mwyach, y medd—ei ryddid,
Heb arwyddion llygredd;
Mewn mwynhad o wlad y wledd,
Heb achos newid buchedd.

LLAWDDOG.

# Gwladyddiaeth y Mis.

GAN Y PARCH. J. EDRED JONES.

[Dyfyniadau o ysgrif a fwriedid i'r rhifyn diweddaf, ond a ddaeth i law yn rhy ddiweddar.]

Dywedodd *politician* enwog, tua chanol mis Awst, na welodd er's blynyddau fwy, os cymaint, o ddifaterwch gwleidyddol, nag sydd i'w weled yn gyffredinol eleni, mor bell a hyn; ond dichon y gellid rhoi rhesymau am hyn, ac nid y lleiaf o honynt yw fod ein gwleidiadwyr yn rhy ddiwyd yn y misoedd hyn yn ymbleseru ar hyd a lled y wlad. Mae yr Arlywydd Arthur a chwmni lluosog ar bleserdaith yn y Gorllewin Pell, lle y dysgwylia dreulio rhai wythnosau. Mae aelodau ei gyfringyngor, hwythau, yn nghyda phrif swyddogion pob cangen o'r llywodraeth gyffredinol, yn mwynhau eu hunain oreu y gallont ar eu gwyliau, yn rhywle neu gilydd—felly y mae olwynion y llywodraeth, os nad yn rhedeg eu hunain, yn cael eu cyfarwyddo gan swyddogion is-raddol. Dichon nad oes dim allan o le yn hyn, ond y mae tuedd yn y gwyliau swyddogol yma i arwain i ddrwg mawr yn y pen draw, am fod prif swyddogion ein llywodraeth yn rhy dueddol, a'r duedd hon yn cryfhau bob blwyddyn, i wneyd coffr y wlad i dalu treulion eu gwibdeithiau, er fod eu cyflogau yn rhedeg heb eu cwtogi ddim. Defnyddir anifeiliaid, gweision, agerlongau ac agerfadau y llywodraeth, i'w cludo o fan i fan, ac o borthladd i'w gilydd, tros yr hyn nid oes un rhith o reswm, cyfiawnder, na deddf. Dylid gosod terfyn ar hyn, os nad yw eisoes yn rhy ddiweddar.

Mae New Hampshire wedi llwyddo, ar ol ymdrechfa hir, am saith wythnos, i ethol yr Anrhyd. Austin F. Pike i fod yn Seneddwr y Talaethau Unedig.

Ymddengys mai yn Iowa ac Ohio y mae'r mwyaf o fywyd gwladyddol yn bresenol, er nad rhyw lawer iawn sydd i'w weled hyd yn nod ynddynt hwy. Mae y Gwerinwyr wedi penodi Foraker, a'r Democratiaid wedi penodi Hoadley i redeg am lywyddiaeth Talaeth Ohio. Ymddengys fod y blaenaf yn ddyn da, gonest, a theilwng o'r swydd yr ymgeisia am dani; ond hen *durn-coat* llygredig, uchel-geisiol, yw yr olaf. Gadawodd y Gwerinwyr, gan ymuno a'r Democratiaid, am ei fod yn credu fod ei ragolygon politicaidd yn well gyda hwy na chyda'r Gwerinwyr. Mae yn gyfoethog, a chyfaddefodd wrth rai o'i ffryndiau, fod y penodiad yn unig wedi costio iddo $50,000 yn barod. Er y cwbl, dywedir fod pethau yn edrych ar hyn o bryd (Awst) yn hynod ffafriol i'r ymgeisydd Gwerinol. Nid yw'r naill na'r llall o'r pleidiau wedi dihuno a chymeryd gafael yn eu gwaith o ddifrif yno eto, ond dysgwylir y bydd bywyd a gweithgarwch yn y gwersyll ar ol dechreu Medi.

Mae Iowa yn benderfynol y myn gyfraith waharddiadol, nas gellir ei throi o'r neilldu yn yr eisteddiad nesaf. Mae y Llywydd Sherman, y Seneddwyr Alison, Wilson, a blaenoriaid eraill, wedi dechreu y *campaign* yno.

Mae Pwyllgor Talaethol Efrog Newydd wedi cyfarfod yn New York, ac wedi penderfynu fod y Gynadledd Dal-

Digitized by Google

aethol nesaf i gael ei chynal yn mis Medi, yn Richfield Springs [yr hon yn awr sydd wedi ei chynal]. Gan nad oes dim gwir bwysig i'w gofnodi eto am yr etholiadau Talaethol yn yr hydref nesaf, ni cha colofnau y WAWR eu beichio a meithder fy ysgrif y mis hwn.

## HANESION CARTREFOL.

### ANRHEG I'R MYFYRWYR.

*Mr. Gol.*—Caniatewch i ni ychydig o ofod o'r WAWR i ddatgan ein diolchgarwch gwresocaf i'r Parch. Ebenezer Edwards, Milesburg, Pa., am ein hanrhegu fel myfyrwyr Cymreig yn Athrofa Lewisburg â llyfrau gwerthfawr. Mae pob rhodd ag sydd yn werth ei derbyn yn werth hefyd i ddiolch am dani.

Yr ydym wedi derbyn gwerth tua thriugain dolar o lyfrau da oddiwrth y brawd Edwards, y rhai a fyddant yn ddefnyddiol i ni drwy ein hoes. Y maent yn traethu ar henafiaeth, hanesiaeth, duwinyddiaeth, athroniaeth, &c. Hefyd, derbyniasom bob i gopi o draethawd gorchestol y Parch. D. S. Thomas, Shenandoah, ar "Ddylanwad Cymdeithasol Cristionogaeth," wedi ei rwymo yn ddestlus. Mae yr esiampl hon o eiddo ein brodyr yn fwy o werth yn ein golwg fel myfyrwyr na'r llyfrau, canys y mae yn ddangoseg o ystyriaeth ac egwyddor. Nid â y weithred hon yn anghof genym, a gwyddom na chyll ein brodyr eu gwobr. Y mae llawer gweinidog, tra mae ef ei hun wedi ei addysgu ar draul yr eglwysi, yn anghofio fod eraill yn codi ar ei ol ag angen eu haddysgu; ac fod yr oes sy'n dyfod yn llawn mor deilwng o gael gweinidogion cymwys a'r oes hon, os nad mwy felly, o herwydd rhaid i'r pwlpud fod i fyny ag angen yr oes yr ydym yn byw ynddi.—*D. M. Jones.*

### LLITH O HYDE PARK.

MEDI 16.—*Mr. Gol.*—Teimlwn fel hwnw gynt yn Israel pan oedd y "lle sanctaidd" yn ei adfeilion. Y mae 'ein teml ninau yn anrheithiedig; mae seiri coed a seiri ceryg, rhai yn tynu lawr, a rhai yn codi fyny, ac y mae'r ddau yn myned yn y blaen yn gyflym, fel y mae gobaith genym cyn y gauaf oer gael yr ail deml wedi ei gorphen; a chredwyf y bydd gogoniant yr ail deml yn fwy na'r gyntaf. Gobeithiwn yr erys y Secinah, y presenoldeb, yr arddelydd o'r boddlonrwydd dwyfol, yn ein plith, ac y bydd raid i ni ymestyn y pen arall i gwblhau yr adeilad yr haf nesaf.

Y mae Dr. Williams wedi dychwelyd atom yn ei lawn nerth a'i yni; gobeithio na bydd iddo amharu ei hun gan lafur gormodol eto. Talodd y trip am dano ei hun iddo, gallwn dybio. Cafodd yr eglwys mewn agwedd a chyflwr dymunol pan ddychwelodd. Cawsom bregethu da iawn yn ei absenoldeb, gan y gobeithiol John Arthur Jones, o Bangor, G. C., y swynber Evans, Caio, D. C., y duwinydd J. Williams, Colwyn, G. C., a'r efengylydd John Evans, Brooklyn. Ni welais lawer o ddynion ieuainc yn fwy gobeithiol nag Arthur Jones, na neb yn fwy tlws ni chlywais i na'r dyn bach o Caio, a gwr grymus yw hen batriarch y Garn; ac efengylydd gwell nag Evans, Brooklyn, nid yn aml a geir. Cynaliwn ein cyfarfodydd yn awr yn y *basement*—y cynulliadau yn lluosog a'r ysgol Sul yn flodeuog; mae'r agwedd ar bobpeth yn y cylch yn odidog Ein hychwanegiad y mis diweddaf oedd tri.

Mae y brodyr da Benjamin Hughes a Thomas D. Davies a'u teuluoedd yn mwynhau eu hunain trwy ymweled â phrif olygfa natur yn America, y Niagara Falls.—*Eben. Llwyd.*

### COALBURGH, O.

*Mr. Gol.*—Carwn i chwi, drwy gyfrwng y WAWR, hysbysu y cyhoedd mai Wm. D. Jones yw Ysgrifenydd eglwys y Bedyddwyr yn Coalburgh. Mae hyn wedi cael ei achosi gan amgylchiadau cyfnewidiol y lle. Yr eiddoch dros yr eglwys—*Edward S. Edwards.*

Digitized by Google

# YSTADEGAU CYMANFA SHENANDOAH, PA., 1883.

| Yr Eglwysi. | Ysgrifenyddion. | Gweinidogion. | Bedyddiwyd. | Adferwyd. | Derbyniwyd dr. Lythyrau. | Goll'd tr. Lyth. | Diarddelwyd. | Bu Farw. | Rhif yr Aelodau | Canolrif yr Ysgol Sul. | At Draul y Gymanfa. | I'r Ysgrifenydd. | At y Genadaeth Dramor. | Y Gartrefol Americanaidd. | Cenadaeth Art. Gymreig. | Bwrdd Addysg Pa. | I'r Myfyrwyr. |
|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|
| Ashland } | Thomas M. Davies | Jeremiah Griffiths | 1 | 2 | 4 | 13 | 5 | 2 | 55 | 50 | $2 00 | $1 00 | $5 00 | $5 00 | $5 00 | $5 00 | $ |
| Shamokin } | David Griffiths | " " | 1 | 1 | 1 | . | . | . | 15 | 18 | 1 00 | | | | 3 75 | | |
| Arnot | David D. Thomas | | 2 | . | 6 | 18 | 3 | 1 | 36 | 80 | 2 00 | 1 00 | 3 00 | | 2 00 | | |
| Audenried | B. D. Evans | T. D. Evans | 5 | 19 | 10 | 5 | 10 | 1 | 91 | 110 | 2 00 | 1 00 | | | 5 50 | | |
| Carbondale | Morgan Thomas | | . | . | 2 | 1 | 2 | . | 20 | 10 | 1 00 | 50 | | | 5 00 | | |
| Danville | William Rees | | . | . | . | 2 | 1 | . | 23 | 25 | 2 00 | 1 00 | | | 5 75 | 3 00 | |
| Drifton | Daniel H. Davies | | . | 6 | 5 | 8 | 13 | . | 58 | 50 | 1 00 | 1 00 | 6 41 | 6 41 | 5 00 | 5 50 | |
| Frostburgh, Md. | Griffith Evans | | 1 | 2 | 2 | 14 | 2 | 1 | 95 | 90 | . . | 1 00 | 14 15 | | | | |
| Hyde Park | B. Hughes | J. W. Williams | 65 | 43 | 73 | 33 | 15 | 5 | 562 | 700 | 10 00 | 2 00 | 20 00 | 20 00 | 1 17 | 10 69 | |
| Jermyn | D. G. Williams | | . | 2 | 1 | 1 | 4 | 1 | 8 | 25 | 1 00 | 50 | | | | | |
| Johnstown | Josiah Evans | David Jones | 1 | 2 | 7 | 6 | 4 | . | 60 | 60 | 3 00 | 1 00 | 7 50 | | | | |
| Kingston | Jonah A. Davies | B. W. Thomas | 5 | 15 | 12 | 8 | 4 | 3 | 104 | 135 | 2 00 | 1 00 | 16 50 | 16 50 | 8 00 | 7 50 | |
| Lansford | H. Herbert | Henry Thomas | 15 | 2 | 3 | 1 | 4 | 4 | 69 | 80 | 50 | 50 | | | 1 75 | 9 25 | |
| Mahanoy City | J. McCarthy | H. G. James | 11 | 25 | 7 | 4 | 4 | 3 | 87 | 90 | 2 00 | 1 00 | 6 10 | | | | |
| Mount Carmel | Daniel H. Burch | | . | . | 1 | 6 | 2 | . | 9 | 13 | 1 00 | 50 | | 2 25 | | | |
| Minersville | John D Morgan | | . | 2 | . | 3 | 3 | 2 | 42 | 35 | 1 00 | 1 00 | | 5 00 | | | |
| Morris Run | John W. Phillips | John M. Evans | 4 | 4 | 3 | 3 | 1 | 1 | 42 | 65 | 2 00 | 1 00 | 2 00 | | 2 00 | | |
| Nanticoke | John Winters | Wm. F. Davies | 15 | 31 | 34 | 14 | 11 | 6 | 179 | 160 | 2 00 | 1 00 | | | 14 53 | | |
| Olyphant | Evan Miles | D. I. Evans | 6 | 10 | 14 | 1 | 3 | 2 | 66 | 70 | 1 00 | 1 00 | 2 37 | | 2 37 | | |
| Parsons | William Francis | Wm. D. Thomas | 20 | 15 | 16 | 14 | 9 | 4 | 151 | 150 | 3 00 | 1 00 | 10 00 | | 10 00 | | 10 00 |
| Plymouth | Peter Roberts | D. Rhys Jones | 24 | 8 | 14 | 4 | 15 | 1 | 163 | 160 | 3 00 | 1 00 | 10 00 | | 10 00 | | |
| Pittston | Jacob W. Evans | | 18 | 7 | 4 | 5 | 1 | 1 | 112 | 80 | 1 00 | 1 00 | 8 13 | | | | |
| Pottsville | George Owens | | . | 2 | . | . | . | . | 22 | 10 | 1 50 | 50 | 3 04 | | | | |
| Providence | John E. Evans | | 6 | 5 | 7 | 3 | 11 | 1 | 131 | 135 | 4 00 | 1 00 | 16 00 | | 8 07 | 14 50 | |
| Shenandoah | Edward Capper | D. S. Thomas | 17 | 7 | 9 | 2 | 2 | . | 77 | 100 | 2 00 | 1 00 | 7 31 | | 18 31 | | 25 12 |
| Slatington | Robert Griffiths | | . | 1 | 6 | 2 | . | . | 18 | 50 | 1 00 | 50 | | | 3 00 | | |
| St. Clair | Shem Richards | | . | 1 | . | 6 | 5 | 2 | 38 | 28 | 2 00 | 1 00 | 2 62 | | | | |
| Summit Hill | Joseph Richards | H. Thomas | 7 | . | 2 | 3 | 1 | 1 | 43 | 115 | 1 00 | 1 00 | | | 6 50 | | |
| Taylorville | Wm. J. Jones | D. W. Morris | 1 | 2 | 19 | 4 | 7 | 9 | 119 | 150 | 2 00 | 1 00 | 14 50 | 7 50 | 2 85 | 19 15 | |
| Upper Lehigh | John M. Powell | | . | 4 | 9 | 2 | . | 2 | 36 | 30 | 2 00 | 1 00 | | | 2 00 | 3 00 | |
| Wilkesbarre | Daniel D. Roderick | | . | 5 | 14 | 12 | 14 | . | 90 | 76 | 2 00 | 1 00 | 23 28 | | 4 50 | | |
| Wiconisco | Wm. Hughes | | . | . | . | 1 | 3 | . | 28 | . . | 1 00 | 50 | . . | 3 00 | | | |

Digitized by Google

Shenandoah—Cartref yr amddifaid, $2 40. Upper Lehigh—Beibl Gymdeithas, $1 00.

*Cynydd.*

| | |
|---|---|
| Bedyddiwyd | 225 |
| Adferwyd | 223 |
| Derbyniwyd drwy lythyrau | 285 |
| | 733 |

*Lleihad.*

| | |
|---|---|
| Gollyngwyd drwy lythyrau | 199 |
| Diarddelwyd | 159 |
| Bu farw | 52 |
| | 410 |

Cynydd rhydd, 323.
Rhif yr aelodau, 2,649.

*Enwau Gweinidogion yn Aelodau.*

Johnstown, John Z. Jones; Kingston, Theophilus Jones; Providence, J. P. Harris; Audenried, B. Nicholas; Wiconisco, B. E. Jones.

*Myfyrwyr yn yr Athrofaau.*

St. Clair, William Watkins; Taylorville, Morgan J. Watkins; Lansford, Daniel Jones; Nanticoke, John W. Griffiths; Plymouth, Henry Roberts; Frostburgh, Jacob Davies.

*Pregethwyr Cynorthwyol.*

Providence, D. B. Griffiths; Olyphant, Francis Lewis; Drifton, Geo. A. Hague, Warriot Thomas; Hyde Park, Ebenezer Lloyd; Plymouth, Vaughan Richards; Shenandoah, Edward Capper; Slatington, Thos. Morris, Robert Griffiths.

---

## CYMANFA SHENANDOAH, 1883.

---

Cynaliwyd Cymanfa Dwyreinbarth Pennsylvania yn Shenandoah, ar y 25, 26 a'r 27ain o Awst, 1883. Agorwyd y gynadledd am 10 o'r gloch ddydd Sadwrn trwy ddarllen a gweddi gan y brawd D. I. Evans, Olyphant. W. F. Davies yn y gadair.

Darllenwyd llythyr croesawol eglwys Shenandoah gan y gweinidog, yn cynwys derbyniad serchog a thwym-galon i'r holl weinidogion a'r cenadon i'w plith, i'w tai ac i'w mynwesau.

*Pwyllgorau.*

Neillduwyd y brodyr Edward Capper a John C. Davies i gydweithredu â'r Trysorydd yn nerbyniad cyfraniadau yr eglwysi—i ddwyn yn mlaen y casgliadau, a thalu treulion y Gymanfa.

Neillduwyd y brodyr Thomas R. Thomas, Evan J. Thomas, Daniel Phillips, a'r brawd E. Capper, i drefnu y moddion cyhoeddus, mewn cydweithrediad â'r arweinydd, y brawd D. S. Thomas.

*Cenadon yr Eglwysi.*

Ashland—D. Vaughan a John E. Davies.
Shamokin—David Griffiths.
Audenried—Evan J. Thomas a Thomas D. Watkins.
Drifton—Robert Edwards a John E. Jones.
Hyde Park—Daniel Phillips, Henry P. Davies a Thomas G. Thomas.
Kingston—Evan M. Thomas.
Mahanoy—Lewis Richards ac Evan Samuel.
Mount Carmel—Daniel H. Burch.
Nanticoke—John Evans.
Parsons—W. W. Rees a Thomas R. Thomas.
Plymouth—Vaughan Richards.
Pottsville—Richard Stephens.
Providence—D. B. Griffith a Llewelyn Roberts.
Shenandoah—Edward Clapper a J. C. Davies.
Slatington—John L. Roberts.
St. Clair—Wm. J. Williams.
Summit Hill—Joseph Richards.
Taylorville—D. W. Morris a Wm. P. Griffiths.
Upper Lehigh—Thomas Snook.
Wilkesbarre—James Evans a Daniel D. Roderick.

*Swyddogion am y Flwydayn.*

D. S. Thomas, Cymedrolwr.
W. D. Thomas, Is-Gymedrolwr.
James Evans, Trysorydd.
J. P. Harris, Ysgrifenydd.

*Derbyn Aelodau Newyddion.*

Derbyniwyd y brawd D. Ifor Evans, diweddar o Bontfaen (*Cowbridge*), ar

Digitized by Google

sail ei lythyr o Gymanfa Morganwg, D. C.

Derbyniwyd y brawd H. G. James ar sail tyst lythyron o Gymanfa Carolton, Ill.

Derbyniwyd y brawd B. W. Thomas, Jackson Street, Hyde Park, ar gymeradwyaeth Cymanfa Abington, Pa.

*Brodyr Ymweliadol.*

Gwahoddwyd y brodyr gwyddfodol i gymeryd rhan yn ngweithrediadau y gynadledd, gyda chaniatad i gydymgyngori ar y mater a ddygid ger bron, sef y brodyr, Owen Griffith, Utica; Owen James, M. A., Scranton; R. Edwards, Pottsville, a J. M. Lloyd, Ohio.

Rhoddwyd croesawiad cynes i'r brawd John Williams, Colwyn Bay, G. C., ac i'r brawd J. D. Evans, Caio, D. C., y rhai tra ar ymweliad yn y wlad a wnaethant ymdrech i fod yn wyddfodol yn nghylchwyl flynyddol yr enwad yn Pennsylvania.

Cafwyd cyfarchiad hapus a tharawiadol gan y brawd o Colwyn Bay, sylwadau profiadol a wefreiddiodd y cyfarfod.

Gohiriwyd i gyfarfod am 2 o'r gloch. Gollyngwyd drwy weddi gan y brawd Theophilus Jones.

*Cynadledd 2 o'r Gloch.*

Gofynwyd am fendilh Iôr ar yr eisteddiad gan T. D. Evans, Audenried.

1. Penderfynwyd, fod yr eglwys yn Mount Carmel yn cael ei derbyn yn aelod o'r Gymanfa.

2. Penderfynwyd, Ein bod yn cydnabod y brodyr canlynol fel pregethwyr cynorthwyol yn ein plith: Francis Lewis, Olyphant; Geo. Hague, Drifton, a Thomas Morris, Slatington.

*Gweithrediadau y Cyfarfod Tri Misol.*

3. Penderfynwyd, Ein bod yn derbyn ac yn cadarnhau yr holl weithrediadau, oddigerth dau o benderfyniadau y Cwrdd Chwarter a gynaliwyd yn Pittston, Mehefin 13, 14.

4. Penderfynwyd, Ein bod yn gwrthod Penderfyniad yr 2il a'r 4ydd o eiddo y cwrdd hwnw. Gwel y WAWR am Gorphenaf.

*Rheolau y Cwrdd Chwarter.*

Mabwysiadwyd y rheolau canlynol:

(1.) Mai sefydliad is-wasanaethgar i'r Gymanfa flynyddol yw amcan ein Cyfarfod Chwarterol.

(2.) Na thrafodir unrhyw fater ynddo yn groes i reolau y Gymanfa.

(3.) Na chymerir dan ystyriaeth achwynion yn erbyn gweinidog na phregethwr cynorthwyol heb yn gyntaf hysbysu hyny i'r cyhuddedig, fel y gallo fod yn bresenol i amddiffyn ei hun.

(4.) Fod treulion y Cwrdd Chwarter i gael eu tynu o drysorfa y Gymanfa, a bod yr eglwys lle y cynelir y Cwrdd Chwarter i gasglu at y treulion, fel y gwneir ar ddydd y Gymanfa.

(5.) Fod hawl gan eglwys i anfon un cenad i'r Cwrdd Chwarter, a'i dreulion i gael eu talu fel eiddo y gweinidog.

(6.) Mai yr un rhai fydd swyddogion y Cwrdd Chwarter a'r Gymanfa.

(7.) Fod holl benderfyniadau y Cyfarfodydd Chwarterol i gael eu derbyn, a'u cadarnhau gan y Gymanfa yn ei chynadledd flynyddol.

5. Penderfynwyd, Fod J. P. Harris i brynu llyfr er cofnodi gweithrediadau y Cyfarfodydd Chwarterol, a bod yr arian a delir am dano i'w tynu o drysorfa y Gymanfa.

6. Fod y cyfarfod nesaf i'w gynal gyda'r eglwys yn Audenried.

Yn ogymaint nad oedd y brawd J. W. Williams, D. D., Hyde Park, yn wyddfodol i ddarllen y papyr y neilldùwyd ef y flwyddyn ddiweddaf i'w ysgrifenu,

7. Penderfynwyd, Fod y brawd Dr. Williams i ddarllen papyr yn nghynadledd y Gymanfa nesaf—y testyn i'w ddewis ganddo ef ei hun.

*Dylanwad Cymdeithasol Cristionogaeth, gan y Parch. D. S. Thomas.*

Gwnaeth y Pwyllgor, H. P. Davies a H. Thomas, ei adroddiad, yr hwn a fabwysiadwyd, sef,

8. Penderfynwyd, Ein bod fel cynadledd yn cymeradwyo llyfr y Parch. D. S. Thomas, Shenandoah, i sylw ein heglwysi gyda dymuniad ar i bawb wneyd eu goreu i'w wasgaru, fel y caffo

Digitized by Google

gylchrediad helaeth drwy y wlad yn mysg darllenwyr Cymreig. Y mae y llyfr yn teilyngu hyn oblegid ei wir werth.

*Y "Wawr" a'r Oriel.*

Mabwysiadwyd adroddiad y pwyllgor, Llewelyn Roberts a Thomas G. Snook, sef,

9. Penderfynwyd, Ein bod yn cydnabod ein rhwymedigaeth i'r Parch. Owen Griffith am ei lafur caled, a'i ymdrech diflino yn nygiad allan ein cyhoeddiad misol, yr hwn o ran ei gelfyddydwaith sydd ragorol, a'i gynwysiad cyfoethog yn adlewyrchu anrhydedd arnom fel enwad, ac yn anog cydweithrediad cyffredinol drwy yr holl eglwysi Bedyddiedig i'w dderbyn yn galonog, a thalu am dano yn brydlawn, er cefnogaeth i'r brawd yn ei ddygiad allan, fel yr unig gyfrwng sydd genym i amddiffyn egwyddorion gwirionedd yn y wlad eang hon.

Hefyd, ein bod dan ystyriaeth o'r anturiaeth fawr y mae y brawd Griffith wedi ei gymeryd, i ddwyn allan Oriel deilwng o sylw Bedyddwyr Cymreig America, yn cymeradwyo yr ymdrech a'r gwaith a gyflawnwyd o dan lawer iawn o rwystrau diamgyffred ar gychwyniad yr anturiaeth. Y mae yn wirionedd diymwad fod y gorchwyl yn ormod i foddloni pawb, gwnaed a fyner tuag at gyrhaedd hyny. Ystyriwn, wrth edrych yn fanwl ar y rhwystrau sydd o fewn cylch ein gwybodaeth, eu bod yn gyfryw nas gallesid eu hosgoi yn gyfiawn yn nygiad allan yr Oriel; am hyny, teimlwn fod y brawd Griffith yn teilyngu cymeradwyaeth am ei ymdrech at gywirdeb yn yr Oriel. Byddwnid yn unig yn cydnabod y brawd am ei lafur, ond hefyd yn dangos fod genym barch i'r rhai fuont yn ffyddlon yn ngwinllan ein Meistr mawr.

Gollyngwyd drwy weddi gan y brawd Henry Thomas.

*Cynadledd 9 o'r gloch dydd Llun.*

Agorwyd y cyfarfod drwy weddi gan y brawd Jeremiah Griffiths, Ashland.

*Y Gymdeithas Artrefol Gymreig.*

Adroddiad y brawd B. Hughes, Trysorydd y Gymdeithas:

| | | |
|---|---|---|
| Mewn llaw y Gymanfa ddiweddaf | | $2 68 |
| Derbyniwyd oddiwrth James Evans | | 100 00 |
| Eglwys Danville | | 5 00 |
| Jermyn | | 80 |
| Olyphant | | 1 51 |
| Arnot | | 6 00 |
| Danville, &c | | 5 75 |
| Hyde Park | | 117 00 |
| | | $238 74 |
| Mawrth 4, talwyd i Theos. Jones | $7 00 | |
| Awst 8, i'r un | 14 00 | $21 00 |
| Awst 10, 1883, mewn llaw | | $217 74 |
| Awst 25—Derbyniwyd: | | |
| Audenried | | $5 50 |
| Ashland | | 5 00 |
| Carbondale | | 5 00 |
| Drifton | | 5 00 |
| Kingston | | 8 00 |
| Lansford | | 1 50 |
| Mt. Carmel | | 2 25 |
| Morris Run | | 2 00 |
| Nanticoke | | 14 53 |
| Olyphant | | 2 37 |
| Parsons | | 15 25 |
| Plymouth | | 10 00 |
| Providence | | 8 14 |
| Slatington | | 3 00 |
| Taylorville | | 2 85 |
| Shamokin | | 3 75 |
| Shenandoah | | 4 30 |
| Summit Hill | | 6 50 |
| Upper Lehigh | | 3 00 |
| Wilkesbarre | | 4 50 |
| Arnot | | 2 00 |
| | | $114 44 |
| Yn y Drysorfa | | 217 74 |
| | | $332 18 |
| Awst 27, talwyd i Wm. G. Watkins am lafur cenadol | | 15 00 |
| Mewn llaw | | $317 18 |

J. P. Harris, *Ysg.*

10. Penderfynwyd, Fod dau i gael eu hychwanegu at nifer aelodau y Gymdeithas Genadol Artrefol Gymreig; yna etholwyd y brodyr canlynol am y flwyddyn hon, sef B. Hughes, J.

Digitized by Google

W. Williams, W. F. Davies, H. Thomas, W. D. Thomas, D. S. Thomas, D. Ifor Evans, J. P. Harris, a Jas. Evans.

*Swyddogion y Gymdeithas.*

J. P. Harris, Llywydd; B. Hughes, Trysorydd; J. W. Williams, Ysgrifenydd.

*Pwyllgor y Marwgoffa.*

Adroddiad y pwyllgor, William F. Davies a H. P. Davies. Mabwysiadwyd fel y canlyn:

11. Penderfynwyd, Ein bod yn deall drwy lythyrau yr eglwysi i'r gynadledd Gymanfaol, fod angeu, gelyn pob dyn byw, wedi gwneyd gwaith chwerw yn mhlith saint y Goruchaf, trwy ddiweinio ei gledd a thori i lawr rai o'r brodyr anwylaf, heb ystyr oed na sefyllfa. Torodd i lawr yr ieuanc, y canol oed, a'r henafgwr. Yn ngwyneb hyn, teimlwn yn debyg i'n Gwaredwr, pan yn sefyll ger bedd ei anwyl gyfaill Lazarus, yn syllu ar ganlyniadau pechod yn achosi y fath alanastra, sef lladd ei hoff gyfaill: "Yr Iesu a wylodd." Felly, dan ddwys ystyriaeth o weithrediadau y gelyn yn ymosod ar ein hoff gyd-ymdrechwyr ar yr yrfa ysbrydol. Teimlwn yn ddwys am golled cynulleidfa Kingston yn colli o'u plith y brodyr ieuainc ffyddlon, gweithgar, a phur eu bywyd, sef Henry W. Davies a John H. Evans, yn y rhai y gwelai yr eglwys lawer o arwyddion y buasent yn golofnau cryfion yn y dyfodol; ond symudwyd hwynt yn sydyn, a chredwn eu symud i gwmni y Gwaredwr.

Hefyd, cydymdeimlwn a'r eglwysi yn Mahanoy, Summit Hill, ac Ashland, eu bod wedi eu bylchu yn nygiad oddiwrthynt yr hen frodyr da, Thomas Richards, John S. Davies, a Robert Watkins. Yr Arglwydd a lanwo rengau y fyddin â milwyr dewr—dilynwyr llwybrau y rhai a symudwyd yn mhob peth oedd yn dda a rhinweddol ynddynt.

Yn mhellach, y mae genym i ofidio symudiad cynar, eto addfed, o'n plith, ac o gylch y weinidogaeth, ein hanwyl a'n hynaws frawd, y Parch. James R. Price. Gallwn yn ddiragrith a diffloesgni ddwyn tystiolaeth dda i'w fuchedd, ei gymeriad pur, ei amcanion diamwys, ei foesau glân, a'i ymgais sanctaidd. Credai, ac ymdrechai, fod i'r afon bur o ddwfr y bywyd redeg i'r byd drwy redwelyau a chyfryngau cydnaws, sef, calonau a geneuau glân. Ymdrechai bregethu Iesu Grist yn gyfan i'r byd, heb ofn digio y balch o ysbryd. Yr Arglwydd a godo lawer o'i fath, i sefyll dros ogoniant eu Duw, ac a ofalo am weddw a phlant ein hymadawedig frawd.

*Diarddel a Derbyn Aelodau.*

Dygwyd i sylw y gynadledd gan yr hybarch frawd Theophilus Jones y ffaith alarus fod cynifer yn cael eu diarddel yn flynyddol yn y gwahanol eglwysi. Sylwyd fod diffyg mawr yn gorwedd wrth ddrws yr eglwysi, naill ai wrth dderbyn i mewn, neu wrth dori allan. Yn ngwyneb y gwirionedd crybwylledig, cynygiwyd a ganlyn gan y brawd H. P. Davies:

12. Penderfynwyd, Fod y gynadledd yn taer alw sylw yr eglwysi at y ffaith, ac i iawn-ystyriaeth o'r achos, gan hyderu y ceir allan yn mha le y mae y gwall yn gorwedd, y symudir yr achos, ac y gwelir effeithiau daionus yn canlyn y sylw hwn.

*Myfyrwyr yn yr Athrofaau.*

13. Penderfynwyd, Ein bod yn dymuno ar yr eglwysi a'r gweinidogion, ac yn eu cymell i dalu mwy o sylw i'r myfyrwyr Cymreig yn yr athrofâau, drwy eu galw i *supplyo* ein pwlpudau mor fynych ag y gallont.

*Llythyr Gollyngdod y brawd Ll. Rees.*

14. Penderfynwyd, Fod y mater yn cael ei roddi ar y bwrdd, er cael ystyriaeth pellach arno, wedi cael mwy o oleuni ar y gwrthodiad o hono gan Gymanfa Ohio.

*Addoldy Tremont.*

15. Penderfynwyd, Fod y brodyr D. S. Thomas a J. P. Harris i wneyd ymchwiliad i'r amgylchiadau cysylltiedig â'r hawl sydd gan yr enwad yn y *property*.

*Yr Wythnos Weddi.*

16. Penderfynwyd, Ei bod i ddech-

Digitized by Google

reu fel arfer ar y Sul cyntaf yn Ionawr, 1884.

*Ymgeisydd am Addysg Athrofaol.*

Adroddiad y pwyllgor, ac a fabwysiadwyd:

17. Penderfynwyd, Ein bod yn anog y brawd Robert Griffiths i fyned yn mlaen, gan arfer ei ddawn mor amled ag y byddo modd. Hefyd, am i'r frawdoliaeth yn Slatington roddi iddo gyfleusdra i bregethu mor fynych ag y byddo amgylchiadau yn caniatau; a phan y byddo y brawd yn barod o ran amgylchiadau i fyned i'r Athrofa, iddo hysbysu y pwyllgor priodol, fel y gellir trefnu ar ei gyfer.

*Y Genadaeth Dramor.*

18. Penderfynwyd, Ein bod yn mawr lawenhau yn y llwyddiant cydfynedol âg ymdrechion y cenadon yn mhlith y paganiaid—fod yr Arglwydd yn gwrando gweddi, ac yn anog yr eglwysi i fwy o sel a haelfrydedd yn nghyflawniad comisiwn Crist, sef, pregethu yr efengyl i bob creadur.

*Bwrdd Addysg Bedyddwyr Pa.*

Gan mai y bwrdd hwn sydd yn cynorthwyo ein brodyr ieuainc i dderbyn addysg yn Lewisburg, Crozier, &c., tuag at eu cymhwyso i waith y weinidogaeth,

19. Penderfynwyd, Ein bod yn anog yr eglwysi i fwy o gydymdeimlad â'r Bwrdd, a gwneyd yr amlyg ad o hyny yn eglurach drwy eu cyfraniadau.

*Publication Society Pa.*

20. Penderfynwyd, Fod y Gymdeithas hon yn teilyngu ein cefnogaeth yn arbenig, gan ei bod yn awr yn gyfrwng trosglwyddiad Beiblau, ac yn Gymdeithas Feiblaidd ein henwad, a'r unig sefydliad perthynol i wasgaru Beiblau a Thestamentau yn holl ieithoedd y Cyfandir mawr hwn.

*Y Gymdeithas Genadol Artrefol Gymreig.*

21. Penderfynwyd, Ein bod yn anog yr eglwysi i fwy o ffyddlondeb a chydweithrediad gyda yr unig gymdeithas a berthyn i'n cartref ac i'n hiaith. Gan fod cyfraniadau y flwyddyn ddiweddaf yn gyffredinol wedi bod yn llai na dysgwyliad y Gymanfa, hyderir y gwneir ymdrech mwy egniol a chyffredinol y flwyddyn hon, fel y gellir agor drysau newyddion, ac adeiladu muriau Jerusalem yn ein plith.

*Casglu i Ddiddyledu Addoldai.*

22. Penderfynwyd, Fod yr eglwys yn Mount Carmel yn cael caniatad i gasglu drwy gylch y Gymanfa. Fod eglwys Nanticoke yn cael caniatad i orphen casglu. Hefyd, caniatawyd yr un rhyddid i eglwys Lansford.

*Y Gymanfa Nesaf.*

23. Penderfynwyd, Fod y Gymanfa nesaf i gael ei chynal gyda yr eglwys yn Kingston, ar yr amser gosodedig.

*Adroddiad Trysorydd y Gymanfa.*

| | | |
|---|---|---|
| Mewn llaw ................ | $84 | 46 |
| Cyfraniadau yr eglwysi ...... | 61 | 50 |
| Casgliadau dydd y Gymanfa.. | 44 | 80 |
| | $190 | 76 |
| Treulion y Gymanfa ........ | 91 | 60 |
| Mewn llaw................ | $99 | 16 |

Penderfynwyd, Fod y brawd James Evans i gael y swm o ddeg dolar o'r Drysorfa, am ei lafur a'i ofal fel Trysorydd yn y gorphenol, a bod y Trysorydd eleni, ac o hyn allan, i gael tâl cyfartal â swm ei draul i fyned a dychwelyd o'r Gymanfa am ei wasanaeth.

*Y Moddion Cyhoeddus.*

Am 7 nos Sadwrn, dechreuodd y brawd B. Nicholas, Hazleton, a phregethodd y brodyr D. I. Evans, Olyphant, oddiar Salm 87, a D. W. Morris, Taylorville, oddiar Jer. 12 : 9.

Sul, am 8:30, cyfarfod gweddi, dan arweiniad y brawd Theophilus Jones, Wilkesbarre. Yr oedd hwn yn gyfarfod ag arwyddion amlwg fod Gwrandawr gweddi yn ei bresenoldeb grasol yn nghanol ei bobl.

Am 10, dechreuodd y brawd D. B. Griffiths, Providence, a phregethodd y brodyr W. D. Thomas, Parsons, oddiar Gen. 26: 18—22, a John Williams,

Digitized by Google

Colwyn Bay, G. C., oddiar Rhuf. 2 : 4, 5.

Am 2, agorwyd y cyfarfod trwy ddarllen a gweddio gan y brawd William Watkins, myfyriwr yn Lewisburg, a phregethodd y brodyr T. D. Evans, Audenried, oddiar Marc 8 : 36 ac Owen Griffiths, Utica, oddiar Ioan 1 : 46.

Am 6, dechreuodd Mr. Lewis (A.), Shenandoah, a phregethodd y brodyr H. Thomas, Lansford, oddiar Ioan 6 : 40, a D. J. Evans, Caio, D. C., oddiar Gal. 1 : 11, 12.

Llun, am 2, dechreuodd y brawd H. G. James, Mahanoy, a phregethodd y brodyr J. M. Evans, Morris Run, oddiar 2 Cor. 3 : 18, a B. E. Jones, Wiconisco, oddiar Ezeciel 37 : 11—14.

Am 6:30, awd drwy y rhanau arweiniol gan y Parch. R. S. Jones, Providence, a phregethodd J. P. Harris, Nanticoke, oddiar Job 23 : 3, a Theophilus Jones, oddiar Dat. 2 : 10.

Nos Wener cyn y Gymanfa, am 7 o'r gloch, pregethodd y brodyr ieuainc Robert Griffiths a Thomas Morris, ill dau o Slatington, ar brawf, ger bron cynulleidfa astud, ac o flaen y pwyllgor. Canlynwyd hwynt gan y brawd W. F. Davies, Nanticoke, oddiar Marc 16 : 3.

Sul, gwasanaethodd y brodyr H. Thomas, B. W. Thomas, W. D. Thomas, Owen James, a H. G. James, yn mhwlpudau yr amrywiol eglwysi efengylaidd yn y dref.

Gwnaeth y gweinidog a'r eglwys a'r eglwysi bob peth yn eu gallu i wneyd pawb yn gysurus. Cawsom lawer Cymanfa dda, ond rhaid dweyd, Ti a ragoraist arnynt oll. Bydded yr effeithiau yn adeiladol ac yn hir-barhaol. Amen.

J. P. Harris, *Ysgrifenydd.*

---

### New Straitsville, O.

Medi 2, bedyddiwyd tri o bersonau gan ein hanwyl frawd C. Jones, ar broffes o'u ffydd yn Mab Duw, yn y dull apostolaidd, trwy gael eu claddu yn y dwfr.

Mae yr eglwys hon yn cynyddu mewn gwybodaeth yn gyflym iawn oddiar pan mae ein parchus frawd yn ein plith. Yr wyf yn meddwl fod yma frodyr mor alluog ag sydd yn Nhalaeth Ohio. Yr wyf yn mesur yr eglwysi wrth bwysau eu gweinidogion yn y Gymanfa fu yma yn mis Mai diweddaf; felly yr wyf yn meddwl y gwn *dest* yn agos beth bynag bob eglwys yn nghylch y Gymanfa.

Y mae yr eglwys hon yn cynyddu mewn gras, ac y mae tangnefedd yn teyrnasu yn ein plith; gall pob eglwys yn y cyfundeb ddywedyd hyny. Mae yn dda genyf ddweyd na welais i yr un eglwys o'r blaen mor unfrydol foddlon ar ei gweinidog ag yw yr eglwys hon. Y mae pawb yn siarad yn barchus am dano bob amser yn mhlith yr eglwys a'r gwrandawyr. Hyn a ddywedaf, "Parhaed brawdgarwch."

Mae ein hysgol Sabbothol ni mewn sefyllfa lewyrchus iawn. Y brawd John H. Taylor sydd yn ei harolygu yn bresenol; cyfartaledd ei rhifedi yw 100. Y brawd ffyddlon D. A. Davies sydd yn arwain ac yn dysgu y plant yn bresenol, ac yn wir y mae ei ol arnynt hefyd. Y brawd J. H. Taylor sydd yn arwain y gân yn y gynulleidfa.

Urddwyd tri o ddiaconiaid yma yn ddiweddar, gan y brawd Jones, sef y brodyr John H. Taylor, Richard Johnson a David A. Davies.—*D. E. Jones.*

---

### Berlin, Wis.

*Mr. Gol.*—Efallai y carai rhai o'ch darllenwyr wybod sut yr ydym yn dod yn mlaen yma ar ol dyfodiad y Parch. D. E. Bowen i'n plith. Gan hyny y mae yn dda genyf allu dweyd fod pethau cysylltiedig a'r achos goreu yma yn dra boddhaol ac addawol. Y mae Mr. Bowen yn pregethu ddwywaith bob dydd Sul, yn Gymraeg yn y boreu, ac yn Saesneg yn yr hwyr. Y mae ein cyfarfodydd hwyrol yn cynyddu mewn dyddordeb yn barhaus, ac mewn canlyniad, cafodd yr hyfrydwch o fedyddio dwy foneddiges ieuainc un nos Sul yn ddiweddar, ac yr wyf yn credu mai awr ddedwyddaf ei fywyd ydoedd, gan mai hwy oeddynt y rhai cyntaf a fedyddiodd er pan gafodd ei anafu, tua

dwy flynedd yn ol; ond mae genym le i gredu mai nid hwy fydd y rhai olaf. Mae ein hysgol Sabbothol yn llwyddianus, ac yn cynyddu mewn dyddordeb yn barhaus, ac yr ydym i gael *Sunday School Concert* nos Sul nesaf.—*D. J. Thomas.*

---

DIOLCHGARWCH.

Awst 18fed, 1883, yn yr ysgol Sabbothol, yn ddirybudd, cyflwynwyd i mi gan fy nosbarth, fel cydnabyddiaeth o barch ataf fel athraw, *toilet set* a *pen a holder* aur. Derbyniais y cyfryw gyda diolchgarwch. Mae genyf olwg fawr ar y rhodd. Cofiaf am y dosbarth hwn yn hir iawn. Yr wyf yn ei gydnabod yn gyhoeddus am y rhodd, ac yn dymuno ei lwyddiant. Yr eiddoch, &c. —*Charles Jones, New Straitsville.*

---

—Drwg genym ddeall fod y Parch. W. F. Davies, Nanticoke, wedi bod yn glaf iawn. Dyna yr achos nad oes "Maes Cenadol" yn y rhifyn hwn. Da genym ddeall ei fod yn gwella.

---

## *PRIODWYD—*

Awst 11, 1883, yn Pittsburgh, gan y Parch. D. Rhoslyn Davies, Mr. Thomas Emmanuel a Miss Charlotte Johnson, y ddau o Turtle Creek.

Gor. 3, 1883, yn Parsons, Pa., gan y Parch. W. D. Thomas, Mr. Evan Thomas, Plains, a Miss Hannah Thomas, Parsons.

Awst 18, 1883, yn Pittsburgh, gan y Parch. D. Rhoslyn Davies, Mr. Mathew Williams a Miss Mary A. Jones, y ddau o'r lle uchod.

Medi 11, 1883, yn Pittsburgh, gan y Parch. D. Rhoslyn Davies, Mr. William A. Baker a Miss Mary A. Jones, y ddau o'r lle uchod.

---

## *BU FARW—*

### MR. THOMAS P. RICHARDS.

Yn Mahanoy City, Pa., Mehefin 3, 1883, bu farw Mr. Thomas P. Richards, yn 65 mlwydd oed. Gelwid ac adnabyddid ef gan y lluaws fel "Thomas Richards, y diacon." Ei afiechyd oedd "*the miners' consumption.*" Bu yn nychu yn hir iawn, a bu droion yn ymyl yr Iorddonen, fel yn chwilio am le cul i'w chroesi; ond bu rhyw angel caredig a'i law wen a thyner yn ddigon hynaws i'w wthio yn ol bob tro, er lles ei deulu, a'r eglwys, hyd 2 o'r gloch boreu Sabboth, y dyddiad a nodwyd; y pryd hwnw cafodd ganiatad, yn ol ei ddymuniad, i syrthio i freichiau ei Waredwr bendigedig, a myned adref i'r cymundeb fry i fwynhau Sabboth cyhyd a thragywyddoldeb. Colled fawr ac anadferadwy i'w deulu oedd ei golli ef, ond yn sicr, yr oedd colled yr eglwys yn llawer mwy; ac er ein bod wedi dewis pump o frodyr da i'r swydd ddiaconaidd er pan yr aeth ef i wynfyd, y mae ei le yn wag yn yr eglwys hyd yn hyn mewn mwy nag un ystyr.

Ganwyd ef yn Tredegar, Mynwy, Ebrill 4, 1818. Bedyddiwyd ef yn Victoria, yn yr un Sir, pan yn nghryfder ei nerth corphorol a meddyliol, gan y diweddar Barch. Thomas Davies, sef Davies, New York, wedi hyny.

Daeth Thomas P. Richards i'r wlad hon yn 1848, a sefydlodd yn St. Clair, Pa. Daeth a'i grefydd gydag ef dros y weilgi. Aeth o St. Clair i Summit Hill; unodd â'r achos crefyddol cymysgedig yno, nes i'r Bedyddwyr gychwyn achos i Iesu Grist yno. Yr oedd ef, Lewis D. Richards (ein *senior deacon* presenol yma); John Jones, "y North;" Powell, Upper Lehigh, ac eraill, yn aelodau cyfansoddol yr eglwys Yr oedd hyn tua 33 mlynedd yn ol. Symudodd Richards o Summit Hill i Pittston, ac yr oedd yn un yn corphori yr eglwys gysurus sydd yno. Yn Pittston y dewiswyd ef yn ddiacon. Symudodd oddiyno ar adeg *strike* i Tamaqua, ac efe oedd un o'r Bedyddwyr cyntaf yno hefyd, a bu yn un o'r rhai mwyaf blaenllaw i sefydlu eglwys i Iesu Grist yn ol trefn yr Apostolion yno wed'yn.

Symudodd i Mahanoy 18 mlynedd yn ol, pan nad oedd yma eglwys Fedyddiedig; ond yr oedd yma amryw o frodyr a chwiorydd yn y cylch, a rhai o honynt yn addoli yn Gymraeg gyda'r M. C. Ac yr oedd Thomas P. Richards, Lewis D. Richards, Thomas Gittens, a Mrs. Morgan (y ddau ddiweddaf yn awr yn Wilkesbarre), John Davies, Mrs. Evan Griffiths, ac eraill, yn methu cyd-addoli â neb nad oeddynt wedi plygu i orchymyn Iesu Grist, a'r canlyniad fu, hwy a unasant a'u gilydd ac â Duw, ac a sefydlasant yr eglwys breswylnol yn y lle. Y mae yr eglwys a'i Phen mawr yn aros yma eto, tra y mae yr hen frawd anwyl, Thos. P. Richards, wedi myned oddiwrth ei waith at ei wobr.

Cafodd gladdedigaeth lluosog iawn, a phregethodd yr ysgrifenydd yn Saesoneg; Thomas, Shenandoah, yn Gymraeg; a gweddiodd Evans, Audenried, yn yr addoldy, ac a siaradodd yn dyner ac effeithiol iawn ar lan y bedd. Yr oedd ef wedi bod yn gyd-aelod â'r ymadawedig yn hir yn yr eglwys hon.

Cymeriad rhyfedd, eto godidog iawn, oedd Thomas P. Richards. Yr oedd ef yn gyfuniad o Pedr mewn penderfyniad a brwdfrydedd, a Ioan y dysgybl anwyl mewn tynerwch a chariad. Ni feddai ond *un* gwyneb, sef yr un roddodd Duw iddo, ac nid oedd byth yn cudd-

Digitized by Google

io hwnw. Yr oedd ei enaid i'w ddarllen yn ei wynebpryd. Ni anadlodd yn yr un hinsawdd a Judas, neu Alexander, y gôf copr. Cyfaill ei weinidog oedd ef bob amser.

Gofynais i'r brawd anwyl, Thomas, Parsons; sef hen weinidog Richards am dros ddeng mlynedd, am ysgrifenu gair i mi ar ei gymeriad, gan nodi ei ddrwg a'i dda, ei gryfder a'i wendid. "Ei *ddrwg!* (ebe Thomas) ni wn am ddim drwg ynddo!" Ysgrifenodd Mr. Thomas erthygl fechan arno wedi hyny, ond y mae y frawddeg uchod wedi cyrhaedd y *climax*. Ei hen weinidog am dros ddeng mlynedd yn dweyd, "Ei *ddrwg!* ni wn i am ddim drwg ynddo!" Diolch am un cyfaill gweinidog, yr hwn a'i parcha er mwyn ei waith a'i Feistr, gan gyfranu i'w gynal, a gweddio drosto nos a dydd. Un felly oedd Thomas P. Richards. Yr eglwys oedd ei gartref. Yr oedd ei ysgwydd mor dyned o dan yr arch a phe buasai ei thynged yn dibynu arno ef yn unig. Pan yn absenol o'r cyfarfodydd, yr oedd pawb yn gwybod mai yn *glaf* yr oedd, a byddai torf yn myned i'r ty i edrych am dano. Pan wedi tori pont ei ysgwydd yn Pittston, ac er ei chael i'w, a'i chadw yn ei lle, gorfu i'r hen ddoctores, Mrs. Nancy Williams, dori clawr Beibl mawr Peter Williams, er ei ddefnyddio yn lle estyll; ond os gwellaodd clawr y Beibl ei esgyrn ef, gras Duw a wellaodd ei enaid—Ie, awdwr y Llyfr a fu yn awdwr iachawdwriaeth iddo ef. Yr Arglwydd o'i ras a gyfodo rywun tebyg i Thomas P. Richards yn mhob eglwys trwy y byd, ac yn enwedig yn yr eglwys hon. Nid oedd arno ef ofn neb ond Duw, ac nid oedd yn casâu neb ond y diafol a phechod. Er wedi tewi yn y tywod, y mae efe yn llefaru eto yn ei esiamplau, a gobeithiaf yr atebir ei weddiau ar ran yr eglwys hon a'i gwrandawyr. Yr wyf yn teimlo fod ei ysbryd gyda mi yn yr areithfa bob Sabboth, yn gweddio am i Ysbryd Duw amlygu ei hun.

Er cael drych i wel'd ei galon,
Af a phlanaf rosyn gwyn
Ar ei feddrod, uwch ei ddwyfron,
Tra mae'n huno yn y glyn.

Wele dystiolaeth helaethach Mr. Thomas, Parsons, yn dilyn:

"PARSONS, PA., Meh. 19, 1883.

AT Y PARCH. H. G. JAMES:

*Anwyl Frawd*—Mewn perthynas a'r brawd ymadawedig, Thomas P. Richards, gallaf eich hysbysu ei fod yn un o'r rhai ffyddlonaf a adnabum erioed. Nid oedd yn un o 'grefyddwyr y tywydd teg,' Nid rhyw rwystrau bychain fuasai yn ei luddias o foddion gras. Pe buasai yn tueddu i wrando ar gymellion anhwylderau corphorol, anaml iawn y gwelsid ef yn y cyrddau, ond nid felly yr oedd. Hefyd, yr oedd yn hynod o selog gyda chrefydd. Gwelir amryw yn ffyddlawn yn y cyrddau, ond yn bur amddifad o zel a brwdfrydedd. Yr oedd Thomas yn teimlo dyddordeb yn mhob rhan o'r gwaith, sef yn llwyddiant yr achos, ac i'r dyben yna yr oedd yn foddlon iawn i wneyd aberth nid bychan er cyrhaedd yr amcan clodwiw hwnw.

Hefyd, yr oedd hunan-ymwadiad yn nodwedd arbenig perthynol iddo. Nid oedd mor awyddus a llawer a welir yn gyffredin am ei ffordd ei hun. Nid ei lesâd ei hun, ond llesad llaweroedd, fel Paul, oedd arwyddair ei fywyd crefyddol. Os na chawsai ei ffordd, ni fuasai yn cyndyn dynu. Buasai yn rhoi fyny i'r mwyafrif bob amser, os na fuasai eisiau aberthu egwyddor a thawelwch cydwybod.

Ystyriwyf mai colled annhraethol i'r eglwys ar y ddaear yw marwolaeth y brawd anwyl Richards. Byddai cael cymdeithas o bobl fel hyn yn gaffaeliad bendigedig mewn unrhyw gymydogaeth. Ystyriwyf ef yn un o ragorolion y ddaear; felly y mae ei golli yn golled fawr i'r gymydogaeth, y teulu, a'r eglwys.

Barnwyf fod yr amlinelliad uchod yn ddigon i agor o'ch blaen faes toreithiog er eich galluogi i wneyd darlun byw o fywyd y brawd teilwng dan sylw. Gellwch gael ffeithiau angenrheidiol eraill gan Mrs. Richards. Cofiwch fi yn garedig at y teulu galarus yn eu trallod. Cofiwch fi hefyd at bawb o'm cyfeillion. Derbyniwch chwithau a Mrs. James ein serch gwresocaf. Yr eiddoch yn frawdol—*W. D. Thomas*."

*Mahanoy City*. H. GWERFYL JAMES.

THOMAS DEVEREUX.

Drwg genym gofnodi marwolaeth Thomas, mab hynaf ein cyfeillion James a Mary Devereaux, Rosedale, Kansas, yr hyn a gymerodd le ddydd Mercher, Awst 20, 1883. Ni chafodd ond byr gystudd. Rhyw naw diwrnod wedi ei gymeryd yn glaf, cymerwyd ef â gwaedlif, a gwaedodd i farwolaeth. Yr oedd Thomas yn fachgenyn parchus iawn yn y gymydogaeth, ac yn dda gan bawb am dano. Yr oedd yn 15 mlwydd a 5 mis oed. Bedyddiwyd ef tua dau fis yn ol, ac yr oedd ar fedr cychwyn i'r athrofa i barotoi ei hun i fyned i'r weinidogaeth; ond tebyg mai nid felly y rhyngydd bodd i'r Arglwydd.

Daeth torf o gyfeillion yn nghyd i dalu y warogaeth olaf i'w weddillion, ac i gyd-alaru a'i rieni parchus ar ei ol. Gweinyddwyd ar yr achlysur gan y Parchn. Mri. Streeter a Hindman. Pregethodd Mr. Streeter ar Mal. 3:17, "A byddant eiddo fi, medd Arglwydd y lluoedd, y dydd y gwnelwyf briodoledd." Yr oedd y testyn a'r syniad yn bwrpasol iawn. Dangoswyd llawer o gydymdeimlad gan bawb tuag at y teulu gofidus yn eu trallod, a dymuniad eu holl gyfeillion yw am i'r Arglwydd eu cysuro, ac y cânt hwy a ninau gydgyfarfod a'n hanwyliaid yn y wir baradwys draw. IAGO.

GENETH YN CAEL EI LLADD GAN FELLTEN.

Gwawriodd bore yr 20fed o Awst yn ac o amgylch anedd-dy y brawd a'r chwaer Geo.

Digitized by Google

W. a Catharine Bird, Sherman, Ohio, fel arferol, yn siriol a hyfryd; ond cyn canol dydd agoshaodd cymylau duon, a dechreuodd y mellt wau, a'r taranau ruo yn erchyll, a chyn fod y teulu braidd wedi ciniawa, tarawodd mellten nen y ty, a gweithiodd ei ffordd trwy y ty i lawr nes dyfod i gyffyrddiad a'r ferch henaf, gan ei lladd ar amrantiad. Ni allodd yngan gair. Nid ydym yn gwybod beth a ddygwydd mewn diwrnod. Ei henw oedd Catharine Jane Bird, a'i hoedran ydoedd 12 mlwydd, 10 mis, a 28 diwrnod. Yr oedd yn aelod rheolaidd a ffyddlawn gyda'r Bedyddwyr yn y lle. Bedyddiwyd hi tua blwyddyn yn ol gan y Parch. Iago W. James. Hebryngwyd ei gweddillion y dydd Iau canlynol i Wadsworth, O., lle y rhoddwyd yr arch yn y *vault*.

Mae yr ardalyddion yn teimlo yn ddwys dros y teulu yn ngwyneb y brofedigaeth chwerw a ddaeth i'w cyfarfod. Gweinyddwyd ar yr achlysur gan y Parchn. Iago W. James a T. M. Mathews. EILIANYDD.

SARAH HOWELLS.

Mai 3, 1883, yn 1 flwydd, 2 fis a 10 niwrnod oed, o'r *inflammation*, bu farw Sarah, merch fechan Thomas ac Abia Howells, Plaines, Pa. Claddwyd hi y dydd Sul canlynol.

W. D. THOMAS.

MR. DAVID W. PRICHARD.

Medi 1, 1883, yn Remsen, Swydd Oneida, N. Y., yn 73 mlwydd oed ond 14 o ddyddiau, bu farw Mr. David W. Prichard. Mab ydoedd i William ac Elizabeth Prichard, o'r lle a elwir Y Glyn, yn Steuben, lle y ganwyd ef Medi 14, 1810. Ymunodd mewn priodas Tachwedd 17, 1831, â Mary, merch i William J. ac Elizabeth Lewis, o Trenton, y rhai oeddynt ar y pryd, ac am lawer o flynyddoedd, yn aelodau yn yr ail eglwys o Fedyddwyr yn Steuben.

Yn y flwyddyn 1834, profodd argyhoeddiad mor llym am ei gyflwr, fel na allai ymatal (yn ol ei dystiolaeth ei hun) yn hwy heb ymofyn am le yn nhy Dduw. Daeth ef a'r ysgrifenydd i'r cyfarfod eglwysig yn Steuben yr un dydd, a byddai ef yn coffau yn fynych ein bod yn efeilliaid, o herwydd ein geni yn yr un dydd, a bod genym yr un Tad ysbrydol, a'r eglwys Gristionogol yn fam, yr hon yw ein mam ni oll. Peth arall oedd ynom yn debyg, yr oedd ein cyflwr mor ddrwg, fel nad oedd modd cyrhaedd ein clwyf ond drwy iachawdwriaeth rad ddiamodol, drwy Fachniydd yn Gyfryngwr. Pan dderbyniwyd ef i'r eglwys, Medi 28, 1834, derbyniwyd hefyd ei wraig, ei ddwy chwaer, a thri eraill.

Gadawodd ei weddw mewn sefyllfa gysurus, fel prif feddianydd a rheolydd ei eiddo. Gadawodd bedwar o feibion a thair o ferched, oll yn briod, ac wedi uno gyda'r eglwys Gristionogol, sef y Bedyddwyr.

Goddefodd lawer o boen gan y *sciatic rheumatism*, yr hyn a fu yn achos iddo gwympo, tua saith mlynedd yn ol, a thori asgwrn pen ei glin, yr hyn a chwanegodd ei boen yn ddirfawr, a'r gauaf diweddaf, cwympodd drachefn ar y glin arall, ac er na thorodd asgwrn, eto chwanegodd ei ofid, fel y bu raid iddo arfer dwy ffon wedi hyny. Yn ei ddyddiau olaf cafodd ei gymeryd gan grynfeydd oer, sef boreu dydd Mercher, y 29ain o Awst, fel na allai sefyll ar ei draed mwy, ac yn ganlynol gan dwymyn a'r dolur rhydd, a bu farw tua dau o'r gloch bore Sadwrn yn nhy Mr. Evan Owens, ei fab-yn-nghyfraith, pan ar ymweliad a'i ferch, yr hon oedd yn glaf ar y pryd.

Ordeiniwyd ef i'r swydd ddiaconaidd yn eglwys Remsen, yn 1861, a bu yn ffyddlon yn y swydd hyd derfyn ei oes. Un teimladwy ydoedd, a selog dros yr achos. Ni byddai yn foddlon wrth wrando pregeth, os na byddai tipyn o hwyl a myn'd ynddi, fel y dywedai. Yr oedd ei sel gymaint dros y gwirionedd, sef yr hen athrawiaeth, fel y rhwymodd ei weddw i dalu swm penodol yn flynyddol at gynal yr achos yn Remsen, tra y byddai y wir athrawiaeth yn cael ei phregethu yno.

Huna yn awr, Dafydd, yn dawel hyd nes y byddo "beddau y byd ar un gair yn agoryd," a'r corph gwael, marw hwn yn cael ei wisgo âg anfarwoldeb, a chael ei wneyd yn ysbrydol, ac addas i fyw yn dragywyddol mewn gogoniant.

EI FRAWD.

—Ymladdodd Lewis Phillips a Jacob Rosenbeck ornest, y dydd o'r blaen, yn agos i Vandalia, Ill., mewn canlyniad i gweryl, a llwyddasant i ladd eu gilydd

Digitized by Google

## NODION CYFFREDINOL.

—Mae cynalwyr Bradlaugh wedi penderfynu, pan gyferfydd Parliament nesaf, na chaiff Ty y Cyffredin lonyddwch nes y caiff Bradlaugh dderbyniad, neu y penderfynir ei anghymwysderau cyfreithiol.

—Bu Mr. R. M. Williams (*Ab Morydd*) farw yn Floyd, Sir Oneida, y 3ydd o'r mis diweddaf, wedi gadael ei 94 mlwydd oed. Yr oedd yn fardd, a bu yn bost-feistr am y 15 mlynedd diweddaf o'i fywyd.

--Mewn cystadleuaeth a gymerodd le yn ddiweddar yn Itali rhwng peirianau i fedi a rhwymo yd, gwneuthuredig mewn gwahanol wledydd, enillwyd y gwobrwyon cynygiedig gan beirianau o'r wlad hon.

—Mae gweithred ysbeilgar y Ffrancod, yn eu hymosodiad ar Madagascar, gyda'r bwriad amlwg o geisio lle troed, a sefydlu hawl i feddiant yno, wedi creu digllonedd cyffredinol trwy holl Ewrop. Mae agwedd fygythiol wedi bodoli rhwng Ffrainc a China yn ddiweddar, ond yn bresenol y mae arwyddion y terfynir yr anghytundeb yn heddychol. Dywed newyddion diweddarach o Hong Kong, fod brwydr ystyfnig wedi ei hymladd am wyth awr, heb lawer o fantais i'r naill ochr na'r llall, ond fod colled y Chineaid mewn bywydau yn fwy.

—Ymddengys fod y gwaith ar gamlas Panama yn cael ei ddwyn yn mlaen yn brysur. Mae dros ddeng mil yn gweithio arno, a'r holl ran gymerwyr, ond dau, wedi dechreu gweithio. Cwblheir yr adran gyntaf, o Panama i Pedro Miguel, yn mhen dwy flynedd, ac yn ol yr amodau, mae y gwahanol adranau i fod yn barod mewn tair blynedd. Nid oes nemawr amheuaeth na chwblheir y gamlas o fewn pum' mlynedd. Er fod cryn lawer o afiechyd yn Panama, dywedir fod cyflwr iechydol y gweithwyr yn dra boddhaol. Mae nifer o feddygon medrus wrth law, a phob gofal a ellir yn cael ei gymeryd, trwy adeiladu bwthynod, a moddion eraill.

—Mae yn ymddangos fod teimlad gwrth-Iuddewig yn Ewrop ar gynydd. Torodd terfysgoedd allan yn Egerszeg, Hungari, gan barhau dros dri diwrnod, a chymerodd 2,000 o bobl ran ynddynt. Dinystriasant dai a siopau yr Iuddewon yn y lle, yn nghanol bloeddiadiadau, "Lleddwch yr holl Iuddewon!" Galwyd y milwyr allan, a lladdwyd tuag ugain. Gosodwyd y lle dan gyfraith filwrol, a chyhoeddwyd y crogid o fewn tair awr bob un a geid yn euog o farwolaeth gan y llys milwrol. Yn Ekaterinosiav, Rwssia, dinystriwyd 346 o dai yr Iuddewon, a lladratawyd eu heiddo. Bernir fod eu colledion yn 611,000 roubles. Llosgir tai yr Iuddewon yn mhob cyfeiriad. Medi 1, ymosododd dwy fil o wladwyr ar Krapina, gyda'r bwriad o ddinystrio yr Iuddewon. Taniodd y milwyr arnynt, gan ladd un, a chlwyfo tri. Carcharwyd amryw.

## DYDDANION.

—Meddai boneddiges, wrth ddesgrifio mor wasgarog a digysylltiad ydoedd pregethau Mr. ——: "Yr ydwyf o'r bron yn credu pe buasai y frech wen ar ei destyn, na chawsai ei bregeth ddim o honi."

—"A wyddoch chwi, Robert," ebai merch ieuanc wrth ei chariad, "fod y corph dynol yn newid yn drwyadl bob saith mlynedd?" "Os felly," meddai Robert, "nid Miss L—— a fyddwch chwi yn mhen saith mlynedd eto! Chwi a fyddwch yn Mrs. Rhywun."

—"Sut y darfu i chwi, Miss, roddi eich oedran i lawr yn bump ar hugain, a chwithau wedi eich geni yn yr un flwyddyn a mi, ac yr wyf fi yn bedair ar bymtheg ar hugain?" "O'r anwyl, yr ydych chwi wedi byw lawer iawn yn gyflymach na fi."

—"Ffordd dda i ddewis gwr," meddai gwraig y dydd o'r blaen, "ydyw sylwi pa mor amyneddgar y bydd un yn dysgwyl am ei giniaw, pan na fyddo yn barod yn hollol at yr amser." "A ffordd dda i ddewis gwraig," meddai yr un a wrandawai arni, "ydyw sylwi pwy a fydd yn fwyaf manwl i gael ciniaw yn barod erbyn yr amser."

—Yr oedd rhyw gynulleidfa yn dra awyddus i gael gwared o'u gweinidog, ond yn methu gwybod sut i ddwyn hyny i ben heb ddolurio ei deimladau. Ar ol tipyn o ystyriaeth, penderfynwyd o'r diwedd rhoddi gwybod iddo eu bod dan yr angenrheidrwydd o ostwng ei gyflog. "Frodyr," oedd yr atebiad, "yr wyf wedi bod gyda chwi mewn hawddfyd, ac ni fynaf er dim eich gadael mewn adfyd."

"Pa faint o blant sydd genych chwi erbyn hyn?" meddid wrth un. "O'r anwyl," meddai, "y mae genyf bedwar ar ddeg, bechgyn a merched bron i gyd!"

—Y cangenau trymaf o ffrwyth a blygant yn isaf.—*Diareb.*

Digitized by Google

# Y WAWR.

CYF. VIII.] TACHWEDD, 1883. [RHIF. 8.

# Erthyglau Arweiniol.

## Y WEINIDOGAETH YN NGHYMRU AC AMERICA.

Nid yw y weinidogaeth yn hollol yr un peth yn y ddwy wlad. Fel y mae pob peth yn gwahaniaethu o'r ddau tu i'r môr i ryw raddau, felly y weinidogaeth hefyd. Yn Nghymru, mae y weinidogaeth yn batriarchaidd. Gwisga ddelw y teuluol yn arbenig; y mae'r wlad yn hynach, y mae cymdeithas yn fwy sefydlog. Mae pethau "yn ngwlad y bryniau" yn aros yn hwy yn eu lle ar ol eu gosod yn eu lle. Mae pob rhyw beth yn fwy sefydlog yno. Nid oes cymaint o alwad ail-drwsio yno ag yma. Cydnebydd cymdeithas y terfynau yno. Yma drachefn mae y *fences* yn eiddilaidd, ac weithiau nid oes un i'w chael. Y mae'r gwahaniaeth amlwg hwn yn nghyflwr cymdeithas yn y ddwy wlad yn peri fod mwy o alwad bugeiliaeth ar ran y gweinidog yma. Yn "ngwlad y gân," os ceir dwy bregeth dda ar y Sabboth gan y gweinidog, bydd pob peth yn dda. Wrth gwrs, da fydd gan y praidd ei weled yn galw heibio yn awr ac eilwaith. Ni ystyrir hyny yn rhwymau arno, ond yn hytrach yn gymwynas ac yn ffafr. Yr unig *waith* a ddysgwylir oddiwrtho ydyw pregethu yn go dda. Ni cheisir gan y gweinidog gymaint, fel rheol, a bod yn y cwrdd eglwys; os esgeulusa y cwrdd gweddi a'r gyfeillach, ni chwynir llawer. O dan gysgod llafur "parotoad erbyn y Sabboth," pasir heibio llawer o fân negesau y gellid yn naturiol ddysgwyl i'r gweinidog ofalu am eu cyflawni. Ond yma y mae pethau yn yn wahanol; o'r hyn lleiaf mae amgylchiadau yn galw am fod y gweinidog, nid yn unig yn bregethwr derbyniol, ond yn weithiwr difefl yn ngwinllan ei Arglwydd. Fel y nodasom eisoes, mae cymdeithas yma mor ansefydlog; mae chwyldroadau mor fawrion yn amgylchiadau dynion, yn galw am fugeiliaeth ofalus, yn gystal a phregethu da. Braidd nad â y pregethu yn ofer os na ofelir am y fugeiliaeth. Y mae fod y bobl mor wasgaredig hefyd yn galw am lafur bugeiliol.

Credwn y dylid ychwanegu un elfen at y weinidogaeth yn America—y drydedd elfen, sef yr un genadol. A chaniatau fod yn Nghymru ddwy elfen—gweinidogaeth y gair a'r fugeiliaeth—mae angen am un arall *yma*, yr un genadol. Mae eisiau yn America my-

Digitized by Google

ned allan i'r prif-ffyrdd a'r caeau, fel y llanwer y ty.

Sylwasom fod ein gweinidogion wrth groesi y môr yn cario yr un *style* o weinidogaeth gyda hwynt, ac hefyd yr un *style* o bregethu; ac nid anfynych y gellir eu hadnabod fel pregethwyr yr Hen Wlad—ac heb ystwytho dim arnynt ar gyfer America. Ceir cyfeiriadau ynddynt at bethau draw, heb gofio dim am amgylchiadau neillduol gwrandawyr Americanaidd.

Pan yn dod drosodd i America, dysgwylir i ni *fwrw* ein cyrn, a dyfod yn wyr y wlad hon, a pheidio bod yn *green-horns* mwyach. Da iawn. Boed felly yn y weinidogaeth. Wrth gwrs, gadewch i ni gael yn ddiffael yr hen dân Cymreig, yr hen efengyl, yr hen wirioneddau, yr un *Iawn*, yr un *groes*. Gadewch i ni gael yr un Iesu, yr un maddeuant rhad, îe, ar bob cyfrif, ond gadewch i ni hefyd eu cael wedi eu hegluro a'u cymwyso at gyflwr pobl y wlad. Bydded y *fugeiliaeth* yn fwy amlwg o lawer. Nac aroser cymaint o'r golwg yn y ty. Y mae aros i hunan-fwynhau yn y ty yn goll mawr. Y mae hyny i raddau yn angenrheidiol ambell dro, ond fel gorphwysiant ar ol llafur. Cofied ein brodyr wrth ddod o Gymru yma am ddod yma i weithio. Y mae eisiau *gwaith* oddiwrth y gweinidog yn America. Y mae udgorn yr efengyl i'w seinio, ond y mae eisiau myned allan yn erbyn y gelyn. Mae eisiau *organizo*—mae eisiau rhoi y bobl ar waith. Bydded y gweinidog yn flaenor. Esiampl i bawb gweinidogion yw Mr. Spurgeon. Mae ganddo dalentau dysglaer, yn ddiau; ond nid yw efe yn myned i ymddibynu arnynt, nid yw yn myned i fyw arnynt; mae hefyd yn llawn gwaith, ac yna canlyna llwyddiant. Mae *rhai* yn dyfod drosodd yma o Gymru yn debyg iddo; maent yn esiamplau teilwng i'w hefelychu. Mae yn syndod meddwl sut y gall rhai gweinidogion gael eu hunain yn foddlon a hapus heb fod wrth eu gwaith, a'r eglwys yn marw yn y lle, heb son am gynyddu. Gofaler fod yr ysgol ganu mewn cyflwr llwyddianus, a'r ysgol Sul. Os oes eisiau trwsio y capel, gwneler hyny.

HEN DDIACON.

---

## DYNION DIFEDYDD

### YN MHWLPUDAU Y BEDYDDWYR.

[O Seren Cymru.]

Gofyna rhai yn nhwymyn boethwyllt yr "undeb," a'r "heddwch enwadol," ac yn uchaf bwynt gwres gorsel dros bregethwyr dyeithr, Pa niwed sydd o fod pregethwyr enwadau eraill yn mhwlpudau y Bedyddwyr? Yn mhlith niweidiau eraill gellir sylwi fod a ganlyn:

1. Yr ydys, trwy ddwyn pregethwyr o bob enwad i areithfaoedd y Bedyddwyr, yn dirmygu dull yr enwad Bedyddiol dros drochiad fel unig ddull gweinyddiad bedydd, a thros ffydd ac edifeirwch fel cymwysderau hanfodol mewn ymgeisydd am fedydd. Deil y Bedyddwyr mai trochiad yw yr unig ddull i weinyddu yr ordinhad. Os felly, dynion heb eu bedyddio yw pawb nas trochwyd yn ol gorchymyn yr Athraw mawr. Gan nad yw taenellwyr yn fedyddiedigion yn y goleu hwn, a chan fod Bedyddwyr yn eu cymell i gynal eu cyfarfodydd chwarterol, &c., y canlyniad yw, fod y Bedyddwyr, drwy yr ymddygiad hwn o'r eiddynt, yn dirymu ac yn gwanychu nerth a dylanwad yr hyn a ddelir ganddynt mewn proffes. Os dywedir fod taen-

Digitized by Google

ellwyr wedi eu bedyddio trwy daenelliad, priodol fyddai gofyn, Paham na weinydda y Bedyddwyr (h. y., defnyddwyr y frawddeg uchod) yr ordinhad yn yr un dull, gan ei fod yn sicrhau yr un amcan? Darllenasom am un o ganlynwyr Harri VIII. yn ddiweddar yn gweinyddu bedydd trwy drochiad ar ddau ymgeisydd a roddasant amlygiad o edifeirwch cyn eu bedyddio; ac yn mhen ychydig fynydau, gwelid yr un gweinyddwr yn taenellu ychydig ddyferynau (gan ei alw yn fedydd) ar berson nas gallai edifarhau, ac nas mynai y bedydd o gwbl, pe cawsai lonydd; oblegid llefain, a bloeddio, a gwingo wnaeth wrth, ac wedi cael y gweinyddiad, ac nid "myned ar hyd ei ffordd ei hun yn llawen," fel yr eunuch. Ond dyna, yr oedd y lleisio a'r crio "mam" yn arddangosiad o'r dylanwad a deimlodd. Nid syn genym glywed am Harriaid yr oes hon, o fath yr un uchod, yn cefnogi y fath gymysgedd, oblegid cymysgedd yw eu cyfundrefn hwy o'r dechreuad; ond pan y gwelwn ddosbarth a alwant eu hunain yn Fedyddwyr selog yn cymell taenellwyr i'w hareithfaoedd, gan ddyweyd eu bod yn fedyddiedigion, ac eto yn gwrthod gweinyddu bedydd (os goddefir ei alw yn fedydd) yn ol dull y bedyddiedigion hyny, braidd na thorem allan i ddweyd, O, anghysondeb anferthol! yr hwn a yspeili dy gefnogwyr o'u grym a'u dylanwad fel canlynyddion Ioan a Christ yn ngweinyddiad eu bedydd—pa fodd y'th ddileaf di? Yn mhellach, yr ydys, drwy gefnogi y cymysgedd hwn, yn dirymu dadl yr enwad Bedyddiedig dros ffydd ac edifeirwch fel rhagredegwyr bedydd. Onid hyn, yn benaf, sydd yn gwahaniaethu y Bedyddwyr oddiwrth enwadau eraill? Ond er y gwrthodir bedydd heb amlygiad blaenorol o'r cymwysderau uchod, eto caniateir i un dosbarth eu dysgu, &c, er na feddianai y naill na'r llall cyn ei fedyddio; a mwy na hyny, nas bedyddiwyd ef o gwbl. Pa wahaniaethau bynag ddichon fod yn nghredoau proffesedig trochwyr a thaenellwyr, mae y cydgordiad mwyaf rhwng ymddygiad y blaenaf, at ba un y cyfeiria yr ysgrif hon, a chredo a phroffes yr olaf. Iaith yr ymgymysgiad yw, nad oes gwahaniaeth pa enwad o gwbl; fod y naill cystal a'r llall; nad oes bwys pa un ai trochedig ai taenelledig fyddo y pregethwr—nad oes gwahaniaeth pa un ai cyn cael eu trochi *mewn* dwfr, ai wedi taenelliad dwfr arnynt, y teimlasant ac y rhoddasant amlygiad o ffydd ac edifeirwch.

2. Trwy ymgymysgu, yr ydys yn cefnogi yr hyn (yn ol proffes y Bedyddwyr) sydd gyfeiliornad. Deil yr enwad Bedyddiedig mai ffrwyth teimlad a mympwy ddynol yw taenelliad babanod. Os felly, yr ydym, drwy ddwyn amddiffynwyr cyfeiliornad i'n dysgu yn ein capeli, yn cefnogi rhai a ddysgant gyfeiliornad, a thrwy hyny yn cefnogi y cyfeiliornad ei hun. Os ydym yn proffesu dal a choleddu egwyddorion pur y Testament Newydd, ac eto, yn ein hymddygiadau, yn cefnogi yr hyn sydd groes, yr ydym yn euog o anffyddlondeb ac anghysonder, ac y mae hyny yn rhwym o fod yn cario dylanwad niweidiol ar ein cyd-ddynion.

3. Trwy yr ymgymysgiad, yr ydys yn cyfyngu cylch, ac yn atal llwyddiant yr hyn a broffesir ei fod yn Gristionogol. Proffesa y Bedyddwyr yn Nghymru fod trochiad yn fedydd Cristionogol, ac mai hwnw yw unig ddull gweinyddiad yr ordinhad. Os felly, mae pob dull arall yn anghristionogol.

Digitized by Google

Trwy bleidio pleidwyr yr anghristionogol, yr ydys yn rhwym o wrthwynebu y Cristionogol. Y gwir yw, eglwysi y Bedyddwyr yw y cylch yn mha un yr amddiffynir trochiad y crediniol; ond trwy ddwyn taenellwyr i mewn yno, mae hyd yn nod y cylch hwnw yn cael ei gyfyngu. Yr un rhesymau a ddygir yn mlaen dros yr arferiad hwn ag a ddygir dros gymundeb cymysg, sef mai yr un amcan sydd gan bob enwad mewn golwg, ac mai i'r un man yr ydym yn meddwl myn'd, &c. Nid yw unrhywiaeth amcan yn ddigon o reswm dros i ni ganiatau breintiau y naill gymdeithas i gymdeithas arall. A wahodda yr Odyddion weithiau yr Iforiaid i un o'u swyddi blaenaf, er mai yr un amcan sydd gan y ddwy gyfrinfa? Os yw cymdeithasau dyngarol yn cadw trefn, pa faint mwy y dylai cymdeithas grefyddol fod felly? Dileer yr anghysonder hwn; amddiffyner y cywir a'r da; rhodder profion i'r enwadau eraill o lwyrni a dyfnder ein parch i burlan-eiriau y Goruchaf; aberther teimladau dynol yn hytrach na gwirioneddau Dwyfol; ymdrecher, ymladder yn ol trefn a chynllun yr Anfeidrol; oblegid "Od ymdrech neb, ni choronir ef onid ymdrech yn *gyfreithlon.*" (2 Tim. 2: 5.)

---

## YR ATHRAWIAETH O GYFIAWNHAD.

GAN Y PARCH. LLEWELYN REES, JOHNSTOWN, PA.

### *Rhif II.*

II. *Yr Achosion o Gyfiawnhad.*

Cyn ymhelaethu ar yr achosion o gyfiawnhad, addas, feddyliem, yw galw sylw byr at gyflwr syrthiedig dyn, sydd mewn angen o'r gras mawr hwn. Rhaid deall yr angen i ddeall y ddarpariaeth. Perffaith ddealldwriaeth o ddyn a'i angen fu un o gymwysderau penaf y Goruchaf i ddarparu crefydd iddo. Amlwg yw hyn yn y llesiant mawr i ddyn—y gwaethaf a'r mwyaf truenus, a ganlyna dderbyniad trwyadl o drefn gras.

Term perthynasol yw cyfiawnhad, yn golygu term arall gwrthgyferbyniol. Nid oes ond yr anghyfiawn mewn angen cyfiawnhad, fel mai yr halogedig yn unig sydd mewn angen sancteiddhad. Felly, fel y mae dyn yn anghyfiawn y saif mewn angen o fendith fawr ein pwnc. Ystyr lythyrenol y term anghyfiawn, yn ol tadogaeth y gair, yw, fod yr hwn sydd yn anghyfiawn yn syrthio yn fyr o fod mor iawn a rhywbeth arall. Y peth arall hwnw, feddyliem, yw y gyfraith y mae dyn yn byw dani. Mae cymeriad dyn i'w fesur wrth y gyfraith, yr hon yw y safon. Y dyn a ufuddhao yn berffaith i gyfraith, sydd i'w ystyried mor berffaith a'r gyfraith hono. Dyna, feddyliem, yw fod cydwybod dyn yn cyd-wybod a'r ddeddf. Mae yn y ddeddf wybodaeth o ddyledswydd yn cael ei rhoddi, a phan dderbynia dyn y wybodaeth hono mewn llawn ddealldwriaeth o honi, ac y cydnabydda ei hiawnder, gellir ei ystyried yn cyd-wybod a'r ddeddf. Yma, gwelir mai cyflwr i fodoli ynddo yw cydwybod; ond, yn gyffredin, siaredir am gydwybod, nid fel cyflwr i fod ynddo, ond fel gallu eneidiol i'w ddadblygu. Ar yr un egwyddor resymiadol, mae y dyn a ufuddhao yn berffaith i ddeddf, i'w ystyried mor iawn a'r gyfraith. Pan syrthiodd dynoliaeth, fe gadwodd y ddeddf a droseddwyd ei safle iawn, wreiddiol; ond fe aeth dyn yn is na hi, ac felly yn *an*iawn—yn *an*nghyfiawn. Wrth y term anghyfiawn mewn masnach a thrafnidiaeth gyffredin y byd, golygir dyn wedi syrthio yn

fyr o dalu i arall, yr hyn y mae gan yr arall hwnw hawl i'w ofyn. Yr oedd dyn mewn dyled fawr i'r Arglwydd fel ei Greawdwr a'i gynaliwr, ac wrth ufuddhau i'r ddeddf yn unig y gallai dyn yn foddhaol gwrdd â'r gofynion hyny. Pan droseddodd dyn, aeth yn fethdalwr yn llywodraeth y Goruchaf, ac felly fe dynodd faich dwbl arno ei hun—y ddyled barhaus o ufudd-dod i'w chyfarfod, a chyda hyny *ol*-ddyled. Dylid cofio yma—a bydd hyny yn gynorthwy pwysig, feddyliwn, i ddeall perthynas marwolaeth iawnol y groes âg achos dyn—mai deddf a bywyd neu angeu dyn yn faich ei hamodau, a droseddodd dyn yn Eden. Yr oedd cadw deddf felly, yn naturiol, yn sicrhau bywyd, a throseddu y cyfryw, yn naturiol, yn golli bywyd. Pe rhoddasai rhywun llai nag Awdwr bywyd ddeddf a bywyd neu angeu yn amodau iddi, buaswn yn ystyried y deiliad syrthiedig yn sefyll ar safle uwch na'r ddeddf. Buaswn yn synio mai codi yr oedd wrth syrthio—syrthio oddiwrth ddrwg, a chodi at rinwedd. Pan syrthiodd dyn, collodd ddelw Duw, yr hon oedd ei freinteb am ei fywyd. Heb ddelw Duw ar y ddynoliaeth, mae yn afresymol dysgwyl i Dduw oddef dyn yn nghanol moethau ac urddas bywyd, heb ddiystyru ei hawliau a'i ddelw. Yn ngwyneb yr oll o hyn, y mae yn amlwg nas gellir byth dalu ol-ddyled dyn i Dduw, ond trwy i rywun cyfaddas roddi ei fywyd i lawr drosto.

Drwy i ddyn fyned yn anghyfiawn mae nid yn unig Duw, ond dyn hefyd wedi dyfod yn goeliwr (*creditor*). Nid deddf Duw ar lechau ceryg, *plwm*, na dim o'r natur yna a dorwyd, ond y ddeddf oedd yn gerfiedig yn nghalon dyn. O ganlyniad, pan droseddodd dyn, gwnaeth hyny yn erbyn rhan o hono ei hun, yr un amser ag y troseddodd yn erbyn natur ei Grewr. Nis gellir, feddyliwyf, gael meddylddrych cywir am y ddynoliaeth, ond mewn perthynas perffaith a heddychol â Duw. Nid anmhriodol, ond deublyg addas, gan hyny, ydoedd geiriau Pilat am "wir lun ei berson Ef:" "Wele y dyn!"

Oddiwrth yr hyn a ddywedwyd, amlwg yw fod dyn, drwy y codwm mawr, wedi distrywio ei hun, nid yn unig i Dduw, ond hefyd iddo ei hun. Mae nid yn unig Duw, fel anrhydeddwr ei gyfraith yn ei erbyn, ond y mae rhan bwysig o hono ei hun—ei gydwybod—yn ei erbyn. Fel y cyfryw, cyn y gall bôd yn y fath gyflwr a hwn ymgodi, mae yn rhaid i'w ymwared ddeilliaw o gyfeiriad arall. Y meddyg iach ddylai fyned at y claf, y cyfoethog all gynorthwyo y tlawd, a Rhoddwr bywyd yn unig a all adfer y marw. Er mwyn bôd o'r fath hwn y mae y cyfiawnhad rhad, drwy y prynedigaeth sydd yn Nghrist Iesu, wedi ei rasol ddarparu. O, drefn fendigedig!—fod yr hunan-ddistrywiedig yn cael cymaint o sylw yr uchel Dduw!

Yn awr, ni a ddeuwn at yr achosion haeddianol o gyfiawnhad:

1. *Yr achos cynhyrfiol*—cariadlonrwydd y galon Ddwyfol.

Gan mai deddf Duw a dorwyd, a chan mai cuddiad gwyneb Duw mewn canlyniad oedd yr aflwydd gwaethaf a allai ddygwydd i ddyn, a chan fod dyn wrth syrthio wedi distrywio ei hun, fel nad oes ynddo allu ymadfywiol (*recuperative powers*), rhaid oedd i drefn y cyfiawnhau ddechreu gyda Duw. Duw, yn holl-raslonrwydd ei galon, yn ewyllysio cadw dyn oedd y peth cyntaf rheidiol. "Felly y carodd" yw y rheswm mawr a ellir ei roddi am holl

Digitized by Google

drefn gras. Nid oes dim all ddygwydd yn y cyfanfyd heb i'r ewyllys Ddwyfol ei ganiatau neu ei oddef. Gall, ac y mae Duw wedi goddef llawer o bethau croes i'w ewyllys i gymeryd lle, er mwyn i hyny ddwyn oddi amgylch y canlyniadau pwysicaf mewn amser dyfodol, cydweddol a'i ewyllys berffaith. Dyma paham y goddefodd i bechod ymorseddu yn y byd. Gan fod yr holl nerthoedd rheidiol i ddwyn oddi amgylch y drefn fawr—y Mab yn mynwes y Tad, a'r Ysbryd Glan yn yr un fan, yn gwneyd y cyfuniad rhyfeddaf o fodolaeth, rhaid oedd wrth ewyllys Duw i gychwyn. Ni wnai y Mab na'r Ysbryd ddim ond a anrhydeddai yr ewyllys hon. Gan mai sylwedd y cyflwr o gyfiawnhad fel bendith i ddyn a gogoniant i Dduw yw, fod dyn ynddo y fath fel y gall Duw ac yntau fwynhau eu gilydd mewn cydgymdeithasiad, mae yn amlwg, debygwn, fod yn anmhosibl iddo gymeryd lle heb i'r galon Ddwyfol deimlo yn ddedwydd yn y rhagfeddwl am dano. Bradychiad mawr o anwybodaeth o natur ac amodau dedwyddwch dosbeirth anghyfartal eu safleoedd, fyddai tybied y goddefid, neu y dylid goddef i'r isradd gael ei osod ar delerau cymdeithasgar â'r uwchradd, heb i'r uwchradd deimlo yn ddedwydd yn wyneb hyny. Mae ffrydlif yr hyfrydwch sydd i'w fwynhau gan yr hwn a gyfiawnhawyd i gyd i ddeilliaw o'r ymwybodolrwydd fod Duw, yn nhrefn y cyfiawnhad, wrth ei fodd. Ymddengys, gan hyny, yn eglur yr anmhosiblrwydd, yn ol natur pethau, i drefn fawr y cyfiawnhad gael ei rhagfeddwl a'i rhagdrefnu, heb i Dduw, yn ei ras anghydmarol, allu teimlo yn foddhaus yn ngwyneb hyny. Dyma paham y mae "felly y carodd" yn dyfod yn rheswm, a'r unig reswm, am holl drefn gras, bendithion yr hon ar y ddaear a gânt eu huchelnod eithaf mewn cyfiawnhad, ac yn y nef mewn anfarwoldeb gogoneddus. Mae yr oll o hyn yn cael ei ddechreuad yn y "felly y carodd Duw y byd, fel y rhoddodd," &c.

---

# Amrywiaethol.

## CATECHISM Y BEDYDDWYR.

### Penod II.

*Am Ddyn.*

Gofyniad 1. Pa fodd y creodd Duw ddyn?

Ateb. Creodd Duw ddyn yn wryw ac yn fenyw, ar ei ddelw ei hun, mewn gwybodaeth, cyfiawnder, a sancteiddrwydd, gydag arglwyddiaeth ar y creaduriaid. Gen. i. 26—28; Col. iii. 10; Eph. iv. 24.

G. 2. Pa beth yw gweithredoedd rhagluniaeth Duw?

A. Gweithredoedd rhagluniaeth Duw yw ei sancteiddiolaf (Salm cxlv. 17; civ. 24), ei ddoethaf (Esa. xxviii. 29), a galluocaf gynaliad (Heb. i. 3), a llywodraethiad ei holl greaduriaid a'u holl weithredoedd. Salm ciii. 19; Mat. x, 29—31.

G. 3. Pa weithred neillduol o ragluniaeth a gyflawnodd Duw tuag at ddyn yn y cyflwr yn yr hwn y crewyd ef?

A. Pan greodd Duw ddyn, aeth i gyfamod ag ef ar yr amod o berffaith ufudd-dod; gan wahardd iddo fwyta o bren gwybodaeth da a drwg, dan boen marwolaeth. Gal. iii. 12; Gen. ii. 17.

G. 4. A barhaodd ein rhieni cyntaf yn y cyflwr y crewyd hwy ynddo?

A. Gadawyd ein rhieni cyntaf i ryddid eu hewyllys, a syrthiasant o'r cyflwr y crewyd hwy ynddo, gan bechu yn erbyn Duw. Gen. iii. 6—8, 13; Preg. vii. 29.

G. 5. Pa beth yw pechod?

A. Pechod yw diffyg cydymffurfiad â, neu drosedd o gyfraith Duw. 1 Ioan iii. 4.

G. 6. Pa beth oedd y pechod trwy yr hwn y syrthiodd ein rhieni cyntaf o'r cyflwr y crewyd hwy ynddo.

A. Pechod ein rhieni cyntaf oedd bwyta o'r ffrwyth gwaharddedig. Gen. iii. 12, 16.

G. 7. A syrthiodd holl ddynolryw yn nghamwedd cyntaf Adda?

A. Do; gwnaed cyfamod ag Adda, nid yn unig ag ef ei hun, ond a'i holl had, a holl ddynolryw yn disgyn o hono trwy genedliad naturiol, a syrthiasant yn ei gamwedd cyntaf. Gen ii. 16, 17; Rhuf. v. 12; 1 Cor. xv. 21, 22.

G. 8. I ba gyflwr y dygodd y cwymp ddynolryw?

A. I gyflwr o bechod a thrueni. Rhuf. v. 12.

G. 9. Mewn pa beth y mae pechadurusrwydd y cyflwr y syrthiodd dyn iddo yn gynwysedig?

A. Mae pechadurusrwydd y cyflwr y syrthiodd dyn iddo yn cynwys euogrwydd trosedd cyntaf Adda, y diffyg o gyfiawnder gwreiddiol, llygredigaeth ei holl natur, yr hyn yn gyffredin a elwir pechod gwreiddiol, yn nghyda'r holl bechodau gweithredol sydd yn deilliaw o hono. Rhuf. v. 12—21; Eph. ii. 1—3; Iago i. 14, 15; Mat. xv. 19.

G. 10. Pa beth yw trueni y cyflwr y syrthiodd dyn iddo?

A. Trwy eu cwymp collodd holl ddynolryw gymundeb â Duw (Gen. iii. 8, 10, 24); maent o dan ei lid a'i felldith (Eph. ii. 2, 3; Gal. iii. 10), ac felly yn agored i holl drueni y bywyd hwn—i farwolaeth ei hun, ac i boenau uffern dros byth. Galar. iii. 39; Rhuf. vi. 23; Mat. xxv. 41, 46.

## TEITHIO YN NGHYMRU.

O dan y penawd uchod yn *Harper's Bazar*, yn ddiweddar, rhydd teithiwr Americanaidd dipyn o hanes ei deithiau yn Nghymru, a rhydd amryw o ddarluniau o'r golygfeydd a welodd yno, a dywed:

"Nid gwlad o borfeydd a defaid, anifeiliaid duon a geifr, yn unig, yw Gogledd Cymru, ond y mae yn cynwys gweithfeydd llechau mawrion; a chawn ryw ddrychfeddwl am eangder y gweithiau hyn pan gofiom fod yr holl adeiladau yn Lloegr wedi eu toi â llechau. Y chwarelau llechi mwyaf ydynt rai Arglwydd Penrhyn, Mr. Assheton Smith, a chwarelau y diweddar Argl. Palmerston; ond y mae lluaws o rai eraill yn Sir Gaernarfon a Sir Fon, ac yn dwyn cyfoeth mawr i'w perchenogion ffortunus. Ond nid yw y teithiwr pryderus ag sydd yn chwilio y bryniau a'r dyffrynoedd hyn am y prydferth, yr hardd, a'r swynol, yn edrych ar y chwarelau hyn yr un fath ag y mae eu perchenogion. Nid yw y teithiwr yn gweled dim ond creithiau ysgythrog a chribog wedi eu ffurfio ar eiliau ac ochrau y mynyddoedd a'r bryniau, a phentyrau o yspwrial wedi eu taflu allan. Yn ardal brydferth Llanberis mae y gaib a'r rhaw, yr ordd a'r pylor, wedi gwneyd hafog ar yr holl fynydd o amgylch a thu hwnt i'r llyn, ac y maent yn cyflym lenwi fyny y *basin* dwfr prydferth a swynol hwn, yn yr hwn y mae hen gastell Dolbadarn hyd yma yn cael ei adlewyrchu.

Mae y chwarelwyr, fel eu brodyr y mwnwyr yn y glofeydd, yn fechgyn cryfion, gwrol, a diofal, yn byw mewn perygl cyson. Dacw un dyn yn hongian wrth gadwyn, ac yn clirio ymaith y llechau rhyddion oddiar wyneb y graig, er mwyn gwneyd lle i roddi ergyd o bylor ynddo. Mae y chwarelau yn cael eu cysylltu â'r porthladdoedd gan linellau o reilffyrdd; a phan y mae y diwrnod gwaith drosodd, mae y chwarelwyr fel ysbrydion wedi eu gollwng yn rhydd o gaethiwed, ac am y cyntaf yn carlamu adref ar ryw droliau sydd ganddynt at eu gwasanaeth, pob

Digitized by Google

un am y cyntaf i gyrhaedd ei deulu anwyl a'i fwthyn bychan cysurus, lle mae croesaw serchog ac anwyl yn ei aros."

Rhoddir darlun o un o fwthynod y chwarelwyr, yr hwn sydd wedi ei adeiladu o geryg heb ddim cymrwd, wedi ei guddio â mwswgl, ac yn haner cuddiedig gan goed bytholwyrdd, ac wedi ei adeiladu er's canrifoedd ar lan rhyw gornant fechan a chwyrnellog, yr hon sydd a'i ffrydiau bywiog fel gwir gariad, heb fod byth yn rhedeg yn llonydd, ond yn neidio ac yn prancio dros y creigiau a thrwy y dolydd. Gwelir llun dynes ieuanc landeg yn nrws y bwthyn, ac mae yr olwg arni mor siriol a swynol nes y meddylia y teithiwr fod mwy nag un o'r chwarelwyr yn ei charu. O flaen bwthyn bychan arall, wrth droed Bryn-bras, mae y preswylwyr yn cyflawni swydd barfwyr ar eu gilydd; ond y mae yn eglur nad ydynt yn gyfarwydd iawn yn y gelfyddyd eilliol; ond yn Sir Gaernarfon ceir amryw yn mhlith y chwarelwyr ag sydd yn gampwyr ar y gwaith, yn gelfyddwyr proffesedig, ac yn gwneyd busnes o honi.

Diwedda ei erthygl trwy ddyweyd: "Mae y chwarelwyr Cymreig yn ddigon garw, ond nid ydynt mor anifeiliaidd a'r mwnwyr Seisnig. Maent fel rheol yn grefyddol iawn, yn caru cerddoriaeth, yn enwog am eu Methodistiaeth Calfinaidd a'u canu corawl."

Carwn pe b'ai rhyw un o ohebwyr y WAWR yn danfon ychydig o hanes llyn Llanberis i'r WAWR, yn nghyda hanes hen eglwys Llanberis, a hen gastell Dolbadarn. Pob llwyddiant i'r WAWR. --*A. S. Phillips.*

---

## FFORDD LWYDDIANUS I GODI ARIAN.

Mae llawer ffordd i "godi y gwynt," fel y dywedir, yn yr awyrgylch grefyddol, yn gystal a'r un fasnachol, rhai o honynt yn ganmoladwy, a'r lleill yn amheus. Nis gall dim fyned yn mlaen yn hwylus a llwyddianus yn hir heb arian; a pha fodd i godi digon o honynt at ryw achosion neillduol perthynol i lawer eglwys, sydd bwnc o bryder mawr yn aml. Bu felly i eglwys y Bedyddwyr yn Pittston, Pa., yr haf diweddaf. Yr oedd angen mawr am adgyweirio yr addoldy, a phan benderfynodd yr ymddiriedolwyr fod yn rhaid ymaflyd yn y gorchwyl, y pwnc oedd pa fodd y gallai corff bychan cydmarol o weithwyr tlodion godi digon o arian i gwrdd a'r treulion gofynol. Ar ol hir gyfnewid meddyliau, penderfynwyd gosod dau ddyn i gystadlu am oriawr aur, a dwy eneth ieuanc am gadwyn o'r un defnydd. Yr oedd yn ofynol fod y ddau flaenaf, yn neillduol, yn ddynion adnabyddus, ac o safle a dylanwad, cyn y buasai yr anturiaeth yn troi yn llwyddiant. Felly penderfynwyd ar y diacon Jacob W. Evans a Mr. Thomas B. Lewis i redeg am yr oriawr, a Miss Mary Buckley a Miss Lizzie Vaughan am y gadwyn, a'r rhai a ddygent fwyaf o arian i fewn oedd i enill y *prizes.* Ymaflodd y personau hyn yn ngwaith yr ymdrechfa gyda brwdfrydedd teilwng, a buont hwy a'u cyfeillion wrthi yn ddiwyd yn casglu pleidleisiau ac arian am rai wythnosau. Hwyr y 26ain o Fedi oedd i benderfynu pwy oedd wedi enill. Cadwyd cyfarfod cyhoeddus y noson hono yn y National Hall, lle yr oedd y chwiorydd wedi parotoi cyflawnder o *ice cream, lemonade,* a *chandies.* Ar ol i'r pwyllgor apwyntiedig gyfrif y pleidleisiau a'r arian, cafwyd fod gan Miss Buckley 742 o bleidleisiau, a $74.20 o arian. Yr oedd gan Miss Vaughan 957 o bleidleisiau, a $95.75 o arian. Hi, felly, enillodd y gadwyn; ond gwobrwywyd yr eneth aflwyddianus â chadwyn arall, am iddi wneuthur mor rhagorol. Am yr oriawr, yr oedd gan Mr. Lewis 900 o bleidleisiau, a $225 yn arian. Yr oedd gan Mr. Evans 2,001 o bleidleisiau, a $500.35 yn arian. Felly, y mae y diacon teilwng ac adnabyddus yn gwisgo yr oriawr aur. Hir oes iddo i wneyd hyny. Enillodd y fuddugoliaeth tra yn ymdrechu dan lawer o anfanteision.

Y mae yn deilwng o sylw fod yr ymdrechfa hon wedi ei chario yn mlaen o'r dechreu i'r diwedd mewn ysbryd

Digitized by Google

teilwng. Dygodd $895.30 i drysorfa yr eglwys, am yr hyn y teimlwn yn wir ddiolchgar i'r ymgeiswyr a'r cyfranwyr. Heblaw hyn, cynaliodd y chwiorydd wledd hwyr y Pedwerydd o Orphenaf, yr hon hefyd a droes allan yn llwyddiant perffaith. Y mae genym yn awr gapel gwir brydferth, ac yn rhydd o bob gofynion. Diolch i bawb am a wnaethant, ac hefyd i Dduw am osod yn eu calonau i wneyd. AELOD.

## DAMEG

### Y CI TARW A'R TEAKETTLE.

Yr oedd mewn palas yn Ngogledd Cymru gi tarw (*bulldog*), yr hwn a orweddai o flaen y tân ar yr aelwyd, fel na chai y merched wneyd eu gwasanaeth yn fynych, oblegid ei fod ef yn gwneyd llygaid digllon, ac yn noethi ei ddanedd arnynt, ac yn chwyrnu yn greulon arnynt, nes peri dychryn iddynt. Ond rhyw brydnawn, pan oedd y *teakettle* yn berwi ar y tân, a'i big allan, daeth dafnau pistyll ceg Morgan (sef y *teakettle*) yn ferw boeth ar y ci tarw yr hwn a orweddai yno. Y ci cadarn, yn lle cilio oddiwrth y pistyll poeth, a edrychai a llygaid digllon ar y big o'r hon y dyferai y dafnau poethion, a noethodd ei ddanedd, a chwyrnodd yn chwerw; ond nid oedd Morgan yn talu un sylw iddo ef, ond pistyllio allan fwy fwy. O'r diwedd cododd y ci tarw ar ei draed, ac a roddodd gyfarthiad erchyll, ac a agorodd ei safn, ac a ymaflodd a'i geg yn mhig Morgan fel mewn pig ceiliog gwydd, mewn cynddaredd, heb wybod ei fod wrth agor ei safn i dderbyn pig Morgan yn rhoi cyfle i holl bistylliad y dwfr poeth i redeg i lawr trwy ei safn i'w geudod, yr hyn a fu yn angeu iddo. Gan na ollyngai ef ei afael o'r big angeuol, bu y dwfr poeth o'r big yn angeu i'r ci tarw, pan nad oedd Morgan yn bwriadu lladd neb, ond yn berwi allan yn naturiol oddiar wres y tan oddi tano. Y mae ffrydiad allan oleuni tanllyd y gwirioneddau a berthynant i drefn iachawdwriaeth, a dyledswyddau dyn at Dduw ac at ddyn, yn dyfod mewn nerth cyffelyb i'r dwfr berwedig o big y *teakettle;* ac y mae yn berygl sefyll o'i flaen, oblegid fod angeu a bywyd ynddo. Pechu yn ei erbyn, a chwyrnu arno mewn gwrthwynebiad, sydd yn gosod y personau mewn perygl angeu, oblegid y mae yn berwi allan angerdd tân yn erbyn y cyfryw, yr hwn a ā i'w bol, ac a lysg hyd angeu yn eu cydwybod. Tebyg i'r ci tarw oedd Balaam, Cora, y dyn pechod, neu holl gorph Pabau Rhufain; hwy a chwyrnasant ar y gwirionedd, ac a agorasant safn i'w gnoi yn chwerw, ond berwodd allan angerdd tân i'w ceudod; ac felly y gwna eto i'r bwystfil a'r gau brophwyd, fel y bydd yn angeu chwerw yn eu coluddion ryw ddydd.—*Christmas Evans.*

## Y BEDYDDWYR.

Nid yw haneswyr yr eglwys wedi gwneyd cwbl gyfiawnder â'r Bedyddwyr; ond er hyny, darfu i rai, yn deg a diamwys, eraill yn anewyllysgar ac anfwriadol, gydnabod fel ffaith fodolaeth y Bedyddwyr yn nyddiau boreuaf Cristionogaeth. Dywed Mosheim, "Y mae dechreuad yr Ail Fedyddwyr yn guddiedig yn nyfnderau dyfnaf hynafiaeth."

Mewn cyfrol o'r enw, *The Origin and History of the Dutch Baptists,* a gyhoeddwyd yn Breda, yn 1819, dan olygiad dau ddoethawr dysgedig yn perthyn i'r *Dutch Reformed Church,* ceir y dystiolaeth ganlynol i hynafiaeth a ffyddlondeb y Bedyddwyr: "Gellir ystyried yr Ail Fedyddwyr fel yr unig gyfundeb Cristionogol sydd wedi sefyll er dyddiau yr apostolion, ac fel enwad Cristionogol a gadwodd yn bur athrawiaethau yr apostolion trwy yr holl oesau."

Wrth droi at wlad ein tadau, cawn ein hanes yn nodedig am ei hynafiaeth a'i brofedigaethau. Am ddim a wyddom i'r gwrthwyneb, yr oedd y Cristionogion Prydeinig yn Fedyddwyr i gyd yn ystod y pedwar can' mlynedd cyntaf. Trochi oedd yr arferiad cyffredinol yn Lloegr hyd o fewn tri chan' mlynedd yn ol; a pharhaodd felly hyd

Digitized by Google

amser y frenines Elizabeth. Yn y Llyfr Gweddi Cyffredin, a gyhoeddwyd yn ei theyrnasiad hi, a'r hwn a arferir hyd heddyw, "trochi yn y dwfr yn ddiesgeulus a darbodus," ydyw y ffurf o fedydd a orchymynir; ac eithriad ydyw y taenellu, neu fwrw dwfr arno, pan ddywed y rhieni "nas gall y plentyn ddyoddef hyny yn hawdd."

Dywed yr Esgobaethwr a'r esboniwr dysgedig, Dr. Whitby, "Bu holl Gristionogion Lloegr yn bedyddio trwy drochi am dair canrif ar ddeg, a da pe buasai y ddefod mewn arferiad gyffredinol eto."

Y mae yr hyn a ewyllysiai ef mor aiddgar mewn arferiad yn mysg y Bedyddwyr hyd y dydd hwn. Tuedda rhai pobl i feddwl a siarad am y Bedyddwyr fel pe byddent yn rhyw enwad newydd, tra y maent mewn gwirionedd yn hŷn nag un corph arall o Gristionogion. O'r canrifoedd cyntaf, ceir hwynt, nid yn unig yn glynu yn ffyddlawn wrth yr arferiad apostolaidd, ond yn "dyoddef yn ewyllysgar gosbedigaethau creulawn," o'herwydd eu ffydd yn Nghrist. Daliodd baner y Bedyddwyr ruthr y brwydrau a'r tymestloedd am yn agos i ddwy fil o flynyddoedd; ac er ei dryllio a'i baeddu, ni chymerwyd hi erioed gan y gelyn; ac yr ydym yn credu y bydd iddi eto gyhwfan oddiar dyrau pob cyfundeb Cristionogol. Nid ein meddwl ydyw y bydd i'r Bedyddwyr ddyfod yn brif enwad y byd, ac nid am hyny yr ydym yn deisyfu; ond gobeithio yr ydym y bydd i'r eglwysi Cristionogol yn gyffredinol fabwysiadu bedydd crediniol fel yr un "o'r nef," ac fel yr "un bedydd."—*Y Parch. L. Nuttall, yn y Greal.*

---

## GWAHODDIAD HYFRYD.

O, mor felus y bydd y gwahoddiad hwnw, "Dos i mewn i lawenydd dy Arglwydd." Y fath lawenydd fydd yn gorlenwi mynwes y credadyn pan yn myned i mewn i lawenydd ei Brynwr bendigedig! Yno y bydd llestri trugaredd yn cael digon o le yn moroedd gogoniant, a digon o lawnder i'w llanw yn llawn.

Y rhai y mae cariad wedi eu huno mor agos, nis gallant fyw yn hir ar wahân. "Deuwch, fendigedigion blant fy Nhad, etifeddwch y deyrnas a barotowyd i chwi er cyn seiliad y byd."

Yr hyn sydd yn gwneyd uffern mor echryslon yw, ei bod islaw gobaith; a'r hyn sydd yn gwneyd y nefoedd mor llawn o ysblander yw, ei bod uwchlaw pob ofnau. Un lle yn nos heb ddydd i'w ganlyn, a'r llall yn ddydd na ddaw nos yn agos iddo. "Ni bydd nos yno."

Pwy na cheisiai am ogoniant gyda'r diwydrwydd mwyaf, yr amynedd mwyaf? yn gwybod fod pob peth yn gweithio, ïe, "yn cydweithio er daioni i'r rhai sydd yn caru Duw."

Bydd rhai yn gorymdrechu am anrhydedd a gwychder daearol, fel pe bae y lle y bydd y crediniol yn cael ei groeshoelio yw y lle y byddant hwy yn cael eu gogoneddu.

Wedi i'r Gauls brofi gwin Itali, yr oeddent yn ymholi am y lle y tyfai y *grapes;* nid oedd modd eu llonyddu nes dyfod i'r winllan. Fel hyn y dylem ninau lefaru:

"Dwy aden fel c'lomen pe cawn,
Ehedwn a chrwydrwn yn mhell,
I gopa bryn Pisgah mi awn,
I olwg ardaloedd sydd well," &c.

CHRISTOPHER BACH.

---

## BEDYDDIO GAN OFFEIRIAD EGLWYS LOEGR.

Mewn lle gwledig yn mhlwyf Pendeulwyn, o'r enw Pontalybont, drwy ba le y mae afon Lai yn llifo, tua haner y ffordd rhwng Llantrisant a'r Bontfaen, ar y brif ffordd o Gaerdydd, y gwelwyd yr ordinhad o fedydd yn cael ei gweinyddu gyntaf gan offeiriad yn mro Morganwg yn yr oes hon. Am dri o'r gloch, prydnawn Sul, Gorph. 22, gwelid canoedd o bersonau yn cyflymu eu camrau tua'r lle, llawer o ba rai oedd wedi dyfod amryw filldiroedd er bod yn llygad-dystion o'r amgylchiad ag oedd wedi creu cymaint o syndod drwy y gymydogaeth. Yr oedd y

Digitized by Google

bedyddiedig tua 17 oed, ac yn perthyn i deulu Bedyddiedig, ond ei fod ef yn cael ei godi i fod yn ysgolfeistr, ac felly wedi arfer myned i'r eglwys wladol, am fod yr ysgol y mae yn ddysgedydd ynddi yn perthyn i'r cyfryw. Ar ol i'r offeiriad fyned drwy y rhanau dewisedig hyny yn y Llyfr Gweddi Cyffredin sydd i'w harfer pan yn gweinyddu yr ordinhad ar rai mewn oed, ac i'r gynulleidfa ganu dau emyn, yn ol y dull apostolaidd, "aethant i waered ill dau i'r dwfr, ac efe a'i bedyddiodd ef." Mae y Parch. Mr. Lewis, offeiriad y plwyf, yn haeddu ei ganmol am y modd Cristionogol yr ymddygodd tuag at y gynulleidfa, drwy wasgaru llyfrau yn mhlith y dorf, y mwyafrif o ba rai oeddynt Fedyddwyr; canys cyhoeddwyd y bedydd y boreu hwnw yn Croesparc, a thorwyd yr ysgol i fyny y prydnawn er mwyn croesawu yr eglwys wladol yn ei hefelychiad o fedydd y Testament Newydd. Rhaid i ni ddweyd, cyn terfynu, i'r Parch. N. Thomas, Caerdydd, fedyddio un brawd yn y lle uchod ychydig flynyddoedd yn ol, yr hwn sydd yn aelod yn Tabor, Llantrisant.

"Nid boddi y byd y byddant,
Y byd ddaw'n well, bedyddio wnant."

—*O Seren Cymru.*

---

## GALARUS DDIWEDDIAD BYWYD

Mor arswydus, O Farwolaeth,
Raid bod d'wysiad syn i'r dyn
Ag sy'n esmwyth ar ei dyddyn
A'i feddianau mawr ei hun;
'R hwn gan addaw hir flynyddoedd
I fwynhau 'i bleserau i gyd,
Sydd heb wneuthur dim par'toad
Erbyn y trag'wyddol fyd:
Yn yr awr ddychrynllyd hono,
Ei wallgofus enaid sydd
Ynddo'n gwylltu 'ddeutu'r gwelydd,
A pharwydydd ei thy pridd:
Rhed i lechu yn mhob lloches,
Croch ysgrecha am gymorth hael,
Ond ei 'sgrechau oll y'nt ofer!
Nid oes gymorth all hi gael:
Mor hiraethlon y mae'n edrych
Ar bob bychan beth ag 'âd,
Na chai aros ronyn eto
Yn ei thyddyn clyd a'i stâd—
Na chai aros rhyw ychydig,
Fel y golchai 'i brynti'n lân,
Ac ymdrwsio beth parotach
At y siwrnai fawr o'i bla'n:
Drych alaethus! ei golygon
Sy, 'n lle dagrau, 'n wylo'r gwa'd;
Pob ochenaid drom a gyrhaedd
Yn llawn dychryn dileihad;
Ond y gelyn mud, fel lleiddiad,
Cyson yn ei farwol fryd,
Sy' ar ei hol yn dyn yn dilyn,
Fel y milyn main o hyd,
Ar ei thraul ni chyll e ronyn,
Er ei throion yma a thraw.

[Heb ei orphen.]

*Parch. D. Davis, gynt o Gastell Hywel.*

---

# Pethau yn yr Eglwysi.

## DEWIS DIACONIAID.

### *Y Personau, ei Dyfodiad i Swydd, a'u Gwaith.*

*Diaconiaid!*—Iê, dyna derm sydd yn anwyl gan lawer. Term llawn o anrhydedd yw hefyd. Er hyny y mae wedi peri gofid i lawer, yn bersonol ac eglwysig. Mae y gair diacon yn dygwydd 31 o weithiau yn y Testament Newydd, ac y mae yn cael ei gymwyso at wrywod a benywod.

Cyfieitha y Parch. J. Williams, Drefnewydd, neu y Rhos, y gair diaconiaid yn weinidogion, ac esgobion yn ddiaconiaid, yn 1 Tim. iii. Ystyr y gair diacon yw gwasanaethydd; ni noda natur a neillduolion y gwasanaeth. Gelwir dyn, angel, a Christ, yn ddiacon. Cofier nad gair Cymraeg llawn a gwreiddiol yw diacon, eithr estron o dir Groeg ydyw. Cawn ef bump o weithiau yn y Testament Newydd Cymreig: Phil. i. 1; 1 Tim. iii. 8, 10, 12, 13. Nid yw yn Act. vi. o gwbl.

*Dewis Diaconiaid.*—Iê, drwy *ddewisiad* y deuant yn ddiaconiaid. Nid oes neb yn cael ei eni, yn ddaearol na nefol, i swydd yn eglwys Crist. Deuir yn swyddogion drwy *ddewisiad.* Pwy sydd i ddewis? Nid y personau eu

Digitized by Google

hunain; nid eu perthynasau a'u cyfeillion, ac nid y gweinidog. Mae gormod o gnawdolrwydd yn dod i'r golwg yn fynych wrth ddewis diaconiaid. Gwthia ambell un ei hun i'r swydd drwy ddefnyddio pob moddion i enill pleidleisiau drosto; ac y mae yn eglur fod y person yn cael ei bleidio am mai efe yw, ac nid arall; ac nid am ei fod yn gymeriad cymwys neillduol i'r swydd gysegredig.

Nid dieuog pob gweinidog ychwaith o ymgymeryd a dewis ei hunan bersonau yn ddiaconiaid a fyddant yn bleidiol iddo ef, gan nad beth fydd barn a theimlad y lluaws. Ni ddylai y gweinidog ddewis personau, ond dylai ddangos pa fath gymeriad sydd eisiau i lanw y swydd, gan adael y dewisiad yn hollol, yn ddirgel a chyhoeddus, i'r aelodau. Dyna esiampl yr apostolion. Act. vi.

Pan ymffurfir yn eglwys, gellir penodi personau i flaenori pethau am dymor, hyd nes ceir cyfleusdra i adnabod y naill y llall o ran cymeriad a gallu. Pan y byddis yn myned i ddewis diaconiaid, byddai yn dda i weithredu yn debyg i hyn:

Galwer cyfarfod o'r holl aelodau ar adeg pryd y gallont i gyd fod yn bresenol; yna penderfyner drwy bleidlais pa nifer sydd i fod. Dewiser dri pherson adnabyddus fel rhai nad ydynt yn ymgeiswyr am etholiad i'r swydd ddiaconaidd, i fyned oddiamgylch yr aelodau i dderbyn a chyfrif eu pleidleisiau. Ond cyn pleidleisio, dylai gweinidog, naill ai gweinidog yr eglwys neu ynte weinidog arall o ddewisiad yr eglwys, fod yn y cwrdd. Ei waith ef yw darllen Act. vi. 1—6, a 1 Tim. iii. 8—13. Ac wedi eu darllen dylai egluro cymeriad y diacon fel ei dangosir yn yr adnodau hyn. Dylai gymeryd gofal i fanylu yn *esboniadol*, ac nid yn bregethwrol, ar y termau a ddynodant gymeriad y person agored i gael ei ddewis yn ddiacon. Dylai fod yn hollol ddiduedd, ac yn gofalu i beidio darnguddio y gwirionedd. Yna galwed ddau frawd i weddio am i Ysbryd Duw lywodraethu yn newisiad diaconiaid i'r eglwys; ac yna aed y brodyr i dderbyn y pleidleisiau yn absenoldeb y gweinidog. Wedi iddynt eu cyfrif yn y fan hono, galwer y gweinidog i fewn, a bydded iddo ef ddarllen adroddiad y bleidlais, a chyhoeddir y dewisolion yn etholedig. Yna aed y dewisolion yn mlaen at y bwrdd, ger bron y gynulleidfa, ac offrymed y gweinidog weddi ar eu rhan, gan eu cyflwyno yn swyddogion i'r eglwys, a boed hyn yn derfynol, a phawb yn foddlon. Gwir y cymer hyn dipyn o amser, ac weithiau bydd ychydig o draul i gario y gwaith yn mlaen; ond y mae pwysigrwydd y gwaith y cyfryw ag sydd yn galw i'r aelodau wneyd aberth mawr i'r dyben i'r gwaith gael ei gyflawni yn briodol, er lles yr eglwys ac er gogoniant Duw.

*Gwaith y Diaconiaid.*—Y mae dau ddosbarth o ddiaconiaid o farn ac arferiad yn ein heglwysi. Hona un dosbarth fod ganddynt hawl *fel diaconiaid*, yn rhinwedd eu swydd, i bregethu a gweinyddu yr ordinhadau. Dichon fod ganddynt hawl i hyn, ond nid y swydd ddiaconaidd ddaeth a'r hawl iddynt. Sefydlwyd y swydd ar y cyntaf i'r dyben o ryddhau y gweinidogion o rai dyledswyddau, fel y gallent hwy, ac nid y diaconiaid, "barhau yn ngweinidogaeth y gair." Act. vi. 1—6.

Dosbarth arall a ymddygant fel pe na buasai ganddynt hwy ddim i wneyd ond yn y capel. Cariant yr elfenau, derbyniant y casgliadau, a gwant ychydig o bethau eraill yn y capel, a dyna hwynt wedi gorphen eu gwaith fel diaconiaid hyd nes y deuant i'r capel drachefn. Os rhenir yr eglwys a'r gymydogaeth yn ddosbarthiadau fel y gellir casglu arian y weinidogaeth, nid hwy sydd i fod yn gasglyddion (?) Os bydd rhywun yn glaf, yn llesg, yn dlawd, wedi digio, &c., ai nid y diaconiaid sydd i edrych ar ol y cyfryw? Dysgwyliant i'r gweinidog wneyd yr oll o'r pethau hyn, a phregethu pregethau newyddion, galluog, ar y Sabboth. Dywed Dr. Gill fod y diaconiaid "yn gynorthwy i'r gweinidog i wylied dros yr aelodau, i heddychu pleidiau, ymweled a'r cleifion a'r tlodion, a threfnu achosion yr eglwys erbyn ei chyfarfod parotoadol."

Digitized by Google

J. Williams, y Rhos, a ddywed mai "gwaith y diaconiaid yw gwasanaethu y gynulleidfa mewn unrhyw swydd." Eglur yw fod dysgeidiaeth y Testament Newydd yn golygu i'r diaconiaid fod yn wasanaethgar fel cynorthwywyr i'r gweinidog; a bod eu prif waith yn gynwysedig mewn edrych ar ol a gofalu am amgylchiadau arianol a thymorol yr eglwys. Maent, hyd y mae yn bosibl iddynt, i ofalu am yr aelodau cleifion, tlodion, llesg, ac afreolus, a cheisio adgyweirio y cyfryw mewn addfwynder, fel y gallo y gweinidog gael ei holl amser i ymboeni yn y gair a'r athrawiaeth. Ond cael diaconiaid i ofalu am eu gwaith eu hunain, bydd y gweinidog yn gallu pregethu yn well, a bydd yr eglwys yn fwy cysurus a llwyddianus. Gofaler ar fod y diaconiaid yn ddynion "gonest, nid yn ddaueiriog, nid yn ymroddi i win lawer, nid yn budr-elwa, yn dal dirgelwch y ffydd mewn cydwybod bur." Os na fyddant hwy yn ddiaconiaid o ran cymeriad, gwae yr eglwys. Gofaler eu bod o ddewisiad yr eglwys hefyd.—Y mae diaconiaid anniaconaidd yn rhwystr ac yn felldith. Os nad yw yr eglwys yn llwyddo, edrycher pa fath ddynion sydd yn y swydd ddiaconaidd.

DIDYMUS.

---

# Ardrem Americanaidd.

GAN GWYLIEDYDD.

## Y BEDYDDWYR.

Y mae'r gwyliau gweinidogaethol wedi darfod, yr efengylwyr wedi dychwelyd at eu praidd, yr eglwysi a fuont gauedig wedi eu hagor, a'r gwaith da yn myned yn mlaen gydag yni adnewyddol. A da iawn yw clywed fod diwygiad grymus, a llawer o fedyddio yn cymeryd lle mor gynar a hyn (dechreu Hydref), mewn llawer o fanau, yn neillduol yn Virginia a Texas. Parhau a wnelo, gan ymledaenu dros yr holl Dalaethau.

Un o'r pethau pwysicaf sydd wedi cymeryd lle yn ddiweddar yn ein henwad ni, ydyw yr anfoddlonrwydd a ddangoswyd trwy ein papyrau crefyddol, tuag at benderfyniad ein Cymdeithas Gyhoeddiadol mewn perthynas i wasgariad y Beibl, yn yr iaith gywiraf a allai dysgeidiaeth yr oes oleuedig hon wneyd. Cymerir yn ganiataol yma fod darllenwyr y WAWR yn cofio i'r ysgrifenydd draethu ei farn ar bwnc y Beibl mewn rhifynau blaenorol, ac yn cofio hefyd fod cwrdd mawr y Beibl a gynaliwyd yn Saratoga, ddechreu yr haf, wedi ymddiried y pwnc o gyfieithiad a gwasgariad y Beibl i'r Undeb Cenadol a Chymdeithas Gyhoeddiadol y Bedyddwyr; i'r blaenaf yn dramorol, ac i'r olaf yn gartrefol. Yr oedd y ddwy Gymdeithas hyn i weithredu yn unol â'r penderfyniadau a basiwyd yn Nghynadledd Saratoga. Ymaflodd y Gymdeithas Gyhoeddiadol yn ei gwaith o ddifrif, ac ar unwaith cyflogodd ysgrifenydd galluog yn mherson Dr. Bitting, ac ar y 7fed o Fehefin pasiodd Bwrdd y Gymdeithas, yn Philadelphia, res o benderfyniadau ar y pwnc. Un o honynt oedd eu bwriad o wasgaru 30,000 o gopiau o gyfieithiad yr Undeb Beiblaidd Americanaidd, mor fuan ag y cyfrenid digon o arian at wneyd hyny. Cynhyrfodd hyn fustl golygydd un o'r papyrau, ac oddiar hyny y mae ef a'i gyfeillion wedi ymosod ar y gymdeithas uchod yn ddidrugaredd, nes cyffroi yr enwad trwy y wlad, i raddau mwy neu lai. A phaham? Dim, ond fod y golygydd hwn wedi arfer gwrthwynebu yr Undeb Beiblaidd trwy y blynyddau, ac y myn bob amser gael ei ffordd ei hun—ac wedi ei chael yn ormodol—yn mhethau pwysig yr enwad, bydded gam neu gymwys, teg neu annheg. A chan ei fod uwchben papyr mor ddylanwadol, y mae ganddo ddigon o gyfeillion, rhai o honynt yn ddynion o ddysg a safleoedd uchel, yn barod i'w gefnogi i gario allan ei *spite* a'i benderfyniadau eithafol, pa un bynag ai lles a'i afles i'r achos a ddeuai trwy hyny.

Cyfaddefir yn rhwydd gan rai o brif ddysgedigion y dydd, fod cyfieithiad yr Undeb Beiblaidd o'r Testament Newydd y *cywiraf*, o'r gwreiddiol, a wnaed erioed eto; ac os felly, onid dy-

Digitized by Google

ledswydd y Gymdeithas Gyhoeddiadol oedd ei roddi yn nwylaw y werin? Onid yw ei rhwymedigaeth i Dduw a dynion yn hawlio hyny? Digon gwir, ond mae'r golygydd hwn yn meddwl yn wahanol, a chynhyrfodd yr enwad i'r fath raddau nes gorfodi Bwrdd y Gymdeithas i alw penderfyniadau y 7fed o Fehefin yn ol, a mabwysiadu ar yr 20fed o Fedi y penderfyniadau canlynol yn eu lle:

"*Yn gymaint*, a bod amcan Bwrdd y Gymdeithas Gyhoeddiadol, pan yn mabwysiadu, ar y 7fed o Fehefin, 1883, res o benderfyniadau mewn perthynas i waith Beiblaidd cartrefol y Bedyddwyr, wedi ei gam-ddeall i'r fath raddau ag i beryglu yn ddifrifol undeb y Bedyddwyr yn y gwaith hwnw;

*Penderfynwyd*, Fod y Bwrdd hwn, er mwyn cydolygiad yn y gwaith Beiblaidd a ymddiriedwyd i'r Gymdeithas hon gan Gynadledd Saratoga, yn galw yn ol y rhes o benderfyniadau a basiwyd ganddo Mehefin 7, 1883.

*Penderfynwyd*, Mai y penderfyniadau a fabwysiadwyd gan Gynadledd Feiblaidd Saratoga, mor bell ag y perthynant i'r gwaith Beiblaidd cartrefol, sydd i fod yn sylfaen a deddf gwaith Beiblaidd Bwrdd Gymdeithas Cyhoeddiadol y Bedyddwyr."

Purion. Dyna'r anfoddlonwyr wedi cael eu dymuniad yn y pwnc pwysig hwn eto, ond pa hyd o amser yr arosant yn foddlon, sydd bwnc arall. Onid yw yn drueni ac yn gywilydd, fod rhai o brif ddynion ein henwad yn groes i'r Bedyddwyr ymdrechu rhoi Beibl Duw mor *bur* yn nwylaw y werin, ag y dichon i dduwioldeb a dysgeidiaeth yr oes ei wneyd? Rhyfedd mor gryfion yw y nwydau cnawdol mewn llawer o ddynion mawrion a da!

Y mae gan y Bedyddwyr Seisnig Gynadledd Hydrefol, yn yr hon yr ymdrinir â phynciau pwysig a dyddorol. Cynelir ei chyfarfodydd eleni yn Boston, Mass., y mis hwn, pryd y dysgwylir yno lawer o brif ddynion yr enwad i gymeryd rhan yn y gwaith.—Dyma rai o'r pynciau: "Adeiladaeth eglwysig; Yr elfen gymdeithasol mewn Cristionogaeth; Crefydd ac iechyd; Darpariadau iechyddol y drefn Foesenaidd; Cristionogaeth a'r corph; Cristionogaeth a bywyd ymarferol, mewn masnach, mewn gwladyddiaeth; Pwnc yr ysgariad priodasol, yn y wlad, yn yr eglwys; Beirniadaeth Feiblaidd ddiweddar, ei hanes a'i dull, ei ffrwythau, ei chyfeiriadau ymarferol; Y weinidogaeth ddyfodol; Bydolrwydd, &c."

Cynaliodd Bedyddwyr Talaeth New York eu Cynadledd flynyddol y mis diweddaf yn Buffalo. Siaradwyd ar y pynciau hyn: "Gwaith eglwys Fedyddiedig, beth ydyw, a pha fodd y cyflawnir ef? Undeb yr eglwys a'r ysgol Sul; Atebolrwydd yr eglwys am yr ysgol Sul; Galwad yr eglwysi mwyaf a chryfaf am weinidogion, sut y llenwir ef?" Yr oedd hwn, fel arfer, yn gyfarfod lluosog a dylanwadol. Nid yw y gwahanol Gynadleddau hyn ond rhanau o'r peirianwaith mawr sydd ar waith i ledaenu achos y Gwaredwr yn y byd, a galwant oll am *arian*, arian *lawer*; a phe byddai pob Cristion ond cyfranu yr hyn a arbeda yn awr ar bob llythyr a ysgrifena, byddai hyny yn unig yn drysorfa ardderchog yn mhen blwyddyn. Cymerer yr awgrym, a threier yr *experiment*.

Nid wyf yn gwybod fod rhyw lawer o bethau neillduol a phwysig i Fedyddiwr i'w coffau am

## YR ENWADAU ERAILL

y mis hwn. Mae y Parch. H. C. Potter, D. D., offeiriad hyawdl a phoblogaidd Grace Church, New York, wedi ei benodi yn ddiweddar yn Esgob cynorthwyol i'w ewyrth, yn esgobaeth New York. Mae'r Dr. yn ddyn mawr o ran dysg, gallu, a duwioldeb, ac yn offeiriad rhyddfrydig iawn, yn barod i gydweithredu yn achlysurol a'i frodyr o enwadau eraill. Nid yw yn gwneyd dim stwr yn nghylch yr "olyniaeth apostolaidd," a'i honiadau Phariseaidd a di-sail. Nis gellid cael ei well i'r swydd yr etholwyd ef iddi.

Cynaliwyd cynadledd fawreddog yn Chicago, yn ddiweddar, a'r byd-enwog Moody yn llywyddu. Dywedir fod yno 3,000 o ddynion yn bresenol. Yr oedd yn gwrdd hwylus ac adeiladol.

Digitized by Google

Dywedai Mr. Moody fod gormod o broffeswyr a'u crefydd mewn *spots* yn unig; mai hon yw y Gristionogaeth waethaf yn y byd; mai ein hangen mawr yw cymundeb bywiol â Christ, er gweithio allan Gristionogaeth 365 o ddyddiau yn y flwyddyn. Mae Moody fynychaf yn taro yr hoelen yn *flat* ar ei chopa.

Rai blynyddoedd yn ol yr ydoedd y Parch. W. H. Murray yn weinidog poblogaidd iawn gyda'r Cynulleidfaolion yn Boston, Mass.; ond ymddyrysodd ac aeth ar gyfeiliorn. Yr oedd y gwr hwn yn traddodi araeth yn ninas New York ar nos Sul, yn ddiweddar, pryd y gwawdiai ysbrydoliaeth y Beibl, a hawliau mwyaf cysegredig y grefydd Gristionogol, fel pethau annheilwng o sylw y deallus! Beth yw yr achos o'r holl anffyddiaeth hyn yn ngweinidogion yr efengyl? Ond mae bywyd diweddar Murray wedi bod y fath, er mor uchel y safai unwaith, nad oes neb yn rhyfeddu at ddim a wna neu ddywed.

Carwn ysgrifenu ychydig yn mhellach am rai o weithrediadau diweddar y Babaeth yn y wlad hon. Cynaliwyd *Provincial Council* o'i hoffeiriaid a'i hurddasolion yn ninas New York yn ddiweddar, a'r Cardinal Americanaidd yn llywyddu. Dywedir fod yr olygfa orwych yn ddigon i beri i un feddwl ei fod yn un o deyrnasoedd Pabyddol Ewrop, ac nid yn America werinol. Amcan y cwrdd oedd dyfeisio mesurau newyddion er lledu a chryfhau eu hegwyddorion gormesol yn y wlad hon. Mae'r Babaeth wedi dod yn allu mawr yn y wladwriaeth yma yn barod; daw yn gryfach eto, a cheir teimlo ei hewinedd yn y man. Dywed y *Catholic Review* am y Protestaniaid: "Maent yn galw y Catholiciaid yn eilun-addolwyr; maent yn gwawdio eu ffydd a'u harferiad; maent yn dirmygu mam fendigedig Crist; ac yn awr os tarawir un o honynt ar ei ben am y sarhad cyhoeddus hwn i'r oll ag y mae'r Catholic yn ddal yn anwyl, rhaid iddo ddiolch iddo ei hun." Dyma hi yn dod o'r *thumb-screw* i'r holl ddwrn o'r diwedd. Gwylied bechgyn y ffydd ar eu geiriau o hyn allan, onidê ——

# Arf-dy y Cristion.

### TRYSORI DIGOFAINT.

Y mae pob dyn yn trysori iddo ei hun erbyn tragywyddoldeb. Y mae y da yn trysori yn y nefoedd, "lle nad oes na gwyfyn na rhwd yn llygru." Y mae y drwg a'r anedifeiriol yn "trysori digofaint erbyn dydd y digofaint" (Rhuf. 2: 5.). Y fath feddylddrych! Trysori digofaint! Pa beth bynag a wnelo yr annuwiol, y mae yn casglu digofaint! Gall fod yn crynhoi cyfoeth, ond y mae yn trysori digofaint. Gall ei fod yn enill clod ac anrhydedd, ond y mae yn trysori digofaint. Gall ei fod yn ymwthio i gysylltiadau â'r teuluoedd parchusaf, ond y mae yn trysori digofaint. Y mae pob diwrnod yn ychwanegu rhyw gymaint at y drysorfa. Pob llw a rheg a ddaw dros enau y cablwr a arwydda fod y drysorfa yn chwyddo. Pob celwydd a ddywed y celwyddwr a ychwanega at y drysorfa. Y mae llyfr coffadwriaeth Duw yn nodi yn erbyn y dyn bob dydd y mae yn byw yn ei bechod. Y mae gan yr annychweledig fwy o drysorfa heddyw nag oedd ganddo ddoe, a bydd yn fwy yfory na heddyw. Pan yn gorwedd i lawr, y mae yn gyfoethocach mewn digofaint nag ydoedd wrth gyfodi. Y mae yn dyfnhau ac yn tywyllu ei ran dragywyddol yn barhaus. Pob Sabboth a gamddefnyddiwyd yn ychwanegu trysorfa y digofaint. Pob pregeth a anghofiwyd yn ychwanegu pwys y gosbedigaeth. Holl rybuddion cydwybod, holl gyngorion cyfeillion, holl addysgiadau a gweddiau rhieni, a gymerir i gyfrif gan Dduw—a wnant eu rhan i chwyddo trysorfa y digofaint erbyn dydd y digofaint.

### DYN ANIANOL.

Y mae y dyn anianol yn anghenfil ysbrydol. Y mae ei galon lle y dylai ei draed fod, wedi ei sefydlu ar y ddaear; y mae ei sodlau wedi eu dyrchafu i fyny yn erbyn y nef, lle y dylai ei galon gael ei gosod. Y mae ei wyneb tuag uffern, a'i gefn tua'r nefoedd. Y

Digitized by Google

mae yn caru yr hyn a ddylai gasâu, ac yn casâu yr hyn a ddylai garu; yn llawenychu yn yr hyn y dylai alaru o'i herwydd, ac yn galaru am yr hyn y dylai lawenhau ynddo; yn ymogoneddu yn ei gywilydd, ac yn cywilyddio yn ei ogoniant; yn ffieiddio yr hyn a ddylasai ddymuno, a dymuno yr hyn a ddylai ffieiddio.

---

YSBRYD DYODDEFGAR.

Y mae ysbryd dyoddefgar mewn dyn nid yn unig yn ddyledswydd a chysur i feddwl y dyoddefydd, ond hefyd yn foddion neillduol i ogoneddu Duw, a dangos gwerth crefydd i eraill. Dywedir am yr enwog Cornelius Winter, fod ei ddyoddefgarwch mewn cystudd trwm wedi effeithio ar laweroedd. Hyd yn nod y meddyg a weinyddai arno a ddywedodd fwy nag unwaith, "Hyd nes yr ymwelais a'r gwr hwn, ni feddyliais fod crefydd yn ddim ond tyb, a rhywbeth i siarad am dani; ond os nad wyf yn ei meddu, yr wyf yn awr wedi fy argyhoeddi fod gwirioneddolrwydd ac ardderchawgrwydd yn perthyn iddi."

---

DIRGELWCH BUDDUGOLIAETH Y SAINT.

Y mae y Cristion yn gorchfygu trwy bedwar peth Dwyfol a ddisgynant o'r byd nefol. Y maent trwy hyny yn anorchfygol. Y cyntaf yw *ffydd*, yr hon sydd yn gorchfygu y byd yn ei wên a'i wg. 2. *Gwaed yr Oen*, yr hwn a agorodd ddrws gwaredigaeth iddynt o afael eu gelynion, fel Israel o'r Aipht. 3. *Gair ei ras ef*, yr hwn sydd yn had anfarwol; ni bydd marw mewn un galon lle yr heuir ef, ond efe a gynyrcha gynhauaf bywyd tragywyddol. 4. *Yr Ysbryd Glan*, yr hwn sydd ganddynt fel ffynon o syniadau ysbrydol, y rhai oll fel mân nentydd a wnant eu ffordd trwy bob rhwystr ac anhawsder i'r môr o fywyd a thangnefedd. Crist yw gwreiddyn y cwbl.

---

MYFYRIO AR NIWEIDIAU.

Pe byddai dyn yn fy nharo, ac yn fy archolli yn drwm; tybiwch, yn lle rhwymo i fyny fy archoll, fy mod yn ei ddangos i bawb; ac wedi ei rwymo i fyny, fy mod yn tynu y rhwymiadau yn barhaus, ac yn chwilio dyfnder fy archoll, ac yn gwneuthur iddo grawni, nes bo fy aelod wedi llidio yn fawr, a fy iechyd yn anmharu. A oes dyn yn y byd na alwai fi yn ynfyd? Yn awr, y cyfryw ynfydrwydd sydd yn peri i niweidiau bychain ein cyffroi a llidio y meddwl. Gymaint gwell yw rhoddi rhwymyn dros yr archoll, a pheidio edrych arno drachefn.

---

DIOLCHGARWCH.

Dylai ein holl fywyd fod yn fywyd o ddiolchgarwch, a dylai pob lle, a phob amgylchiad, fod yn dystion o'n diolchgarwch i Dduw. Gwna hyn y lleoedd a'r amseroedd y byddwn yn byw ynddynt yn well i ni. Nid yw ein bywyd i fod yn ddyben iddo ei hunan, ond er mawl i'r Rhoddwr o hono. Y mae mawl yn deyrnged ddyledus am holl fendithion Duw. Pa fodd y gall yr holl greaduriaid fendithio Duw ond trwy ein geneuau ni? Calon ddiolchgar i Dduw am ei fendithion yw y fendith benaf o'r cwbl. Oni buasai ychydig o eneidiau grasol, pa anrhydedd a gawsai Duw gan neb o'r byd anniolchgar? Dylai hyny ein cynhyrfu i folianu Duw yn fwy yn nghanol ei elynion; oblegid y mae hyn, mewn rhyw ystyr, yn fwy rhagorfraint na'n moliant yn y nef, oblegid yno ni bydd gan Dduw elynion i'w ddianrhydeddu.

---

CYSONDEB CRISTIONOGOL.

Y fath niwed annhraethol a allwn ni wneyd yn rhodio yn annheilwng o'r alwedigaeth y'n galwyd iddi; obegid fel y dywed Indiaid tlodion am yr Hispaeniaid, "Y fath Dduw a raid i hwnw fod sydd yn meddu y fath ddynion gwaedlyd yn weision ac yn blant iddo!" Felly beth raid i bawb feddwl am Grist, pe baent i farnu am dano wrth ynfydrwydd, balchder, cybydd-dod, ac ysbryd digofus llawer o'r rhai a elwir ar ei enw ef?

Digitized by Google

FFYDD A GOBAITH.

Y mae llawer o debygolrwydd rhwng ffydd a gobaith, eto y maent yn gwahaniaethu. Edrych gobaith ar *ragoroldeb* yr addewid, ond edrych ffydd ar *sicrwydd* yr addewid. Rhwydd ddarllena gobaith *ymadroddion* yr addewid, ond tremia ffydd ar *sel* yr addewid. *Creda* ffydd, *dysgwylia* gobaith. *Dengys* ffydd dir yr addewid i'r Cristion, *hwylia* gobaith i mewn iddo gydag amynedd. Y mae ffydd yn *cryfhau* gobaith, ac y mae gobaith yn *cysuro* ffydd. Ffydd ydyw y rhaff, gobaith yw yr angor; ac y mae y ddau ras hyn yn uno er cadw yr enaid rhag rhuthro i ddanedd creigiau, neu suddo ar sugndraethau.

— Ni welir Seion byth yn wraig weddw. "Byw wyf fi, a byw ydwyf yn oes oesoedd;" ac ni welir ei phriod byth yn wr gweddw—"Byw fyddwch chwithau hefyd."

—Y prif beth mewn Cristionogaeth yw derbyn Crist.

—Os myni i'r gareg-ateb siarad mwyneidd-dra, dywed wrthi eiriau tyner.

—Beth bynag a gaffoch yn addawedig gan Dduw, cyfrifwch hwnw fel aur yn eich pwrs.—*W. Gurnal.*

—Y mae proffeswyr deddfol fel maes heb ei *hau*. 'Does dim llawer o ddrain yn tyfu; 'does dim arall ychwaith.—*T. R. Davies.*

—Y mae rhai pobl yn dwyn eu calonau yn eu penau, llawer yn dwyn eu penau yn eu calonau. Yr anhawsder ydyw eu cadw ar wahan, ac eto fod i'r ddau weithredu yn fywiog.

—Y mae gan bawb eu gwaeleddau. Pwy bynag a chwilio am gyfaill heb anmherffeithderau, ni chaiff byth yr hyn a geisia. Yr ydym yn caru ein hunain gyda ein holl feiau; oni ddylem garu ein cyfaill yr un modd?

# Bwrdd y Golygydd.

## UNDEB BEDYDDWYR CYMRU.

Cynaliwyd cyfarfodydd yr Undeb eleni yn Brynhyfryd, Glyn Ebbwy, Mynwy, Awst 13—16. Y Llywydd ydoedd Mr. Owen Lewis, Llundain, yr hwn a draddododd araeth agoriadol rymus ar waith a dyben yr eglwys. Ymdriniwyd â materion y gwahanol gymdeithasau ydynt o dan yr Undeb, gyda brwdfrydedd ac unoliaeth, megys Y Gymdeithas Ddirwestol, Y Drysorfa Goffadwriaethol, Y Gymdeithas Ddarbodol. Golygydd *Seren Cymru* a ddywed nad oedd y cyfarfodydd eleni mor lluosog ag arferol, yr hyn nad oedd yn hawdd rhoi cyfrif am dano, wrth ystyried y cyfleusderau i fyned a dyfod i'r lle. Tybir fod y lluaws o dan argraff mai peth i weinidogion ac ychydig genadon ydyw y cyfarfodydd hyn, ac nid i'r cynulleidfaoedd lleol. Am hyny bwriedir yn y dyfodol amcanu cael mwy o bregethu a phethau eraill a fyddont yn debyg o wneyd cyfarfodydd yr Undeb yn fwy o ddyddordeb cyffredinol, a thrwy hyny yn fwy poblogaidd. Dywedir yn mhellach:

"Yr oedd y cyfarfodydd yn rhagorol mewn tôn a theimlad—yn hollol rydd oddiwrth ymgecraeth ac ymddadlu pigog a chas. Tra yr oeddid yn datgan barn annibynol a gwahanol ar y pynciau dan sylw, yr oedd hyn yn cael ei wneyd yn nghariad y gwirionedd. Yr oedd ysbryd hynaws a charedig y Llywydd, yn ddiddadl, yn gwneyd llawer dros sicrhau y dymunoldeb hwn. Gwnaeth ef ei waith yn rhagorol iawn, ac i foddhad pawb a fuont yno. Y mae y cyfarfodydd eleni wedi bod yn llwyddiant mawr mewn ystyron eraill, ac wedi gadael argraffiadau daionus iawn. Yr oedd y cyfarfod Cenadol yn llwyddiant mawr, a'r un modd y gynadledd Genadol."

Digitized by Google

## PLYMOUTH, PA.

Dywenydd genyf eich hysbysu fy mod wedi dychwelyd yn ddiogel o Wlad y Bryniau i Ddyffryn cyfoethog y Wyoming unwaith eto. Cefais fy nghludo yn ol dros y Werydd gan yr agerlong *Republic* (yr hon sydd yn mesur 430 troedfedd o hyd wrth 40 o led, ac yn gwasanaethu 150 o ddwylaw, perthynol i'r White Star Line) yn gysurus iawn, yr hon a gyrhaeddodd New York Medi 21ain. Cefais fy nghroesawu tu hwnt i'm dysgwyliad gan bawb yn Hen Wlad fy mabandod, a chefais fy rhieni, fy mrodyr a'm chwiorydd, &c., mewn iechyd da iawn, yn hen ardal dlos Coed-duon, Mynwy. Mae Cymru yn cael ei hystyried yn wlad dlawd, i'r dosbarth gweithiol yn neillduol, yr hyn nid wyf yn ei amheu; ond yr wyf drwy brofiad fy hun, bellach, yn gystal a thrwy dystiolaethau llawer eraill, o dan argyhoeddiad ein bod oll fel ymwelwyr Americanaidd (er amled ydym) mewn rhwymau dyledus iddynt am eu parch, eu tiriondeb, a'u haelfrydedd tuag atom. Er yn dlawd o ran moethau, yr oedd eu calonau yn brwdfrydu wrth ein gweled. Bum mewn amryw dai yno yr oeddwn yn adnabyddus o'r preswylwyr, a chyn fy mod wedi gorphen y gorchwyl o ysgwyd dwylaw a haner y preswylwyr, yr oedd rhywun yn sicr o fod gerllaw yr hen danwydd yn gosod y tegell i ferwi gyda'r brys mwyaf, a'r tepot yn ei aros ar y gornel. Clywais rai ymwelwyr yn grwgnach wed'yn, eu bod yn cael cymaint o de yn barhaus, heb ystyried y dull o fyw sydd yno, y tlodi, a'r brys sydd i'w wneyd pan y dygwydd teithiwr droi i mewn. Bydded genym galonau mwy diolchgar, gydwladwyr, a chofiwn hanes y wraig a'r ddwy hatling.

Hefyd, heblaw teimlo yn ddiolchgar i'r Cymry yn Nghymru, mae yr ysgrifenydd dan yr un rhwymau cariadus i'r Cymry yn yr ardal hon, am eu croesawiad dymunol wrth fy nerbyn yn ol i'r ardal. Yr oedd eu calonau yn llamu ac yn gorfoleddu, yn debyg i dad yr afradlon gynt pan y cafodd yr hwn a gollasid. Dywenydd hefyd oedd cael yr eglwys, y bugail, a'r ysgol Sabbothol yn mwynhau y cariad hwnw sydd arferol o fod rhwng ei blant Ef yn y lle hwn, a'r hyn y mae y Pen Bugail yn ei geisio gan ei bobl, sef caru o bawb eu gilydd fel plant anwyl yn yr Arglwydd. Y mae yma frodyr ieuainc wedi eu bedyddio oddiar pan aethym ymaith, ac yr wyf yn credu ac yn hyderu y byddant yn fendith i'r achos lle bynag y byddont. Y maent yn adroddwyr hyglodus yn y lle hwn, a barnwyf fod defnyddiau i fod yn oleuni mawr i oleuo y cenedloedd, ac yn draddodwyr cymeradwy iawn o air y bywyd ynddynt.

Sabboth, Hydref 7fed, telais ymweliad a chyfeillion yn Kingston, a bum yn nghyfarfodydd y dydd. Mae cyfarfodydd y boreu a'r hwyr wedi lluosogi llawer iawn, a'r ysgol bron cymaint arall ag ydoedd bedwar mis yn ol. Y mae y frawdoliaeth hon wedi bod yn amyneddgar yn eu dewisiad o un i'w bugeilio yn yr Arglwydd, ac erbyn hyn y mae yn troi o fendith iddynt. Y mae Mr. Benjamin Thomas, gynt o Hyde Park, wedi sylfaenu ei gymeriad fel pregethwr a bugail er's blynyddoedd yn yr ardal boblogaidd uchod, a phe byddai rhyw haint annymunol ar Mr. Thomas, buasai yr Atheniaid wedi ei ddarganfod er's llawer dydd. Y mae amryw o ddeiliaid yr ysgol Sabbothol wedi aros ar ol yn y gyfeillach, er dangos eu hochr dros Fab Duw, cyn eu bod, drwy drugaredd, yn gwybod nemawr am gyfrwysdra y gelyn, yr hwn sydd yn llygru pob daioni, ac yn myned ag eneidiau yn aberth iddo ei hun. Mae yr eglwys hefyd yn ei galar dwys, wedi colli dau aelod defnyddiol, ffyddlon, ac yn addurn i'r broffes oedd arnynt, yn y brodyr Luther Lewis a William Jenkins, mor ddisymwth o'u plith. Gras Duw a'u dyddano hwynt yn eu galar, a Duw Israel fyddo yn nodded i'w gweddwon a'u hamddifaid yn eu trallod a'u galar, yw dymuniad— JOHN L. JONES.

---

**—Gan' mlynedd yn ol yr oedd 75 o Bost Swyddfeydd yn y Talaethau Unedig. Yn awr rhifant 80,000.**

Digitized by Google

# MARWOLAETH A CHLADDEDIGAETH

## Y PARCH. J. LLOYD, CAERDYDD,

## (*Gynt o Ebenezer, Merthyr Tydfil.*)

---

(O Seren Cymru.)

Gorphenodd y gwas enwog uchod i Iesu Grist ei yrfa ddaearol dydd Sadwrn, Awst 11eg, pan yn 71 mlwydd oed. Genedigol oedd Mr. Lloyd o ardal Dyffryn Gwaen, Sir Benfro; ond treuliodd y rhan fwyaf o'i oes foreuol yn ardal Llangloffan. Bu yn arweinydd y gân yn Llangloffan am rai blynyddau, ac yno y dechreuodd bregethu. Wedi treulio y tymor arferol yn Athrofa Pontypwl, ordeiniwyd ef yn weinidog ar eglwys Ebenezer, Sir Benfro, lle y treuliodd rai blynyddau yn barchus a defnyddiol yn y weinidogaeth. Symudodd yddiyno i Ebenezer, Merthyr, lle y bu yn llafurus a pharchus yn y weinidogaeth am ddeng mlynedd ar hugain, sef hyd ei ymddiswyddiad tua phedair blynedd yn ol.

Yr oedd ein hanwyl frawd ymadawedig yn meddu duwioldeb yn ei chyfanrwydd; ac y mae hyn yn gwneyd ei goffadwriaeth yn fendigedig. Dyben mawr ei fywyd oedd bod yn ddefnyddiol, a chyrhaeddodd ei nôd i raddau helaeth. Gallwn ei restru yn mysg y pregethwyr goreu. Profodd ei hun yn wr o wybodaeth a barn addfed. Medrai drafod pwnc o athrawiaeth yn y modd mwyaf medrus. Yr oedd yn feistr y gynulleidfa. Meddai ar allu i osod allan ei feddwl yn y modd mwyaf deheuig. Yr oedd ganddo gorph mawr, meddwl mawr, a llais mawr i osod y meddwl hwnw allan. Yr oedd ei gallineb yn cael ei ddatguddio yn newisiad ei destyn, ac yn ei ddull o gyfansoddi ei bregeth. Ni arferai eiriau isel; a byddai y sobrwydd a'r difrifoldeb mwyaf yn ei feddianu bob amser. Nis gallai siarad ar bethau gwleidyddol mewn cyfarfod cyhoeddus, na llywyddu mewn cyngerdd, heb fyned cyn y diwedd tua Gethsemane a Chalfaria; dyna lle yr oedd yn byw o ran ei feddwl. Adroddai yr hen benill canlynol yn aml pan yn pregethu:

"Yn dy waith y mae fy mywyd,
 Yn dy waith y mae fy hedd;
Yn dy waith 'rwyf am gael aros
 Tra b'wy'r ochr hyn i'r bedd;
Yn dy waith ar ol myn'd adref,
 Trwy ofidiau rif y gwlith;
Moli'r Oen fu ar Galfaria,
 Dyna waith na dderfydd byth."

Byddai yn hoff o adrodd hymnau ar ei bregethau; a byddai hyny, gydag un arosiad neu ddau, megys am eiliad, yn arwydd sicr am hwyl. Bryd arall, cyn dechreu pregethu, rhoddai ryw air ar y mesur cyffredin allan, gan ddyweyd wrth arweinydd y gân, "Canwch *Arabia;* mae tipyn o'r nefoedd yn y dôn yna." Ac yna byddid yn canu nes y byddai pawb mewn ysbryd iawn i wrando, a'n hanwyl frawd ar ei uchelfanau yn dweyd am drefn fawr y cadw, a phawb yn tystio mai da oedd bod yno. Bu gweinidogaeth ein hanwyl frawd yn un lwyddianus. Bedyddiodd yn agos i fil, llawer o'r rhai sydd yn y nef; eraill yn wasgaredig ar hyd y byd; ac eraill, fel y mab afradlon, yn y wlad bell.

Dydd Gwener, Awst 18, 1883, daearwyd yr hyn oedd farwol o'n hanwyl frawd yn nghladdfá y teulu, yn Cefn-coed-y-cymer, Merthyr. Cyn cychwyn yr angladd yn Nghaerdydd, darllenwyd yn y ty gan y Parch. N. Thomas, Tabernacl, a gweddiwyd gan y Parch. T. T. Jones, Salem, Caerdydd. Yna aed yn dorf gariadus tua rheilffordd y Taf, am Merthyr; ac wedi cyrhaedd yno, aed yn llu mawr i Ebenezer, lle y bu ein brawd hoff yn llafurio am dros 30 o flynyddoedd.

Yn y capel, darllenwyd gan Dr. Williams, Pontlotyn, a gweddiwyd gan y Parch. T. Jarman, Deri. Yna anerchwyd y gynulleidfa gan y Parch. N. Thomas, Caerdydd; Dr. Price, Aberdar (yn Saesneg), a Dr. Roberts, Pontypridd; a gweddiwyd gan yr ysgrifenydd. Yna awd yn y modd a ganlyn tua'r gladdfa. Yn gyntaf y gweinidogion; yna canoedd lawer o gydnabyddion. Ar lan y bedd, gweddiwyd gan y Parch. T. Morgan, Dowlais; ac anerchwyd y dorf gan y Parch. L. Evans, Merthyr, a therfynwyd trwy weddi gan y Parch. H. Richards, Ebenezer,

Digitized by Google

Merthyr, sef olynydd y Parch. J. Lloyd. Gwelsom yn yr angladd lu o frodyr yn y weinidogaeth, heblaw y rhai fu yn cymeryd rhan yn y gwasanaeth.

Cafodd ein hanwyl frawd angladd dywysogaidd. Cyflwynwd y galarwyr i ofal y Pen Bugail. Bydded i'r Arglwydd fod yn nodded i'n hanwyl chwaer a'r plant, yn eu trallod. Heddwch i'w lwch hyd y boreu y bydd yn codi ar ddelw yr Iesu.

W. E. Davies.

## MARWOLAETH A CHLADDEDIGAETH

MR. JOSEPH JONES (IOLO MON), CAERGYBI.

(O Seren Cymru.)

Daeth angeu at y cyfaill adnabyddus uchod mewn modd sydyn ac annysgwyliadwy iawn. Prydnawn dydd Llun, Awst 13eg, tra yr oedd ef ac un arall mewn swyddfa argraffydd yn y dref, syrthiodd mur capel newydd yr Annibynwyr, drwy effaith ystorm o wynt a gwlaw, trwy dô y swyddfa, a lladdwyd y ddau yn y fan! Cynyrchodd y ddamwain arswydus fraw cyffredinol trwy y dref, yn nghyd a chydymdeimlad mawr â theuluoedd y rhai a gollasant eu bywydau.

Dydd Gwener, Awst 17eg, daeth nifer lled luosog i angladd Iolo Môn, a gymerodd le yn y *Cemetery*. Yr oedd yn 50 mlwydd oed. Gweinyddwyd gan y Parch. R. Thomas, yr hwn, wedi cyfeirio mewn modd tyner at y ddamwain ddifrifol, ac at y cydyndeimlad a ddangoswyd gan bawb yn yr amgylchiad, a sylwodd, y buasai yn chwith gan lawer glywed am farwolaeth Iolo. Yr oedd ef yn adnabyddus i bregethwyr, beirdd, llenorion, &c. Ond dywedai, "Y wers bwysig gymellir arnom ni i'w dysgu oll ydyw, 'Am hyny, byddwch chwithau barod,' &c. "Am hyny"—(*a*) Am fod sicrwydd y daw Mab y dyn. (*b*) Am fod yn annhraethol bwysig bod yn barod i'w gyfarfod. (*c*) Am fod ansicrwydd pa bryd y daw. (*d*) Am fod parotoi yn galw eraill i wneyd yr un modd.

Felly y rhoddwyd gweddillion Iolo Môn i orphwys hyd ganiad yr udgorn diweddaf.

## MAN LEWYRCHIADAU.

—Yn ein hymweliad diweddar â Pittsburgh, da oedd genym weled yr eglwys mewn cyflwr mor llewyrchus o dan weinidogaeth ein hanwyl frawd, y Parch. D. Rhoslyn Davies. Y mae tangnefedd a brawdgarwch yn ffynu yn y gwersyll, y cynulleidfaoedd yn lluosog ar y Sabbothau. Y mae Mr. Davies yn un o'r gweinidogion hyny sydd yn gwella wrth ymgydnabyddu ag ef; ac felly y mae yn profi ei hun yn Pittsburgh.

—Mae y *Greal* a'r *Athraw* am Medi wedi ein cyrhaedd, a'r ddau yn addysgiadol a dyddorol, fel arfer.

—Gwelwn fod mudiad ar droed i wneyd tysteb i Ap P. A. Mon, ac yr ydym o galon yn ei gefnogi. Y mae Ap P. A. Mon yn fardd a llenor rhagorol, yn Gymreigydd diledryw, ac yn caru ei genedl yn drwyadl, ac wedi ei gwasanaethu yn llenorol a gwladgarol ar hyd ei oes. Tra y mae tystebau o'r natur wedi cael cefnogaeth genym fel cenedl, a hyny yn ddiweddar, ni phetruswn ddweyd nad yw Ap P. A. Mon yn ail i neb a anrhydeddwyd felly genym â thysteb.

—Y mae yn hysbys bellach i lawer o'n darllenwyr fod Mr. Gwilym Evans, F. C. S., *Manufacturing Chemist*, Llanelly, D. C., ar ymweliad â'r wlad hon, yn adverteiso y *Bitters* byd-glodus a wneir ganddo. Yn Nghymru mae y *Bitters* wedi bod o flaen y cyhoedd er ys amryw flynyddau, ac wedi derbyn mawr gymeradwyaeth gan brif feddygon ac eraill; ac yn awr dygir y feddyginiaeth hon drosodd i America, ac y mae yn debyg o fod yn dra phoblogaidd yma, canys y mae meddygon ac eraill yn tystiolaethu fod y *Bitters* hyn yn feddyginiaeth ragorol a di-feth at y cryd a'r mwyth ac anhwylderau cyd-

Digitized by Google

rywiol. Gwelir hysbysiad pellach ar amlen y rhifyn hwn, a gwelwn fod hysbysiadau cyffelyb yn y *Drych*, y *Wasg*, a'r *Cyfaill*. Cawsom ychydig o ymgom â Mr. Evans, ac ymddengys yn foneddwr cyfrifol a boneddigaidd.

# Barddoniaeth.

## Y CYFARCHIAD I MAIR.

O! ddirgelwch Dwyfol!—pwy draetha rawd
Y dwfn ryfeddod i'r awr hon y sydd,
Pan oddi fry y nerth teimladwy ond cudd
Ddisgynodd, ac mewn tyneraf fodd
Y penaf un o engyl Duw anerch rodd
I'r lawforwyn wylaidd Mair yn ei chell,
Sef yr addewid fwyaf gaed er gobaith gwell,
Y Crist ymgnawdoledig yn ei chyflwr tlawd?
Pwy ini dd'wed? Na, dystaw fo cyffredin iaith;
Ni chlywodd clust, ni seiniodd llais un sant
Eiriau iawn i'r genadwri hon. Gwael yw rhaith
Y rhai sancteiddiaf; Gabriel uchaf fant
'N unig ffurfiai eiriau iawn. Ddyn, plyg heb si!
Ddarfod i'r peth fod—digoned hyn tydi!

*Cyf. o'r "Day of Rest."*

## TRUGAREDD.

(*Buddugol.*)

Trugaredd, ffrwyth cariad hanfodol y Duwdod,
Rhyddha y rhai euog ger gorsedd y Rhi,
Er bod dan farn gyfiawn trwy drosedd a phechod,
Trugaredd a'u dyrcha i urddas a bri;
Edliwia cyfiawnder fil myrdd o droseddau,
Gan hawlio eu cosbi—diweinia ei gledd;
Ond gwena trugaredd trwy randir erch angau,
A dywed am fywyd uwch ofnau y bedd.

Mae anian yn chwareu yn ngrym hoff trugaredd,
A'r meusydd yn canu trugaredd yn llon;
Planedau y cread bregethant ei mawredd,
A thrwyddi y dyfroedd â'n dôn ar ol tôn;
Darllenir trugaredd yn ngwedd y ddynoliaeth,
Er syrthio trwy bechod i ddyfnder o wae,
Trugaredd a'u dyrcha i fryn goruchafiaeth,
A chleddyf cyfiawnder dry'n ol—Pa le mae?

Mae rheswm, celfyddyd, gwyddoniaeth ac anian,
Dan nodded trugaredd yn llywio y byd;
Argreffir llyth'renau o aur ar ei lluman,
"Rhyddhad i'r rhai euog—trugaredd i gyd."
Trugaredd wna'r nefoedd yn foliant diddiwedd,
A choffa trugaredd wna uffern yn dân;
Ond gwel'd y Gwaredwr ar orsedd trugaredd
Wna lanw y nef o orfoledd a chân.

Aur-dannau telynau y nefol baradwys,
Mewn mawredd a seiniant drugaredd a hedd,
A'r myrdd gwaredigion 'nol oesau o orphwys,
R'ont fawl i drugaredd uwch llygredd y bedd.
Y dydd y llewyga hoff natur, a marw,
Y cenir galargan i lwch yr hen fyd,
Bydd enw trugaredd yn seinio'r pryd hwnw,
Mewn llef buddugoliaeth, "TRUGAREDD I GYD!"

*Hyde Park, Pa.* LLYFNWY.

## YR YSGOL SABBOTHOL.

Wrth droi ein golygon yn ol i'r gorphenol
Canfyddwn nodweddion yr oesau olynol,
Hen Gymru fynyddig a Lloegr hunanol
Orweddent yn nghanol tywyllwch caddugol,
Yn nghanol nos dduaf, anfoesol ei thwrw,
Fe dorodd gwawr gobaith yn nhref fawr Caerloyw,
Yn mherson ein Raikes, enynodd ei galon,
Ei enw a gofir tra dw'r yn yr eigion.

Nid lleiaf bryd hyny rhwng bryniau gwyllt Walia
Yr enw anfarwol ein hoff Charles o'r Bala;
Dywedir gan luaws yn Sir Aberteifi
Mai Nathaniel Caradog* ddechreuodd yn Nghymru;
Dywedir drachefn gan lawer o'i deiliaid
Mai Edwards, Croesoswallt, yw tad y sefydliad;
Ac hefyd gan eraill, nid lles yw eu henwi,
Mai hwy a ddechreuodd yr ysgol yn Nghymru.

Dywedir fod ysgol John Rhys gan y Cymry
O flaen ein Charles enwog, ei ysbryd uchelfri;
Ond Charles a osododd y peiriant, gwnaf gredu,
I weithio yn rymus ar genedl y Cymry;
Dywedir yn mhellach fod ysgol Sabbothol
I'w chael mewn rhai parthau o'r Deyrnas Gyfunol
Ryw ddeugain o flwyddi cyn Robert anfarwol,
Ond ef a'i gwir ddygodd i'r ffurf mae'n bresenol.

Mae hanes cychwyniad yr ysgol yr awrhon
Yn llawn o ddyddordeb a melus adgofion:
Yn ngwanwyn y flwyddyn† cawn Robert Raikes wrol
Yn cerdded heolydd y ddinas gadeiriol,
Ei galon a waedai wrth weled erchylldra
Sefyllfa druenus plant dynion a'u traha;
Dihunodd gymdeithas o gwsg canoloesau,
Cyfeiriodd eu camrau i foes a rhinweddau.

* Nathaniel Griffith, Pantybrain, yn 1780.
† 1780.

Digitized by Google

Yn araf iawn cychwynodd hi i'w thaith,
A rhwystrau fyrdd a gafodd er ei hurddas waith;
Ni throdd yn ol, er bechan iawn o nerth,
Trwy ganol tew gymylau gwynebodd 'stormydd certh,
Gwynebodd ddyfnder o drueni er yn wan,
A meddyginiaeth yn ei llaw i godi'r gwan;
Ni chlywodd neb hi'n rhuo fel y daran gref,
Gan floeddio yn wallgofus â rhyw ddamniol lef,
Ond araf iawn y gweithiodd ar y wlad
A'r byd, heb ofni gwenau twyll a brâd;
Casglodd nerth wrth dreiglo'n mlaen o hyd
O oes i oes, mae heddyw dros yr eang fyd:
Y fesen fach sydd heddyw yn gadarngryf bren,
A'r awel wan yn gorwynt yn y nen;
A'r ffrwd oedd gynt ond eto'n fyw,
Sydd heddyw'n afon gref, drwy fendith Duw.
Geiriau Duw sydd yn yr ysgol hon,
I ddynion gwyllt a gwar y ddaear gron;
Yr hen a'r ieuanc welir yn gytun,
A'r canol oed, yn drachtio ei phereiddiol win.
Mamaeth dda, rinweddol yw yr ysgol wiw—
Gelwir hi'n briodol llawforwyn eglwys Dduw.
Magodd ganoedd ar ei bronau maethlon pêr,
Maent heddyw yn y byd fel dysglaer sêr,
Cyhoeddant egwyddorion dwyfol loes—
Rhinweddol aberth llawn trwy waed y groes.
Tynerol ydyw llais yr ysgol Sul,
Dysg hwynt i rodio'r llwybr cul;
Ei llais adseinia bedwar ban y byd,
Ataf dewch, cewch genyf noddfa glyd.

*Lansford, Pa.* JOHN JOHN (*Nathan*).

## DYDD MAWR Y DIDOLIAD.

Dydd y farn yn gadarn fe godir—y meirw
O'r môr a'r dyffryndir,
At yr orsedd glanwedd, glir,
Yn sydyn hon arswydir.

Y ddau deulu ddidolir—ar fyr, fyr,
Yn forau'r farn gywir;
A rhai i wae, mae'n rhy wir,
Yno byth anobeithir.

A'r dduwiol dorf wâr ddeuant—o'u beddau,
Ni bydd un yn fethiant;
Oll yma'n wir llamu wnant
I Ganaan y gogoniant!

LLYWARCH.

## BEDD ARGRAFF

Hyd fad gân, o fyd gwiwnef—y llechaf
Mewn llwch yn mro tangnef,
Yma'i edrych am adref
I gadw gwyl gydag ef.

LLYWARCH.

## DYDDANYDD.*

Un dedwydd yw'n dyddanydd,
A driga gyda ni—
Yn ddedwydd ar ein haelwyd,
Yn ddedwydd gylch ein ty.

Pan byddom trwy gamsyniad
Yn gwneuthur peth o'i le,
Efe fydd ar amrantiad
I'n lloni yn y lle.

Yn cripian ar ein gliniau,
A'i fraich o gylch y gwddf,
A'i gusan ar y wefus,
Er gyru'r gofid ffwrdd.

Un bychan yw y bachgen,
Amddifad yn y byd;
I'w daid a'i nain is nefoedd,
Dyddanydd yw o hyd.

Ei daid, sef CHRISTOPHER BACH.

*Mab bach i'n merch sydd yn ei bedd.

# Y Maes Cenadol.

GAN Y PARCH. W. F. DAVIES, NANTICOKE, PA.

### MADAGASCAR A FFRAINC.

Mae marwolaeth y frenines dynergalon a Christionogol, Ranavalona, a chysylltiad Ffrainc ag ynys Madagascar, yn nghyda'r ymdriniaeth gafodd y cenadwr Seisnig, Mr. Shaw, yn ddigon o reswm dros alw sylw darllenwyr y WAWR at y lle y tro hwn. Y mae darllen hanes y wlad dan sylw yn ddigon er argyhoeddi pawb o fawr ddaioni y gwaith cenadol. Mae y cyfnewidiadau mae yr ynys hon wedi myned drwyddynt yn y triugain mlynedd diweddaf yn synfawr i'r eithaf. O'r llywodraethwyr yn y cyfnod hwn, y frenines a orphenodd ei gyrfa yn ddiweddar a wnaeth fwyaf i lesoli ei deiliaid, i ddiwygio y llywodraeth, ac i ledaenu gwybodaeth o'r efengyl yn mysg y werin anwybodus. Yr oedd ei cholli yn awr yn bwysig ryfeddol, pan gofiom fod Ffrainc, yr un adeg, yn ymyraeth yn feiddgar â buddion ei thiriogaethau. Beth ddaw o hyn, Duw yn unig a wyr.

Mae Madagascar, o ran arwynebedd, yn fwy na'r holl ynysoedd Prydeinig

Digitized by Google

gyda'u gilydd. Mae ynddi amryw o lwythau, ond y cryfaf a'r mwyaf pwysig ydyw yr Hovas. Medda y llwyth hwn bron haner yr ynys, a chynwysa ddwy ran o dair o'r boblogaeth. Yn 1815, pan agorodd Syr Robert Farquhar, Llywydd Mauritius, ohebiaeth â Madagascar, yr oedd yn wlad bron anadnabyddus. Y cytundeb cyntaf a wnaethpwyd a'r ynys oedd gan y Saeson, trwy Farquhar, er diddymu y gaethfasnach. Y brenin ar yr orsedd y pryd hwnw oedd Radama. Cafwyd gan Radama, yr un adeg hefyd, ganiatau i genadon o Loegr ymweled â'r wlad. Yn 1820, aeth dau allan, a 14 eraill yn yr wyth mlynedd dilynol, wyth o ba rai oeddynt law-weithwyr—un argraffwr, un saer coed, un lledrwr (*tanner*), ac un nyddwr gwlan.

Dywedir fod pobl Madagascar, yn ychwanegol i wybodaeth o'r efengyl, yn ddyledus hollol i'r cenadod am yr holl wybodaeth a feddant heddyw o'r celfau a'r gwyddorau. Heblaw hyn, nid oedd iaith yr ynys erioed wedi ei hysgrifenu. Dewiswyd gan y brenin yr arwyddion a'r llythyrenau Rhufeinig, cyfansoddwyd Geiriadur a Gramadeg, a chyfieithwyd y Beibl a Thaith y Pererin, a llyfrau eraill, i'r iaith, am y tro cyntaf. Yn amser Radama, yr hwn a welai y fath gyfnewidiad mawr er gwell oedd y pethau a nodwyd wedi achosi, cynyddodd cyfoeth a chysuron y wlad tu hwnt bron i ddirnadaeth. Ond bu ef farw, a daeth dynes o'r enw Ranavalona I. i'r orsedd yn y fl. 1827. Goddefodd hono i geidwaid y delwau droi ei chalon yn erbyn y cenadon a'u gwaith. Buasai wedi gyru y cenadon oll allan ar unwaith, oni bae ei hawydd i gael ei phobl yn hyddysg yn y gelfyddyd o wneyd sebon, yr hwn oedd y pryd hwnw yn cael ei ddwyn yno o Loegr. Gwnawd hyny, a chawsant trwy eu gwaith, aros bum' mlynedd yn hwy ar yr ynys. Bu y gwaith yn dra llwyddianus yn ystod yr amser hwn, a bu hyny yn foddion i'w gelynion i weithio gyda mwy o egni yn eu herbyn, nes ar ddiwedd y cyfnod dan sylw gorfu iddynt ymadael. Darlunir y canlyniadau o hyn fel y canlyn:

"Daeth cyfnod du dros ben y wlad. Am tua 30 mlynedd buwyd yn llosgi Beiblau, yn erlid ac yn merthyru. Hongianid hwy dros glogwyni, a thra yn hongian felly wrth raffau, caent gyfle i edifarhau. Os na edifarhaent, torid y rhaff, a gadawid hwy i syrthio, nes eu dryllio yn ddarnau ar y creigiau islaw. Eraill a losgwyd i farwolaeth, a llawer a labyddiwyd â cheryg, a werthwyth yn gaethion, a rwymwyd wrth eu gilydd ac a yrwyd i ranau afiachus o'r ynys i newynu a marw. Llosgwyd yr holl Feiblau oddigerth dau neu dri. Diogelwyd un trwy ei osod dan gareg mewn ogof lle y cadwyd cleifion o'r frech wen. Ofnai y llosgwyr fyned yno, felly cafodd lonydd. Mae y gyfrol hono yn awr yn *museum* y Feibl Gymdeithas.

---

# Gwladyddiaeth y Mis.

GAN Y PARCH. J. EDRED JONES.

---

Mae etholiadau Hydrefol Ohio ac Iowa wedi eu cynal, a bu y Democrataid yn llwyddianus yn y flaenaf, a'r Gwerinwyr yn yr olaf. Bu yn ymdrechfa galed yn y ddwy Dalaeth; a chan fod y pwnc dirwestol mor *bromi-nent* yn y ddwy, yr oedd y pleidleiswyr wedi dod allan yn eu cyflawn nerth ar ddydd yr etholiad. Yr oedd gan ddirwestwyr Ohio ddau welliant i ymladd drostynt. Un oedd i *reoleiddio* gwerthiant gwirodydd meddwol trwy rym deddf, a'r llall oedd *gwaharddiad* i'w gwneuthur o gwbl. Bu y dirwestwyr mor ddiwyd a ffyddlon cyn, ac ar ddydd yr etholiad, fel yr oedd llawer o debygolrwydd am rai dyddiau fod y gwelliant *gwaharddiadol* wedi *pasio;* ond gwelir erbyn hyn ei fod wedi cael ei wrthod, gyda 35,000 o fwyafrif yn ei erbyn, mewn pleidlais o 700,000. Aeth y dinasoedd yn gryfion i'w erbyn. Gyrodd y pwnc gwaharddiadol yr Ellmyniaid yn gryno i duebu y tocyn Democrataidd; a hyn, yn ddiau, yw y prif reswm fod y Gwerinwyr wedi eu gorchfygu y waith hon. Mae y

Digitized by Google

ddeddfwrfa hefyd yn Ddemocrataidd, a dewisir ganddi Seneddwr yr Unol Dalaethau yn y gauaf nesaf. Pwy fydd hwnw, mae yn anhawdd gwybod yn awr. Mae rhai yn meddwl yr ail etholir Pendleton, tra mae eraill yn galw yn uchel am ddychwelyd Thurman. Waeth i ni lawer pwy, canys Democrat fydd, pwy bynag fyddo.

Yn Iowa, cafodd y gwelliant gwaharddiadol ei gario; a chan fod gan y Gwerinwyr fwyafrif yn y Ddeddfwrfa, a bod aelodau y cefnau gwyrddion wedi addaw eu cynorthwyo i basio deddf waharddiadol, y tebygolrwydd yw y bydd i'r Ddeddfwrfa nesaf basio y fath gyfraith yno y gauaf nesaf.

Ond er i Ohio fyned yn Ddemocrataidd eleni, nid yw eu mwyafrif ond ychydig o filoedd. Mae y Gwerinwyr wedi enill tir lawer oddiar yr etholiad blaenorol—mae y *tidal wave* yn cilio yn ol, a thebyg yw y gwelir ac y teimlir hyny trwy y wlad yn gyffredin yn yr etholiadau agosaol. Nid yw yr etholiad Arlywyddol yn 1884 wedi ei benderfynu gan etholiad Talaeth Ohio, y mis diweddaf, o lawer; y mae hwn i'w benderfynu yn 1884. Gwir fod y Democratiaid wedi cario Ohio gyda mwyafrif bychan, a'u bod mewn awdurdod yno ac yn y *Congress;* ond mae llawer o awdurdod yn ddinystriol iddynt hwy. Dywed y Democrat enwog, Watterson, Louisville, Ky., yn barod, "Mae'r diafol yn rhydd." Mae ef yn rhydd bob amser pan mae y Democratiaid mewn awdurdod i wneyd drygioni. Pan allan, mae y ci, weithiau, yn siglo ei gynffon, ond mor fuan ag yr â i fewn, mae y gynffon bob amser yn siglo y ci yn gynddeiriog. O'r ochr arall, mae y Gwerinwyr mewn gwell cyflwr yn awr i wynebu yr etholiad Arlywyddol nesaf nag y buont er's rhai blynyddau. Mae y rhagarwyddion ganol mis Hydref yn dweyd yn eglur y *gallant* gario Talaeth Efrog Newydd, y mis nesaf, os ceisiant. Talaeth Werinol yw y Dalaeth hon, bob tro mae y Gwerinwyr wedi penderfynu gorchfygu; ac ond iddynt wneyd hyny eleni, hwy a lwyddant eto hefyd.

Mae yn destyn llawenydd i bob Gwerinwr i ddilyn hanes dilead y ddyled wladol oddiar orpheniad y gwrthryfel, trwy ymdrechion gweinyddiaeth Werinol onest. Nid oedd cyfanswm y ddyled wladol yn llawn *ddeng miliwn o ddoleri* yn 1857; ond yn 1865 yr oedd yn $2,756,431,571.43! Y swm arswydus hwn yw y gwaddol a adawodd y gwrthryfel mawr i'r wlad; ond oddiar hyny, y mae $1,217,649,746.28 wedi eu talu! Mae y llog blynyddol wedi ei ddarostwng o $150,977, 697.87 i $51,436,709.50! yr hyn sydd wedi bod yn lleihad i *bob preswylydd* o $4.29 i 95 *cents* yr un. Carem fanylu ac ychwanegu, ond palla amser a gofod. Pa ddyn gonest na ddywed, "*Well done*, Werinwyr ffyddlon?"

Troer at Ddeddfwrfa Pennsylvania. Gohiriodd hon cyn gorphen y gwaith a ddylasai wneyd yn ei heisteddiad gauafol. Galwodd y Llywodraethwr yr aelodau yn nghyd mewn ail eisteddiad, ac maent yn eistedd byth oddiar hyny yn achlysurol, gan wrthod gohirio. Nid rhyfedd hyn, oblegid mae eu cyflogau yn rhedeg yr un fath, pa un a fyddant yn gwneyd dim ai peidio. Dywedir fod traul dyddiol yr eisteddiad yn $3,096 i'r Dalaeth; a'r draul o ddechreuad yr eisteddiad presenol hyd y 15fed o'r mis hwn (Hydref) yn $408,572; a chostau y ddau eisteddiad, eleni, yn gwneyd y swm anferth o $958,580.00! Mae hyn yn fwy o $364,102.10 na'r eisteddiad yn 1881. Dyma beth yw Democratiaeth. Mae yn debyg na fydd Pennsylvania am adnewyddu y *ddose* yna yn fuan.

Mae ysbryd barbaraidd caethiwed wedi gadael ei olion yn y Talaethau Deheuol hyd yn bresenol. Llusgwyd hen wraig wen, dros driugain oed, rhwymo ei thraed, a gefynau o ddur am ei dwylaw, ar ol cert ychain, trwy heolydd un o ddinasoedd Georgia yn ddiweddar, am ei bod yn gwrthod gweithio allan ddirwy a osodwyd arni gyda charcharorion duon ar yr heol. "*Oh shame, where is thy blush?*"

Palla gofod i mi fanylu ar y ffaith, fod un o swyddogion uchel y Bost Swyddfa yn Washington yn parhau i ddirmygu y Weinyddiaeth—fod y Mor-

moniaid yn Utah yn *herio* y Llywodraeth, a bod cymdeithas gref wedi ei ffurfio yn Lloegr Newydd, dylanwad yr hon sydd yn dechreu cael ei deimlo trwy y wlad yn erbyn ysgariaeth. Mae y pechod hwn yn cynyddu mor arswydus o gyflym, fel mae y dosbarth goreu o'n dinasyddion yn teimlo ei bod yn llawn bryd i gynhyrfu y wlad i'w erbyn; cael gwelliant yn Nghyfansoddiad yr Unol Dalaethau i alluogi y *Congress* i ymaflyd yn y pwnc, &c. Mae yn ofynol gwneyd rhywbeth effeithiol yn fuan, onide aiff y wlad yn Sodom.

---

## HANESION CARTREFOL.

---

### NODION O ATHROFA LEWISBURGH.

Teimlwn yn ddyledswydd arnom i anfon ambell nodyn i'r WAWR am helyntion y coleg hwn. Rhyfeddwn yn aml pan yr ystyriom mor ychydig mae llawer o Gymry yn wybod am yr ysgol ardderchog hon, tra yr ydym yn clywed llawer o ddadwrdd am athrofeydd yn is eu safon.

Er mwyn rhoddi ychydig o wybodaeth i ddarllenwyr y WAWR yn nghylch y coleg yma, mae yn ofynol rhoddi ei leoliad. Saif y Brifysgol hon yn Lewisburgh, Union Co., Pa., tua chanolbarth daearyddol y Dalaeth, ac ar gangen orllewinol yr afon Susquehanna, mewn dyffryn nodedig am ei brydferthwch, ei iachusrwydd, a'i ffrwythlonder. Mae tuag un filldir ar bymtheg i'r gogledd-orllewin o Danville, Pa., a phedair milldir i'r deau o Milton. Mae dwy gledrffordd yn rhedeg trwy y lle, fel y mae trosglwyddiad yn gyfleus o bob rhan o'r Dalaeth. Mae y Brifysgol yn cael ei gwneyd i fyny o dair rhan, sef y *Female Institute*, lle mae y rhianod ieuainc yn derbyn addysg uwchraddol; yr *Academy*, neu ysgol barotoawl i fechgyn ieuainc i gymwyso eu hunain i'r Coleg, y *College proper*, lle mae cangenau uwchraddol yn cael eu dysgu, a'r myfyrwyr yn derbyn eu graddau ar ol gorphen eu haddysg yn llwyddianus. Mae yr athrawon yn bresenol yn rhifo ugain; y myfyrwyr, 275. Yn mhlith y lluaws myfyrwyr y mae deg yn Gymry, pump o'r rhai sydd yn parotoi ar gyfer y weinidogaeth. Y Cymry sydd wedi gorphen eu haddysg yn llwyddianus y tymor diweddaf ydynt, Morgan J. Watkins, o Minooka, Pa., yn B. A., a William G. Watkins yn B. S. Yr oedd y ddau yn sefyll yn uchel yn eu dosbarth. Brodor yw Wm. G. Watkins o St. Clair, Pa. Yr oedd y cyntaf, Morgan J. Watkins, wedi enill *first honors* y dosbarth, yn nghyd ag oriawr aur, am yr araeth oreu ar ddydd y graddiad. Yr oedd yn bresenol yn y *Commencement Hall* o ddwy i dair mil o bobl. Pan glywsom ni, y bechgyn Cymreig, y canlyniad o'r ymdrechfa, yr oedd ein calonau yn llamu gan lawenydd. Mae y brawd yn awr wedi derbyn galwad oddiwrth eglwys Fedyddiedig Great Bend, Pa. Cydnabyddir y llall, W. G. Watkins, yn un o'r meddylwyr goreu yn ei ddosbarth. Mae yn fachgen tawel a diymhongar, yn gyfaill cywir, a Christion diamheus. Mae ef newydd fyned i efrydu duwinyddiaeth i Athrofa Dduwinyddol Crozer, gerllaw Philadelphia, Pa. Mae y bechgyn Cymreig sydd yma yn bresenol yn rhai gobeithiol iawn, oll wedi gwneyd cynydd amlwg yn eu gwersi. Mae Jacob Davies yn y *senior class* yn y coleg. Brawd o Frostburgh, Maryland, yw hwn. Mae y brodyr, Henry J. Roberts, o Plymouth; Daniel M. Jones, o Lansford, a John W. Griffiths, yn y *senior academic class*. Yn y *junior class* y mae John Skym, Youngstown, Ohio.

Mae yn dda genym weled y WAWR a'i gwyneb dysglaer a serchog yn talu ymweliad a ni o bryd i bryd. Llwyddiant fyddo iddi, a'i golygydd llafurus.

DYSGYBL.

---

### DRIFTON, PA.

MR. GOL.—Carem ni fel eglwys i'r ychydig linellau hyn ymddangos yn y WAWR. Yr ydym ni yn Drifton am wneyd yn hysbys trwy dudalenau y WAWR, ein bod yn gwrthod derbyn cyhoeddiad unrhyw frawd yn y wein-

Digitized by Google

idogaeth o hyn allan, heb ein bod yn anfon am danynt ein hunain, o herwydd fod ein trysorfa yn isel, a thrwy hyny nas gallwn gydnabod y brodyr ar eu taith bregethwrol. Arwyddwyd dros yr eglwys,

DANIEL H. DAVIES, *Ysg.*

---

### WEATHERSFIELD, O.

Pregethodd y Parch. J. James ei bregeth ymadawol i eglwys y Bedyddwyr yn Weathersfield, Ohio, amryw wythnosau yn ol; a rhoddodd yr eglwys alwad i'r Parch. E. Morddal Evans, Palmyra, O.; ac y mae yntau wedi cydsynio i dderbyn yr alwad, a llanw y pwlpud un Sabboth o bob mis. Yr eiddoch, J. LEE.

---

### AUDENRIED, PA.

Hydref 6, 7, 1883, cynaliwyd cyfarfod pregethu, dan nawdd eglwys y Bedyddwyr.

Nos Sadwrn, dechreuwyd trwy ddarllen a gweddio gan y brawd Jeremiah Griffiths, Ashland, a phregethodd y brawd Henry Thomas, Lansford, oddiar Salm 87: 3, a'r brawd H. G. James, Mahanoy City, yn Saesoneg, oddiar Dat. 21 : 5.

Am 9, boreu Sabboth, cafwyd cwrdd gweddi hwylus a gwlithog.

Am 10½, dechreuwyd trwy weddi gan y brawd H. G. James, a phregethodd y brodyr Jeremiah Griffiths, oddiar 1 Thes. 5 : 19, a Theophilus Jones, Wilkesbarre, oddiar Luc 24 : 32.

Am 2, dechreuodd y brawd Theo. Jones, a phregethodd y brodyr Henry Thomas, yn Saesoneg, oddiar Esa. 2 : 3, 4, yr 11: 1—10, a H. G. James, oddiar Mat. 15 : 21—29.

Am 6, dechreuodd y brawd Henry Thomas, a phregethodd y brodyr J. Griffiths, oddiar Heb. 4 : 15, a Theo. Jones, oddiar Marc 8 : 36.

Yr oedd y cynulliadau yn lluosog, y pregethu yn hwylus a nerthol, y canu yn soniarus, dan arweiniad y brawd ffyddlon, William Hitchins—y cyfraniadau yn helaeth. Y dagrau treigledig a'r amenau cynes oeddynt yn arwyddion amlwg fod efengyl Iesu Grist yn parhau yn ei dylanwad ar feibion Gomer. Gobeithiwn y cawn elfenau i lawenhau fel eglwys, trwy fod llawer yn dyfod i gredu ac ufuddhau i Frenin Seion. B. D. EVANS, *Ysg.*

---

### RIDGEWAY, WIS.

Y Sabboth cyntaf yn Hydref, cawsom fel eglwys y fraint o weled saith yn ufuddhau i orchymyn Iesu Grist trwy fedydd, sef pedwar brawd a thair chwaer. Pregethodd ein parchus weinidog ar lan y dwfr, lle byddis yn arfer bedyddio, oddiwrth y geiriau hyny, "Paham, gan hyny, yr wyt ti yn bedyddio?" Ar ol y bregeth, gweinyddodd yr ordinhad o fedydd o flaen torf luosog o edrychwyr siriol, y rhai a wrandawent yn astud.

Hefyd, mae yn angenrheidiol hysbysu i ddarllenwyr y WAWR fod genym weinidog anwyl a pharchus, sef John Thomas, yr hwn sydd yn pregethu i ni ddwy waith bob Sabboth er's pedwar mis ar ddeg. Ein gweddi fel eglwys yw, ar i lwyddiant mawr ddilyn ei weinidogaeth yn ei faes newydd. Mae yn frawd anwyl, yn Gristion trwyadl, ac yn was da i Iesu Grist. Fy ngweddi yw, ar i ni fel eglwys fod yn un ac yn gytun, ac un ac oll yn llyfr gweddi iddo. RHYS D. JONES.

---

### CYFARFOD CHWARTEROL OLYPHANT.

Cynelir y Cwrdd Chwarter perthynol i Gymanfa Bedyddwyr Dwyreinbarth Pennsylvania gyda'r eglwys yn Olyphant, Mawrth a Mercher, yr 20fed a'r 21ain o fis Tachwedd. Y gynadledd i ddechreu am 2 o'r gloch ddydd Mawrth.—*J. P. Harris, Ysg.*

---

### EGLWYS Y BEDYDDWYR YN GIRARD, O.

Dymuna yr eglwys uchod wneyd yn hysbys trwy du dalenau y WAWR, nas gall dderbyn cyhoeddiadau unrhyw bregethwr teithiol ar hyn o bryd, am y rheswm nad oes genym le cyfleus i addoli ar yr wythnos, a hefyd y mae genym weinidog ar y Sabboth yn rhan-

Digitized by Google

ol â Church Hill. Yr ydym yn bwriadu codi capel newydd yn fuan yn Girard. Y mae yr achos yn llewyrchus. Dros yr eglwys—Morgan L. Jones, John Probert, John Jones, *Diaconiaid.*

---

JOHNSTOWN, PA.

Awst 27ain a'r 28ain, cynaliwyd gwledd de gan yr eglwys Fedyddiedig Gymreig, yr hon a drodd allan yn llwyddiant perffaith, er mawr lawenydd i'r frawdoliaeth, ond yn neillduol felly i'r chwiorydd Meistresi James, Prosser, Edwards, a Lewis, yn gymaint ag mai hwy oedd a'r llaw flaenaf yn y mudiad, a'r hwn a gostiodd iddynt lawer o lafur caled ddydd a nos, yn nghyda phryder meddwl. Ond y mae y chwiorydd anwyl erbyn hyn wedi anghofio eu poen a'u blinder, gan lawenydd fod eu llafur cariad wedi ei goroni a llwyddiant mawr. Gellir gyda phriodoldeb ddyweyd, yr hyn a allodd y chwiorydd hyn hwy a'u gwnaethant. Cawsant ddiolchgarwch unfrydol a chalonog yr eglwys am eu gwaith, ac yr oeddynt yn wir deilwng o hono. "Parch i'r hwn y mae parch yn ddyledus." Hefyd, teimla y chwiorydd eu hunain yn wir ddiolchgar i bawb a fu mor garedig ag estyn y cynorthwy lleiaf iddynt i gwblhau eu gwaith yn anrhydeddus, a chyrhaedd eu hamcan clodwiw. Teg yw dyweyd i'n merched ieuainc gyflawni eu gwaith yn ddeheuig, siriol, a moesgar. Aeth pob peth yn mlaen yn gysurus, a chafodd pawb eu boddloni.

Ewch yn mlaen, chwiorydd hawddgar,
  Byth na flinoch ar y gwaith,
Chwi gewch goron hardd y bywyd
  Pan gyrhaeddoch ben eich taith.

DAVID JONES.

---

PALMYRA, O.

Dymuna yr eglwys yn y lle hwn wneyd yn hysbys i bregethwyr a fyddo yn talu ymweliad â hi, nas gall fod yn gyfrifol am ddim tâl iddynt, o herwydd amgylchiadau y lle. Yr eiddoch dros yr eglwys—*Rees M. Rees, Ysg.*

Hefyd, dymuna yr eglwys uchod wneyd yn hysbys mai Rees M. Rees yw Ysgrifenydd yr eglwys yn awr.—*John J. Morris.*

---

*Cywiriad.*—Yn Ystadegau Cymanfa Shenandoah, Pa., yn y rhifyn diweddaf, gyferbyn a Taylorville, yn lle, 'Bu Farw 9,' darllener, 'Bu farw 0, (neb).' —*J. P. H.* [Dilynodd y cysodydd y copi.]

---

*BEDYDDIWYD—*

Yn Bethesda, Gogledd Ebensburgh, Pa., Medi 16, 1883, bedyddiwyd pump o chwiorydd gan y brawd D. Jones, Johnstown, Pa. Daeth tyrfa fawr yn nghyd, ac yn y dorf yr oedd ugeiniau na welsent erioed yr ordinhad sanctaidd yn cael ei gweinyddu. Yr oedd bedydd mor newydd a dyeithr iddynt ag ydoedd bedydd Ioan i drigolion Jerusalem a Judea. Gwrandawent yn astud, ac edrychent yn sobr a difrifol ar yr ymgeiswyr yn myned i'r dwfr mor ewyllysgar a gwylaidd, a'r modd y gweinyddid yr ordinhad arnynt; ac ymddangosent fel pe yn argyhoeddedig fod y dull hwn o fedyddio o Dduw, ac nid o ddynion. A diau genym pe bae y bobl hyn, ïe, a miloedd gyda hwy o ddynion dysgedig, ac athrawon goleuedig a pharchus ein colegau, yn mhob gwlad, yn ffyddlawn i'w hargyhoeddiadau, y clywid hwy yn canu gyda'r diweddar Eben Fardd (Methodist):

"O! gyd-gladdiad gogoneddus,
  Adyn edifeiriol, trist,
Yn arddangos yn ei fedydd
  Ei gyd-gladdiad gyda Christ;
    A'i gyfodiad,
  Codiad er adferiad fydd."

*Johnstown, Pa.* DAVID JONES.

*Church Hill.*—Awst 12, 1883, yn Church Hill, bedyddiwyd un chwaer ar broffes o'i ffydd, gan y gweinidog, sef y Parch. W. J. Williams.

---

*PRIODWYD—*

Medi 20, 1883 yn Pomeroy, Ohio, gan y Parch. T. T. Williams, Mr. Jacob Price a Miss Mary Ann Aubrey, y ddau o Minersville, Ohio.

Digitized by Google

Hydref 10, 1883, yn Wilkesbarre, Pa., gan y Parch. E. Edwards, diweddar o Milesburgh, Mr. Thomas B. Thomas, *druggist*, Wilkesbarre, a Miss Mary Ann Davies.

Mai 5, 1883, yn Derringer, Pa., gan y Parch. T. D. Evans, Mr. Daniel A. Jones, Gowen, a Miss Elenor Griffiths, Derringer.

Awst 2, 1883, yn Audenried, Pa., gan y Parch. T. D. Evans, Mr. Jenkin Jones a Miss Ann Davies, y ddau o Yorktown.

Awst 11, 1883, yn Honey Brook, Pa., gan y Parch. T. D. Evans, Mr. David Barrowmen a Miss Ann Deborah Joseph, y ddau o'r lle uchod.

Medi 29, 1883, yn Janesville, Pa., gan y Parch. T. D. Evans, Mr. John E. Evans a Miss Ann Jenkins, y ddau o Freeland, Pa.

Hydref 4, 1883, yn Audenried, Pa., gan y Parch. T. D. Evans, Mr. Martin L. Roberts, Tomhicken, Pa., a Miss Lizzie Brace, Gowen, Penna.

Hydref 11, 1883, yn Janesville, Pa., gan y Parch. T. D. Evans, Mr. George Chesnut a Mrs. Elenor Chesnut, y ddau o Freeland, Pa.

Awst 23, 1883, gan y Parch. W. F. Davies, yn nhy mam y briodasferch, sef Mrs. Abraham Richards, Mr. David Evans a Miss Lizzie Richards, oll o Nanticoke, Pa.

---

## *BU FARW—*

MRS. MARY REES.

Medi 27, 1883, yn Harrisburgh, Pa., bu farw Mrs. Mary Rees, gwraig Mr. Jacob Rees, a merch Mrs. Ann Phillips, Pottsville, Pa. Amlygodd yn ei chystudd blin ysbryd tawel a boddlawn i ewyllys yr Arglwydd. Er ei bod yn cael lle i gredu fod haul ei bywyd yn debyg o fachludo tua chanol dydd, eto bu farw gan ddywedyd fod pob peth yn dda. Bu yn aelod ffyddlawn gyda'r Bedyddwyr Cymreig yn Pottsville, Pa., am flynyddau; ac wedi ei symud i Harrisburgh, am nad oedd yno eglwys Gymreig, ymunodd a'r Bedyddwyr Seisonig, o fynwes yr hon yr hunodd yn yr Iesu. Gweinyddwyd gan weinidog y lle. Heddwch i'w llwch. EI CHEFNDER.

HARRIET JONES.

Hydref 12fed, hunodd Harriet pan yn 5 mis oed. Merch fechan ac anwyl ydoedd i Mr. Morgan ac Elizabeth Jones, Girard, Ohio (gynt o Dowlais, D. C.), ac aelodau parchus a ffyddlon gyda y Bedyddwyr yn y lle hwn. Hydref 14eg, ymgasglodd tyrfa luosog yn nghyd i hebrwng gweddillion marwol y blodeuyn prydferth i'r gweryd. Mae hyn yn brawf fod ei rhieni yn barchus gan bawb drwy yr ardal. Yn y ty cyn cychwyn gwasanaethwyd gan y Parch. W. J. Williams, Church Hill, yna awd yn orymdaith i gladdfa Church Hill. Ar lan y bedd anerchwyd y dorf gan y Parch. E. W. Richards, Girard. Heddwch i'w llwch.

Dymuna y perthynasau gyflwyno eu diolchgarwch gwresocaf i'r cyfeillion am eu tynerwch i'r fechan ymadawedig. Hefyd, dymunir ar i bapyrau Cymru ddefnyddio yr uchod.

Harriet anwyl, ti ddiengaist
  Rhag pob gofid, poen, a chlwy';
Uno wnest a'r cor nefolaidd,
  Pa'm yr wylwn ninau mwy;
Ymgysurwn, byddwn barod,
  Fe ddaw dyrnod brenin braw;
Ar fyr enyd rhaid ein symud
  Oll i'r tragwyddolfyd draw.

MR. DAVID W. PRICHARD, REMSEN.

[Parhad ]

Fel tad, yr oedd yn dyner a gofalus; fel priod, yn serchog a ffyddlon; fel cymydog, yn heddychlon a diormes, a chymwynasgar; fel gwladgarwr, yn gywir a sefydlog; fel brawd, yn serchog a chymdeithasol; fel Cristion, yn frwdfrydig, ymdrechol, a chyson. Anfynych y byddai y tywydd na dim arall yn ei atal o foddion gras, a byddai bob amser yn barod i roddi cyngor a dyweyd ei brofiad, er na fyddai bob amser ar ei uchel fanau. Os gwyddai am fod ar ben Pisgah, yn gweled cyrau y wlad, a'r Brenin yn ei degwch, gwyddai hefyd am iselder, a rhodio yn y dyffryn. Os gwyddai am nerth, gwyddai hefyd am wendid; ond yr oedd ei wroldeb, ei nerth, a'i sel, trwy ras, yn gorchfygu pob iselder a thywyllwch ac ofnau. Y mae colli brawd fel hyn yn golled fawr i'r eglwys Gristionogol yn ei hymdrech am adferiad. Bydded i'r Arglwydd alw rhai o'r newydd, nid yn unig i lanw y bylchau yn Seion, ond i gynyddu rhifedi yr eglwysi; a bydded i ni, frodyr a chwiorydd, fel Priscila ac Acwila, alw rhyw Apolos o'r neilldu i ddysgu iddo ffordd Duw yn fwy perffaith.

Boreu dydd Mercher, Medi 5, ymgynullodd tyrfa luosog i dalu y gymwynas olaf i'n brawd ymadawedig. Gweinyddwyd yn y ty gan y Parch. J. Seth Jones, O. F. Parry, Geo. Lamb,

Digitized by Google

(T. C.), Remsen, E. Hughes, (A.), Steuben, E. Davies, (A.), a Dr. Williams, (T. C.), Remsen.

T. E. WILLIAMS.

*** Dymuna y weddw i ryw fardd gyfansoddi galargan ar ol y brawd ymadawedig.

---

## COFGOLOFNAU.

Dylai pob dyn adael cofgolofn iddo ei hunan ar ol yn adgofion ei gymydogion. Cymeriad da yw y gareg oreu. Fe wna y rhai hyny a'th garasant ac a gynorthwywyd genyt, gofio am danat pan fyddd *forget-me-nots* wedi gwywo. Cerfia dy enw ar galonau, ac nid ar fynor. Gobeithiwn y bydd rhywbeth gwell i'w ddweyd am danom nag am y dyn hwnw gafodd y beddargraff canlynol:

"Gorwedda dyn yma na wnaeth ddim daioni,
A phe cawsai einioes ni wnai ef er hyny;
I ba le yr aeth, a pha fodd mae'n ymdaro,
'Does un dyn yn gwybod, nac un dyn yn hidio."

Rhaid mai chwaeth ryfedd sydd gan y rhai hyny sydd gorfoli yr ymadawedig, fel pe buasent am chwythu udgorn yr adgyfodiad cyn bod yr angel yn gwneyd ei ymddangosiad. Dyma afal allan o'u basged hwy:

"Yma gorwedd corph Martha Gwyn,
Yr hon tu fewn oedd lân a gwyn;
Torodd bligsyn pech. mae'n syn,
A neidiodd ma's yn angel gwyn."

Pa le y maent yn claddu dynion drwg? Trowch ar y de a'r aswy yn ein mynwent ni, ymddengys pawb mai hwy oedd y dynion goreu, ac mai nythaid o seintiau ydynt, a rhai o honynt mor anghyffredin o dda, fel nad oedd yn syndod iddynt farw, oblegid yr oeddynt yn rhy dda i fyw yn y fath fyd drwg a hwn.

Yr wyf wedi gweled ffolineb lawer gwaith ar gofadail, ac wedi synu paham y mae yr offeiriad, neu'r clochydd, neu y rhingyll, neu pwy bynag sydd yn llywodraethu pethau, yn gadael i ddynion dori y fath ddwlni ar y ceryg. Gwarchod pawb! dywedodd dyn o Gaerloyw wrthyf, fod bedd-argraff yn mynwent Dymock yn darllen fel hyn:

"Too sweetur babes you nare did see
Than God amity gave to wee;
But they wur ortaken wee agur fits,
And hear they lys has dead has nits."

Yr wyf wedi darllen bron ddigon o bethau gwirion fy hunan yn ein claddfeydd ni yn Surrey i lanw llyfr. Gwell i chwi adael y bedd yn llonydd na gosod i fyny gofgolofn o'ch anwybodaeth.

O bob lle am eiriau cellweirus a difyrwch, ceryg beddau yw y mwyaf anmhriodol. Er hyny, y mae pethau od fel hyn wedi eu cerfio lawer gwaith ar geryg beddau, nes y tueddir dyn i feddwl mai pa agosaf fyddo i'r eglwys, pellaf i gyd yw oddiwrth weddusrwydd cyffredin. Dyma benill creulon, ond tebyg ei fod yn wir:

"Miss Young orwedda yma,
Mewn ty o domllyd glai,
Ddechreuodd ddal ei thafod
Y cyntaf ddydd o Fai."

Nid yw hwn lawer gwell—

"Dyma John Adams, o blwyf y Southwell,
Fe gariodd ei gwpan i'w safn yn ddel;
Gymaint a gariodd, a chariodd mor chwai,
Ychwaneg ni allai, fe'i cariwyd i'r grai;
Y ddiod a yfodd oedd ormod i un,
A 'nawr y mae yma yn gelain ddilun."

Paham na allasai y bobl hyn ddangos eu digrifwch yn rhywle arall? Rhaid fod arabedd dyn bron marw, pan nas gall gael un lle ond y bedd iddo. Y mae corphly cardotyn mwyaf carpiog yn rhy gysegredig i wneyd difyrwch o hono. Y fath bysgodyn rhyfedd raid fod Roger Martin, yr hwn oedd yn byw yn Walworth, ac a osododd y canlynol ar fedd ei wraig:

"Yma gorwedda gwraig Roger Martin,
Bu'n wraig dda i Roger—hyny sy'n *sartin* (sicr)."

A phwy allasai fod y creadur ffol hwnw yn Ockham, un o'r lleoedd pertaf yn y parthau hyn, a ysgrifenodd y llinellau ysgeler hyn?—

"Tra'n tori'r mân goed, i lawr yn ddioed,
Y syrthiais o'r goeden uwchben;
A'r gwaelod a gwrddais, a'm gwddf a dorais,
Ac angeu a dorodd fy mhen."

Wel, dyna ddigon, a llawn cystal â gwledd. Dyma brawf cadarnhaol fod

Digitized by Google

rhai ffyliaid yn cael byw i ysgrifenu ar gof-adeiliau y meirwon. Gall ysbrydion fod oddiamgylch o'r goreu. Nid yw yn syndod fod y cysgwyr yn codi o'u gwelyau pan y dilledir hwynt mor ddrwg. Bydded i ni gael cyfraith i wahardd unrhyw un i osod ffwlbri uwchben y marw, oddieithr ei fod yn caru tynu ysgrif-dyst allan i brofi ei fod yn asyn, yr un fath a'r drwydded i saethu petris a ieir y coed. Ar yr un pryd, cadwer pob pwffyddiaeth i siopau brethynwyr a chrach-feddygon, ac na fydded i ddim o hono gael ei ganiatau wrth y bedd. Dywedaf yr un fath a'n gweinidog ni:

"Na choder careg ddrud a geiriau cerfiol arni,
I nodi y fan lle mae pechadur yn cysgu;
Neu os rhaid cael bost-iaith i harddu ei feddrod,
Ymffrostier yn ngharaid 'r Hwn drengodd dros bechod."

—*John Ploughman's Talk.*

## NODION CYFFREDINOL.

—Hysbysir y bydd i John Bright, A. S., Lloegr, dalu ymweliad â'r Talaethau Unedig y gwanwyn nesaf; ac y mae yn debyg y bydd iddo draddodi darlithiau yn ninasoedd mawrion yr Undeb. Mae y Saeson yn llawen fod eu gwladweinydd mawr o'r diwedd wedi penderfynu ymweled ag America; ac y mae yr Americaniaid yn rhagfynegu y caiff efe roesawiad brwdfrydig.

—Dathlwyd cylchwyl darganfyddiad America, yn Madrid, Spain, noson y 12fed o'r mis diweddaf gyda gwledd ardderchog. Yr oedd holl gynrychiolwyr Gweriniaethau America yn bresenol, a thraddodwyd anerchiadau mewn amryw ieithoedd. Diweddwyd y gweithrediadau trwy ddadorchuddio cerf-ddelw o Christopher Columbus.

—Cymerodd yr etholiadau Talaethol le yn Ohio ac Iowa ar y 9fed o'r mis diweddaf. Yn Ohio etholodd y Democratiaid y Barnydd Hoadly yn Llywodraethwr trwy fwyafrif o ryw 10,000 neu 12,000, ac y mae ganddynt fwyafrif o 28 yn y Ddedfwrfa ar bleidlais unedig. Saif y Senedd—22 Dem. ac 11 Gwer; y Ty, 61 Dem. a 44 Gwer. Bydd i'r Ddedfwrfa hon ddewis Seneddwr y Talaethau Unedig. Yr oedd holl bleidlais y Dalaeth yn fawr iawn—oddeutu 700,000. Derbyniodd Schumaker, ymgeisydd y Gwaharddwyr, ryw 8,000, neu 9,000 o bleidleisiau. Gorchfygwyd yr Ail Welliant, neu Waharddiad, trwy fwyafrif o tua 40,000. Priodolir gorchfygiad y Gwerinwyr i'r Gwaharddwyr, a dywed papyrau Gwerinol y bydd raid iddynt o hyn allan ymladd eu brwydrau eu hunain. Yn Iowa, bu y Gwerinwyr yn fuddugol, fel arfer, er nad gyda'r mwyafrif arferol.

Mae Moody a Sankey wedi derbyn hysbysiadau bygythiol yn yr Iwerddon, yn mynegu, os bydd iddynt ymweled a Cork, y bydd eu bywyd mewn perygl. Mae yr arian angenrheidiol i'w harosiad am chwe' mis yn Llundain, eisoes wedi eu tanysgrifio, a dechreuant ar eu llafur yn Islington, Llundain, ddechreu y mis hwn.

—Yn ystod y gwasanaeth mewn synagog yn Ziwonka, yn Rwssia, ddydd Sadwrn, y 13eg o'r mis diweddaf, mewn canlyniad i alarwm twyllodrus o dân yn oriel y benywod, crewyd y fath ddychryn, fel yn y rhuthr am y drws, y cafodd deugain o fenywod eu lladd, a deg ar hugain eu hanafu.

—Dywedir fod Mormoniaeth yn enill tir yn ngogledd Georgia, Alabama, a dwyreinbarth Tennessee. Mae eu cenadon, gorsaf y rhai sydd yn Chattanooga, yn gwneyd canoedd o broselytiaid yn flynyddol; ac nid yw eu hychwanegiadau o blith y tlodion a'r anwybodus yn unig, ond hefyd o blith y dysgedig a'r cyfoethog.

—Ymgynullodd dwy fil o bobl yn Neufchatel, Switzerland, un dydd Sul yn ddiweddar, a phasiwyd penderfyniad yn hawlio anfoniad y Fyddin Iachawdwriaeth Seisonig o'r wlad. Addawodd Cyngorwr y Llywodraeth y byddai i'r Cyngor wneyd ei ddyledswydd, trwy gau drysau Switzerland yn erbyn y rhai a fasnachant ar ei lletygarwch.

—Hysbysir o Berlin fod proclamasiwn Nihilistaidd wedi ei gyhoeddi, yn dedfrydu Czar Rwssia i farwolaeth, o herwydd nad yw wedi estyn rhyddid i'r bobl.

—Gellid llwytho 500 o gerbydau rheilffyrdd o'r gwaelod i'r top gyda'r doleri arian (146,187,077 mewn nifer) sydd yn gorwedd yn segur yn y Trysordy!

—Mae Thomas Eggleston, o Swydd Lincoln, West Virginia, wedi gadael ei gant a saith mlwydd oed, eto cerddodd y dydd o'r blaen ddeunaw milldir cyn ciniaw. Y mae engreifftiau mynych i'w cael yn y wlad hon o hirhoedledd eithafol.

—Hydref 1, y diwrnod cyntaf i'r West Shore R. R. redeg can belled a Syracuse, cymerodd gwrthdarawiad le ger Fort Plain, a lladdwyd tri, ac anafwyd tua 15.

—Y papyr dyddiol mwyaf ei gylchrediad yn y byd yw y *Petit Journal*, yn Paris. Gwasgara dros haner miliwn o gopïau yn ddyddiol.

—Derbyniwyd tanysgrifiadau am rwymebau Camlas Panama y dydd o'r blaen yn Llundain, i'r swm o £95,000.

Digitized by Google

—Achosodd derbyniad anfoesgar y brenin Alfonso yn Paris, gryn deimlad yn erbyn Ffrainc yn Spaen a Germani; ond ymddengys fod ymddiheurad yr Arlywydd Grevy, a'r parodrwydd a ddangoswyd i wneyd iawn am y cam-ymddygiad, yn debyg o adferu tawelwch. Dywedir i Ymerawdwr Germani anfon at Alfonso: "Yr wyf yn cydymdeimlo â chwi am yr anfri a roed arnoch yn Paris. Gwn, modd bynag, ei fod yn cael ei gyfeirio ataf fi yn llawer mwy nag atoch chwi."

—Y mae geneth ieuanc dan ddwy ar bymtheg oed, wedi dechreu pregethu a darlithio yn Neheudir Cymru. Ei henw yw Miss H. Myfanwy Jones, yn byw yn Ton Ystrad, Pont-y-pridd, ac yn aelod o eglwys Hebron. Testyn ei darlith yw "Beirdd a Barddoniaeth fy Ngwlad." Anogwyd hi i bregethu gan ei gweinidog, yn nghyd a'r Parchn. Abel J. Parry, Abertawe; W. Morris, Treorci, ac eraill.

—Dathlodd Mr. Bancroft, yr hanesydd enwog ei 83ain dydd genedigaeth, yn Newport, Rhode Island, y dydd o'r blaen. Derbyniodd lawer o lythyrau llongyfarchiadol oddiwrth gyfeillion o bob parth o'r wlad.

—Un o'r perlau mwyaf a ddarganfyddwyd erioed oedd hwnw a gafwyd yn ddiweddar yn mhysgod-leoedd California Isaf. Mae tua modfedd o hyd, ac yn dri-chwarter modfedd o drwch.

—Prif ryfeddod dinas Washington, meddir, yw y gofgolofn ardderchog sydd yn cael ei hadeiladu yno i Washington; ac y mae y gwaith arni yn myned yn mlaen yn gyflym yn bresenol. Ymgyfyd oddiar lanau y Potomac yn golofn anferth o farmor gwyn. Mae eisoes wedi cyrhaedd i'r uchder o 350 o droedfeddi, neu yn uwch na'r trydydd o bigdyrau yr Aifft, ac o fewn can' troedfedd i uchder yr ail bigdwr, a dysgwylir y cyrhaedda yr uchder o 410 troedfedd cyn y gauaf. Pan ei gorpheuir, cyrhaedda yr uchder o 500 troedfedd. Y gwaith uchaf yn y byd yn awr yw clochdy Eglwys Gadeiriol Cologne, 512 troedfedd. Yna daw pigdwr mawr yr Aifft, 483 troedfedd; Eglwys Gadeiriol Strasburgh, 473; yr ail bigdwr, 453; Eglwys St. Pedr, Rhufain, 430; St. Stephen, Vienna, 443; a St. Paul, Llundain, 384.

—Achoswyd cryn syndod a digofaint yn mhob rhan o Loegr, yn ddiweddar, gan yr hysbysiad fod y Frenines yn bwriadu codi cerf-ddelw i'w diweddar was John Brown, yn ymyl eiddo y Tywysog Cydweddog yn Balmoral, yn nghyda rhoddi tablau marmor er cof am dano yn y gladdfa Freninol yn Frogmore, ac yn nghapel St. George, yn Windsor.

—Bu daeargrynfâau dychrynllyd tua chanol y mis diweddaf ar yr orynys rhwng Chesme, yn Asia Leiaf, gyferbyn ag ynys Chios, a Vaneta, ar oror ddeheuol Môrgainc Smyrna. Dinystriwyd yr holl bentrefi yn yr amgylchoedd hyny, a chredir i dros 1,000 o bersonau golli eu bywydau. Mae y trigolion yn dyoddef angen mawr, a ffyna dychryn eithafol yn eu plith.

—Mae cyfraith filwrol wedi ei chyhoeddi mewn rhanau o Rwssia Ddeheuol, mewn canlyniad i'r terfysgoedd gwrth-Iuddewaidd mynych yn y parthau hyny.

—Ar ol cynal amryw ddathliadau, yn ystod y naw mlynedd diweddaf, o ddygwyddiadau yn dal cysylltiad â'r rhyfel chwyldroadol Americanaidd, ddydd Iau, y 18fed o'r mis diweddaf, yn Newburgh, N. Y., dathlwyd terfyniad y rhyfel hwnw, ac adferiad heddwch, mewn modd gorwych. Bernid fod 50,000 o ddyeithriaid yn y ddinas ar yr achlysur. Ffurfiwyd gorymdaith pedair milldir o hyd, yn cynwys 8,000 o bersonau, ac yn eu plith dri o ddynion dros gan' mlwydd oed. Chwyfiwyd baneran, traddodwyd areithiau, taniwyd magnelau, arddangoswyd *fireworks*, &c.; ac, a chymeryd yr oll gyda'u gilydd, yr ydoedd yn ddathliad llawen ac ysplenydd.

—Mae Llywodraeth Lloegr wedi hysbysu y bydd i'r milwyr Prydeinig gael eu galw o'r Aipht yn mis Rhagfyr.

—Y mae Gwyddelod Illinois a Wisconsin wedi tanysgrifio $2,500 er amddiffyn O'Donnell, llofruddiwr Carey, yr hysbysydd.

—Aeth chwareudy yn Govi Samika, Spaen, ar dân, a llosgwyd 75 o bersonau, a derbyniodd 100 eraill gryn niweidiau.

—Bu Iarll Granville ar ymweliad a Mr. Gladstone am rai dyddiau yn ddiweddar. Y prif fater y cydymgynghorent arno, yn ddiau, oedd pa fodd i atal rhyfel rhwng Ffrainc a China; a pha mor bell y dylai Prydain gyfryngu, os mae y gwaethaf a ddygwydd.

—Daeth Mrs. Anandaiba Joshee, gwraig Bramin o Serampore, India, i'r wlad hon yn ddiweddar, gyda chaniatad ei phriod, i fyned i Goleg Meddygol yn Philadelphia, i'r dyben o astudio physigwriaeth, gyda'r amcan o ddyfod yn fendith i fenywod Hindwaidd India. Mae ganddi wyneb siriol, a gwedd ddeallus, ac y mae yn siarad Saesneg yn berffaith. Priodwyd hi pan yn naw mlwydd oed, ac y mae yn awr yn ddeunaw.

—Y mae y Tad Hyacinthe, o Paris, Ffrainc, ar ddyfod ar ymweliad a'r wlad hon. Bwriada draddodi darlithiau yma er budd ei eglwys.

—Yn Menominee, Wis., ar y 3ydd o'r mis diweddaf, saethodd C. Beguhn, ffarmwr, ei frawd, gan dybied mai arth ydoedd. Ni ddarganfyddwyd y camgymeriad hyd dranoeth, pan gafwyd y corph.

—Mae y Tywysog Bismarck yn parotoi deddf i'w chynyg i'r *Reichstag* yn fuan, amcan yr hon yw rheoleiddio a chyfyngu ymfudiaeth o Germani, yn neillduol dynion ieuainc darostyngedig i wasanaeth milwrol.

Digitized by Google

## HANESION BYRION.

—Dywedir am y Pab Pius Quintius, iddo, pan yn marw, waeddi allan mewn anobaith, "Pan oeddwn mewn sefyllfa isel, yr oedd genyf beth gobaith am iachawdwriaeth; ond pan y cefais fy nerchafu i fod yn *gardinal*, amheuwn hyny yn fawr; ond er pan y cefais fy nerchafu i fod yn Bab, nid oes genyf obaith o gwbl."

—Pan oedd lodes fach rhwng 6 a 7 mlwydd oed ar ei gwely angau, gwelodd ei chwaer henaf gyda Beibl yn ei llaw, a gofynodd iddi ddarllen yr hanes am Grist yn bendithio plant bychain. Ar ol ei ddarlleniad, ebai y plentyn: "Mor dda!—caf finau yn fuan fyned at yr Iesu; cymer *fi* yn fuan i fyny yn ei freichiau i'm bendithio; ni cha un dysgybl fy ngadw draw." Cusanodd ei chwaer hi, a gofynodd, "A wyt ti yn fy charu?" "Ydwyf, fy anwylyd," atebai, "ond paid a digio, yr wyf yn caru yr Iesu yn fwy."

—Dywedodd John Newton, "Pan gyrhaeddaf y nefoedd, caf weled tri rhyfeddod yno. Y rhyfeddod cyntaf fydd, gweled llawer o bobl yno na ddysgwyliwn eu gweled. Yr ail ryfeddod fydd, methu gweled llawer o bobl yno y dysgwyliwn y buasent yno. A'r trydydd, a'r rhyfeddod mwyaf o'r cwbl, fydd cael fy hun yno."

—Pan oedd gweinidog ryw dro yn gwella o afiechyd peryglus, dywedodd un o'i gyfeillion wrtho, "Er yr ymddengys fod Duw yn eich dwyn i fyny o byrth marwolaeth, eto bydd yn hir cyn yn enillwch ddigon o gryfder ac yni meddyliol i allu pregethu fel arferol." Atebodd y gwr da, "Yr ydych yn camsynied, fy nghyfaill; oblegid dysgodd y chwech wythnos hyn o gystudd fwy o dduwinyddiaeth i mi na fy holl astudiaeth flaenorol a fy holl ddeng mlynedd o lafur gweinidogaethol gyda'u gilydd."

—Dywed hanesiaeth henafol am ryw ddinas oedd yn warchaeëdig, ac o'r diwedd yn gorfod rhoddi i fyny. Yn y ddinas yr oedd dau frawd, y rhai ryw fford oeddynt wedi gwneyd cymwynas i'r Oadfridog buddugoliaethus; ac, mewn canlyniad, cawsant ganiatad i adael y ddinas cyn iddi gael ei gosod ar dân, a chymeryd gyda hwynt gymaint a allent gario o'u heiddo. Felly daeth y ddau ddyn ieuainc haelfrydig at borth y ddinas, y naill yn cario eu tad, a'r llall eu mam.

—Rhoddwyd y gofyniad canlynol mewn ysgrifen i fachgen mud a byddar, mewn ysgol i'r cyfryw yn Paris:—"Pa beth yw tragywyddoldeb?" Ysgrifenodd yn atebiad, "Oes yr Hollalluog ydyw."

—Tanysgrifiodd dyn yn W——, yr hwn a ddibynai yn hollol ar lafur ei ddwylaw, bum' dolar yn flynyddol at gynaliaeth ysgol genadol yn Bombay. Gofynodd ei gyfeillion iddo, paham y rhoddai gymaint, a sut y gallai fforddio gwneyd hyny? Atebodd, "Yr wyf er's peth amser wedi bod yn dymuno gwneyd rhywbeth dros achos Crist, ond nis gallaf bregethu, ac nis gallaf weddio yn gyhoeddus er budd i neb, ac nis gallaf siarad wrth bobl, ond y mae genyf ddwylaw, a gallaf weithio."

—Cyfarchwyd y dyn da, Romaine, unwaith gan foneddiges, yr hon a fynegodd iddo ei bod wedi cael llawer o fwyniant dan ei weinidogaeth; ac ychwanegodd y gallai gydsynio a'i ofyniadau, oddigerth mewn un peth. "A pha beth yw hwnw?" ebai Mr. Romaine. "Oardiau, syr." "Yr ydych yn meddwl nad allech fod yn hapus hebddynt?" "Ydwyf, syr; gwn nad allwn." "Yna, madam, hwynt-hwy yw eich Duw chwi; a rhaid iddynt hwy eich achub chwi." Arweiniodd y rhybudd miniog hwn y foneddiges i ystyriaeth ddifrifol, ac o'r diwedd i roddi fyny bleserau annheilwng o'r fath.

—Unwaith pan wnaeth dyn ieuanc broffes o grefydd, dywedodd ei dad yn ddigllon wrtho, "James, dylasit yn gyntaf sefydlu dy hun mewn masnach dda, ac wed'yn benderfynu yn nghylch crefydd." "Fy nhad," ebai'r mab, "mae Crist yn fy nghyngori yn wahanol; dywed efe, "Ceisiwch yn gyntaf deyrnas Dduw."

Digitized by Google

# Y WAWR.

CYF. VIII.] RHAGFYR, 1883. [RHIF. 9.

# Erthyglau Arweiniol.

## LLE A GWASANAETH TEIMLAD YN Y BYWYD CREFYDDOL.

ANERCHIAD A DRADDODWYD O FLAEN CYMUNDEB I'R EGLWYS FEDYDDIEDIG YN HYDE PARK, GAN Y PARCH. J. W. WILLIAMS, D D., Y GWEINIDOG, CHWEF. 11, 1883.

Y mae perygl i ddynion fyned i ddau eithafion yn eu syniadau parth lle a gwasanaeth teimlad yn y bywyd crefyddol. Un eithafion yw, nad oes a fyno teimlad o gwbl â chrefydd—fod crefydd ar wahan oddiwrth, ac uwchlaw, teimlad. Yn ol y syniad hwn, nid yw Cristionogaeth ddim yn amgen na chyfundrefn o wirioneddau ac egwyddorion, y rhai sydd i roddi ffurf ddwyfol a chyfeiriad ysbrydol i fywyd dyn trwy ddylanwad ar ei feddwl; ac mai deall, credu, a gweithredu yn ol y rhai hyn ydyw crefydd. "Cred yn yr Arglwydd Iesu Grist, a chadwedig a fyddi." Edrychir ar y Beibl fel datguddiad o'r wyddoniaeth o fyw yn iawn, fel y mae adeiladaeth yn eglurhad ar y modd i adeiladu yn iawn, neu amaethyddiaeth o'r modd i ffermio yn llwyddianus, neu rhifyddiaeth o'r modd i gyfrif yn gywir. 'Does gan deimlad ddim i wneyd â'r gwyddonau hyn; pethau i feddwl ydynt oll.

Yr eithafion arall yw, nad oes dim mewn crefydd ond teimlad. Mewn teimlad y dechreua, trwy deimlad y parha, ac yn ei haddfedrwydd nid yw ddim ond teimlad wedi ei ysbrydoli a'i nefoleiddio. Mae perygl i grefyddwyr ieuainc a dibrofiad gredu fod y syniad hwn yn gywir. Ar eu cychwyniad yn y bywyd crefyddol mae pob peth yn newydd iddynt; ac y mae'r hyn a welant, a glywant, ac a wnant, mor ddymunol a chydnaws a'u hysbryd crefyddol newydd, fel y cynyrchant y teimladau cryfaf a goreu. Ar eu mynediad i mewn i ardd crefydd ymddengys pob peth mor brydferth; a phan yn arogli y blodau, yn syllu ar y prenau ffrwythlawn, ac yn edmygu y gwahanol drefniadau, anghofir y gallu ymenyddol fu yn cynllunio, y dwylaw fuont yn gweithio, a'r gwahanol offerynau a ddefnyddiwyd i gynyrchu yr hyn sydd o'u blaen. Rhag i rai o'n cyfeillion ieuainc sydd yn ddiweddar wedi, ac heddyw yn, ymuno a'r eglwys hon, gael eu cam-arwain parth hyn, ac yn y dyfodol ddigaloni pan yn deffroi i wir natur crefydd, ni a ddywedwn ychydig eiriau ar y pwnc hwn.

Mae y syniadau eithafol hyn yn an-

Digitized by Google

nghywir. Mae y cyntaf yn anghywir, oblegid fod teimlad yn hanfodol i, ac yn rhan o fywyd crefyddol. Yr hyn ydyw gwres i'r bywyd llysieuol ac anifeilaidd, ydyw teimlad, y gwres moesol ac ysbrydol, i'r bywyd crefyddol. Nid gwres yw y bywyd, ond y mae yn un o'i hanfodion hi. Wna goleuni yr haul ddim peri i'r glaswellt dyfu yn y gwanwyn heb wres. Nis gall yr ymborth mwyaf meithrinol ddim cadw bywyd yn y corph dynol heb wres. Felly hefyd gyda'r bywyd crefyddol, mae mesur o deimlad yn hanfodol i'w fodolaeth. Teimlad sydd yn rhoddi yr ysgogiad cyntaf iddo. Ateb yr apostolion ar ddydd y Pentecost i'r bobl oedd yn llefain, "Beth a wnawn fel y byddom cadwedig?" oedd, "Edifarhewch, a bedyddier pob un o honoch." Rhaid dechreu teimlo yn atgas at bechod ac annuwioldeb—cashau yr hyn sydd ddrwg, a phenderfynu byw bywyd gwell. Mae yma ddau allu yn weithredol—teimlad ac ewyllys. Y dyn yn ei galon yn edifarhau am y drwg a gyflawnodd, ac yn ei feddwl yn penderfynu peidio cyflawni drwg o hyn allan. Plentyn yn troi at ei Dad, a deigryn edifeirwch ar ei rudd, ac yn llefain, "Maddeu," ydyw dyn yn dechreu crefydda.

Rhaid cael teimlad mewn crefydd, ond y mae yn hanfodol i gael rhywbeth heblaw teimlad. Mae i deimlad ei derfynau yn y bywyd crefyddol. Nid yw ond un elfen bwysig o hono. Pa faint o deimlad sydd yn angenrheidiol mewn crefydd? Ddim ond digon o hono i gadw gwres yn y cyfansoddiad crefyddol. Digon i gymell y crefyddwr bob amser i gyflawni ei ddyledswyddau yn ffyddlon a gonest ger bron Duw a dynion. Os oes ynddo ddigon o deimlad i'w ysgogi i wneyd hyn, nid oes berygl am ei ddyfodol. Mae yn ofynol i gadw yr elfen hon o dan lywodraeth. Fel agerdd yn y peiriant, rhaid ei reoleiddio a'i feistroli, onide gall fod yn niweidiol. Felly pan y mae teimlad yn cyrhaedd y gradd o frwdfrydedd mewn crefydd, mae bywyd yn aml yn symud yn rhy gyflym, ac yn dymchwelyd; neu pan y mae rhy fach o hono, y mae ysgogiad yn peidio. Y mae gwres yn y corph dynol, pan yn fwy neu yn llai na'r mesur gofynol, yn peryglu iechyd. Pan y mae gwres y cyfansoddiad i fyny 112 o raddau, mae yn llawn twymyn boeth. Os bydd yn rhy wan, mae y gwaed yn rhewi, a bywyd yn darfod. Mae yr un ddeddf yn weithredol yn y bywyd crefyddol hefyd.

Mae teimlad mewn rhai crefyddwyr yn fwy amlygol nag yn eraill. Nid yw amlygiad anarferol o deimlad bob amser yn profi ei nerth. Y teimladau cryfaf yn y natur ddynol, fel rheol, ydynt y cuddiedig. Mae cariad y fam at ei phlentyn bob amser yn gryf, ond rhaid aros i ddydd cystudd ddyfod mewn trefn i gael prawf o'i fawredd. Rhaid i deimlad cryf cuddiedig gael cyfleusdra i ddadorchuddio ei hun. Yr oedd Iesu Grist yn caru ac yn gofalu am ei ddysgyblion yn ystod ei holl weinidogaeth, ond yn yr ardd y gwelwyd yr amlygiad cryfaf o hono, pan ddywedodd, "Os myfi yr ydych yn ei geisio, gadewch i'r rhai hyn fyned ymaith."

Mae teimlad i fod yn elfen weithredol yn ein bywyd crefyddol. Y mae yn cyfranu mwynhad, yr uchaf a'r penaf yn y byd hwn; ond fel yr ydym yn bwyta, nid er mwyn y mwynhad o fwyta yn unig, ond hefyd, ac yn benaf, am y rheswm mwy sylfaenol, fod ymborth yn adgyfnerthu y corph sydd

Digitized by Google

yn treulio; felly y mae gan deimlad ei wasanaeth, er ei fod yn dwyn gydag ef ei brofiad dymunol.

Mae eisiau cywiro syniadau llawer o grefyddwyr parth y pwnc pwysig hwn. Y mae dosbarth lluosog i'w weled yn codi a gostwng gyda chrefydd yn ol eu teimlad, fel trai a llanw y môr. Rhaid chwipio y teimlad yn barhaus mewn trefn i'w gadw yn fyw gyda chrefydd. Ond pregethu ar athroniaeth trefn gras, ar yr agwedd ymarferol o grefydd, ac ar ddyledswyddau dyddiol crefyddwyr, yn nghlyw y rhai sydd yn perthyn i'r dosbarth hwn, yn fuan gwelir y *thermometer* yn rhedeg i lawr i *zero;* maent fel yr aderyn bach yn y gauaf blwng, yn chwilio am gysgod, a'i gân wedi tewi. Frodyr, mae yn hanfodol i ni gael rhywbeth heblaw teimlad, mewn trefn i fod yn ganlynwyr ffyddlon i'r Gwaredwr mawr. Rhaid cael meddwl wedi ei oleuo, yr hyn sydd yn tybied darllen a myfyrio Gair Duw; ysbryd wedi ei orchfygu gan ddawn a chariad yr Anfeidrol; ewyllys wedi ei thoddi i'r ewyllys Ddwyfol; gostyngeiddrwydd o'r un natur ag eiddo ein Blaenor bendigaid; y cariad a guddia luaws pechodau y frawdoliaeth, ac ymarweddiad diargyhoedd ger bron Duw a dynion.

Gan fod teimlad yn hanfodol i fywyd crefyddol, y mae o bwys gwybod pa fodd i'w gynyrchu.

*Nid trwy ddymuno neu weddio am dano.* Mae y geiriau hyn, dichon, yn amheus ar glustiau rhai o honoch; ond y mae yn ffaith nas gellir cael teimladau crefyddol trwy ddymuno am danynt. Pa les ydyw dymuno am i wres ddyfod o'r *stove* yn oerni y gauaf, os nad oes tân ynddi? Ni fuasai neb mor ffol a dysgwyl am y fath beth. Felly ni ddaw teimlad crefyddol o galon sydd yn amddifad o dân ysbrydol. Rhaid cael achos digonol mewn trefn i gynyrchu hwn. Y tân yw achosydd y gwres. Rhaid cael tân ysbrydol ynom ninau, onide ni bydd gwres yn ein crefydd. Y mae perthynas achos ac effaith yn bodoli rhwng y ddau hyn. Y peth pwysicaf gyda chrefydd ydyw cael tân yn y bywyd. Ac y mae o bwys i grefyddwyr wybod pa ffordd i gyneu y tân hwnw. Yn yr hen amser, yr oedd tan yn cael ei gynyrchu gan *firiction.* 'Doedd neb yn gwybod am y *Lucifer matches* yn flaenorol i'r flwyddyn 1834; ond ar yr un egwyddor y mae y rhai hyn yn cynyrchu tân, o ran hyny. Trwy daro y *flint* a'r dur yr oedd ein cyndeidiau yn cael tân. Rhaid i gariad Duw a chariad dyn—maddeugarwch y Gwaredwr ac edifeirwch y pechadur, gallu achubol y nefoedd a ffydd ddiysgog y ddaear, gyd-gwrdd yn y galon, mewn trefn i gael y tân sydd yn cynyrchu y teimladau crefyddol a adlonant eglwys y Duw byw.

Hefyd, y mae hyn yn hanfodol i sefydlogrwydd dyn gyda chrefydd. Y mae teimladau crefyddol yn gyfnewidiol; weithiau y maent yn gryfion, brydiau eraill yn weinion. Mae y cyfnewidiadau yn y gwres yn cyfateb yn hollol i'r cyfnewidiadau yn y tân. Onid yw hyn yn wirionedd am y bywyd crefyddol? Pan y mae cyffyrddiad yr ysbryd meidrol â'r Ysbryd Anfeidrol yn ysgafn ac anaml, nid yw y cynhyrfiadau ysbrydol ond gwanaidd ac aneffeithiol. Y mae deddf oloesiad y cymwysaf. a ddarganfyddwyd yn y ganrif hon, yn wirionedd ag sydd yn cymeradwyo ei hun i brofiad pob un o honom; ond weithiau teimlwn fod y cryfaf yn cael yr oruchafiaeth. Mae rhai o honom wedi bod ar ymyl y goedwig yn mis Mehefin, ac wedi gwrando

Digitized by Google

ar yr adar mân yn pyncio eu cân i'w Crewr. Os ymddangosa yr hebog, gan roddi ysgrech yn yr awyr uwchben, byddai llais pob aderyn bach wedi dystewi. Y mae un *note* o eiddo yr hebog yn y pellderau fry yn ddigon i ddystewi cor o adar bychain sydd yn byw yn agos i'r ddaear. Felly y mae yn aml gyda chrefyddwyr. Y mae un ysgrech o eiddo hebog yn y byd moesol yn ddigon i ddystewi holl ganiadau Israel. Felly y bu yn nyddiau Nero, Diocletian, Mary Waedlyd, ac eraill. Felly y mae heddyw. Y mae anhawsderau yn effeithio ar galon wan fel ysgrech hebog ar yr aderyn bychan. Yn aml teimlwn fod yr ysgrech hon yn ein cyrhaedd yn y lleoedd mwyaf cysegredig. Wrth fwrdd y cymundeb, mae y brawd yn gweled rhyw un o'i flaen sydd yn ei adgofio o gamwri, o anngharedigrwydd, o anonestrwydd, neu anwiredd, yr hyn sydd yn effeithio arno fel ysgrech hebog, ac yn dystewi ei gan. Frawd, tyred i fyny i awyrgylch uwch a phurach, yn agosach at y dylanwadau Dwyfol, ac agor dy galon i dderbyn o wres yr Ysbryd Glan. Meddwl fwy am berffeithrwydd Duw nag am berffeithrwydd dynion; am undeb, tangnefedd, dedwyddwch a chariad, preswylwyr y nefoedd, nag am elfenau gwrthwynebol trigolion y byd hwn. Meddwl yn amlach am y posiblrwydd sydd o'th flaen nag am y rhwystrau ar dy ffordd i'w gyrhaedd. Cwyd dy ysbryd i glawr uwch, lle y medri ganu am

"Y ffynon agorwyd ar Galfari fryn
Sydd eto yn golchi y duaf yn wyn;
Hi gannodd fyrddiynau o'r duaf eu lliw,
Maent heddyw yn Salem yn canmol eu Duw.
Am hyny 'n hyderus, er cymaint fy mai,
Af finau i'r ffynon i gael fy nglanhau;
Er maint yw halogrwydd holl feiau fy mron,
Mae rhinwedd digonol i'm golchi yn hon."

## RHWYMEDIGAETH BEDYDD.

Gwyddis fod llawer iawn *wedi* ac *yn cael* ei draethu genym fel Enwad ar fedydd, ac fel rheol mae yr hyn a draethir yn dda ac ysgrythyrol, ond y mae un wedd i'r ordinhad sanctaidd na cheir odid air yn ei gylch, sef rhwymedigaeth bedydd, neu, mewn geiriau eraill, dyben bedydd—y dyben diweddaf, ag sydd yn cyfuno ei holl ystyron arwyddluniol. Y mae y dull a'r deiliaid o dan sylw mynych, ac y mae y naill a'r llall yn cael eu gwneyd mor eglur a gwrthddrychau cyffredin natur o dan dywyniad haul ganol dydd. Traethir yn rymus ar yr angenrheidrwydd fod yr ordinhad yn cael ei gweinyddu yn ol y gorchymyn dwyfol. A phriodol iawn y gwneir hyn, oblegid y mae cymaint o drawswyro barn yn parhau o hyd yn y byd gyda golwg ar yr ordinhad. Ond paham yr ydym mor fud gyda golwg ar amcan mawr diweddaf bedydd, sef ei rwymedigaeth i fyw bywyd sanctaidd? Edrycher am fynyd ar y defnydd ymarferol a wneir genym o fedydd. Onid oes syniad pur gyffredin yn ein plith mai peth yw bedydd i fyned trwyddo ar y pryd—yn grediniol ac yn edifeiriol mae yn wir, ac yn unol a'r dull Ysgrythyrol, a'n bod wedi darfod â'r ordinhad ddydd ein bedyddiad? Os felly, onid yw bedydd yn myned yn ddiwerth i ni? Onid ystyr arwyddluniol penaf bedydd ydyw, ein bod yn marw i bechod, ac yn cyfodi i fyw buchedd newydd? Gan hyny ni fydd y pictiwr ardderchog hwn yn werth dim *i ni* os na wireddir hyny ynom ni. Fel hyn: y mae y bedyddiedig yn ymrwymo, trwy ymostwng i'r ordinhad, i fyw yn sanctaidd. Os felly, a ydyw i anghofio y rwymedigaeth benodol hon?

Digitized by Google

Pe rhoddem fwy o bwysigrwydd ar y wedd hon i'r ordinhad, ni fyddai perygl i ni wneyd gormod o'r ordinhad, fel y myn ein gwrthwynebwyr ein bod. Ac os na ddaw yr effaith ymarferol i hyn yma, methwn weled pa leshad sydd *i ni*, er hyd yn nod myned trwy y ffurf Ysgrythyrol. Oni ofynir genym i'r taenellwyr yn fynych, I beth y mae eich enw o fedydd da? Pa les a ga y plentyn bach oddiwrth y fath ddefod? Beth wyr efe am y peth? Beth y mae y defnynau dwfr yn ei arwyddocau? Pa ddefnydd a wneir o honynt?—Gwyddis yr atebion gwanaidd a geir yn ol. A pha ryfedd? oblegid, yn gyntaf, nid oes dim arwyddluniol o'r hyn ddylai ddilyn; ac yn ail, nid oes esgus (os maban) o un rhwymedigaeth. Y gwirionedd yw hyn; nid oes yn yr holl ddefod ddim sydd yn rhwymo y bedyddiedig i fyw yn dduwiol. Yn awr mae perygl i ninau wneyd bedydd y Testament Newydd yn ddirym, trwy adael allan ei addysg barhaol Nid digon oedd i Noah adeiladu yr arch yn ol y gorchymyn; yr oedd yn rhaid myned iddi, nes i'r diluw fyned heibio, er bod yn gadwedig. Nid digon oedd i Moses wneyd y tabernacl yn ol y portread a ddangoswyd iddo yn y mynydd; yr oedd hefyd eisiau ei ddefnyddio i addoli ynddo ar ol hyny. I ba ddyben yr awn i gymaint o drafferth gyda'r ordinhad o fedydd, i'w gweinyddu yn ol y portread, os na fydd yr ordinhad yn arch i ni, yn rhwymyn *penodol* a chysegredig o'r bywyd sanctaidd sydd i ddilyn? Onid oes llw o ffyddlondeb i Iesu yn cael ei wneyd yn y bedydd? Onid oes portread o'r ffyddlondeb hwn yn cael ei wneyd? Y mae y weithred yn meddu ystyr mor fawreddog fel y dylai fod yn cael ei hystyried yn rhwymyn parhaol trwy yr holl daith grefyddol? Yn y fan yma yr ydym yn gweled beth y mae bedydd da. Os yw bedydd yn arwydd o adgyfodiad Iesu, y mae hyny yn rhedeg yr un ffordd a'r arwyddocad cyntaf. Os ydyw yn dangos adgyfodiad y saint yn y dydd diweddaf, y mae hyn eto yn cydweithredu yn ei ystyr er peri i'r bedyddiedig barhau yn ei fywyd sanctaidd.

O, frodyr anwyl, yn mha le yr ydym yn sefyll yn ngwyneb yr ystyr hwn sydd i fedydd y Testament Newydd? A ydym yn cofio yn fynych y broffes dda a wnaethom yn ngwydd llawer o dystion? A ydyw sobreiddiwch yr achlysur yn cael ei adsylweddoli genym yn fynych? A fydd i ni, tybed, wneyd i'n bedydd lefaru anwiredd am danom? A fydd i ni gellwair a phethau Duw? Os dylai rhyw adeg neillduol fod ar ein cof a'n hystyriaeth yn fynychach na'r un arall trwy ein bywyd, adeg ein bedyddiad ddylai hono fod. Oni theimlem yn dda yr adeg hono? Onid oedd ein calon yn llosgi ynom ddydd ein bedyddiad? Tyner oedd ein teimladau? Dylasent fod yn dyner, canys y mae yr ordinhad wedi ei chymwyso yn ardderchog, ond ei hiawn-ddefnyddio, i wneyd *argraff* byth-barhaol ar feddwl a chalon y bedyddiedig. O, mor ogoneddus ydyw yn ngoleu ei dyben mawr diweddaf a phenaf hwn. Ebe'r bardd—

"Yn medydd fy Arglwydd y gwelaf
Ogoniant gwir grefydd y groes,
Y claddu, y codi'n Dduw cadarn,
'Nol gorphen ei lafur a'i loes."

Da iawn. Ond tra y gwelwn ogoniant bedydd yn ei berthynas ag Iesu, gan ei alw, "Bedydd fy Arglwydd," dylem weled ei ogoniant yn mhellach, yn ogymaint ag i ni ufuddhau yn *bersonol* iddo. Dylai fod yn help i ni trwy ein holl yrfa. Cofiwn na fydd i ni ddar-

Digitized by Google

fod a'n bedydd nes y cyrhaeddom ben y daith. Mae y dyben penaf hwn sydd i fedydd yn cael ei wasgu at ystyriaeth y Cristionogion boreuol yn fynych yn yr Epistolau. Ebe Paul wrth y Rhufeniaid, "Claddwyd ni gan hyny gydag ef trwy fedydd i farwolaeth; fel megys ag y cyfodwyd Crist o feirw trwy ogoniant y Tad, felly y rhodiom ninau hefyd mewn newydd-deb buchedd." Y mae pob ordinhad a gorchymyn o eiddo Iesu fel Pen yr eglwys wedi eu cyfaddasu ar gyfer llesiant yr eglwys. Amcan pob rhan o grefydd ydyw ein perffeithio yn gwbl oll; canys heb sancteiddrwydd, ni chaiff neb weled yr Arglwydd"--ei weled yn awr, na byth. Credwn nad ydym eto wedi gweled haner y gogoniant sydd i'r *ordinhad* o fedydd. Os wedi ein cydgladdu gyda Christ yn y bedydd, byddwn yn ffyddlon iddo. Nid oes yr un dinesydd ffyddlon a dyngodd lw o ffyddlondeb i'w wlad fabwysiedig, nad yw yn cofio yn fynych y llw hwnw. Y mae ei galon yn y llw. Gwyr, teimla, os gwna efe mewn unrhyw fodd weithredu yn groes i ystyr y llw hwnw, na fydd ond bradwr gwyneb-agored, a mwyach yn annheilwng o'r enw dinesydd; a phan y dygwydd i elfenau gwrth-ddinasyddol weithredu arno, er ymgadarnhau, cofia yn dda y llw o ffyddlondeb a wnaeth.

Nid da genym genym glywed dynion yn siarad yn ysgafn ac amleiriog wrth ddadleu ar, neu ymddyddan am, fedydd. Teimlasom yn ddwys fwy nag unwaith wrth glywed gwrthgiliwr yn cyfeirio at y person a'i bedyddiodd fel peth dibwys—"*hwnw* a'm bedyddiodd i," meddai.

Heblaw hyn hefyd, boed i ni ddod gam yn mlaen yn gyffredinol at ystyr yr ordinhad. Tra y byddwn yn dysgu y comisiwn, "Y neb a gredo ac a fedyddier a fydd cadwedig," cofiwn "ddysgu iddynt *gadw* pob peth a'r a orchymynodd" efe i ni. Tra yn parhau i amddiffyn yr ordinhad yn ei deiliaid a'i dull, nag anghofiwn ei chysylltiad ymarferol a'r holl fywyd dilynol. Cofia y dyn yn dda ddydd ei briodas—O, ddydd cofiadwy oedd hwnw! A gawn ni anghofio dydd ein priodas a Christ? A ga gwyr y cymdeithasau dyngarol a chymdeithasol ystyried eu hunain yn rhwym i'w llw ac i'w cydsyniad i amodau eu haelodaeth, a ninau yn anffyddlon i'n llw a wnaethom i Grist? Dywedai brawd wrthym flynyddau yn ol, ag oedd yn byw mewn dinas fawr, tra yn cyfiawnhau ei hun o fod yn aelod mewn mwy nag un eglwys, ei fod yn ymaelodi felly er ymgadarnhau yn mhob modd yn erbyn temtasiynau—yr oedd yn ystyried fod ymwasgu a'r saint ar bob cyfleusdra a gaffai yn help iddo i wrthsefyll drygau amgylchynol. Nis gwyddom am y priodoldeb o ymaelodi mewn mwy nag un eglwys felly, er yn yr un cyfundeb, ond hoffwn y duedd a'r awyddfryd i ymgadw rhag y drwg. Teimla dyn angen am rywbeth i rwymo ei benderfyniad wrtho.

Mae y fantais hon i'w chael mewn bedydd. Mae trysorfa fawr o nerth moesol, ond ei iawn ddefnyddio, yn y bedydd efengylaidd. Ac os metha yr ymrwymiad hwnw a wnaethom i Grist, yr hwn a gadarnhawyd genym yn bersonol, yn ol y cynllun dwyfol, nid rhesymol dysgwyl y bydd i ddim arall gael y dylanwad priodol arnom yn holl weithfa fawr gras. Os gallwn yn wirfoddol dori ymrwymiad ein bedydd, pa ryw ymrwymiad nad allwn ei dori? Dylai Bedyddiwr fyw yn fwy sanctaidd na phawb crefyddwyr eraill, oblegid y

Digitized by Google

mae wedi gwneyd mwy o addewid o hyny na neb arall. Y mae iddo broffes mwy ymrwymiadol ac ystyrfawr. Cyhudda ein gwrthwynebwyr ni nad ydym yn byw yn well na hwythau. Os nad ydym yn byw yn well, fe ddylem wneyd; oblegid nid ydynt hwy wedi gwneyd proffes ymrwymiadol fel ni, yn y ddefod a wnaed arnynt o dan yr enw bedydd. Ni wyr y rhan fwyaf o honynt ddim yn bersonol am y peth, ond trwy glywed gan eraill. Cânt eu hunain yn aelodau eglwysig cyn yn wybod iddynt eu hunain; ac os mewn oedran ymwybyddiaeth a chyfrifoldeb eu bedyddir, nid oes un wers yn gynwysedig yn y weithred iddynt hwy. Nid oes dim yn cael ei wneyd arnynt na chanddynt, fel peth i gofio am dano—nac yn arwyddluniol o'u bywyd dyfodol. Dim ond seremoni foel a diystyr yn cael ei chyflawni arnynt. Ac, yn ol yr addefiad cyffredin, nid oes *pwys* yn y byd ynddi. *Pell iawn* oddiwrth y fath beth ydyw dysgeidiaeth y Testament Newydd ar y mater. "Cynifer o honoch ag a fedyddiwyd i Grist, a *wisgasoch* Grist." O bawb, tu allan i'r Bedyddwyr, mae dysgeidiaeth Eglwys Loegr yn rhagori mewn cysylltu addysg ymrwymiadol a'r ordinhad. Dysga y Catecism i'r plentyn iddo, yn ei fedydd, gael ei "wneyd yn blentyn i Dduw, ac etifedd teyrnas nefoedd;" ac ni chyflawna yr eglwys hono y ddefod ar unrhyw blentyn heb fath o ymrwymwyr ar ei ran, o'i ddygiad i fyny yn grefyddol. Ond *olion*, neu weddillion ydyw y fath "bethach," yn ddiau, o'r hen ffydd wreiddiol, a dysgeidiaeth yr Ysgrythyrau Sanctaidd, a lygrwyd yn nghwrs yr oesau gan y Babaeth. Nid yw ryfedd, gan hyny, fod addysg a rhwymedigaeth bedydd yn beth dyeithr yn mhlith yr enwadau eraill, pan y mae yr ordinhad ei hunan wedi ei thrawsffurfio fel ag i golli ei hystyr wreiddiol yn hollol. Ond am danom ni, y Bedyddwyr, nid oes genym esgus dros esgeuluso gwersi yr ordinhad. Yr ydym ni yn byw yn ffrynt eu hystyr gwreiddiol. Y mae wedi ei dyrchafu genym megys ar drostan, yn ein dysgeidiaeth, ein cred, a'n hymarferiad. A gawn ni, er hyn oll, fod yn esgeulus yn yr iawn ddefnyddiad o'r ordinhad? Na atto Duw. Ystyriwn ein hunain yn rhwymedig i Grist yn ein bedydd. Gwireddwn ystyr bedydd mewn bywyd bucheddol. Y mae llesad pob gweithred grefyddol—pob ordinhad Ddwyfol—yn ymddibynu ar ein gwaith ni yn cario allan ei dyben yn ymarferol. Cofiwn yn aml, gan hyny, ddiwrnod ein bedydd. Cofiwn y llw o ffyddlondeb a wnaethom wrth gael ein suddo o dan y don, ac wrth ddod i'r lan drachefn. "Felly y rhodiom ninau hefyd, mewn newydd-deb buchedd."

BEREAD.

---

## YR ATHRAWIAETH O GYFIAWNHAD.

GAN Y PARCH. LLEWELYN REES, JOHNSTOWN, PA.

### *Rhif III.*

2. *Yr achos cyfryngol ac haeddianol o gyfiawnhad*—marwolaeth y groes.

Anmhosibl cael trefn i gyfiawnhau oddiamgylch, er i Dduw garu, heb gael rhywun y gellid trosi dedfryd y llys fry arno. Heb hyn ni fuasai yn bosibl cyfiawnhau un enaid ger ei fron ef; heb hyn ni fuasai cadwedig un cnawd. Yr oedd yn rhaid i'r gyfraith gael ei hanrhydeddu gan y llys yn wyneb y troseddwr, drwy arddangosiad llawn o'i chyfiawnder a'i hatgasrwydd at bechod, yr hyn yn unig a ellid wneyd drwy wasanaethu y ddedfryd. Heb gosbi

Digitized by Google

pechod, deuai penrhyddid i fewn i'r llywodraeth, a chollid o'r llywodraeth fawr yr argraff ar feddwl myrdd, os nad yr holl ddeiliaid, o uwchafiaeth y Goruchaf Benllywydd. Gan mai egwyddor yw pechod, fel daioni, yr hon yn y dansawdd (*abstract*) sydd yn anmhosibl i'w chosbi, rhaid gan hyny wneyd hyn yn nglyn â rhyw fôd sydd a bodolaeth hydeiml (*tangible*) a dynodol iddo. Dwy ffordd sydd i dalu dyled—naill ai gan y dyledwr ei hun, neu gan ei feichniydd. Cryn drafferth sydd weithiau i gael meichniydd, yn neillduol pan fo y swm yn fawr, a rhyw sail i ofni yr â y person yn feth-dalwr. Ond o bob cysylltiad anmhosibl (ond i Dduw) i sicrhau meichniydd, dyma y mwyaf—cael un i gyfarfod ag ol-ddyled dyn i'r orsedd fawr; ac eto, heb gael hyn, anmhosibl fuasai cyfiawnhau neb. Yr oedd anhebgorion cyfansoddiadol y person a allai fod yn feichiau i ddyn y fath ag nad gwiw edrych am dano ond i ganol sylwedd anamgyffredadwy y Dwyfol Hanfod.

(*a*) Yr oedd yn rhaid cael dyn, a gwir ddyn yn y Meichiau hwn. Gan fod marwolaeth y groes wedi ei bwriadu i fod o wasanaeth arbenig i'r orsedd ddwyfol, y mae hefyd i gario dylanwad meddalhaol ar y galon ddynol. Gostyngedig dybiwyf fod yn rhaid i'r ddynoliaeth, cyn y gallai deimlo y dyddordeb llwyraf yn yr Iawn, weled ei hunan ynddo, glywed ei ocheneidiau ei hun yn yr eiddo ef, gweled yn mhen y Meichniydd yr eiddo ei hun dan goron o ddrain. Lled dybiwyf, os oes rhyw fath o waed gan angel, priodol i'w natur uchelryw, na wnaethai tywalltiad o hwnw ar y groes gyfranu haner y trydan i blant yr efengyl i ganu arno, ag a wna gwaed y dyn Crist Iesu. A chaniatau fod y Meichniydd yn berson cwbl uwchraddol ei natur i eiddo yr hwn y mae yn feichniydd iddo, mae yn annealladwy i ni pa fodd y gallwyd ysgaru y cyhuddiadau a dedfryd y llys mor bell oddiwrth eu gilydd. Ymddengys fod gradd o agosrwydd i fod rhwng y Meichniydd a'r rhai yr aeth yn feichniydd iddynt, fel y gwelir yn mherson y dyn Crist Iesu, yr hwn er nad oedd cnawd pechadurus ganddo, eto, fe ymddangosodd yn "nghyffelybiaeth cnawd pechadurus." Her fwy effeithiol i'r sarff yn Eden, a thrymach cosb arni, oedd cyhoeddi Hâd y wraig i ddadwneyd y drwg a wnaeth i ddynoliaeth, na bygwth ymyriad archangel arni. Yr oedd yn dangos y gallai Duw wneyd peth mawr—anfeidrol fawr—drwy ddynoliaeth, ar ol iddi hi (y sarff) wneyd y distryw mwyaf a allasai arni.

(*b*) *Anhebgoriaeth arall i'r Meichniydd oedd Dwyfoliaeth.*

Yn wyneb yr hyn a ddywedwyd uchod am ddynoliaeth fel un o anhebgorion y Meichiau dan sylw, mae cwestiwn pwysig yn codi yn meddwl yr athronydd ieuanc Cristionogol. Dyma fe: Pa fodd y gallodd marwolaeth un person (rhan o ddynoliaeth gyffredinol) fod yn ddigon o arddangosiad o doster Duw yn erbyn pechod, fel ag i fod yn ddigon i gyfreithloni sefydliad trefn y cyfiawnhad? Paham na wnai marwolaeth Abraham, Moses, Samuel, Dafydd, neu ryw ddyn arall, yn rhywsut wneyd y tro? Mae yn wir mai marwolaeth y groes yw dechreu a diwedd yr holl haeddiant yn yr achos; ond paham? Ni wnaeth Abraham, Moses, ac eraill, o'r duwiolion dan yr Hen Destament, ond eu dyledswydd i Dduw drostynt eu hunain; a phe buasent farw, fel y gwnaeth lluoedd o dan y Cyfamod Newydd, yn ferthyron byth-enwog, eu braint hwy eu hunain fuasai hyny—ni

Digitized by Google

fuasai dim haeddiant dros eraill yn hyny, hyd yn nod haeddiant drostynt hwy eu hunain a'u teuluoedd. Gwir yw i les mawr ddeilliaw i'r byd ac i'r eglwys oddiwrth farwolaeth y merthyron. Nid am ei bod yn farwolaeth iawnol i Dduw; ond o herwydd yr anrhydedd a adlewyrchai ar ffydd y cyfryw. Nid er mwyn llesoli y byd yr ymostyngent i'w hangeu poenus; ond er cadw ac anrhydeddu y ffydd. Un yn unig yn rhes fawr cewri y nef a fu farw gyda llesoli y byd yn ddyben blaenllaw ei angeu. Rhaid, gan hyny, fod rhywbeth yn yr Iesu ag a rydd urddas arbenigol arno, ar wahan i'r ystyriaeth o'i fywyd uchel a dihalog. Yr oedd y peth hwnw yn nglyn a'r Iesu a'i cymhwysodd i fod yn ail Adda, ac o fwy pwys i'r ddynoliaeth na'r cyntaf, ac a'i cymhwysodd hefyd ar dir haeddiant personol, i ddwyn i mewn oruchwyliaeth "terfyn yr oesau," ac a'i haddasodd fel person, o ran ei hanfod, i gael sedd "goruwch yr holl nefoedd," oddiar yr hon, gydag hawsder digyffelyb, y tafla gynhyrfiadau (*impulses*) llywodraethol i fil myrdd o fodau angylaidd, dynol, cythreulig, a llu dirifedi o ehediaid, pedwar carnolion, ac ymlusgiaid, er ateb dybenion yr orsedd fawr. Yr oedd y mawredd hwn i gyd yn rheidiol er ei gymhwyso i sefydlu a chynal llys cyfiawnhad. Rhaid oedd i'r Iesu allu dal dan y dyrnod—dyrnod Duw. "Deffro, gleddyf, yn erbyn fy mugail, a tharo y gwr sydd gyfaill i mi." Nid dyrnod Rhufain, na'r Sanhedrim Iuddewig, oedd hon. Pe fel arall, pa haeddiant llawer mwy ellid briodoli i farwolaeth Crist, fel ag i fod yn destyn caniadau nef a llawr, na marwolaeth yr apostolion a'u cydddyoddefwyr? Dyoddefasant hwy hyd eithaf cynddaredd y ddwy blaid—yr Iuddewon a'r Rhufeiniaid. Mae rhywbeth anghyfrifadwy yn hanes dyoddefiadau ein Gwaredwr, ond ar y dybiaeth o ddwyfol ffynonell y ddyrnod. Paham y geiriau, "Mae fy enaid yn drist hyd angeu." "O Dad, os yw bosibl, aed y cwpan hwn oddiwrthyf." Pa gwpan? Ai gweddio am ymwared rhag gwr y meitr a'r Rhufeiniaid yr oedd? Nage; nid llwfrddyn oedd Iesu. Am beth yr oedd ei "enaid yn drist hyd angeu?" Nid oedd yn euog o un bai, meddai y rhai a ddylent wybod. Yr oedd wedi ymgadw wrth linell union ysbryd a llythyren y ddeddf. Yr oedd wedi traddodi y genadwri a gafodd gan ei Dad yn ffyddlon. Nid oedd wedi rhoddi achos tramgwydd i gynrychiolwyr Rhufain, nac i neb yn mhlith yr Iuddewon a ddysgwylient yn llewyrch y prophwydi am y Messiah. Am ba beth, gan hyny, yr oedd ei enaid mawr, dihalog, a nefolaidd, yn drist? Ond, i goroni y cwbl, dyma anwyl Fab y Tad, "gwir lun person" y Tad, yr hwn a ddaeth i'r byd i gasglu yn nghyd—i'w cyfanu a'u hanrhydeddu—y darnau ysgrythyrau a fethrid gan y sectau Iuddewig dan draed, ac, yn wir, yr holl genedl, o'r cardotyn crwydrol hyd Caiaphas dan y meitr; ie, y gwr mawr, bendigedig hwn, yn y cyfwng mwyaf caled y bu ynddo drwy ei oes, yn dolefain, "Fy Nuw, fy Nuw, paham y'm gadewaist?" Paham y gadawodd ei Fab anwylaf yn ddigymorth? Ar ba dir y cynghanedda hyn â safle Crist fel anwyl Fab y Tad? Nid felly y bu ar Stephan, Paul, a'r merthyron yn yr ol-oesau. Yr oedd Duw gyda hwy. Pan yr oedd Stephan ar gael y gawod geryg arno, codwyd *blinds* y nef, a daeth pelydr o haul y lle arno, nes ei wneyd yn fath o *photograph* o un o drigolion y gwynfyd.

Digitized by Google

Gan mor hyfryd oedd marw i Paul, chwenychai ymddatod "a bod gyda Christ, canys llawer iawn gwell ydyw." Ond Iesu mawr, y goreu a'r mwyaf o honynt, yn marw dan ddolefain, "Fy Nuw, fy Nuw, paham y'm gadewaist?" Paham y gwahaniaeth hwn rhwng y mwyaf a'r llawer llai? Nis gwn am ateb gwell na geiriau Esaiah: "Eithr Duw a fynai ei ddryllio." Yn awr, beth oedd yn Nghrist a rinweddolai ei ddyoddefiadau, fel ag i'w gwneyd yn gyfreithlon ac effeithiol i symud yr ergyd dwyfol oddiwrth bawb a geir ynddo ef. Er ateb y cwestiwn hwn, galwn sylw ein darllenwyr yn fyr at y defodau Iuddewig, y rhai oeddynt yn gysgodau o'r pethau nefol dan yr efengyl.

Yr oedd o dan ddeddf Moses aberth cysgodol, ac hefyd yr hyn a'i gwnai yn seremoniol effeithiol i ateb ei ddyben y pryd hwnw. Nid oedd un rhinwedd yn yr aberthau hyny, ynddynt eu hunain, ar wahan i'r allor, hyd yn nod i ateb dybenion seremoniol. Pe lleddid ych neu oen perffaith-gwbl ar y ddaear wastad, neu yn rhywle heblaw ar allor yr Arglwydd, ni fuasai yn werth dim. Ar ben Carmel, cyn lladd yr aberth, yr oedd yn rhaid adgyweirio allor yr Arglwydd. Pe yr aberthasid yn rhywle arall, os deuai tân o'r nef o gwbl, diau genym mai difa y bobl, ac nid yr aberth wnelsai. Yr oedd yr allor o fwy urddas na'r aberth. Duw a berchenogai yr allor—"allor yr Arglwydd;" ond eiddo dyn oedd yr aberth. Am hyn y dywedai ein Harglwydd mai yr allor a sancteiddiai y rhodd, neu a wnai y rhodd yn gysegredig i'r Arglwydd. Y mae hynyna, fel rhan bwysig o drefn y cysgodau, yn bortread y pethau nefol. Yn awr, fel cymhwysiad efengylaidd o hyn, nid camsyniol yw dyweyd mai dynoliaeth Crist oedd yr aberth—"efe a aberthodd ei hun." Ond y cwestiwn mwyaf dyrys, ar ryw olwg, yw, beth oedd yr allor? Nid pren melldigedig y groes; allor i ddal aberth i gynddaredd yr Iuddewon a'r Rhufeiniaidd oedd hono. Yn y fan hono yr oedd yr aberth a sancteiddiodd y pren, ac a'i henwogodd â bri anfarwol. Mae pren y groes, trwy y gwr fu arno, wedi myned yn rhy gysegredig i fod yn offeryn cosb gan un lywodraeth o fewn terfynau cred. Yn mhellach, bu farw dau o ladron ar brenau croes fel eiddo yr Iesu; ond nid oedd eu marwolaeth hwy yn ddim i eraill. Aberth i Dduw oedd yr Iesu yn benaf; ond beth oedd yr allor oedd o fwy gwerth na'r aberth —dynoliaeth Iesu—yn nglyn a pha un y daeth marwolaeth Crist yn iawn digonol dros y byd? Nid oes genyf ateb gwell i hyn, na dyweyd mai ei natur ddwyfol oedd yr allor. Pa fodd yr oedd un rhan o'n dwyfol Waredwr yn gallu bod yn aberth, a'r rhan arall o hono yn allor, nid wyf yn gwybod. Nis gallaf feddwl am gyfatebiaeth i'r dirgelwch hwn, o fewn cylch eang sylw a phrofiad yr hil ddynol; fel y cyfryw, y mae yn debyg na allasai yr Ysbryd Glan ei egluro, yn niffyg iaith gyfaddas i ddyn yn ei gyflwr presenol o fodoli, fel llawer o ddirgeledigaethau eraill, yn ddiamheu. Yn awr, ddarllenydd, dyna y gwr bendigedig, yn Dduw ac yn ddyn, y troswyd arno ddedfryd y llys, a thrwy farwolaeth iawnol yr hwn y cafwyd ffordd rydd i gyfiawnhau yr euog, a dwyn cyfiawnder tragywyddol i mewn. Dyna yr holl achos haeddianol o gyfiawnhad.

—Nid oes neb yn adnabod ei hun yn wirioneddol, nad yw yn barhaus yn myned yn waelach yn ei olwg ei hun.

Digitized by Google

# Amrywiaethol.

## CATECHISM Y BEDYDDWYR;

*Neu, Addysg Fer yn Egwyddorion y Grefydd Gristionogol, yn unol a Chyffes Ffydd Cymanfa Llundain, 1689. Cyfieithiedig gan y Parch. R. Ellis (Cynddelw).*

### PENOD III.

*Am y Cyfryngwr.*

GOFYNIAD 1. A adawodd Duw ddyn i farw yn y cyflwr o bechod a thrueni?

ATEB. Naddo; Duw o'i ewyllys da, er tragywyddoldeb, a etholodd rai i fywyd tragywyddol (Eph. 1: 4, 5); a wnaeth gyfamod o ras i'w gwaredu o'r cyflwr o bechod a thrueni, ac i'w dwyn i gyflwr o iachawdwriaeth trwy Waredwr. Rhuf. 3: 20—22; Gal. 3: 21, 22.

G. 2. Pwy yw Gwaredwr etholedigion Duw?

A. Unig Waredwr etholedigion Duw yw yr Arglwydd Iesu Grist (1 Tim. 2: 5, 6); yr hwn, ac efe yn dragywyddol Fab Duw, a ddaeth yn ddyn (Ioan 1: 14; Gal. 4: 4); ac felly mae yn parhau yn Dduw ac yn ddyn mewn dwy natur wahaniaethol, ac yn un person am byth.—Rhuf. 9: 5; Luc 1: 35; Col. 2: 9; Heb. 7: 24, 25.

G. 3. Pa fodd y daeth Crist, ac efe yn Fab Duw, yn ddyn?

A. Daeth Crist Mab Duw yn ddyn trwy gymeryd iddo ei hun wir gorph (Heb. 2: 14, 16; 10: 5) ac enaid rhesymol (Mat. 26: 38); trwy gael ei genedlu gan nerth yr Ysbryd Glan o Fair y forwyn, a'i eni o honi (Luc 1: 27, 31, 35; Gal. 4: 4), eto heb bechod. Heb. 4: 15; 7: 26.

G. 4. Pa swyddau mae Crist yn gyflawni fel ein Gwaredwr?

A. Mae Crist fel ein Gwaredwr yn cyflawni y swyddau o brophwyd, offeiriad, a brenin, a hyny yn ei gyflwr o ddarostyngiad a dyrchafiad. Act. 3: 22; Heb. 12: 25; 2 Cor. 13: 3; Heb. 5: 5—7; 7: 25; Salm 3: 6; Esa. 9: 6, 7; Mat. 21: 5; Salm 2: 6, 8, 10, 11.

G. 5. Pa fodd y mae Crist yn gweinyddu ei swydd fel prophwyd?

A. Mae Crist yn cyflawni ei swydd fel prophwyd wrth ddatguddio i ni, trwy ei air a'i Ysbryd, ewyllys Duw er ein hiachawdwriaeth. Ioan 1: 18; 2 Pedr 1: 10—12; Ioan 15: 15; 20: 31.

G. 6. Pa fodd y mae Crist yn cyflawni swydd offeiriad?

A. Mae yn cyflawni swydd offeiriad trwy offrymu ei hun unwaith i foddlonrwydd cyfiawnder Dwyfol (Heb. 9: 14, 28), ein cymodi â Duw (Heb. 2: 17), a byw bob amser i eiriol trosom. Heb. 7: 24, 25.

G. 7. Pa fodd y mae Crist yn cyflawni swydd brenin?

A. Mae yn cyflawni swydd brenin wrth ein darostwng iddo ei hun (Act. 15: 14—16); ein llywodraethu (Esa. 33: 22); ein hamddiffyn (Esa. 32: 1, 2); atal a gorchfygu ein holl elynion. 1 Cor. 15: 25; Salm 110, oll.

G. 8. Mewn pa beth y mae darostyngiad Crist yn gynwysedig?

A. Mae darostyngiad Crist yn gynwysedig mewn cael ei eni, a hyny mewn sefyllfa isel (Luc 2: 7); ei wneuthur dan y ddeddf (Gal. 4: 4); goddef holl drueni y bywyd hwn (Heb. 12: 2, 3; Esa. 53: 2, 3); goddef digofaint Duw (Luc 22: 44; Mat. 27: 46), a marwolaeth felldigedig y groes (Phil. 2: 8); mewn cael ei gladdu (1 Cor. 15: 4), a bod am dymor o dan lywodraeth angeu. Act. 2: 24—27, 31; Mat. 12: 40.

G. 9. Mewn pa beth y mae dyrchafiad Crist yn gynwysedig?

A. Mae dyrchafiad Crist yn gynwysedig yn ei adgyfodiad oddiwrth y meirw y trydydd dydd (1 Cor. 15: 4), yn ei esgyniad i'r nef (Marc 16: 19), yn ei eisteddiad ar ddeheulaw Duw Dad (Eph. 1: 20), ac yn ei ddyfodiad i farnu y byd yn y dydd diweddaf. Act. 1: 11; 17: 31.

G. 10. Pa fodd y gwneir ni yn gyfranogion o'r iachawdwriaeth a bwrcaswyd gan Grist?

Digitized by Google

A. Gwneir ni yn gyfranogion o'r iachawdwriaeth a bwrcaswyd gan Grist trwy gymwysiad effeithiol o honi atom (Ioan 1 : 11, 12), gan yr Ysbryd Glan. Titus 3 : 5, 6.

## SPURGEON FEL AWDWR.

Y mae ganddo gwmni o gyhoeddwyr y rhai sydd yn ymwneyd â chyhoeddiad a chylchrediad ei lenyddiaeth ef bron yn unig. Y mae *Catalogue* Cyhoeddiadau Spurgeon yn llanw pedair cyfrol wythplyg o argraffiad mân. . . . Y pregethau sydd yn meddu y cylchrediad eangaf yn gyffredin yw y rhai sydd o ansawdd efengylaidd. Cyhoeddir pregeth bob dydd Iau yn rheolaidd, yr un a bregethwyd y boreu Sul blaenorol yw hi yn gyffredin. Ysgrifenir y pregethau yn rheolaidd gan ysgrifenydd llaw fer, a bydd Mr. Spurgeon yn diwygio y *copy*. Y mae pob wythnos er's pum' mlynedd ar hugain wedi gweled pregeth i Mr. Spurgeon yn dyfod i'r cyhoedd. Y mae gwerthiad wythnosol rheolaidd y bregeth (ond cyfrif y rhai a roddir mewn amleni misol) yn awr uwchlaw pum' mil ar hugain. Trosglwyddir llenyddiaeth y Tabernacl i'r Trefedigaethau ac i'r Unol Dalaethau. Y mae pregethau Mr. Spurgeon wedi cael eu cyfieithu bron i holl ieithoedd y byd. Mae yn annichonadwy amgyffred rhif darllenwyr y pregethau. Ar ol i'r prynwyr gwreiddiol eu darllen, mynych y rhoddir amleni papyr am danynt, ac y gwasgerir hwy fel traethodau. Yn Ysgotland y mae eu poblogrwydd fwyaf, lle y maent ar werth yn mhob llyfrwerthfa, ac y darllenir hwy yn mhob man. Mae y cyhoeddiad misol, *The Sword and Trowel*, yr hwn a ddarluniodd Esgob Rochester yn ddiweddar yn briodol fel "papyr bywiog," yn meddu cylchrediad o 14,000 yn fisol; y rhif diweddaf yw 225, gan ei fod yn y bedwaredd gyfrol ar bymtheg. Mae i "Our Own Hymn Book," o gasgliad Mr. Spurgeon, gylchrediad helaeth a chynyddol. Ar ol hyny ceir "Darlithiau i'n Myfyrwyr," "Areithiau," "Hanesion y Tabernacl," "Esboniadau," "Llyfrau Defosiwn," "Llyfrau Poblogaidd," "Detholiadau," &c., yr oll o ysgrif-bin y gweinidog poblogaidd. Mae ei gyfrolau o "Ddarlleniadau i'r Teulu neu yr Ystafell Ddirgel," yn cwrdd â gwerthiad tra chyflym. Yr hyn a ystyrir fel gwaith penaf Mr. Spurgeon yw "Trysorfa Dafydd" (*The Treasury of David*), yr hwn, yn mhlith pethau eraill, a gynwysa ddyfyniadau eglurhaol allan o holl gylch llenyddiaeth. Y mae y chwe' chyfrol yn gwerthu ar raddfa eang; y mae y gyfrol gyntaf, yr hon a gyhoeddwyd yn 1869, yn awr yn ei hugeinfed fil, ond y mwyaf poblogaidd o lyfrau Mr. Spurgeon yw ei ddoniol "Ymddyddanion John Ploughman." Cyhoeddwyd yr Ymddyddanion yn y fl. 1868, ac y mae yn awr yn ei dri chant ac ugeinfed fil; ac mae yr atodiad iddo ("John Ploughman's Pictures") yr hwn a gyhoeddwyd bedair blynedd yn ol, wedi cyrhaedd tair mil o gopiau. . . . . Gall y ffigyrau hyn alluogi rhai nad ydynt byth yn mynychu capelau, nac yn darllen pregethau, i ddeall rhywbeth am y dylanwad aruthrol a phell-gyrhaeddol a fedd Mr. Spurgeon ar y cyhoedd. Mewn llawer rhan o Ysgotland yn enwedig, perchir Mr. Spurgeon yn fwy na neb arall. Dywedai Sais unwaith wrth yr hen wraig sydd yn arwain ymwelwyr o amgylch adfeilion Monachdy Melrose, "Bu genym ni lawer o ddynion enwog, ond ni fu genym yr un John Knox." "Gwir," ebe yr hen wraig, "na fu genych un John Knox; ond er hyny y mae Mr. Spurgeon genych chwi." Pa barch mwy a all fod yn fwy eithafol oddiwrth Bresbyteriad? — *Pall Mall Gazette.*

## BARN NAPOLEON AM GRIST.

"Adwaenwyf ddynion," meddai Napoleon, "ac nid wyf yn ofni dyweyd yn groew, nad dyn yn unig ydoedd yr Iesu. Sefydlwyd ymerodraethau gan Alexander, Cæsar, Charlemagne, a minau; ond ar ba beth y pwysai creadigaeth ein hathrylith ni? Ar *allu*. Iesu Grist yn unig a sefydlodd ei

Digitized by Google

deyrnas ar *gariad*, ac y mae miliynau o ddynion ydynt y fynyd hon yn barod i farw drosto. Nid un diwrnod, nac un frwydr a enillodd fuddugoliaeth y grefydd Gristionogol yn y byd. Nage; rhyfel hir, ac ymdrech am dair canrif, wedi ei agor gan yr apostolion, a'i ddwyn yn mlaen gan lifeiriant oesau Cristionogol. Yn y rhyfel hwn, cawn holl freninoedd a gwyr mawr y ddaear ar un ochr; ar yr ochr arall, ni welaf un fyddin, ond rhyw allu dirgelaidd rhyfeddol—nifer o ddynion wedi eu gwasgaru yma a thraw hyd wahanol barthau y byd, y rhai nad oes ganddynt ddim i'w symbylu ond ffydd gyffredinol yn rhyfeddodau y Groes. Yr wyf fi yn marw o flaen fy amser, a chaiff fy nghorff ei roddi yn ol i'r ddaear, i fod yn fwyd i bryfaid; y fath ydyw tynged yr hwn a alwyd yn Napoleon Fawr! Y fath gagendor rhwng fy nhrueni a theyrnas dragywyddol Crist, yr hon sydd yn cael ei chyhoeddi, ei charu, ei chydnabod, a'i helaethu dros wyneb yr holl ddaear! A alwch chwi hyn yn farw? Ai nid byw ydyw yn hytrach? Nid yw marwolaeth Crist amgen marwolaeth Duw!

## DYN FEL AG Y BU.

Dyn, y bod daearol diweddaf a grewyd; yr ergyd perffeithiaf o weithrediadau y Creawdwr; y cysylltiad rhwng nefoedd a daear, meddwl a sylwedd, angelion a'r creaduriaid afresymol. Ei gorph, llwch dulliedig; ei enaid, ysbryd pur; perffeithiad gogoniant daearol, a phelydr yno luganedd y nef.

Cydradd ac Arglwydd y creadur afresymol, cyfaill a châr yr angelion, a pherffeithiad arlun y Goruchaf; corphoriad y bydysawd, blaguryn y cread, a bodolaeth i anfarwoldeb. Yn oleuedig a goleuni deallol, yn harddedig â gwirionedd nefolaidd, yn enynol â swynion seraphaidd, yn arfog ag awdurdod Ior, ac wedi ei goroni a gogoniant ac anrhydedd. Ei dad, Duw; ei fam, y ddaear; ei diriogaeth, y byd; ei balas, Eden, ei etifeddiaeth pob da mwynhaol. Y fath dân oedd yn ei lygaid, y fath ddysgleirdeb oedd ar ei dalcen, y fath urddas oedd yn argraffedig ar ei wynebpryd, a'r fath fawrhydri oedd i'w ganfod yn ei ardrem! Cerddai yn syth, a'i olwg tua'r wybrenau. Wrth gerdded, o'r braidd y cyffyrddai a'r ddaear â gwadnau ei draed. Y mae ei lygaid wedi eu bendithio â golygfeydd ysblenydd, ei glustiau â seiniau ëosaidd, ei chwaeth â digoniad danteithion; ei ben mor addas i gynllunio, a'i ddwylaw i gyflawni. Yr oedd diniweidrwydd yn trigo yn ei galon, ucheledd yn ei enaid, a thawelwch yn ei ysbryd. Nid oedd dim amheuaeth yn ei ddyrysu, dim pryder yn ei aflonyddu, dim ofn yn ei frawychu, dim cywilydd yn ei waradwyddo; oblegid hyd yn hyn nid oedd pechod wedi ei lychwino. Gogoniant y Duwdod, fe dderbyn ymgeledd gymwys i'w ogoniant ei hun. Y mae arch-deyrn y ddaear wedi ei briodi â brenines harddwch, ac urddas gwrol wedi ei gysylltu mewn rhwymau cariadus a thegwch menywaidd. Ei waelach mewn nerth ac oedran yn unig; ei ogystal yn ei natur a'i briodoliaethau, a'i ragorach mewn melus ddeniadau, a thyner hudoliaeth. Nid mor rymus, ond yn fwy araf a thirion; nid mor gadarn, ond yn berffaith mor ystwyth; nid mor llywyddol, ond hudoliaeth ymgorpholedig, a hawddgarwch yn gyd-gasgledig i'r un craidd. Yr oeddynt ill dau yn rhwysgedig â iechyd, yn orlawn o fywyd, ac yn amgylchynol â dedwyddwch. Yr oedd Jehofa yn edrych mewn ymfoddloniad, angelion mewn hyfrydwch, a chythreuliaid mewn cyngorfyn. Ei etifeddiaeth oedd bywyd, ïe, bywyd anfarwol; y telerau yn deg ac esmwyth, ufudd-dod parhaus; a'r taliad yn ogoneddus, mwyniant didor. Aroswn oddiamgylch i'r olygfa ogoneddus yma, a gwnawn gyfiawnder ag arlun ein cyndad mawreddol. Ond, pa fodd y gall plentyn dirywiol y llwch dynu desgrifiad llawn a pherffaith o'r DYN pan yn bur, mawreddol, ac mewn cyswllt â'r ANWELEDIG?

*Cyf.* JONAH A. DAVIES.

*Kingston, Pa.*

## CARIAD BRAWDOL.

Beth yw ystyr Cariad Brawdol?
  Lifrai'r nefoedd, dyna yw,
Roddir gan lywodraeth Gwynfa
  I addurno teulu Duw;
Cariad Brawdol yw y gadwyn
  Gref y sydd yn uno'r saint,
Yn y nef ac ar y ddaear,
  Mewn cymundeb mawr ei fraint.

Beth yw arwydd "Cariad Brawdol?"
  Trugarawgrwydd fel y lli';
Nofio cyfleusderau'n nwyfus
  At y gwan, ac at ei gri;
Dwyn ei feichiau hyd y rhiwiau,
  Claddu beiau yn y fan;
Dwyn o ymchwydd diluw gormes
  Lawer un yn fyw i'r lan.

Enaint gwerthfawr ar gymdeithas,
  Berarogla'n hyfryd yw,
Nes gwasgaru nefoleidd-dra
  Drwy holl gyrau Eglwys Dduw;
Llygad clir i wel'd prydferthwch,
  Calon fyw i deimlo hedd;
Truan yw y neb sydd hebddo—
  Gwyn ei fyd y sawl a'i medd.

Crefydd ydyw grym ei hanfod,
  Eglwys Dduw ei ddewis fan,
A thra yno yn teyrnasu,
  Hedd a chysur fydd ei rhan;
Buan iawn y delo'r diwrnod,
  Byth na fydded iddo gau,
Pan gyhoeddir dros y ddaear,
  "Cariad brawdol sy'n parhau."

## MAM Y SPURGEONS.

Y Parch. Dr. Ford, America, yr hwn yn ddiweddar a fu ar ymweliad a Lloegr, ac yn y brif-ddinas, gan gyfeirio at ei ymweliad ag Amddifad-dy Stockwell, a ddywedai fel hyn: "Yr oedd yno bump Spurgeon yn bresenol, a dywedodd pob un ychydig o eiriau. Y tad, John Spurgeon, ei ddau fab, J. A. Spurgeon a Charles, ac yna dau fab Charles, y Meistri Thomas a Charles. Yr oedd yn olygfa ddyddorol. Ar ddiwedd y cyfarfod, arweiniwyd fi gan Mr. Spurgeon i sylw ei dad, a bu i ni ymddyddan a'n gilydd am gryn amser. Wrth gwrs, mi a ofynais iddo yn nghylch ei deulu. Y mae efe yn 66 mlwydd oed. Y mae iddo wyth o blant yn fyw. Y mae wedi treulio ei fywyd yn y weinidogaeth. Yn nghwrs yr ymddyddan, dywedai: 'Yr oeddwn wedi bod o gartref am dro, yn ceisio adeiladu cynulleidfaoedd gweiniaid, a theimlwn fy mod yn esgeuluso gwrteithiad crefyddol fy mhlant fy hun, tra yn ceisio gwneyd daioni i eraill. Dychwelwn adref gyda'r teimladau hyny, pan, wedi agor y drws, y synwyd fi wrth fethu canfod un o'm plant yn yr *hall*, nac yn un lle agos. Aethum i fyny grisiau y llofft yn ddystaw, a chlywn lais fy ngwraig. Gweddio yr oedd gyda, ac ar ran y plant. Clywn a deallwn hi yn gweddio drostynt, bob un wrth ei enw. Daeth at Charles, a gweddiodd yn arbenig drosto ef, am ei fod o ysbryd uchel a thymer danllyd. Gwrandewais,' meddai yr hen foneddwr, a'r dagrau yn ei lygaid, 'gwrandewais nes y gorphenodd ei gweddi, a theimlais a dywedais: Arglwydd, mi a af yn mlaen gyda'th waith; mi welaf y ca' y plant ofalu am danynt.' "—*Y Frythones.*

## "GWIN YN LLAWENHAU DUW A DYN."

Fel yr oedd yr arebydd hynod hwnw Iarll Rochester, un tro yn nghymdeithas Charles II., y frenines, y caplan, a rhai o weinidogion y llywodraeth, ar ol iddynt fod yn ymddyddan yn nghylch materion cyhoeddus, y brenin yn ddisymwth a waeddodd allan, "Gadewch i'n meddyliau gael eu rhyddhau oddiwrth ofalon y llywodraeth, a rhoddwch i ni wydraid hael o felus-win, yr hwn, fel y dywed yr Ysgrythyr, 'sydd yn llawenhau calon Duw a dyn.' " Y frenines wedi clywed hyn, mewn modd syml a ddywedodd, ei bod yn tybied nas gallai fod y fath destyn yn yr Ysgrythyr, ac nad oedd y drychfeddwl nemawr gwell na chabledd. Atebodd y brenin nad oedd efe yn barod i droi at y benod a'r adnod, ond ei fod yn sicr ei fod wedi cwrdd â'r ymadrodd yn ei waith yn darllen yr Ysgrythyrau. Cyfeiriwyd at y caplan (offeiriad y teulu breninol), am hysbysiaeth, ac yr

Digitized by Google

oedd efe o'r un farn a'r frenines. Gan y lled dybiai Rochester fod y brenin yn iawn, ac heb fod yn gyfaill i'r caplan, efe a ymneillduodd allan o'r ystafell i ymholi yn mysg y gwasanaethyddion, od oedd neb o honynt hwy yn gydnabyddus â'r Beibl. Enwasant Dafydd y cogydd (o'r Alban), yr hwn bob amser oedd yn dwyn y Beibl gydag ef. Wedi galw Dafydd, efe a gofiodd y testyn, a pha le i gael gafael ynddo. Gorchymynodd Rochester iddo fod mewn dysgwyliad, a dychwelodd yntau at y brenin. Yr un pwnc oedd yn barhaus yn destyn ymddyddan, a chynygiodd Rochester alw Dafydd i mewn, yr hwn, ebai efe, oedd yn dra hyddysg yn yr Ysgrythyrau. Dafydd a ddaeth, ac wedi rhoddi y gofyniad iddo, efe a ddygodd ei Feibl ger bron, a darllenodd y testyn (Barn. ix. 13). Gwenodd y brenin. Gofynodd y frenines faddeuant, a gwridodd y caplan. Gofynodd Rochester yn awr i'r caplan esbonio y testyn, gan ei fod wedi ei ddwyn i'r amlwg; ond yr oedd efe yn fud. O ganlyniad gofynodd yr Iarll i Dafydd am yr esboniad. Atebodd y cogydd yn ddioed, "Gwyr eich arglwyddiaeth pa faint o win a lawenha ddyn: am ei fod yn llawenhau Duw, goddefer i mi ddywedyd, fod dan oruchwyliaeth yr Hen Destament fwydoffrwm a diod-offrwm; yr olaf oedd gynwysedig o win, yr hwn trwy drawssymudiad (*metaphor*) a ddywedid ei fod yn llawenhau Duw, gan ei fod yn foddlon hollol yn y ffordd o iachawdwriaeth a drefnodd, trwy yr hon yr oedd ei gyfiawnder yn cael ei foddloni, ei gyfraith ei hanrhydeddu, ei drugaredd yn teyrnasu, ei ras yn buddugoliaethu, yr holl berffeithderau dwyfol yn cytuno, y pechadur yn cael ei achub, a Duw yn Nghrist yn cael ei ogoneddu."

Synwyd y brenin mewn modd dymunol wrth yr esboniad efengylaidd hwn; a Rochester a ganmolodd y cogydd, ac wedi senu y caplan yn erwin, cynygiodd, mewn agwedd dra difritol, ar fod i'w fawrhydi weled yn dda i wneyd y caplan ei gogydd, a'r cogydd hwn yn gaplan iddo.—*A. S. Phillips.*

## YMFFROST YR APOSTOL.

"A'n cymdeithas ni yn wir sydd gyda'r Tad,"—yr ydym ni yn cyfranogi o'r holl fendithion a addawodd y Tad i'r rhai a gredant ac a ymddiriedant yn yr Iesu,—"a chyda'i Fab ef,"—y mae undeb teimlad, ysbryd, awydd a bwriad. Oes; yr ydym yn gyfranogion o'r dduwiol anian, ac yn trigo mewn man urddasol, sef yn Nuw; ie, trigo yn Nuw. Y mae llawnder a helaethrwydd yma. Hyn sydd ryfedd: Duw yn trigo ynom ni! Pa ryfedd i'r brawd deimlo tipyn o ymffrost yn llenwi ei fynwes? Yn siwr i chwi, y mae gan y crediniol le i ymffrostio. Nid am ei fod yn cymdeithasu a mawrion ymffrostgar y byd. O, nage; ond am ei fod yn cymdeithasu a'r teulu breninol—teulu sydd uwchlaw i orseddau a theyrnwïail beilchion y byd. Gyda'r Tad, a chyda'r Mab mawr—Mab y Brenin Alpha, yr hwn a ysgwyd ei deyrnwialen drwy y nef a'r llawr. "Rhoddwyd i mi bob awdurdod yn y nef ac ar y ddaear." Gall y crediniol gymdeithasu â hwn! Ie, â hwn! Siarad ag ef, ysgwyd llaw ag ef; ie, ie, ei gusanu! Os nad all dyn felly ymffrostio, gofynaf, Pwy ddichon? Gwyr llawer o ddarllenwyr y WAWR am y gymdeithas hon yn brofiadol. Diolch am hyny.

Dywedir fod pob gwr helbulus, a phob gwr ag oedd mewn dyled, a phob gwr cystuddiedig o feddwl, yn nesau at Dafydd Frenin, ac yn dyweyd eu cwyn wrtho, a Dafydd yn Dywysog arnynt; ie, ar y dosbarth gwelw yna. Onid oedd gan y bobl hyny le i ymffrostio—peth gwerth ymffrostio yn ei gylch? Ond, O! meddwl am hyn, frawd anwyl: "Dy briod yw yr hwn a'th wnaeth," a phwy yw hwnw? "Arglwydd y lluoedd yw ei enw." Nid oes neb yn meddu ar y fath enw rhyfedd ond ei hunan. "Dy waredydd" hefyd. Rhyfedd iawn! Gallwn feddwl ei bod yn gwella o hyd—"Sanct Israel, Duw yr holl ddaear y gelwir ef." Gorfoledda, Gristion, mawr yw dy fraint—cael cymdeithasu â'r Tad, ac hefyd a'r Mab, a thrwy hyny fwynhau

Digitized by Google

bendithion penaf trysorfa yr Anfeidrol. Os helbulus, pruddglwyfus, a chystuddiol yn y byd bach hwn; os cyfyng a chaled arnat yn fynych ar dy daith, paid tori dy galon, frawd anwyl, y mae cartref da yn dy aros. Oes, oes, a byw byth mewn palas gwyn o farmor goreu dy Dad, a gellir dyweyd heb siglo: Caf aros yma byth! Ni ddaw y cryf arfog i'm drygu. Ni ddaw fy nghryfach i'm troi allan. Caf aros yn y llawnder, lloniant, a'r gogoniant hwn am byth? Yr wyf bron yn teimlo—fel y teimlodd Ioan gynt—i ymffrostio! O, diolch! Amen.—*Christopher Bach.*

## Arf-dy y Cristion.

### PECHOD A THRUENI.

Nid oes dim *dirgelwch* yn nhrueni y ddaear nac uffern. Y mae pechod yn cynyrchu dyoddefaint corfforol a meddyliol, mor sicr ag y mae haf yn cynyrchu gwres, neu y gauaf oerfel. Nis gall un gallu, hyn yn nod Hollalluawgrwydd, ysgaru y cysylltiad rhwng pechod a thrueni.—*Robert Philip.*

### GELYNIAETH DYN AT DDUW.

Y mae gelyniaeth dyn at Dduw yn cael eu brofi yn y pethau a ganlyn:—1. Oddiwrth y gallu sydd mewn dyn i gyrhaedd gwybodaeth am Dduw, a'i ddiofalwch i feddu y wybodaeth hon. 2. Anwybodaeth gwirfoddol am Dduw. 3. Meddwl mor anfynych am Dduw. 4. Can lleied o awydd am ffafr Duw. 5. Mor lleied o gyfeillach a rhodio gyda Duw. 6. Y diofalwch am Dduw y mae dyn yn ei ddangos yn mhob peth. 7. Y bywyd annedwydd y mae efe yn fyw oblegid ei bellder oddiwrth Dduw, a'i anghyfarwydd-deb ag ef. 8. Ei anufudd-dod cyffredinol i ddeddau Duw.—*John Howe.*

### GRAS YN WELL NA DONIAU.

Y mae dyferyn o ras yn well na môr o ddoniau. Y mae doniau yn meddu ardderchawgrwydd, ond y mae ffordd gras yn fwy rhagorol. "Doniau," fel y dywed un, "ydynt rasusau *meirwon*, ond grasusau ydynt ddoniau *bywiol*. Doniau ydyw yr aur sydd yn harddu y deml, ond gras ydyw y deml sydd yn sancteiddio yr aur. Y mae un deigryn, un ochenaid, neu un anadliad o galon uniawn, yn well na thafodau angelion.

### MOESGARWCH.

Y mae un ysgrifenydd yn desgrifio y moesgarwch uchelaf yn "Ddymuniad parhaus i foddhau eraill, yn cael ei amlygu yn yr holl ymddygiad." Onid yw y syniad hwn yn cael ei ddysgu yn eglur yn y Testament Newydd? (Gwel Rhuf. xv. 2; 1 Cor. ix. 19—22; a x. 24, 32, 33; Rhuf. xii. 17, 18.) Y fath ddynion hawddgar a phrydferth a fyddai Cristionogion pe cydymffurfient yn fwy ag ysbryd ac egwyddorion eu crefydd ardderchog!

### ANFFYDDIAETH.

Y mae anffyddiaeth yn cymeryd arni ddyrchafu dyn, tra mewn gwirionedd y mae yn ei ddarostwng yn gydradd â'r abwydyn gwaelaf. Y mae Cristionogaeth, er yn amlygu trueni dyn fel pechadur, eto yn dangos dyn yn greadur pwysig ac urddasol. Yn ol ei golygiad hi, y mae dyn wedi ei lunio ar ddelw Duw, wedi ei brynu â gwaed Crist, yn deml i'r Ysbryd Glan, ac yn greadur i barhau byth. Y fath olygfa wahanol a geir gan Gristionogaeth rhagor Atheistiaeth ar urddasoldeb dyn!

### GWYBODAETH A SANCTEIDDRWYDD.

Er mor ardderchog yw gwybodaeth, ni wna ond ychydig o les heb egwyddor sanctaidd neu anian dduwiol. Heb sancteiddrwydd, nid yw gwybodaeth angel ond cyfrwysdra cythraul. Sancteiddrwydd sydd yn coroni gwybodaeth, fel y mae gwybodaeth yn coroni creadur rhesymol. Sancteiddrwydd a gwybodaeth a gyfansodda gymeriad o ddyn da a doeth. Trwy wybodaeth yr ymddengys yn ddyn, ac nid yn anifail; trwy sancteiddrwydd yn angel, ac nid yn gythraul.

Digitized by Google

—Gwirionedd yw cyfraith y celfyddydau.

—Mae esgeuluso y weddi ddirgel yn brawf o galon wedi blino ar Dduw.

—Os wyt ti wedi dewis Duw, gelli benderfynu dy fod yn un o'i etholedigion ef.

—Yr hwn ni wyr ond ychydig am bla ei galon ei hun, ni wyr ond ychydig am werth y Gwaredwr.

—Pan unwaith y gallo anffyddiaeth berswadio dynion y cânt farw fel anifeiliaid, y mae yn fuan yn eu dysgu i fyw hefyd fel anifeiliaid.

—Y mae yr efengyl yn gosod dyn a Duw yn eu lle priodol. Y mae yn gosod dyn yn y llwch, o'r lle y cymerwyd ef; ac yn gosod Duw ar yr orsedd, lle y dylai fod.

—Y mae y gwaed sanctaidd hwnw sydd yn sicrhau nefoedd i'r rhai oll a ymddiriedant ynddo, yn selio uffern i bawb a'i dirmygant.

—Y mae boddlonrwydd yn fendith mor anfeidrol ei gwerth, fel y mae pwy bynag a'i meddiano, bydded can dloted ag y byddo, yn meddu perl mwy ei werth nag y gall aur ei bwrcasu, a thrysor mwy nag a all y byd ei roddi na'i gymeryd ymaith.

— Nid yw Crist yn ymddiried y gwaith o wneyd deddfau yn ei eglwys i un dyn ar y ddaear. Arno ef yn unig y dylem ni wrando. Dysgu pob peth a orchymynodd Iesu oedd pob peth a feddai yr apostolion eu hunain i'w ddysgu. Ni fedd un angel ychwaith hawl i wneuthur dim yn wahanol.

# Bwrdd y Golygydd.

## MARWOLAETH GWILYM HIRAETHOG.

Ar y 9fed o Dachwedd, 1883, bu farw y gwr clodfawr uchod, wedi cyrhaedd yr oedran teg o bedwar ugain mlynedd, pryd yr oedd nerth wedi dyfod iddo yn boen a blinder. Ychydig, efallai, o'n darllenwyr sydd heb fod yn gwybod mai un o brif ddynion yr Annibynwyr oedd efe; ac ystyrid ef, yn ddiau, ar hyd ei oes hirfaith ar "flaen y rhes" yn eu plith. Ond gan ei fod yn ddyn mor amryddawn, yr oedd "yn ddyn y genedl." Hynododd ei hun fel bardd, areithiwr, gwladyddwr, ysgrifenwr, awdwr, a phregethwr; ac yn yr holl agweddion yna yr oedd efe yn tra rhagori. Yn ei linach, unwyd ynddo Dde a Gogledd, ac unodd yntau yn ei ddoniau amrywiaeth teithi meddyliol y ddwy brif adran hyny o'r genedl, a phrofodd parch cyffredinol De a Gogledd iddo gyfartalwch perthynas ag ef.

Fel dyn o athrylith, yr oeddym bob amser yn ei edmygu ac yn dra hoff o hono. Clywsom ef yn pregethu amryw droion, ac yr oeddym yn "*dotio*" at naturioldeb ei ddarluniadau ac arucheledd ei ddrychfeddyliau. Yn moreu ei oes, dyeithr fuasai efe o'r Bedyddwyr; ond fel yr ymgydnabyddai efe a hwynt, cawn fod ei barch i'r enwad yn amlwg. Yr oedd y Parch. Robert Jones, Llanllyfni, ac yntau yn gyfeillion mynwesol; ac yn y gyfrol o bregethau a gyhoeddodd efe yn ddiweddar, cyfeiria gyda chymeradwyaeth at un o ddywediadau synwyrlawn y Parch. Robert Jones. Ond y mae efe wedi marw yn llefaru eto, a bydd yn llefaru, yn ddiau, gyda dylanwad mawr hyd amser maith i ddod, yn ei rinweddau, yn ei bregethau a'i ddywediadau, ac yn neillduol yn ei weithiau barddonol a rhyddiaethol.

## DYN DALL YN CARDOTA.

Pan yn aros am y trên yr wythnos o'r blaen, yn Philadelphia, aethum yn "wysg fy nhrwyn" at y First Baptist Church, yr hon sydd gerllaw y Pennsylvania R. R. Depot, (yr hyn oedd

Digitized by Google

yn naturiol iawn i Fedyddiwr). Yn ffrynt yr eglwys hono, ar y gornel gyferbyniol, yr oedd dyn dall yn eistedd yn cardota. Ar ei frest yr oedd astell ac yn brintiedig arni yr ymadroddion canlynol: "*Ladies and Gentlemen, have pity on a poor blind man, father of six children; he lost his sight by an explosion, at the age of 30 years, and is now unable to support his family. Please do not forget me.*" Fel yr oeddwn yn sefyll gerllaw, gan gopio yr ymadroddion yna, gwelwn eneth fach ddu o Negroes yn dod yn mlaen ac yn rhoddi ei hatling yn ei drysorfa. Wedi ei gweled hi yn gwneyd, aethum i yr ail waith gan roddi ychydig geiniogau iddo drachefn. Toddai fy nghalon ynof gan edmygedd llariaidd at waith yr eneth fach Negroaidd yn troi o'i llwybr, ac yn gwneyd fel y nodais. Meddyliwn am y tyner-galon Abraham Lincoln, a dosturiodd wrthynt hwy y bobl dduon—y bobl hyny a gynrychiolid gan y Negroes fach hon. Meddyliwn am yr hwn a fu heb le i roi ei ben i lawr, ac yn gyfaill publicanod a phechaduriaid, ac yn tosturio wrth y dall, y cloff, a'r byddar. Tybiwn fod y dyn dall hwn, erbyn hyn, yn rhywle tua 55 mlwydd oed. Os bydd genych cent yn eich llogell, peidiwch a phasio y gwir angenog heb roi iddo!

"A chofio 'nhlawd Iachawdwr
Fu un dydd yn gyfyn dw'r."

---

## ADOLYGIAD Y WASG.

*Seren Gomer* am Hydref.—Erthygl flasus yw y gyntaf ar NATUR EGLWYS, gan y diweddar Dr. Hugh Jones, Llangollen. Dywedir i'r sylwadau gael eu cymeryd i lawr mewn llaw fer wrth eu gwrandaw. Y mae yr anerchiad yn Ysgrythyrol, a phob gair fel careg nadd mewn adeilad gorwych. Rhoddwn yma rai dyfyniadau:

"Mae un blaid (Bedyddwyr) yn dysgu mai credinwyr a hwy yn unig, sydd yn cyfansoddi eglwys Iesu Grist. Mae eraill—enwadau efengylaidd anghydffurfiol, mae yn debyg—fel rheol yn credu mai credinwyr a'u plant sydd yn gwneyd i fyny yr eglwys. Creda rhai eraill, drachefn, mai undeb o gynulleidfaoedd yn credu yr un egwyddorion, yn ymarfer a'r un defodau, ac yn cael eu llywodraethu gan yr un cyfansoddiad, sydd yn cyfansoddi eglwys. Mewn ystyr felly siaredir am Eglwys Groeg, Eglwys Rhufain, Eglwys Loegr, a'r cyffelyb. Mae yn amlwg, onid ydyw, fod yna wahaniaeth rhwng y tri dosbarth, a hwnw yn wahaniaeth pwysig. Ein safle ni ar y cwestiwn ydyw hyn: Mai drwy Grist y mae dyfod i'r eglwys. Mae yr holl wahaniaeth yn cael ei gynwys yn hyn. Tybia un blaid fod yn bosibl dyfod drwy yr eglwys at Grist, Yr wyf yn ofni mai camgymeriad difrifol ydyw hynyna. Nid dyfod at Grist drwy yr eglwys, ond dyfod at yr eglwys drwy Grist—dyna ydyw ein crediniaeth ni, a dyna, ni gredwn, ydyw dysgeidiaeth y Beibl.

Gair bychan eto ar *Swyddogion yr Eglwys*. Nid oes ond ychydig o swyddogion yn yr eglwys yn awr. Mae y gwaith wedi dyfod yn syml iawn. Ar y dechreu yr oedd eisiau amryw. Mae y Testament Newydd yn gwneyd yn lle llawer o honynt yn awr. Bu angen am ddynion a'r ddawn wyrthiol ynddynt. Bu angen am ddynion i gyfieithu y Beibl i'n hiaith ni; ond nid oes angen am danynt yn awr. Bu angen am lawer o swyddogion eraill llai pwysig na'r rhai yna. Ysgrfenai Paul at Titus a Thimotheus am iddynt drefnu pethau ar ol ymadawiad yr apostolion, ac i gael swyddogion yn yr eglwys. Dau fath o swyddogion sydd yn cael eu henwi ganddo—yr esgobion a'r diaconiaid. Esgobion, cofiwch, yn ol ystyr y gair yn y Testament Newydd. Arolygwyr oeddynt, ac nid arolygwyr nifer o bregethwyr neu offeiriaid, ond arolygwyr cynulleidfaoedd o blant Duw. Yr oedd y diaconiaid i gynorthwyo yr arolygwyr hyn, drwy gymeryd rhan o'r baich. Mae llawer o swyddi mewn eglwysi yn awr nad oedd y Testament Newydd yn gwybod dim byd am danynt. Prawf o lygriad ydyw hyn. Mae fod Paul yn enwi y ddwy swydd hon yn profi dau beth i mi—yn 1af, fod y ddau *class* yma i bar-

Digitized by Google

hau byth; yn 2il, fod y ddau *class* yma yn ddigon. Gellwch fod yn dawel gyda y ddau ddosbarth yma, ond i chwi gael "*the right men in the right places.*"

Mae llawer o addysg yn yr ail ysgrif, dan y penawd, "*Yr enw annhraethadwy hwnw, Jehofa.* Y cydseiniaid yn unig a gyfrifid yn llythyrenau gan yr Iuddewon; gan hyny, pedair llythyren, yn eu cyfrif hwy, oedd i'r gair Jehofa. Dywed yr awdwr, "Ni ddygwydda yn y Testament Newydd o gwbl, o herwydd na ysgrifenwyd 'Jehofa' yn y Groeg hyd amser y Tadau boreuol." Gan y Deg a thriugain yn eu cyfieithiad o'r Hen Destament, "ni ddarfu un cynygiad gael ei wneyd i gyfieithu nac i adysgrifenu 'Jehofa,' ond arferir gair arall."

A ganlyn yw gweddill o'r cynwysiad: "Gwyrthiau; Marwnad i'r Diweddar Barch. R. Ellis (*Cynddelw*); Aristotle ar Rinwedd; Dilysrwydd Marc xvi. 9—20; Cyflwr yr Iuddewon dan yr Efengyl yn ol dysgeidiaeth Paul yn Rhuf. ii. 17—24; Amryw Ddoniau; Hanes y Bedyddwyr yn Mountain Ash er eu dechreuad yn y lle hyd yn bresenol (1859); Gwaddoliadau yr Eglwys Sefydledig (Parhad); Bedydd yn ngoleuni y Cyfieithiad Diwygiedig Saesneg (*Revised Version*); Anianeg (*Physics*); Spurgeon fel Awdwr; Nodiadau ar Lyfrau; Y Gylchdrem."

*Y Greal* am Tachwedd.—Cnewyllyn y rhifyn hwn yw pregeth gan y diweddar Barch. James Richards, Pontypridd. Y testyn yw 1 Cor. 3:11–15: "Canys sylfaen arall nis gall neb ei osod, heblaw yr un a osodwyd, yr hon yw Iesu Grist," &c. Dechreuasom wneyd dyfyniadau, ond yr oedd yn ananmhosibl, gan mor ragorol ydyw. Bwriadwn ei chyhoeddi yn llawn mewn rhifyn dyfodol. Mae y gweddill o'r erthyglau arweiniol yn traethu ar y pethau canlynol: "Ger bron dynion, a ger bron Duw," gan Dr. Rowlands, Llanelli; "Argyhoeddi y Byd;" "Yr Apostol Pedr," "Gwersi yr Ysgol Sabbothol," gan y Parch. G. Davies, Lerpwl. Yn canlyn ceir Adolygiad y Wasg, Barddoniaeth, Hanesion Crefyddol a Gwladol, Marwgoffa, ac Adolygiad y Mis.

*Yr Athraw* am Tachwedd.—Mae "*yr Athraw bach,*" fel yr arferem gynt ei alw, yn parhau yn ei werth o hyd. *Tiwniodd* Dr. Prichard ar y cychwyn delyn y cyhoeddiad bychan hwn, ac y mae dwylaw medrus byth er hyny yn gofalu fod y tanau yn cadw mewn cywair iawn. Braidd na ddywedwn fod yr *Athraw* yn rhagori arnynt oll—yn wir, mae yn chwaethus. Hawdd gweled ei fod yn *darparu* pethau *addas* a buddiol at chwaethau y bobl ifanc.

*Gwaith Barddonol Ioan Madog*, o dan olygiaeth Cynhaiarn. Pwllheli: Argraffwyd a Chyhoeddwyd gan Richard Jones. 1881.—Derbyniasom gopi tlws o'r gwaith hwn, oddiwrth weddw yr awdwr, gyda dymuniad am i ni wneyd adolygiad arno, a'i gymell i sylw Cymry America, a chyda phob parodrwydd yr ydym yn cydsynio. Mae Ioan Madog yn enw tra adnabyddus i'r genedl, fel enw un o'n beirdd galluocaf. I'r rhai hyny a gawsant fantais i ymgydnabyddu yn bersonol a'r bardd, mae y caniadau hyn yn meddu blas arbenig. Ffafriwyd ni â'r fraint hono. Clywsom ef yn adrodd amryw ddarnau sydd yma yn argraffedig. Yr oedd Ioan Madog yn wir fardd. Cydgyferfydd yn ei weithiau y tlws, yr arddunol, y grymus, y cywrain, a'r syml. Os dewisa rhywrai wybod ychwaneg am y gyfrol, gyda golwg i'w phwrcasu, anfoner atom. Bydd pris y gyfrol yn America, gallem feddwl, oddeutu un ddolar.

---

## MAN-LEWYRCHIADAU.

—Yr oedd y brawd Jacob Davies yn fwy ei barch nag erioed yn ei hen gartref yn Frostburgh, Md., pan ar ymweliad a'r lle o Lewisburgh, yn ddiweddar. Dywedir iddo bregethu gyda chymeradwyaeth mawr.

—Yn yr Hydref diweddaf deallwn i Mr. Samuel Job. Cummings, gerllaw Chicago, gael ei anrhydeddu gyda thysteb a rhoddion a gyflwynwyd iddo

yn ei dy ei hun, gan ei gyfeillion a'r gweithwyr dan ei ofal, fel arwydd o'u parch tuag ato fel goruchwylydd a chymwynaswr.

—Y mae capel Bedyddwyr Cymreig Pittston, Pa., yn dlws dros ben, wedi yr adgyweiriad diweddar, ac y mae yr eglwys o dan weinidogaeth y gweinidog newydd, mewn cyflwr llwyddianus.

—"Iē," 'ntê," "achos newydd yn cael ei gychwyn" yn Warrior Run! Da, blant anwyl, ewch yn mlaen.

—Ymddengys y Parch. John R. Jones a'i deulu yn gysurus yn Houtzdale, Pa., gyda phobl ei ofal. Gwnaeth waith da yno eisoes mewn rhoi *basement* iawn o dan y capel, a phrynu *parsonage* cyfleus i'r gweinidog, a'r cwbl wedi talu am danynt. Deallwn fod yr elfen Fedyddiedig Gymreig yn gref yn y lle; ac am hyny mae yn faes rhagorol i frawd gweithgar a phregethwr da fel y brawd Jones.

Teimlwn yn dda am i ni o'r diwedd sicrhau yno wasanaeth personau effro yn ddosbarthwyr, sef y brawd John E. Lewis a'i briod. Hyderwn y bydd y derbynwyr yn ffyddlon; os na, mi w'rantaf y gwna y chwaer Mrs. Lewis dipyn o dwrw.

—Ar y 10fed o Dachwedd, yr oedd Mr. E. G. Williams, Bangor, La Crosse, Wisconsin, yn "cymeryd y dw'r" yn Philadelphia, gan fyned am dro o dri mis i Gymru. Wel, dymunem i'r brawd lawer o fwyniant yn hen wlad anwyl ei enedigaeth. Gofaled am beidio rhedeg Cymru i lawer pan ddaw yn ol, fel y mae llawer yn gwneyd.

—Bu y Parch. John R. Williams, Williamsburgh, Iowa, a'i briod (yr hon sydd yn fedyddwraig selog) ar daith, er mwyn adnewyddiad iechyd, yn Colorado a Wyoming Terr., yn ddiweddar, a theimlant lawer yn well. Mae yn debyg y bydd i ni alw yn Agnes, Iowa, yn ol eu cyfarwyddyd, os daw hyny ryw dro yn gyfleus i ni.

—Yr ydym newydd fod yn ddiwyd am ddyddiau yn edrych dros lyfr cyfrifon y Wawr. Nid yw y llyfr yn canmol cymaint ar rai ag eraill. Dwrdia amryw yn dost am esgeulusdod; gobeithiwn y ca achos i newid ei dôn anfoddus yn fuan.

—Methasom alw yn Irwin Station ac Ebensburgh y tro hwn. Gobeithiwn y daw hyny yn gyfleus cyn hir iawn. Yn y cyfamser cofied ein cyfeillion am danom.

—Yr oedd cynulleidfa fwy yn hen gapel Minersville pan oeddym yno y Sul o'r blaen, na welsom er's llawer dydd. Mae llwyddiant fel yn ail wawrio ar yr hen eglwys anwyl hono unwaith eto.

—Diolchwn i'r brawd John D. Hughes, Johnstown, Pa., am arfer ei ddylanwad gyda Mr. Morell yn ffafr y Wawr am flwyddyn eto mor effeithiol.

—Ebe derbyniwr o'r Wawr, "Yr oedd yn dda gan fy nghalon eich clywed yn gwrthwynebu y gof-golofn i Jones, Llangollen. Mae yr hwn fu yn cynhyrfu Cymru unwaith ar y pwnc o fedydd wedi myned i ffordd yr holl ddaear er's llawer blwyddyn, ond mae y bedydd Cristionogol yn aros."

—Daeth i'n llaw y diwrnod o'r blaen lyfryn bychan ar y "Cymundeb Cristionogol," gan y Parch. John Edred Jones, yr hwn a gyfansoddwyd ar gais Cymanfa Oneida, yn 1860. Gan y credwn fod rhesymau yr awdwr yn dda, yn gedyrn a goleu, bwriadwn ddyfynu rhanau o hono pan y daw cyfle.

—Mae son fod yr eglwys yn Wilkesbarre yn myned i gael gweinidog. Anfonwyd galwad, beth bynag, dros y môr i Gymru, i frawd y credir wna daro. A sonir hefyd am gael y capel mewn lle cyfleus—dyna rywbeth. Da iawn, frodyr yn Wilkesbarre.

—Pan ar fyned i'r wasg, daeth adroddiad cyfarfodydd yr Undeb, yn Brynhyfryd, Ebbw Vale, Awst 13—16, i law oddiwrth y Parch. H. C. Williams, Cernyw, ac yr ydym yn ddiolchgar iawn am dano. Wrth edrych tros daflen y testynau ac enwau yr awdwyr, casglwn ei fod yn adroddiad gwir werthfawr. Yr ydym wedi profi blas

Digitized by Google

cornel y deisen flynyddol hon a geir ar fwrdd yr Undeb. Yn wir, mae y briwsion a roisom rhwng ein gwefus yn *tastio* yn rhagorol. Bwriadwn ddarllen yr adroddiad trwyddo, a chaiff ein darllenwyr wybod y canlyniad.

—Mewn llythyr atom, dyddiedig Tachwedd 16eg, dywed y Parch. W. M. Evans, Freedom, Cattaraugus Co., N. Y.: "Bum yn wael iawn fy iechyd am dymor. Methais bregethu am ddau Sul cyfan, a rhai nos Suliau heblaw hyny. *Bronchitis* oedd y dolur—effaith anwyd trwm, ac nid yw fy *lungs* inau yn gryf er's blynyddau bellach. Yr wyf, trwy drugaredd fy Nhad nefol, yn gwella yn dda eto. Pregethais ddwy waith y Sul diweddaf, ac yr wyf yn bwriadu gwneyd hyny y Sul nesaf eto, os yr Arglwydd a'i myn."

—Diolchwn i'r Parch. Ebenezer Edwards, Florida, am ei ohebiaeth ddyddorol i'r rhifyn hwn o'i gartref newydd. Mae yno le braf, mae'n debyg. Buasem yno ar unwaith i chwilio am dderbynwyr i'r WAWR, ac i weled y wlad, pe buasai yno ychydig o Feddwyr Cymreig yn byw; ond mae lle i ofni nad oes yno efallai neb ond y brawd Edwards a'i deulu.

—Lluddiodd afiechyd yn y teulu i "Gwyliedydd" allu anfon yr Ardrem Americanaidd i mewn y mis hwn. Dysgwyliwn wrtho y tro nesaf.

—Mae y Parch. John W. Williams, D. D., wedi addaw ein cynysgaeddu â chyfres o ysgrifau i'r WAWR ar "Y Beibl ac Henafiaeth." Bydd yr ysgrif gyntaf yn rhifyn Ionawr.

—Mae y frawdoliaeth yn Plymouth, Pa., wrthi o ddifrif yn bresenol yn talu dyled eu capel. Mae llawer o synwyr yn cael ei ddangos yn y dull sydd ganddynt i gyrhaedd yr amcan.

—Aelodau a gwrandawyr yn Providence, Pa., a ganmolant y pregethu a gânt yno bob Sabboth gan frodyr yn y weinidogaeth o bell ac agos.

—Dysgwylir terfyniad buan i'r anhawsderderau yn Madagascar. Mae Ffrainc yn dyfod yn fwy cymedrol yn ei honiadau.

## NODION AR HYNODION FLORIDA.

*Mr. Gol.:* I gyflawni fy addewid i chwi ac i eraill, wele linell i'r WAWR. Wedi dyddiau o deithio a morio, cyrhaeddais fy nghartref yn ddiogel. Os ewyllysia neb o'm cyfeillion ddarllen rhywfaint o fanylion "Fy Nhaith i'r Deheu," cyfeiriaf hwy at ysgrif yn y *Wasg* o dan y peniad hwn. Yn bresenol, nodaf rai o'r *pethau rhyfedd* sydd wedi hawlio fy sylw yn fy ngwlad fabwysiedig.

### *Hynod yw Puredd yr Hinsawdd.*

Y mae yr *hinsawdd* yn hynod. Er pan gyrhaeddasom De Land y mae yr hinfesurydd wedi bod o'r 70 i'r 90 bob dydd, ac eto nid yw y gwres yn gwanhau dyn yma fel yn y Gogledd. Heblaw hyn, gellir cysgu y nos o dan flanced neu ddwy yn gysurus. Ond y peth yr oeddwn am ei grybwyll oedd *puredd* yr awyr. Nid oes yma ddim yn y gwres i beri, ond i symud, drewdod—cig eidion, a phob cig yn myned yn burach wrth ei osod yn yr awyr, heb ronyn o halen yn agos iddo. Cenais fy mhrofiad fel hyn:

'N ol crogi y cig yn yr awyr,
 Mhen wythnos a mwy y *mae'r un*,
Yn gwbl ddilwgr, ddisawyr—
 Y fath ydyw puredd yr hin.

Hynotach eto, y mae sawyr pethau drewllyd yn gorfod ildio i'r dylanwad purol. Yn ddios, hon yw y wlad i bobl y ffroenau *sensitive!* Nid rhyfedd fod anhwylderau ysgyfeinllyd yn cael eu cwbl feddyginiaethu yma; oblegid lle y mae y fegin anadlu yn wallus, y mae o'r pwys mwyaf cael awyr bur.

### *Hynod yw Tyfiant y Coedydd.*

Yr wyf wedi ymweled a rhai *groves* sydd yn profi beth ellid ei sicrhau drwy ofal dyladwy, a gwrteithiad da. Gyda llaw, os gofyn neb, "I ba beth y mae perllan eurafalau yn debyg?" Atebaf ei bod fel perllan afalau, ond fod y tyfiant yn llawer cyflymach, y coed a'r ffrwyth yn llawer iawn harddach. Y mae tua dwsin o'r perllanoedd mewn golwg o ddrws fy nhy, a llawer o'r

Digitized by Google

coed yn plygu o dan bwys yr *oranges* sydd arnynt. Ond dyma sydd *hynod* i mi: yn mhen *pedair* neu *bum'* mlynedd, wele y pethau bychain a impiwyd â'r *bud* dewisol. Y mae mathau yr eurafalau mor *amrywiol* a'r afalau yn Efrog Newydd—wedi tyfu yn goed cryfion, ac yn dwyn ffrwyth lawer! Nid annhebyg i'r hyn a welir weithiau yn ngwinllan Duw: Bachgenyn a fedyddiwyd yn ddiweddar, yn addawol o wneyd pregethwr enwog yn mhen ychydig amser. Felly gwelir bwsieli o *oranges* ar goeden pum' mlwydd! Gwyddom fod y coed *peaches* yn y Gogledd yn ffrwytho yn fuan, ond cofiwn hefyd mai byr iawn yw oes y pren. Yma ceir coed *oranges* yn gyffelyb i'r dderwen mewn hirhoedledd, tra yn debyg i'r peatusen (*peach*) o ran buanrwydd eu ffrwythlonedd.

*Hynod yw cynydd y Boblogaeth a'r Dref.*

Fel y llong yn yr hon y daethom o Gaerefrog Newydd, a'r agerfad hardd ac eang yn yr hwn yr esgynasom afon St. John, y mae pob agerfad yn llawn pobl o bob Talaeth yn yr Undeb, a'u gogwydd tua'r *orange-belt* yn nghanolbarth Florida. Yr oedd y trên o Fernandina i Jacksonville yn orlawn; ac wedi i'r trên o'r Deheu a'r Gorllewin ddyfod i mewn, yr oedd ar fwrdd y *De Barry* dros ddau cant a haner o deithwyr tua'r *interior*. O'm cwmpas, a'r y de a'r aswy, gwelir y ffawydd yn diflanu o'r golwg, a'r *groves* yn cymeryd eu lle; aneddau da a chysurus yn cyfodi fel cicaion Jonah yn ddisymwth ar bob llaw! &c., &c.

Rhaid i mi orphen y tro hwn. Meddyliais nodi y mwswgl sydd yma, nid ar y ddaear, ond yn crogi yn glasurol oddiar gangenau y coed, hyny yw, mewn tiroedd isel. Y mae hwn yn hynod iawn. Yma, *time is money*, ac nid oes amser i ysgrifenu erthyglau anorphen. Testyn *mawr*, a phregeth *fer*, dyna sydd yn cydweddu â chwaeth Golygydd y Wawr. Bendith arno, ac ar ei fisolyn! Un sylw ar fy sefyllfa fel "gwrandawr yn unig." Yr wyf yn cael pregethau da, ac wedi arfer ymffrostio fy mod yn wrandawr da, er yn bregethwr go gyffredin. Ceisiwyd genyf bregethu yma droion, ond bydd rhaid gofyn eto cyn y gwnaf. Y mae yma dri *Doctor Divinity* i wrandaw ar *poor fellow* fel myfi! Cofus genyf yr hen air yn nghylch "pwyso ein hunain yn nghlorian y Gair." Nid hawdd gwneyd hyn pan yn dal y glorian. Yr wyf wedi meddwl, wrth wrandaw, am Dan. 5: 27, fel yn gosod allan fy nheimlad o dan y weinidogaeth. Gobeithio y caf ras gan Dduw i ddyfod yn well "*gwneuthurwr* y gair."

Yr eiddoch yn gywir,

E. EDWARDS.

*De Land, Tach. 12, 1883.*

O. Y.—Awgryma fy mhriod fod angen attodiad i'r ysgrif uchod, rhag i bobl feddwl mai y nefoedd yw Le Land. Hynod, i'w thyb hi, yw ysbryd glynu y *roaches* sydd yn rhedeg ar hyd pob man. Brodorion ydynt, ac nid parod i symud o'r ty lle yr aneddwn. Y mae Mrs. E. wedi rhoddi iddynt *notice to quit*, ac yn penderfynu eu troi dros y drws—druan a hwy! Nid yw yn groes iddynt gael byw yn y wlad, os ymfoddlonant ar *lodgings* mewn rhyw dy arall.

## TORONTO, CANADA.

Fel y mae yn hysbys i lawer o'n darllenwyr, yn y ddinas uchod mae ein cydwladwr poblogaidd a thwym-galon y Parch. B. D. Thomas, D. D., diweddar o Philadelphia, yn gweinidogaethu. Ysgrifena gohebydd a fu ar ymweliad a'r lle yr haf diweddaf, fel y canlyn am dano ef a'i eglwys:

Ni welais y Doctor yn edrych yn iachach, ac yn fwy calonog. Y mae wrth fodd ei galon yn Toronto, ac edmygir ef yn y modd mwyaf dilys gan bob dosbarth drwy yr holl ddinas. Efe yw y gweinidog uchelaf ei safle, fwyaf ei eglwys, luosocaf ei gynulleidfa, ac eangaf ei ddylanwad, yn Canada; y mae yn un o'r pregethwyr mwyaf grymus a dylanwadol. Nodweddir ei bregethau gan newydd-deb, cyfaddasrwydd, a chydfesuredd eu rhaniadau, gan gyflawnder, cywirdeb, a choethder eu hiaith, a chan dreiddgarwch, ffrwythlonrwydd, ac efengyleidd-dra eu syniadau; ond mwy yw y pregethwr na'r pregethau. Ynddynt, a thrwyddynt oll, yr ydych yn teimlo dylanwad y dyn

Digitized by Google

sydd o'r tu ol iddynt. Y mae dwysder ei natur, grymusder ei argyhoeddiadau, tanbeidrwydd ei enaid, a diljsrwydd dynolrwydd ei ysbryd yn ymaflyd ynoch, yn treiddio drwyddoch, yn eich codi i'r lan, ac yn eich cario yn mlaen fel llifeiriant anorchfygadwy. Y gauaf diweddaf, anfonodd awdurdodau Coleg Duwinyddol yr Esgobwyr yn y ddinas *reporter* i gymeryd i lawr mewn llaw fer bob wythnos y bregeth oreu a allai gael, i'r dyben o'i darllen i'r myfyrwyr fel engraifft o hyawdledd yr oes, ac fel y cynllun goreu o bregeth. Aeth y *reporter* trwy yr holl gapelau, ac yna dewisodd bregeth Dr. Thomas; ac wedi hyny, yn ystod holl dymor y coleg, yr oedd pregeth y Cymro o Narberth yn *class-room* myfyrwyr Esgobawl Coleg Toronto.

Y mae capel Jarvis Street, lle y mae Dr. B. D. Thomas yn pregethu, yr un prydferthaf, ac yn un o'r rhai mwyaf yn y ddinas. Y mae ynddo eisteddleoedd i dri chant ar ddeg, a gellir rhoddi ynddo gadeiriau i dri chant yn rhagor. Y mae yn werth oddeutu cant a phymtheg ar hugain o filoedd o ddoleri; ac y mae yr *organ* wedi costio tair mil ar ddeg yn ychwanegol. Saif ar fan cyhoeddus ar gydiad dwy heol, fel y gwelir ef o gryn bellder, ac o bedwar cyfeiriad gwahanol. Y mae o arddull Gothic, wedi ei gyfaddasu i ddybenion diweddar. Y mae o geryg nadd, a'i glochdy yn myned i'r lan ganoedd o droedfeddi o'r llawr. Y mae iddo bedwar o ddrysau—un ar bob congl. Y tu ol i'r capel y mae amryw o ystafelloedd eang at wasanaeth y gweinidog, yr ysgol Sul, a'r cyfarfodydd gweddio. O dan y capel y mae cegin gyfleus, a chiniawfa eang a chysurus. Gadewch i ni fyned i mewn i'r capel dros y ris-ffordd sydd yn dringo i'r *platform* o'r tu cefn. Y mae yr olwg gyntaf arno yn eich siomi. Nid oes yna wychder nac un dysblead o liwiau addurniadol. Yr ydych yn eistedd ar y gadair esmwyth fawr sydd ar naill ochr y *platform*, ac yn dechreu craffu. O dan eich traed y mae carped chwaethus, trwchus a drudfawr. Ar ganol y *platform* y mae *stand* fechan gadarn at ddal y Beibl. Y mae yn sefyll ar un goes, a'i phen yr un faint a'r Beibl; dyna yr oll sydd rhyngoch a'r gynulleidfa. Y tu ol i'r *platform* y mae yr *organ* fawr, ac i lawr yn y sedd o'ch blaen y mae y *key board*. Yr ydych, erbyn hyn yn dechreu teimlo cadernid a sylweddolrwydd y cyfanwaith. Nid *putty*, na *varnish*, na *paint*, sydd yn llywodraethu yna, ond y coed caletaf a drudaf, y carpedau a'r velvedau mwyaf dilys ac addurniadol. Y mae y ty oddi fewn ar ddull pedol ceffyl. Y mae y mur y tu ol i'r *platform* yn union, tra y mae y muriau eraill yn ffurfio haner cylch; eto nid un cywir, ond rhywbeth ar lun pedol ceffyl, fel y dywedais. Y mae y seddau ar ganol y llawr gyferbyn a'r *platform*, fel y mur y tu ol iddo, yn uniawn, ac y mae y llawr ei hun yn wastad, Oddiamgylch y man gwastad hwn y mae y llawr yn cyfodi tuag at y mur, ac y mae y seddau yn cydredeg â'r mur, felly y mae pob sedd ar lun pedol ceffyl. Y mae gwyneb yr oriel yn union yr un fath, yn nghyd a phob sedd ar yr oriel. Nid oes un man yn mhell iawn oddiwrthych, a gallwch siarad â mil a haner o bobl bron mor hawdd ag y gallwch siarad â'ch gwraig yn y parlwr. Y mae y ty yn gafaelu ynoch, ac yn gweithio ei hunan i mewn i'ch cyfansoddiad; y mae rhagoriaeth ar ol rhagoriaeth yn dyfod i'r golwg, ac yr ydych yn ymgolli mewn edmygedd pur tuag at yr adeiladwaith cadarn, cyfleus, ac addurniadol.

Y mae yr *organ* yn rhodd un o chwiorydd yr eglwys. Costiodd iddi ar y dechreu ddeuddeg mil o ddoleri; ac yn ddiweddar gosodwyd *stop* newydd ynddi, sef y *vox humana;* costiodd hon fil yn ychwaneg. Cynyrchir gwynt i'r *organ* gan beiriant, yr hwn a yrir gan ddwfr, yr un modd ag y gyrir peiriant dyrnu Mr. Lewis, Ffostyfach. Y mae hyn yn beth go nodedig yn mhlith eglwysi yr holl Gyfandir; a mynych y pasia y *joke* ar Fedyddwyr Heol Jarvis, am nad allant chwareu yr *organ* heb gael dwfr. Dr. Wm. Horatio Clark yw organydd yr eglwys. Dyma yr athrylith cerddorol mwyaf a gyfarfyddais erioed. O dan ei fysedd, y mae yr *organ* fel peth byw.

Y mae yr eglwys yn cyfranogi o swper yr Arglwydd bob nos Sabboth.

# Barddoniaeth.

## Y GWAREDWR A'I DEYRNASIAD.

[Dyfyniadau o Awdl gan y Diweddar IOAN MADOG, yr hon a geir yn nechreu y Gyfrol a gyhoeddwyd yn ddiweddar o'i weithiau.]

Gwawr bur y Cyngor borau—a welid
Drwy niwl y cysgodau;
Duw o'i ras hyd yr oesau—roi'n gyson
Fyw addewidion, a rhyfeddodau.

O'i lys hardd heibio'i haul a ser—heibio 'i
Wibiog lu'r uchelder,
Drwy fydoedd luoedd lawer,
I'n byd ni daeth Mab Duw Ner!

Yn lle cledd, dyg wledd o glod,
I ddrysau'r ddaear isod.

Diferai myrr hyd fawr a mân—o'i wedd
Bu'n wir nawdd i'r truan.

O! yr a'mharch mawr yma—a gofid
Gafodd y Messiah;
Am ddim aeth plant Abra'm dda
I ryfel â'r Jehota.

Ei berlawg eurawg goron—newidiai
Am wawd a chableddion;
Dewisai'r poenau dwysion,
Hoffai wel'd y waewffon.

Digitized by Google

Y diafol godai, ufelog ydoedd,
Yn orwych, lawen, anerchai 'i luoedd.

I'w harweinydd hagr wyneb—hyd angau
Hwy dyngent ffyddlondeb,
A'u meddwl am ddial heb—byth wyro,
Na throi i ildio er pob cythreuldeb.

Ar ei fyddin rhyfeddai—y gelyn,
Eu golwg ganmolai;
A'i gân oedd mor rwydd y gwnai
Droi ei fantol drwy 'i fintai.

Ei udgorn seiniai, gollyngai'r llengoedd
Oll o'r diwaelod, dywyll ardaloedd;
Wrth agor bolltau dorau'r dyfnderoedd
I'w arfog gedyrn mor fywiog ydoedd;
Ac ar feirch ffiamiawg gynddeiriawg yroedd,
O berfedd anwn bwriai 'i fyddinoedd,
Yn llwon ei holl luoedd—drwy 'i dwyll hen
Ai heibio i Eden gan herio bydoedd.

Yn ei wylltineb melltenai—heibio
I bob peth symudai;
A chaddug uffern chwyddai—'i gasineb,
Rhag ei arw wyneb y ddaear grynai.

Y byd mawr, blinfawr ei bla—holl allu 'r
Ellyllon a'u traha
Wynebodd, dygodd, er da,
Eu gwaethaf ar Golgotha.

Ni chiliodd yr archelyn
Heb ei dâl gan Fab y dyn.

Er y llefain a'r llafur—a'r ysgwyd
Fu ar esgyrn natur,
Iach ydoedd y pechadur
A'i deimlad e' mal y dur.

Ei gorff heb ôl argraff y bedd—ddyrchai
Mewn ardderchog fawredd,
Ac ar ei iach, hawddgar wedd
Foreuliw anfarwoledd.

Ni ddarfyddodd dydd rhyfeddu
Ei angeu loes gan engyl lu.

Yn ei glwyfau i gleifion—y mae balm
O bob gwir gysuron;
Difyr waith hyfryd ei fron
Ail-eni ei elynion.

Deil ei gledd â dwylaw glân—fe rwyga
Frigog deyrnas Satan;
Tyr bwys holl deirw Basan,
Dyry dwyll y byd ar dân,

Pob cur a dolur drwy'r daith—a wellheir
Yn llaw'r meddyg perffaith;
Gwaed y groes a gwyd y graith,
Na welir moni eilwaith.

I rai isel mewn mawr eisiau—dygodd
Degwch gras i'r golau;
Drws aur ei lawn drysorau
Egyr Ef gan drugarhau.

Yr Iuddewon adre' ddeuant—a'u cred
Yn Iawn Crist a'u haeddiant,
A'r cenedloedd ar g'oedd gânt
Haf-wleddoedd y milflwyddiant.

Ond tyn y byd hwn i ben—ei yrfa,
Derfydd oes yr heulwen.

Er ei rym mawr, yr awrhon—rhy anhawdd
I frenin y meirwon
Fydd dal yn mherfedd y don
Ei filoedd mewn gafaelion.

Yr annuwiol i'w garchar newydd—droir
Drwy warth a chywilydd;
A gair y farn gywir fydd
Ar ei go' yn dragywydd.

O! dyrfa fawr ddiderfyn—a chwery
Ei chywrain aur-delyn,
Nas gall y craff seraff syn
A'i dalent gref ei dilyn.

'E ga'r dedwydd gredadyn—gydchwareu
Gyda cherub claerwyn,
A rhodio 'n ddifyr wed'yn
Efo'r Brawd fu ar y bryn.

---

## ENGLYNION

O gydymdeimlad ag anwyl chwaer, Mrs. ANN LEWIS, Lansford, Pa., ar ol colli ei phriod hoff yn yr angau.

---

Hen angau yn ei ingoedd—dramwya
Yn drwm ein hardaloedd;
Myn'd i lawer mwyn deuluoedd
A wna y trystfawr gawr ar g'oedd.

Gwilym sy'n awr mewn gwaelod—bedd dystaw,
Bydd destyn i'w briod;
I daer ollwng o drallod
Ddagrau hiraeth mewn aeth od.

Na wyla, chwaer, o waeledd—dy galon,
Da i gael amynedd;
A dod fawl, ie, hyd fedd,—i'r Iesu
A wna waredu a dwyn anrhydedd.

SIMON A. LEWIS.

---

# Y Maes Cenadol.

GAN Y PARCH. W. F. DAVIES, NANTICOKE, PA.

### MADAGASCAR.

Yn y flwyddyn 1861 bu farw Ranavalona I., a da i'w phobl ydoedd hyny. Yn ei lle daeth Radama II. i'r orsedd. Rhoddodd ef derfyn ar yr erlid a'r lladd ar unwaith, ac agorodd y wlad i'r cenadon. Pan aeth cenadon

Digitized by Google

yno y tro hwn, gwelsant ar unwaith nad oedd llosgi y saint wedi bod yn effeithiol o gwbl i ddifodi dylanwad y gwirionedd o'r tir. Yn lle bod rhif y Cristionogion yn llai, fel y dysgwylid yn naturiol iddo fod dan amgylchiadau o'r fath, yr oedd wedi cynyddu. Pan ymadawodd y cenadon yn 1835, bernir nad oedd yno ond tua 300 yn grefyddol, ond pan ddychwelodd y cenadon yn 1861, cawsant 700 o ganlynwyr selog i'w croesawu. Ni fu Radama II. ar yr orsedd ond dwy flynedd. Aeth yn fuan yn ddyn meddw, a gwnaeth weithred yn ei feddwdod y pryd hwnw sydd yn achos o'r gofid y mae yr ynys yn awr ynddo gyda Ffrainc. Teyrnasodd ei weddw ef yn ei le hyd y flwyddyn 1868, ac yna daeth Ranavalona II. i'r orsedd, sef yr hon a fu farw yn ddiweddar. Yn mhen blwyddyn wedi i Ranavalona ddyfod yn Frenines, bedyddiwyd hi, a hefyd ei phrif weinidog, yr hwn oedd newydd ddyfod yn briod iddi hi. Yn awr gwawriodd cyfnod newydd ar Madagascar. Llosgwyd y delwau trwy yr holl wlad, a bu chwyldroad cyffredinol yn marn ac arferion crefyddol y bobl. Golygfa ryfedd oedd gweled y bobl yn wirfoddol o honynt eu hunain yn cymeryd coed y *fence* oedd o gylch eu teml gysegredig, a'u gosod ar dân, yna dwyn allan y duw oeddent hwy, a'u tadau o'u blaen, wedi plygu yn ddefosiynol o'i flaen ganwaith, a'i osod yn y tan i losgi, fel y gwnaethant a'r Cristionogion ychydig cyn hyny. Gwir fod yno rai yn dweyd na allent ei losgi, am ei fod yn dduw. "Os ydyw yn dduw," medd y swyddogion, "losga efe ddim, ond ca dreial." Ac i'r tan ag ef; ac wedi ei osod yn y tan, gwelwyd nad oedd ronyn o wahaniaeth rhyngddo a'r *fence* oedd yn amgylchynu ei le cysegredig. Ni welwyd Cristionogaeth erioed yn enill buddugoliaeth hwyrach nag yn y fan hono; ac y mae ei effeithiau daionus wedi aros hyd y dydd hwn.

Yn fuan wedi hyn danfonodd y bobl at y Frenines, i ofyn pa beth a addolent yn y dyfodol, gan fod eu duwiau oll wedi eu llosgi. Apeliodd hithau at y Cristionogion am athrawon. Wedi chwilio, cafwyd o 280 o bentrefydd fod 120 o honynt yn barod yn meddu ar eglwysi Cristionogol; ac nid hir y buwyd cyn cael athrawon i'r lleill. Y mae llwydddiant y gwaith yn Madagascar wedi bod yn rhyfeddol. Mae yn yr ynys hono heddyw 1,100 o eglwysi Cristionogol, a 70,000 yn aelodau ynddynt. Bernir nad oedd llai na 250,000 yn bleidiol i grefydd Mab Duw yno yn awr. Mae yn ysgolion y wlad 48,000 o ysgolheigion. Mae y wlad yn myned rhagddi yn gyflym, yn wleidyddol, cymdeithasol, a chrefyddol. Bydd yn drueni mawr os ca Ffrainc lonydd i niweidio y wlad hon yn awr, trwy gymeryd mantais o'r amgylchiadau cyfyng y mae ynddo; ïe, byddai yn warth ar wareiddiad y ganrif hon i adael unrhyw deyrnas i daflu y rhwystr lleiaf ar ffordd gwlad yn dod i fyny trwy ymdrech mor galed ag y mae Madagascar yn awr ynddo. Yn ddiddadl gwell i'r ynys yw i Ffrainc gadw draw. Y mae y bobl hyn dan deyrnged drom i'r ddynes ragorol sydd newydd eu gadael. Yr oedd ei bywyd pur a'i hymarweddiad Cristionogol yn un o'r prawfion cadarnaf dros werthfawredd crefydd yr "Anwyl Fab." Rhodded Duw ei thebyg i eistedd ar yr orsedd yn ei lle.

---

# Gwladyddiaeth y Mis.

GAN Y PARCH. J. EDRED JONES.

Y pwnc gwladyddol pwysicaf i'w groniclo y mis hwn ydyw etholiadau Talaethol y mis diweddaf. Pan yn ysgrifenu yn fuan ar ol etholiad Ohio yn Hydref, bum yn ddigon beiddgar i ddywedyd: "Nid yw yr etholiad Arlywyddol yn 1884 wedi ei benderfynu gan etholiad Ohio, y mis diweddaf, o lawer," &c. Rhaid cyfaddef, er hyny, fod llwyddiant y Democratiaid eleni wedi achosi pryder mawr i bob Gwerinwr deallus drwy y wlad. Yr oedd llwyddiant y blaid hono y llynedd yn y Talaethau a ystyrid yn *strongholds*

Digitized by Google

Gwerinol, gyda mwyafrif anferth, a'i gysylltu a llwyddiant yr un blaid yn etholiad *cyntaf* y flwyddyn hon, a hyny mewn Talaeth a ystyrid yn Werinol, yn argoeli yn dywyll iawn am lwyddiant Gwerinol mewn Talaethau eraill yn Tachwedd. Heblaw hyn, yr oedd llawer o le i ofni nad oedd y rhwygiadau hyny yn y blaid Werinol, a fu yn brif achos i'r Democratiaid lwyddo yn y flwyddyn flaenorol, ddim wedi gwella ond yn arwynebol. A chymeryd pob peth i ystyriaeth, nid oedd ond gobaith gwan am lwyddiant Gwerinol eleni. Yr oedd mor wan fel ag i ymylu ar anobaith cyffredinol, a'r anobaith hwnw yn creu difaterwch. Peidiodd degau o filoedd a *registro* eu hunain, a thrwy hyny yn amddifadu eu hunain o'r hawl i duebu. Heblaw hyn, nid oedd gan y Gwerinwyr ond ychydig iawn o arian i'w gwario ar yr etholiad. Yna nis gellid anfon ond ychydig o ddynion allan i areithio, ac ni wasgarwyd ond y nesaf peth i ddim o bamphledau politicaidd. Gellir cyfrif i raddau am y difaterwch a'r anweithgarwch hwn ar ran y Gwerinwyr, pan gofiom eu bod yn gorwedd mewn rhai Talaethau o dan *ddau can' mil* o fwyafrif i'w herbyn; ond o'r diwedd daeth y 6ed o Dachwedd, aed trwy y ffurf etholiadol oreu y gellid, a boreu dranoeth crochfloeddiau y Gwerinwyr, "*We came, we saw, we conquered.*" Adenillwyd Talaethau mawrion New York a Pennsylvania yn ol i'r rhengoedd Gwerinol, gyda digon o fwyafrif yn eu Deddfwrfeydd i gario allan unrhyw fesurau a farnant yn angenrheidiol. Diolch am hyny. Aeth Talaeth wamal Jersey Newydd yn Ddemocrataidd; a thrwy ddylanwad pistolion a llawddrylliau, gyda phethau diniwed (?) eraill, i ddychrynu y Negroaid a'u cadw oddiwrth y *polls*, cafodd Bourboniaid penau-coprog Virginia oruchafiaeth ar Mahone a'i gyfeillion yr Addrefnwyr yn yr hen Dalaeth hono. Lloriwyd Ben Butler yn Massachusets, a gwnaed Connecticut yn Werinol. Y mae llawer o'r Talaethau Gorllewinol wedi sefyll yn y rhengau gyda'u mwyafrif arferol, er clod iddynt eu hunain. Aeth yr holl Dalaethau Deheuol yn Ddemocrataidd, fel arfer. Mae yn hawdd cyfrif am hyn.

Mewn gair, mae y Gwerinwyr wedi llwyddo, yn gyffredinol, yn mhell tu hwnt i'w dysgwyliad, a theimla pawb yn llawen, ond y Democratiaid. Yr oedd yr etholiadau iddynt hwy yn ergyd syfrdanol rhwng eu llygaid, ac edrychant oddiar hyny yn haner hurtiedig. Yr oeddynt wedi credu yn ddiweddar fod y wlad wedi penderfynu eu dychwelyd eto i awdurdod wladwriaethol. Meddylient fod y wlad wedi blino ar y Gwerinwyr, ac yn myned i ymddiried awenau y llywodraeth i'w cymhwysderau, i'w medrusrwydd, i'w gonestrwydd (?), ac i'w purdeb politicaidd hwy, fel plaid newynog. Yn coleddu y grediniaeth yna, bloeddiai rhai o'u newyddiaduron mwyaf dallbleidiol, er ys misoedd bellach, agos bob dydd, "The Republicans must go." "Turn the rascals out," &c. Ond er eu bod yn

"Dysgwyl pethau gwych i ddyfod,
*Croes* i hyny maent yn d'od."

Druan o honynt, heddyw. Gwisgant wynebau hirion. Mae eu newynogion politicaidd yn edrych ar gistiau llawnion a byrddau huliedig 'Fewythr Sam â llygaid amheus a gânt hwy byth y pleser o osod eu dwylaw yn y naill, nac eistedd wrth y lleill. Os bydd y Gwerinwyr yn arfer doethineb yn newisiad dynion *cymhwys*—dynion o gymeriadau *gonest*, dynion *teilwng* o ymddiried y cyhoedd, i redeg am swyddi uchel, a *chydweithio* i'w hethol yn etholiad cyffredinol y flwyddyn nesaf, a llawer blwyddyn ar ol hono, ni fydd raid iddynt ofni y canlyniadau. Nid yw y wlad wedi anghofio castiau y Democratiaid eto, ac nid yn fuan y bydd yn foddlon ymddiried pwrs a chredyd y wlad i'r blaid a fu mor ddiweddar yn ceisio ei llindagu. Yn ymdrechfa 1884 bydd y *solid South* yn erbyn y *solid North.* Er nad dymunol hyn, felly y bydd.

—Dygwyddodd ffrwydriad ar y 7fed o'r mis diweddaf yn nglofa Moorfield, Accrington, Lloegr. Lladdwyd 67 o bersonau.

Digitized by Google

## HANESION CARTREFOL.

### At Eglwysi Cymanfa Dwyreinbarth Pennsylvania.

Anwyl Frodyr: Galwyd sylw ein heglwysi yn Nghynadledd ein Cymanfa ddiweddaf at "*Fwrdd Addysg Bedyddwyr Pa.*," yr hwn sydd yn darparu cynorthwy idd ein brodyr ieuainc er eu cymhwyso i waith y weinidogaeth. Y mae unarddeg o honynt yn awr (oll yn Gymry) yn derbyn addysg yn Lewisburg, Crozier, &c., ac wedi derbyn cymeradwyaeth eich pwyllgor i agoryd drysau athrofaol iddynt.

Penderfynwyd, *Ein bod yn anog yr eglwysi i fwy o gydymdeimlad a'r Bwrdd, a gwneyd yr amlygiad o hyny yn eglurach drwy eu cyfraniadau.*

Mae awdurdodau y Coleg yn Lewisburg, yn nghyda'r Bwrdd Addysg, wedi penderfynu i gyfnewid yr hen gynllun o gasglu, a mabwysiadu dull ein brodyr yn Nghymru, er sicrhau mwy o gydymdeimlad, gweithgarwch, a chydweithrediad yn yr eglwysi Cymreig tuag at y sefydliad teilwng a bendithiol hwn.

Ymgymerir a'r casgliadau blynyddol eleni gan y myfyrwyr apwyntiedig i'r gwaith; felly, ni bydd angen i'r eglwysi ddarparu eu cyfraniadau i'r goruchwylydd, Dr. Spratt. Geilw y myfyriwr am danynt. Taer erfynia y brodyr sydd yn ffurfio y Bwrdd Addysg ar yr eglwysi i ddarpar erbyn yr amser y bydd y myfyrwyr yn dyfod oddiamgylch. Bydd hyny yn niwedd mis Rhagfyr a dechreu Ionawr, 1884. Y brodyr anwyl sydd wedi eu neillduo i'r gwaith ydynt Henry J. Roberts, Plymouth, a D. M. Jones, Lansford. Mae i bob un o honynt ei gylch, gan fod yr eglwysi wedi eu rhanu i ddau ddosbarth.

Dosbarth Mr. Roberts: Nanticoke, Plymouth, Kingston, Wilkesbarre, Parsons, Pittston, Taylorville, Hyde Park, Providence, Olyphant, &c.

Dosbarth Mr. Jones: Danville, Shamokin, Ashland, St. Clairs, Pottsville, Minersville, Lansford, Summit Hill, Audenried, Mahanoy City, Shenandoah, Slatington, Drifton, ac Upper Lehigh.

Derbynier y brodyr yn serchog fel gweision Crist, a gwneler yr oll a ellir tuag at lesoli ein ol-oeswyr, drwy osod gwylwyr ffyddlon ar furiau Seion.

J. P. Harris, *Ysg. y Gymanfa.*

### Wilkesbarre, Pa.

Mr. Gol.: Fe ddichon y byddai yn dda gan rai o ddarllenwyr y Wawr weled ychydig o hanes Bedyddwyr Cymreig y lle hwn. Yr ydym yma heb weinidog oddiar Tachwedd 14, 1880. Paham yr ydym wedi bod cyhyd felly, sydd gwestiwn anhawdd i'w ateb. Nid am fod yr eglwys yn lleihau mewn rhifedi yw yr achos. Mae yr eglwys yn agos mor lluosog yn awr ag y bu erioed. Nid am fod y gwrandawyr yn ddifater am weinidog yw yr achos; na, y mae y gwrandawyr yn awyddus am gael gweinidogaeth gyflawn a sefydlog, yn lle un hanerog ac ansefydlog. Yr ydym yn cael gweinidogaeth bob yn ail Sabboth, trwy garedigrwydd y brodyr yn y weinidogaeth; ond y mae cymaint o angen gweinidogaeth wythnosol arnom ag sydd o angen gweinidogaeth Sabbothol. Ac y mae yn resyn meddwl fod y fath le a Wilkesbarre heb weinidog gan y Bedyddwyr Cymreig. Wn i ddim am un esgusawd dros hyny, Mr. Gol., os na wna *diofalwch* y tro. Y mae wedi bod yn hen ddywediad yn mhlith Bedyddwyr Wilkesbarre, mai yr achos o aflwyddiant y Bedyddwyr yma oedd, ac yw eto, o ran hyny, fod y capel o'r neilldu ac yn anghyfleus i bobl fyned iddo. Diau fod hyn yn cael ei ddyweyd hefyd gan lawer a'i gwelsant, heblaw y Wilkesbarriaid. Mae yr eglwys wedi dyfod i'r penderfyniad i symud hyn o achos yr aflwyddiant, trwy wneyd dau anedd-dy o'r hen gapel, ac adeiladu un newydd i addoli ynddo ar gongl Northampton a Sherman streets. Y mae hwn yn lle cyfleus iawn, a phan welir y capel newydd wedi ei adeiladu yn y man hwn, hyderir y ceir gweled mwy o gyrchfa pobloedd iddo nag a welwyd i'r hen.

Digitized by Google

Sabboth, Tachwedd y 4ydd, cawsom ein gwasanaethu mewn modd grymus ac adeiladol gan y Parch. J. Edred Jones, Pittston. Y prydnawn, ar ol yr ysgol, cawsom yr hyfrydwch o weled Mr. Jones, yn ngwydd tyrfa luosog o edrychwyr, yn bedyddio tri o ddeiliaid ffyddlon yr ysgol Sabbothol. Gweinyddwyd yr ordinhad yn nghapel y Bedyddwyr Saesonig, am nad oes bedyddfan yn y capel hwn.—*R. C.*

---

PITTSBURGH, PA.

Hwyr Tachwedd 8fed, bu *surprise party* yn nhy y cyfaill T. Cadwgan Jones, er mwyn anrhegu Miss Hannah Jones â rhodd deilwng am ei hymdrechion efo'r *tea party* a gynaliwyd yn ddiweddar yn nghapel y Bedyddwyr Cymreig. Yr oedd dwy o ferched yn rhedeg am lestri tê a gafwyd o China. Miss Mary Davies, trwy ymdrech galed, fu mor ffodus a'u henill; ond rhedodd Miss Jones yn rhagorol, os na enillodd y "gamp;" felly, meddyliodd chwiorydd yr eglwys y dylesid ei gwobrwyo hithau hefyd, a hyny heb yn wybod iddi. Neithiwr oedd y noson i'r pwrpas. Y Parch. D. Rhoslyn Davies a gyflwynodd y rhodd iddi dros y pwyllgor. Cafwyd noswaith lawen, ac ni anghofir yn fuan groesawiad a charedigrwydd y teulu.

Clywsom fod eglwys heol Chatham wedi clirio tua $400 oddiwrth y *tea party*. Y mae arian yn musnes y tê yma yn wastad, a bydded ein cyfaill Owen T. Jones yn dyst.—*Amen.*

---

SEFYDLIAD ACHOS YN WARRIOR RUN, PENNSYLVANIA.

Dydd Sul, Tachwedd 4ydd, sefydlodd eglwys y Bedyddwyr Cymreig yn Nanticoke, Pa., gangen yn Warrior Run, er cyfleusdra brodyr a chwiorydd yn byw yn Sugar Notch a Warrior Run. Rhifa yn bresenol 21 o aelodau, ac mae y rhagolygon yn ffafriol iawn. Cynaliwyd y cyfarfodydd ddiwrnod y sefydliad yn yr *hall* yn Warrior Run. Boreu Sul, daeth y Parch. W. F. Davies drosodd o Nanticoke, ac yn ei gwmni amryw frodyr o'r fam eglwys. Pregethodd dair o bregethau gwir bwrpasol ac efengylaidd, ac yr oedd arwyddion amlwg fod nerth dwyfol y genadwri yn cael ei deimlo. Erbyn yr hwyr, yr oedd yr *hall* wedi ei llanw, a phawb wrth fodd eu henaid. Wedi y bregeth y prydnawn, neillduwyd swyddogion y gangen, sef Thomas Williams, Sugar Notch, a John Lloyd, Warrior Run, yn ddiaconiaid; Joseph Lloyd yn Drysorydd; W. J. Richards yn Ysgrifenydd; a John Evans, Sugar Notch, a James Davies, Warrior Run, i ofalu yn fisol am y casgliadau. Os gwna y brodyr eu goreu, fel y credwyf y gwnant, mae llwyddiant yn lled sicr, ond cael bendith Duw ar y llafur. Deallwyf fod Cymdeithas Genadol y Bedyddwyr Cymreig yn bwriadu cynorthwyo i gynal pregethu yma mor aml ag y byddo modd. Mae y gangen yn benderfynol o wneyd ei goreu hefyd, fel y dengys yr addewidion nos Sul; fel, rhwng yr addewidion a'r Genadaeth Gymreig, y gallwn ddysgwyl doniau yr enwad Bedyddiedig yn dra mynych. Llwyddiant a'i dilyno.—*Goheb.*

---

*BEDYDDIWYD—*

Sabboth, Hydref 14, bedyddiwyd un ar broffes o'i ffydd yn Nghrist, yn Coalburgh, y Parch. J. W. James, Ridge, yn gweinyddu.—*Bedyddiwr.*

---

*GANWYD—*

Awst 27, 1883, yn Arnot, Pa., mab i Mr. Philip Williams a'i briod. Gelwir ef Enoch.

Mae Enoch bach yn hynod hardd,
Fel perl o ardd paradwys;
Mae i dad a'i fam yn credu 'n siwr
Bydd hwn yn wr diamwys.

---

*PRIODWYD—*

Medi 12, 1883, yn Nekama, Wis., yn nhy Mr. John S. Thomas, sef cartref y briodasferch, gan y Parch. W. Jones, Mr. John W. Goosemann, o Oshkosh, a Miss Ida Thomas o Nekama. Derbyniodd y pâr ieuanc lawer o roddion gwerthfawr a defnyddiol ar y pryd.

Hydref 20, 1883, yn Ridgeway Wis., yn nhy rhieni y briodasferch, gan y Parch. John Thomas, Mr. Enoch Thomas, Barneveld, a Miss Margaret Thomas, o'r lle uchod.

Digitized by Google

Hydref 22, 1883, yn nhy rhieni y briodasferch, Mr. Evan a Margaret Morris, Nanticoke, Pa., gan y Parch. W. F. Davies, Mr. Solomon Havard a Miss Martha Jane Morris, yr oll o Nanticoke.

Hydref 27, 1883, yn ei dy ei hun, gan y Parch. W. F. Davies, Mr. Benjamin Davies a Miss Minnie Morgan, y ddau o Nanticoke, Pa.

Tachwedd 1, 1883, yn ei dy ei hun, gan y Parch. W. F. Davies, Mr. David E. Richards a Miss Hattie Hobitz, oll o Nanticoke, Pa.

---

## *BU FARW—*

### MR JOHN W. JONES.

Yr oedd gwrthddrych y cofiant hwn yn fab i Thomas a Sarah Jones, o Estrad, Sir Aberteifi, D. C. Ganwyd ef yn y flwyddyn 1812. Pan yn 27 mlwydd oed, priododd Mary, merch Samuel a Hannah Morris, o Lanelli, D. C., yn y flwyddyn 1839. Yn mhen tair blynedd wedi hyny, sef yn 1842, symudodd gyda'i deulu i America, a sefydlodd gyntaf yn Granville, Ohio. Symudodd oddiyno yn y fl. 1846 i Upper Canada, ac yno cymerodd at amaethyddiaeth. (Saer coed oedd wrth ei gelfyddyd.) Symudodd drachefn yn y fl. 1858 i Hamilton, La Crosse Co., Wis., lle y prynodd ffarm, yr hon a wnaeth yn gartref cysurus iddo ei hun a'i deulu.

Ganwyd iddo saith o blant, o'r rhai y mae pump yn fyw, un yn wraig weddw, yn byw gerllaw ei theulu, pedwar gartref gyda eu mam, sef dwy ferch a dau fab, y rhai ydynt yn ddynion ieuainc sobr a gweithgar; a thrwy eu diwydrwydd hwy a'u rhieni, daethant i feddiant o gartref cysurus a llawn.

Yr oedd iechyd ein cyfaill hoff yn gwaethygu er ys rhai blynyddoedd cyn ei farw, ac arwyddion amlwg nad oedd dydd ei ymddatodiad yn mhell; felly wedi hir nychdod bu farw Mai 13, 1883. Cafodd bob gofal a thynerwch yn ei gystudd, oddiwrth briod tyner a phlant serchog, heblaw cymorth meddygol, ond er y cwbl, angeu a orchfygodd, ac a roddodd derfyn ar ei yrfa ddaearol yn y 72ain fl. o'i oedran.

Cymerodd ei angladd le ar yr 16eg, pryd yr hebryngwyd ei gorph i gladdfa gerllaw Bangor. Gweinyddwyd ar y pryd i'r lluaws perthynasau a chyfeillion gan y Parch. J. P. Evans, (A.) Dymunwyd gan yr ymadawedig ar i'r ysgrifenydd bregethu ei bregeth angladdol oddiwrth y geiriau yn 2 Cor. 5: 1; a chan nad oeddwn gartref ar adeg ei gladdedigaeth, pregethais, yn ol ei ddymuniad, yn Bangor, Sabboth y 27ain.

Gallaf ddyweyd am fy hen gymydog hoff, J. W. Jones, ar ol cael dros ugain mlynedd o adnabyddiaeth ag ef, i mi ei gael bob amser yn gymwynasgar, hynaws, caredig, a haelionus. Yr oedd yn ofalus am ei deulu, yn ffyddlawn fel priod, yn dyner fel tad, ac yn cael ei hoffi gan bawb o'i gymydogion Boedd heddwch i'w lwch i orphwys hyd foreu yr adgyfodiad cyffredinol; a bydded amddiffyniad Dwyfol dros ei weddw oedranus, a'i blant oll, yw dymuniad ei hen gyfaill hiraethus,

W. JONES.

### MORGAN P. DAVIES.

Tach. 12, 1883, ger Pottsville, Pa., Morgan P. Davies, mab y diweddar John Davies, Belmont. Y dydd Mercher canlynol, am dri o'r gloch, daeth torf luosog at dy ei fam weddw, yn Cwmbwrlu, i'w angladd, pan y gweinyddwyd gan y Parch. R. Edwards, Pottsville.

### MRS MARY WILLIAMS.

Medi 28, yn Coalburgh, Ohio, yn 55 oed, Mrs. Mary Williams, anwyl briod y brawd ffyddlon William B. Williams, diacon yn yr eglwys Fedyddiedig yn y lle uchod. Cymerodd y cyfnewidiad le yn hynod o ddisymwth. Yr oedd hi a'i hanwyl briod nos Fercher mewn cwrdd gweddi yn y capel, yn iach a siriol, a'r un o honynt, na neb arall, yn meddwl fawr fod brenin y dychryniadau wedi anelu ei saeth farwol at ffynonell ei bywyd; ond tuag unarddeg o'r gloch y noson hono wele ef yn ei gollwng oddiar ei fwa nerthol, ac ni fethodd daro ei nod. Methodd medrusrwydd y meddyg, ffyddlondeb cymydogion, a dagrau ei phriod a'i phlant achub ei bywyd—nid oedd dim yn tycio, ac erbyn deg o'r gloch nos dranoeth yr oedd brenin y dychryniadau wedi gorphen ei waith, a'r wreichionen fywiol wedi esgyn i fyny at Dduw, yr hwn a'i rhoes.

Yr oedd y chwaer Williams yn hanu o deulu crefyddol a chyfrifol iawn. Enw ei thad oedd Richard Dafydd Richard. Bu ef yn ddiacon parchus a gwir gymeradwy am flynyddoedd lawer yn Penuel, Rhymni, D. C. Yr oedd y plant unwaith yn wyth o rifedi, dau fab a chwech o ferched; ond erbyn heddyw nid oes ond un o honynt yn aros yn y fuchedd hon. Y mae y brawd hwnw yn ddiacon parchus yn hen eglwys ei dad. Cafodd Mary aros gyda ni hyd yn ddiweddar, ond fe'i cymerwyd hithau fel y lleill oddiwrthym. Nid dyma ein gorphwysfa. Yr oedd tueddiadau crefyddol yn ein chwaer yn dra boreu. Bedyddiwyd hi ar broffes o'i ffydd yn Nghrist pan o gwmpas pedairarddeg oed, gan y Parch. Morgan James. Efe oedd gweinidog Penuel yr amser hwnw. Bu y broffes dda a wnaeth o Iesu y pryd hwnw, yn ol dim a wyr yr ysgrifenydd, yn ddifwlch hyd y diwedd. Ymunodd mewn glan briodas a'r brawd Williams, a buont byw yn Rhymni am rai blynyddoedd, yna ymfudasant i'r wlad hon. Buont byw am dymor yn Pomery, O., wedi hyny yn Jackson, a thuag un mlynedd ar bymtheg yn ol, daethant i Coalburgh, ac yno y gorphenodd ei daearol daith. Bu iddynt deulu lluosog—deuddeg o blant, pump o'r rhai a groesodd yr afon o'i blaen hi. Y mae saith yn aros i gyd-alaru a'u hanwyl dad ar ol eu mam ffyddlon a thyner.

Digitized by Google

Dim ond i ni edrych o wahanol gyfeiriadau ar wrthddrych y cofiant hwn, gellir dyweyd yn ddibetrus am dani ei bod yn un o ragorolion y ddaear. Fel priod, yr oedd yn drefnus, gofal us, a hynod mewn gloewder. Fel mam, un a feddai deimladau hynod o dyner at ei phlant ydoedd: er hyny, cadwai o fewn terfynau rhesymol. Cynghorai hwynt, a bucheddai yn dda o'u blaen. Fel cymydoges, yr oedd yn wir dangnefeddus a chymwynasgar, a pharod iawn ar unrhyw alwad, a dywed yr ardalydd-ion yn gyffredinol ddarfod iddynt gael colled fawr iawn yn ei marwolaeth. Fel crefydd-wraig yr oedd yn dra ffyddlon a selog yn yr hyn a dybiai oedd yn ol y Gair, ac y mae eg-lwys barchus Coalburgh mewn galar dwys ar ei hol. Collodd un o'i ffyddloniaid pan goll-odd y chwaer Williams. "Ei lle nid edwyn ddim o honi mwy." Na, teithiodd lwybr ar hyd yr hwn ni ddychwela. Hi a ehedodd ymaith, gan adael priod tyner, a saith o blant, mewn galar a dagrau ar ei hol. Ffarwel, fy chwaer, huna yn dawel mwy; deuaf atat yn mhen gronyn bach. Y rhinweddau a ddys-gleirient ynot pan ar y llawr ydynt heddyw yn dwyn gwawr anfarwol. Yn dy ymadawiad newidiaist er dy well. Cefaist goron yn lle croes, a phalmwydd yn lle y cleddyf. Bu marw yn elw it.

Y 30ain oedd dydd ei hangladd, a daeth torf fawr iawn yn nghyd, er cyflwyno yr hyn oedd farwol o honi i'r ddaear. Dygwyd y corph yn araf o'r ty i'r addoldy, a gweinydd-wyd ar yr achlysur gan y Parch. Thomas Thomas, Sharon, Pa., a'r ysgrifenydd, yna awd yn dorf fawr tua'r hen fynwent ger Hub-bard, lle ei rhoddwyd i huno hyd ganiad yr udgorn, pryd y deffroa ar wedd ei phriod Iesu, i beidio huno mwy. Yr Arglwydd a fyddo yn noddwr i'w phriod a'i phlant galarus. Nos Sul, Hydref 14, traddododd yr ysgrifenydd ei phregeth angladdol i dorf luosog ac astud.

J. W. JAMES.

Bydded i bapyrau Cymru godi yr uchod, er mwyn y perthynasau sydd yno.

### JOHN S. DAVIES, SUMMIT HILL, PA.

Pan mae enwogion y byd yn syrthio dan law angeu, galerir yn ddwys am danynt, tristwch a phrudd-der a leinw lawer bron. Nid felly yn gyffredinol y mae ar ol y Cristion duwiol, er mai efe yw y gorchfygwr mwyaf o bawb. Dechreua efe ei yrfa yn ddisylw o du y ddaear. Y mae yn rhedeg am y gamp yn ddystaw, ac yn gorphen ei yrfa yn dawel mewn tangnefedd. Nid canmol-iaeth dynion yw ei ymgais; y mae gan-ddo amgen dyben mewn golwg, sef, bod yn gymeradwy ganddo Ef. Y mae yn ymorchestu, pa un bynag ai gartref ai oddicartref, am fod yn gymeradwy gyda Duw; a chredwn mai dyna gym-eriad gwrthddrych ein cofiant.

Ganwyd John S. Davies yn Hendy, Pontyfen, yn mhlwyf Llanfihangel-ar-Arth, Sir Gaerfyrddin, yn y flwyddyn 1811. Mab ydoedd i David Samuel Davies ac Ann ei briod. Nis gwydd-om ond ychydig am dano yn moreu-ddydd ei oes. Tebyg na chafodd nem-awr fanteision i gyrhaedd dysgeidiaeth, ond cafodd addysg grefyddol ar aelwyd ty ei dad, i'w gymhwyso i wynebu ar brofedigaethau y byd, a siomedigaeth-au bywyd o galedwaith. Modd bynag, yr oedd yn hoff iawn o ddarllen, ac yn dra hyddysg mewn pethau gwladwr-iaethol a chrefyddol. Yr oedd yn ddyn o farn gywir a chraffus; yn rhy onest i fod yn ddau-wynebog, ac yn rhy dryloew i fod yn rhagrithiwr; yr oedd yn annibynol ei farn, yn fanwl ei syl-wadaeth, ac yn barod iawn i ddatgan ei farn, heb ofni digio na chymydog na chyfaill. Nid yn nghefn ei gyf-aill y cyhoeddai efe yr hyn a ys-tyriai yn feiau, ond bob amser yn ei wyneb. Hyn oedd un o nodweddion arbenig cymeriad ein brawd ymadaw-edig.

Bu John Davies yn hapus yn ei gys-ylltiad priodasol. Yn 1834, priododd yn Merthyr Tydfil, ag Elizabeth Hughes, genedigol o Aberteifi, yr hon a fu iddo yn ngwir ystyr y gair yn "ym-geledd gymwys." Er yn nychlyd ei hiechyd yn aml, y mae wedi goroesi ei hanwyl briod, a'i chalon heddyw yn dwys hiraethu ar ei ol. Dechreuasant eu gyrfa briodasol yn Victoria, Sir Fynwy; ond cododd ynddynt awydd i ymfudo i America, ac yn y flwyddyn 1841 canasant yn iach i "wlad y bryn-iau," gan wynebu ar Fyd y Gorllewin, a glaniasant, ar ol mordaith drafferthus yn Alexandria, Va., yn mis Mehefin. Yr oeddynt eto yn mhell oddiwrth un sefydliad Cymreig, mwnyddol nac am-aethyddol, a chan fod Minersville, Sir Schuylkill, y pryd hwnw yn faes add-awol yn nglo-barthau Pennsylvania, tuag yno y cychwynasant, ac yno yr aroswyd hyd y flwyddyn 1849. Yno yr ymwasgasant at ddysgyblion Iesu

Digitized by Google

Grist, ac yno y bedyddiwyd y brawd a'r chwaer ar broffes o'u ffydd yn Mab Duw, gan yr hybarch William Morgan, Pottsville. Cangen o eglwys Pottsville oedd Minersville y pryd hwnw, a'r brawd Morgans ar ei gylch yn tori iddynt fara y bywyd. Yr oedd y brawd Davies a'i briod o nifer yr aelodau gwreiddiol yn nghorphoriad eglwys Minersville. Dywedodd y brawd wrthyf, flynyddau ar ol hyny, "ei fod wedi gallu llyncu y Cyffes Ffydd yn un cyfanswm, gan roddi ei *gonstruction* ei hun arni; ond nas gallai ei llyncu yn ei rhanau gwahanredol heb dagu." Yr oedd ei syniadau yn rhyddfrydig a goleu.

Yr oedd efe hefyd yn un o'r rhai mwyaf gwresog yn croesawu y brawd J. P. Harris i fugeiliaeth yr eglwys yn 1845—bugail cyntaf yr eglwys, yr hon wedi hyny a fu yn hynod lewyrchus a llwyddianus am hir flynyddau. Aeth yr hen addoldy yn fuan yn rhy fychan i gynwys y gynulleidfa, a bu ein brawd yn un o'r ffyddloniaid—un parod i gynorthwyo yn adeiladaeth y ty newydd, yr hwn a saif yn bresenol, a gellir dyweyd gyda'r Salmydd "fod y gwr a'r gwr wedi ei eni yno." Teimlai gwrthddrych ein coffa gynhesrwydd at yr achos yn Minersville, ac ymlyniad wrtho hyd y diwedd. Ond yn 1849 y mae yn ymadael, gan wneuthur Summit Hill yn artref iddo ef a'i deulu weddill ei oes; ac yr oedd gan yr Arglwydd waith iddo yno, a chawn yntau yn ewyllysgar i'w wneyd. Yr oedd y teulu yn flaenffrwyth Bedyddiedig y lle, a buan y dechreuwyd cynal moddion crefyddol ar yr *Hill*, ac yn y *Valley*. Adeiladwyd addoldy prydferth ar y *Summit*. Yr oedd ein brawd yn un o'r ymddiriedolwyr gwreiddiol, ac nid oes ond un o honynt yn fyw heddyw, sef y brawd William Powell, Ysw., Upper Lehigh.

Neillduwyd John S. Davies i'r swydd ddiaconaidd, yr hon a wasanaethodd yn ffyddlon, gan enill iddo ei hun radd dda; ond daeth siomedigaethau i'w gyfarfod yntau—rhew-wynt yr anialwch, ac yn nydd y frwydr gollyngodd y cledd o'i law, gan adael bwlch mawr yn ei ddefnyddioldeb crefyddol, yn cael ei achosi y mae yn debyg o herwydd pethau annhrefnus yn y ty, ac awydd am flaenoriaeth mewn personau ag oeddynt, yn ei olwg ef, yn anghymwys i flaenori, &c. Teimlwn rwymau i ddiolch fod yr Arglwydd wedi ymweled ag ef drachefn yn ei ras, a'i adferyd i'w le, ac i'w fraint yn y ty.

Bu yn dra methedig am tua blwyddyn cyn ei farwolaeth—yn aml allan o'i synwyrau gan bwys afiechyd mewnol, yr hyn a achosodd lawer o bryder a gofal mawr i'r teulu; ond ni chafodd farw dan y cwmwl. Adferwyd ef i ymwybodolrwydd o'i sefyllfa, a gadawodd dystiolaeth ar ei ol "mai uniawn yw yr Arglwydd yn yn ei holl ffyrdd," a chan bwyso ei enaid ar yr Iawn mawr. Wedi dyoddef hir gystudd, ymadawodd â'r fuchedd hon Gorphenaf 24, yn 72 oed. Gadawodd dri o feibion ac un ferch gyda'u mam i alaru ar ei ol. Boed yr Arglwydd yn dyner wrthynt oll. Yr oedd ei angladd yn ddangosiad o barch iddo fel hen sefydlydd yn y lle, fel dyn heddychol, a dinesydd cywir galon.

Daeth y Parch. J. P. Harris, Nanticoke, yn ol ei ddymuniad, i bregethu y bregeth angladdol, yn cael ei gynorthwyo gan y Parch. H. Thomas, gweinidog yr eglwysi yn Lansford a Summit Hill. Ffarwel hyd foreu mawr yr aduno; ond y mae y meddwl yn awr yn ei elfen bur, ddigymysg, a'r enaid mewn gwlad lle na ddywed y preswylydd, "Claf ydwyf."

"Mewn gwlad o wynfyd pur heb haint,
Byth yno y teyrnasa'r saint,
Lle nad oes tywyll nos ond dydd,
A phleser heb ddim blinder sydd."

BRAWD.

---

## UNDEB BEDYDDWYR PRYDAIN FAWR A'R IWERDDON.

### Y CYFARFODYDD HYDREFOL.

Cynaliwyd y cyfarfodydd hydrefol eleni yn nhref henafol Leicester. Hwyr dydd Llun, Hydref 1af, croesawyd yr Undeb i'r dref gan y Maer a'r Gorph-

oriaeth, yn y Museum Hall. Wedi cyfranogi o wledd ardderchog o de a choffi, cynaliwyd cyfarfod cyhoeddus dan lywyddiaeth y Maer, yr hwn a agorodd y cyfarfod drwy araeth bwrpasol i'r amgylchiad. Traddodwyd areithiau wedi hyny. Yr oedd yn gyfarfod brwdfrydig, ac yn argoeli yn dda am y gweddill o'r gweithrediadau.

Hwyr yr un dydd, cynaliodd Cymdeithas Lwyrymwrthodol y Bedyddwyr gyfarfod yn y Neuadd Ddirwestol.

Boreu dydd Mawrth, wedi boreufwyd cyhoeddus, cynaliwyd cyfarfod Cenadol, dan lywyddiaeth Alderman McArthur, A. S. Yn y cyfarfod hwn, gwnaeth Mr. A. H. Baynes, Ysgrifenydd y Gymdeithas Genadol, fynegiad pwysig. Dywedai fod y flwyddyn ddiweddaf wedi terfynu gyda £3,000 yn ddyledus i'r Trysorydd; ac heblaw hyny, edrychent yn mlaen at dreulion ychwanegol ar y meusydd cenadol yn ystod y flwyddyn hon. Ymddangosai pethau yn dywyll iawn ar ddechreu y flwyddyn genadol; ond dywedai fod yn dda ganddo hysbysu y cyfarfod fod y ddyled wedi ei thalu. Daeth cyfeillion haelionus yn mlaen, a chyfranasant y cyfanswm o £2,911, sef swm y ddyled am y flwyddyn ddiweddaf yn gymwys. Yn ychwanegol at hyn, tanysgrifiwyd £1,087 gan gyfeillion yn Bristau, tuag at y gost o anfon cenadon ychwanegol allan i Affrica, a lleoedd eraill. Derbyniwyd y mynegiad gyda chymeradwyaeth fawr. Siaradwyd wedi hyny gan Alderman McArthur, A. S.; Parch. J. G. Jones, cenadwr o China; a'r Parch. R. Glover, Bristau. Yr oedd hwn yn gyfarfod brwdfrydig drwyddo.

Nos Fawrth, cynaliwyd cyfarfod cenadol yn y Temperance Hall, dan lywyddiaeth Maer y dref, er gwrandaw areithiau gan nifer o genadon.

Yn y prydnawn, cynaliwyd cyfarfod dyddorol, yn yr hwn y siaradodd amryw foneddigesau ar y Genadaeth Zenanaidd. Yn yr hwyr darllenwyd papyrau ar Ddysgyblaeth Eglwysig. Hysbysodd y Llywydd y cynelid y cyfarfodydd hydrefol nesaf yn Bradford.

## NODION O'R HEN WLAD.

### COF-GOLOFN MATHETES.

Amlyga gohebydd yn *Seren Cymru* syndod am nad yw y gof-golofn uchod yn derbyn cefnogaeth ddyladwy. Tystia mai nid diffyg cydymdeimlad â'r mudiad all fod yr achos. Tadoga lawer o'r diffyg i anweithgarwch ac anheurwydd y pwyllgor yn gosod y mater ger bron yr eglwysi, a thrwy beidio defnyddio moddion cymwys i ddwyn yr amcan i ben.

### MR. W. AUBREY POWELL YN NGHYMRU.

Gwelwn oddiwrth bapyrau Cymru fod y cerddor poblogaidd ac adnabyddus yn bresenol ar ymweliad â gwlad ei enedigaeth. Ceidw gyngerddau mewn gwahanol fanau gyda chymeradwyaeth mawr. Y Parch. J. Spinther James sydd yn trefnu y rhan fwyaf o'i gyhoeddiadau.

### DIRWEST.

Gwelwn fod Dirwest yn gwneyd gwaith mawr, ac yn meddu cyfeillion lluosog yn Nghymru y dyddiau hyn.

### DYNION IEUAINC EIN HEGLWYSI.

Gohebydd difrifol yn *Seren Cymru* a ysgrifena yn rhagorol dan y penawd uchod. Dyfynwn a ganlyn: "Y bobl ieuainc y cyfeiriwn atynt ydynt y rhai sydd wedi eu bedyddio yn ol trefn ddiamwys y Testament Newydd, ac fel y cyfryw wedi ymaelodi yn eglwys Crist. Ar eu dyfodiad i'r eglwys, gofynwyd eu cydsyniad i weithgarwch diymollwng, i ymbriodi â'r achos i'r dyben o'i amddiffyn gyda phob gallu o'u heiddynt. Mor fanwl y dysgwylid eu cydsyniad, fel, oni addawsent hyn, na dderbyniasid hwynt i mewn. Eto credwn gyda gofid, fod y gefnogaeth i bobl ieuainc, mewn llawer eglwys, yn terfynu yn unig gyda'u *derbyniad* i mewn. Ymddangys mai tuedd presenol yr enwad Bedyddiedig (o'r hyn lleiaf yn Nghymru) yw ymddiriedaeth ormodol yn yr egwyddorion yn unig, heb ofalu yn gymesurol fod yr egwyddorion hyny yn cael eu hyfed gan fodolaeth ieuenctyd ein heglwysi."

Digitized by Google

# Y WAWR.

CYF. VIII.] IONAWR, 1884. [RHIF. 10.

# Erthyglau Arweiniol.

## PREGETH.

GAN Y DIWEDDAR BARCH. JAMES RICHARDS, PONTYPRIDD, D. C.

"Canys sylfaen arall nis gall neb ei osod, heblaw yr un a osodwyd, yr hon yw Iesu Grist. Eithr os goruwchadeilada neb ar y sylfaen hon, aur, arian, meini gwerthfawr, coed, gwair, sofl: gwaith pob dyn a wneir yn amlwg: canys y dydd a'i dengys, oblegid trwy dan y datguddir ef: a'r tan a brawf waith pawb, pa fath ydyw. Os gwaith neb a erys yr hwn a oruwchadeiladodd ef, efe a dderbyn wobr. Os gwaith neb a losgir, efe a gaiff golled: eithr efe ei hun a fydd cadwedig; eto felly, megys trwy dan."—1 COR. iii. 11—15.

Ni a wnawn rai nodiadau ar y pethau canlynol yn y cysylltiad gwerthfawr hwn: 1. Y sylfaen hon. 2. Yr oruwchadeiladaeth. 3. Y prawf. 4. Y wobr.

I. Y SYLFAEN HON.

Peth cyffredin yw dangos eglwys Dduw o dan y drychfeddwl o *adeilad;* weithiau "gwraig," yr hon a garodd Crist, ac a'i rhoddes ei hun drosti, fel y sancteiddiai efe hi; weithiau "corph," yn aelodau, cymalau, cysylltiadau, i'r hwn y mae Crist yn *ben;* ond *adeilad* sydd yma, fel mewn manau eraill. "Ar y graig hon yr adeiladaf fy eglwys." "Wedi eich goruwchadeiladu ar sail yr apostolion a'r prophwydi, ac Iesu Grist ei hun yn ben conglfaen." "A chwithau megys meini bywiol ydych wedi eich adeiladu yn dy ysbrydol." Fe ellid coffâu llawer o'r fath ddywediadau. Peth cyffredin, gan hyny, yw dangos eglwys Dduw dan y drychfeddwl o *adeilad.* Y mae i bob adeilad ei *sylfaen.* Dywed Job fod Duw yn crogi y ddaear ar ddiddim (pen xxvi. 7). Tra y mae hi yn sylfaen i filoedd o ddinasoedd, nid oes iddi hi yr un sylfaen; y mae yn crogi y ddaear ar *ddim.* Ond nid fel yna y mae gydag adeilad yr eglwys; y mae yma *sylfaen.*

1. Y sylfaen hon yw Iesu Grist, hyny yw, yr athrawiaeth am dano yn ei berson fel Duw-ddyn, yn ei farwolaeth a'i Iawn, yn ei adgyfodiad o'r bedd, a'i eiriolaeth ar ddeheulaw Duw. Dyna y sylfaen, sef Iesu Grist, neu yr athrawiaeth am dano yn y pethau yna.

2. Dywed Paul mai efe a osododd y sylfaen hon (adn. 10), megys pen saer celfydd, hyny yw, pen saer cywrain a doeth. Nid yw Paul yma yn son am dano ei hun yn ymffrostgar, eithr dangos y mae, fel pob *architect* doeth, ei fod yn gofalu am sylfaen cyn dechreu adeiladu. "Myfi a osodais y sylfaen." Dengys hyn mai nid Crist fel bôd a ol-

ygir wrth y sylfaen, eithr yr athrawiaeth am dano. Nid oedd gan Paul yr un llaw yn Nghrist fel bôd. Yn yr ystyr yna, nis gallasai ei osod ef yn sylfaen; Duw Dad a wnaeth hyny. Eithr yr athrawiaeth am Grist, efe a'i dysgodd ac a'i pregethodd yn y purdeb a'r gogoniant o honi. "Myfi a osodais y sylfaen." Y mae anrhydedd mawr erioed mewn cysylltiad a gosod y sylfaen, megys sylfaen palas, cofadail, addoldy, neu ryw adeilad mawr cyhoeddus, megys y *Royal Exchange*. I osod sylfaen adeilad o'r fath, rhaid cael y tywysog, yr archesgob, y pendefig, neu ryw gymeriad uchel. Y mae anrhydedd mewn gosod i lawr y sylfaen. Wel, i Paul a'r apostolion eraill y rhoddwyd yr anrhydedd o osod i lawr sylfaen yr eglwys; ac yr oedd Paul yn cyfrif hyn yn anrhydedd—"Myfi a osodais y sylfaen."

3. Iesu Grist, neu yr athrawiaeth am dano, yw yr unig sylfaen. "Canys sylfaen arall nis gall neb ei gosod." Dyna ddarfod am dani—dyna ddiwedd ar y mater. Sylfaen arall *nis gall* neb ei gosod. Fe ymdrechodd rhai, fe ddymuna eraill, ond nis gall neb. Y mae fod Iesu Grist yn sylfaen yn brawf nad yw yn bosibl i un arall fod. Pe gwnaethai angel y tro, ni ddanfonasai Duw ei Fab. Y mae y ffaith, gan hyny, mai Mab y Duw byw yw y sail, yn brawf nas gall un arall fod. Sylfaen arall *nis gall neb ei gosod.* Y mae tu hwnt i allu pawb i osod sylfaen arall. Wel, peidied neb a threulio mynyd gyda phwnc sydd tu hwnt i allu pawb—nis gall neb. Myn y Mahomedan mai y Coran sydd yn iawn; myn y Brahmin mai y Shaster sydd yn iawn; ond dyma ben am dani, sylfaen arall nis gall neb ei gosod. Diolch i Dduw, y mae miliynau yn boddloni iddi.

> "'Dwy'n 'mofyn neb ond Iesu cu
> I'm harwain i'r baradwys fry."

Crist yw unig sylfaen gobaith pechadur; ac os na ddeui di i adeiladu ar hon, ffarwel byth am un arall.

II. Yr oruwchadeiladaeth.

Nid y sylfaen yw y cyfan o'r adeilad; un peth yw y sylfaen, peth arall yw yr adeilad. Crist yw y sylfaen, y Cristion yw yr adeilad. Crist yw y sail, a'r eglwys yw yr adeiladaeth. Y mae sylfaen, ac y mae goruwchadeiladaeth. "Myfi (medd Paul) a osodais y sylfaen, ac y mae arall yn goruwchadeiladu; eithr (eb efe) os goruwchadeilada neb ar y sylfaen hon, aur, arian, meini gwerthfawr, coed, gwair, sofl," &c.

Wrth son yma am yr oruwchadeiladaeth, defnyddia yr Apostol chwech o eiriau, y rhai a ddynodant y defnyddiau a roddir yn yr adeilad. Y mae tri o'r geiriau yn dynodi defnyddiau cymwys, priodol, a chymeradwy, sef egwyddorion, syniadau, arferion, a theimladau cydunol â'r gwirionedd, ac yn cyfodi o hono. Y mae tri gair arall yn golygu defnyddiau gwael, anghymwys a diwerth, sef golygiadau cyfeiliornus, egwyddorion twyllodrus, ac arferion a theimladau croes i wirionedd pur yr efengyl. Gall, gan hyny, fod y sylfaen yn *dda*, ond fod yr oruwchadeiladaeth yn *ddrwg*. Yr oedd sylfaen y Cristionogion Iuddewig yn dda; ond fel yr oeddent yn cymysgu y seremoniau â gwirioneddau pur yr efengyl yn eu hadeilad, yr oedd yr oruwchadeiladaeth yn ddiffygiol. Yr oedd coed, a gwair, a sofl, yn cymysgu â'r aur, arian, a'r meini gwerthfawr. Felly, yn lle bod yr adeilad yn gyson, cad—

Digitized by Google

arn a hardd, yr oedd yn hollol wahanol.

Y mae ty coed yn burion fel ty coed, a thy pridd a gwellt yn burion fel y cyfryw. Y mae miloedd wedi eu geni, wedi byw a marw, ac wedi bod mor hapus yn eu meddwl a ni, sydd yn byw mewn gwell tai; ond y peth sydd yn anghyson yw cymysgu y gwellt, y gwair, yr aur, yr arian, a'r meini gwerthfawr, a dyweyd, "Dyma balas gwych." Y mae hyn yn croesi synwyr a theimlad dynoliaeth. Wel, peth sydd mor anghyson a hyn yw cymysgu egwyddorion cnawdol âg egwyddorion ysbrydol, seremoniau dynol âg arferion syml a sanctaidd y Testament Newydd, yn nghrefydd Mab Duw.

A ydyw hyn yn bod? O, ydyw. Beth yw gosod dau ben ar deyrnas Crist—Mab Duw yn Frenin yr eglwys, a Harri VIII a'i ganlynyddion yn frenin yr eglwys? Y Testament Newydd yn gyfraith crefydd, a chyfraith Lloegr yn gyfraith crefydd? Beth yw dyweyd mai credinwyr yw deiliaid teyrnas Crist, a thaenellu babanod, a galw yr holl wlad yn Gristionogion? Beth yw hyn? Cymysgu y ddwy egwyddor—yr ysbrydol a'r cnawdol, cymysgu aur a sofl yn adeiladaeth yr eglwys. Nis gall dim fod yn fwy anghyson. Gall, gan hyny, y sylfaen fod yn dda, ond yr adeiladaeth yn ddrwg, yn anghyson, anhardd, a diwerth. Os ydym am oruwchadeiladu yn dda, yn gadarn, ac yn hardd, ar y sylfaen hon, mynwn yr aur, yr arian, a'r meini gwerthfawr. Nid oes coed i fod yma. Ni welsom ni erioed adeilad heb goed, ond nid oes coed i fod yma—dim a gymer dân.

III. Y Prawf.

Y mae llawer o ysgrifenu a dadleu yn bod am y gangen hon a'r arferiad arall, ac yn eu plith fe geir rhai yn amddiffyn y ty coed, y ty pridd a gwellt; ond nid yw hyn o ddim gwerth, nac o un fantais. Paham? Wel, y mae y cwbl yn myned i *brawf*. Y mae rhyw "ddydd" i ddyfod. Rhyw nôs? Nage, rhyw ddydd—dydd goleu, dydd tanbeidiol, dydd mawr hollwybodaeth Duw. "Gwaith pob dyn a wneir yn amlwg, canys y dydd a'i dengys." Y mae rhyw waith mawr yn aros y dydd, a rhyw ddydd mawr yn aros y gwaith. Wel, beth fydd offeryn prawf y dydd hwn? Dyma fe: "Trwy dân y datguddir ef, a'r tân a brawf waith pawb." Mae y dwfr yn fynych yn profi adeilad. Dyna y prawf a gafodd ty y gwr doeth, yr hwn a adeiladodd ar y graig, a thy y gwr ffol, ar y tywod: "A'r gwlaw a ddisgynodd, a'r llifeiriant a ddaethant, ac a ruthrasant." Felly, y mae son am ddyfroedd yn profi adeiladau; ond tân fydd yn profi yr oruwchadeiladaeth hon. Profi y sylfaen mae y dwfr; ond profi yr oruwchadeiladaeth mae y tân. Disgyn wna y dwfr, ond esgyn wna y fflamau. Y mae tân yn fwy cymhwys prawf, oblegid nid oes eisiau profi y sylfaen, ond yr adeilad sydd yn pwyso arni. Y mae y sylfaen wedi ei phrofi mewn myrdd o ffyrdd, a'i chael yn dragywyddol gadarn. Y mae yn ateb i ddywediad y prophwyd—"sylfaen safadwy." Yr adeilad sydd eisiau ei brofi; felly, tân sydd yn ateb—rhywbeth yn esgyn yr un ffordd a'r adeilad.

Tân erledigaeth a ddealla rhai wrth y tân hwn. Amser, yn ol barn eraill. Y mae y rhai yna yn brawfion; ond prawf tanllyd a manylgraff y dydd diweddaf yw hwn. Wedi y prawf hwn, ni fydd dim yn aros ond pethau anninystriol. Fe losgir yr holl goed, y gwair, a'r sofl. Ni fydd plencyn na gwelltyn i'w cael trwy holl greadigaeth Duw wedi y prawf tanllyd hwn. Ond

Digitized by Google

gyda golwg ar yr aur, a'r arian, a'r *marble*, ni all tân ddistrywio y rhai hyn. Wel, gofalwn adeiladu yn ddidwyll. Cofiwn y bydd prawf, a gochelwn wneyd dim erbyn tragywyddoldeb ond yr hyn a'i hoesa yn ddigoll. I oesi tragywyddoldeb, rhaid cael peth a thragywyddoldeb ynddo.

IV. Y Wobr.

"Os gwaith neb a erys, efe a dderbyn wobr." Addawodd Duw y bydd iddo edrych yn gymeradwy ar y gwas ffyddlon a doeth, a rhoddi iddo, mewn sefyllfa nefol a dedwyddwch nefol, arwyddion o'r gymeradwyaeth hono. Dyna y wobr, a dyna ei sail—nid haeddiant dyn; ond addewid rasol Duw. Y gweinidog sydd yn byw ar y gwirionedd yn adeiladaeth yr eglwys, efe a dderbyn wobr.

"Ond os gwaith neb a losgir, efe a gaiff golled." Fe'i cosbir ef? Na wneir. Yn ol golygiad yr apostol, yr oedd yn ddyn da, ond ei fod yn gamsyniol am y gwirionedd. Fe losgir y sothach a bregethodd efe, neu yr holl seremoniau a arferodd. Felly fe gaiff golled. Fe gyll foddlonrwydd ei gydwybod, canys efe a wel mor anmherffaith y bu yn ngwasanaeth ei Arglwydd; ac er yn y nef yn gadwedig, fe fydd ei *rank* yno yn is.

O! beth pwysig yw adeiladu! Cofiwn fynu y gwirionedd drwy y bob peth; Gair Duw yn mhob peth; aur, ac arian, a meini gwerthfawr—pethau a barhant byth!

—Pe byddai genym ddigon o ffydd a hyder yn Nuw, oni fyddem ni yn ddedwydd yn mhob man? Nid oes dim yn anmhosibl i'r hwn sydd yn credu. Nid yw ffydd yn gweled un diffaethwch heb luniaeth, un daeardy heb oleuni, un brofedigaeth heb gysur, na glyn wylofain heb ddrws gobaith.

## YR ATHRAWIAETH O GYFIAWNHAD.

GAN Y PARCH. LLEWELYN REES, JOHNSTOWN, PA.

### *Rhif IV.*

3. *Yr achos offerynol o gyfiawnhad y rhai a gyrhaeddasant oedran o gyfrifoldeb*—drwy ffydd.

Nid moddion i achub dynoliaeth fel y cyfryw yw ffydd, ond i achub personau cyfrifol. Tybiwn y dylid gwahaniaethu rhwng dynoliaeth fel natur, ac fel unigolion personol. Fel natur ddynol, mae marwolaeth fendigedig y groes wedi ei hachub oddiwrth felldith Eden yn ei berthynas ysbrydol, heb ffydd nac edifeirwch; pe fel arall, ar ba dir y gellid credu am gadwedigaeth babanod, y rhai ydynt yn marw yn eu mabandod, cyn meddu ffydd nac edifeirwch? Nis gall ffydd, edifeirwch, na bedydd, fod o les iddynt, am na allant feddu y ddau gyntaf, ac nad yw Duw yn herwydd hyn yn gofyn i neb roddi yr olaf iddynt. Gyda golwg ar rai mewn oed, credwyf yn ostyngedig nad yw marwolaeth y groes ynddi ei hun yn achub neb oddiwrth ganlyniadau eu pechodau personol, heb ffydd a diwygiad. Cofier, nid haeddu mae ffydd ac edifeirwch, ond cymwysder addas meddwl a chalon ydynt, rheidiol i dderbyn y gras mawr o gyfiawnhad; byddai i Dduw weithredu ar ryw *bolicy* arall yn daflu y "peth sydd sanctaidd i'r cwn, a'r gemau o flaen y moch."

Gan mai ffydd, yn ol Paul, a gweithredoedd, yn ol Iago, yw y moddion Ysgrythyrol i gyrhaedd cyfiawnhad, cam fyddai peidio sylwi ychydig ar beth feddylia y naill wrth ffydd, a'r llall wrth weithredoedd. Gan fod Paul a Iago fel dau apostol o gyfartal awdurdod, can belled ag y dysgasant, ein

gwaith yn awr fydd ymestyn at gysoni geiriau y ddau, ac nid gwanhau un ochr er mwyn ategu rhyw fympwy, a rhoddi mantais i'r ochr arall ymddangos yn gryf. Ystyriai Martin Luther y dylasai epistol Iago gael ei adael allan o'r canon ysbrydoledig, am y tybiai fod cyfiawnhau drwy weithredoedd, yn ol Iago, yn gwrthdaro â chyfiawnhau drwy ffydd, yn ol Paul, ac felly yn cymylu gogoniant y drefn fel trefn gras. Yn hyn, damweiniodd i Luther, fel i Wesley, Knox, Calvin, a miloedd eraill y pryd hwnw, yn gystal ag o'r pryd hwnw hyd yn awr, redeg i un eithafion oddiwrth eithafion arall. Cyn y deuir o hyd i'r gwirionedd am drefn y cyfiawnhad, rhaid deall dysgeidiaeth Paul am gyfiawnhad yn ngoleuni dysgeidiaeth Iago am y cyfryw, a deall yr hyn ddywed Iago yn ngoleuni yr hyn ddywed Paul. Byddai dealldwriaeth gul, gyfyng, arwynebol, hanerog, o'r hyn ddywed Paul, yn un man, am foddion cyfiawnhau, ar wahan i'r hyn ddywed Iago, ac yn wir, i'r hyn ddywed Paul ei hun mewn manau eraill o'i epistolau godidog, yn beryglus, gan y gallai arwain i Antinomiaeth a phenrhyddid. A byddai deall yr hyn ddysga Iago am gyfiawnhad ar wahan i'r hyn ddysga Paul, a Iago ei hun mewn gwahanol fanau o'i epistol gwir ymarferol, mewn perygl i arwain dyn i hunan-gyfiawnder, ac arwynebrwydd yr Iuddew gynt, a'r Pabydd presenol. Dadleuwyd llawer yn y canrifoedd diweddar, a chynt, o amser Pelagius, os nad yn y ganrif gyntaf, ar ffydd fel moddion i gyrhaedd cyfiawnhad, seiliedig, meddent, ar eiriau Paul, mai "trwy ffydd y cyfiawnheir dyn gyda Duw, ac nid trwy weithredoedd y ddeddf." Ond ymddengys i'r ysgrifenydd, wrth feithdra yr ysgrifau, tanbeidrwydd y tymerau, a chywreinrwydd y dadleuwyr yn arfer arfau dadl, y pwysid mwy ar rywbeth a elwid yn rheswm, nag ar air Duw. Nid yw Paul yn dweyd, ac yr ydym braidd yn sicr na ddywedir yn un man yn y Beibl, mai drwy ffydd yn *unig* y cyfiawnheir dyn gyda Duw.

Gyda golwg ar y gweithredoedd y sonia Iago am danynt, sylwer, mai nid gweithredoedd y *ddeddf* ydynt. Pe golygai Iago weithredoedd y ddeddf, buasai gwrthdarawiad pwysig rhwng dysgeidiaeth Paul ag ef, ac felly äi cymeriad yr apostoliaeth dan gwmwl, a'r apostolion, mewn canlyniad, a gollent bob ymddiried edmygwyr cysondeb yn mhob oes a gwlad. Ymddengys fod gwahaniaeth nid anmhwysig rhwng gweithredoedd y ddeddf a'r gweithredoedd y sonia Iago am danynt. Mewn dirwasgiad ar feddyliau dynion o barthed pwysigrwydd ufuddhau, ni chawn Moses fel rheol, na neb o'i oloeswyr dan yr Hen Gyfamod, yn ymresymu *a priori* nag *a posteriori* (oddiwrth yr achos yn y galon at yr effaith yn y fuchedd, nac oddiwrth yr effaith yn y fuchedd at y cynhyrfedd yn y galon). Ufuddhau, ufuddhau, oedd y swn i gyd dan y ddeddf. Yr oedd hyd a lled a gwerth cymeriad o dan y ddeddf i'w fesur wrth gyfanswm yr ufudd-dod. Gan nad beth oedd egwyddor dyn—pa mor dda bynag yr oedd, os troseddai y ddeddf, hyd yn nod pan na wnai hyny yn fwriadol, yr oedd yn rhaid ei gosbi. Nid oedd egwyddor anufuddhawr yn Moses; eto pan droseddodd air yr Arglwydd, collodd y fraint o fyned dros yr Iorddonen i Ganaan. Nid oedd y gwr da hwnw a osododd ei law ar yr arch i'w rhwystro i syrthio yn herwydd bod y fen yn ysgwyd, yn meddwl dim drwg; ond gan, wrth y gyfraith, nad oedd neb

Digitized by Google

ond yr offeiriaid i gyffwrdd a'r arch, troseddodd y gyfraith, a tharawyd ef yn farw. Y goreu ei galon dan y ddeddf, y mwyaf duwiol ei ysbryd, os dygwyddai mewn unrhyw brofedigaeth droseddu y ddeddf, collai ei gymeriad ar unwaith yn ngolwg Duw, a chosbid ef. Gwahanol iawn yw o dan y Cyfamod Newydd. Yma, ymresymir oddiwrth yr achos at yr effaith: "O cherwch fi, cedwch fy ngorchymynion." Hefyd, ymresymir oddiwrth yr effaith at yr achos: "O châr neb y byd, nid yw cariad y Tad ynddo." "Canys yr hwn nid yw yn caru ei frawd, yr hwn a welodd, pa fodd y gall efe garu Duw, yr hwn nis gwelodd?" O dan y Testament Newydd, gwerthfawrogir gweithredoedd yn herwydd yr egwyddor a'u cynyrchodd; a gwerthfawrogir egwyddor yn herwydd ei natur a'i chyfaddasrwydd i gynyrchu buchedd o weithredoedd. Pe dygwyddai i ddyn drwg gyflawni rhyw weithredoedd da, drwg, er hyny, yr ystyrir ef; a phe dygwyddai i ddyn da ei egwyddorion cyffredinol syrthio i brofedigaeth a chyflawni gweithredoedd drwg, da yr ystyrir ef (nid y gweithredoedd drwg) yn ngolwg Duw, a'r rhai a adwaenent Dduw oreu.

Fel y dywedwyd uchod mewn cyfeiriad at Luther, Wesley, Calvin, Knox, ac eraill, cu hawydd i osgoi rhag un eithafion cyfeiliornus a barodd iddynt ffoi i eithafion arall cyfartal gyfeiliornus. Ofn oedd ar y dynion da ac enwog hyn i ddwyn gweithredoedd o un math i un berthynas â chyfiawnhad, rhag ofn cymylu graslonrwydd y drefn. Yn wir, yn hyn, er cymaint meddylwyr oeddynt, credwyf braidd eu bod yn hollol o dan eu dwylaw. Os ydyw gras Duw yn enill mewn ffydd yn unig, mae yn colli wrth golli y *credit* o fod yn awdwr gweithredoedd da. Onid oes cymaint o'r dyn yn ymddangos mewn ffydd ag sydd o hono mewn gweithredoedd? Ac onid oes cymaint o ras Duw yn ymddangos yn y gweithredoedd ag yn y ffydd dda? Oes, yn ddiau. Ai nid yw Duw yn haeddu cymaint clod am ein gweithredoedd da ag am ein ffydd dda? Ydyw, yn ddiau. Os nad ydyw, paham yr anogir dynion gymaint i weddio am gymorth i weithio? A oes mwy o angen nerth Duw i'n gwneyd i feddu ffydd yn ei Fab nag sydd i weithio allan egwyddorion dihalog a nefolryw bywyd ei Fab yn ein buchedd? Nid wyf yn gallu gweled hyny. Ai nid Duw o'i ras anghydmarol yw awdwr ein ffydd, ac hefyd ein gweithredoedd? Iё, medd y Beibl. Ffydd, rhodd Duw ydyw. Iё, ffydd; ond beth am y gweithredoedd? "Canys Duw yw yr hwn sydd yn gweithio ynoch ewyllysio a *gweithredu.*" "Myfi a lafuriais yn helaethach na hwynt oll; eto nid myfi, ond *gras Duw*, yr hwn sydd ynof fi." Yn awr, os teg a chyfiawn i ras Duw gael y *credit* am y ffydd dda, a'r gwaith da, paham y gomeddir i weithredoedd da safle urddasol ffydd mewn cysylltiad â chyfiawnhad, yn groes i ddysgeidiaeth Iago yr apostol, ac y bernir y cyntaf yn troseddu ar derfynau gras, tra yr olaf yn eu diogelu?

---

—Y Beibl yw trysor goreu y cyfoethog, a chyfaill goreu y tlawd.—*Calamy.*

—Nid oes un weithred a wnelo dyn yn weithred rinweddol, os bydd balchder a hunanoldeb yn amcan ei chyflawniad.

—Fel nas gall yr athronydd ddim gwneuthur ffeithiau, neu egwyddorion, dim ond eu dysgu a'u defnyddio; felly mewn crefydd, nid yw y Cristion i wneuthur egwyddorion, ond eu derbyn o'r Ysgrythyrau ac ufuddhau iddynt.

Digitized by Google

# Amrywiaethol.

## LLES YR ACHOS.

Dymunol fyddai pe b'ai lles yr achos yn agosach at galon pawb o honom. Yn nghwrs bywyd mae llawer o siarad yn myned yn mlaen yn mhlith dynion, ac efelly yn mhlith y saint. Ar adeg cyfarfyddiad gwneir cyfarchiadau neillduol. Gofynir am bersonau, holir am helyntion y gymydogaeth, ceisir gwybodaeth am hwn a hwn. Mae gweinidogion yn cyfarfod a'u gilydd—y mae ganddynt hwythau eu hymddyddanion. Bydd yr ymddyddan, wrth gwrs, yn cynwys yr elfen gyfeillgarol. Mae symudiad brawd yn yr angeu yn cael ymddyddan yn ei gylch; galwad a roddwyd i frawd yn cael sylw; ymadawiad y llall, a phethau yn y llinell ddygwyddiadol yna. Ond yr hyn y cyfeiriwn ato yw a ganlyn; sef, Pa faint, tybed, o feddwl ac ymddyddan am les yr achos, yn gyffredinol a lleol, sydd yn bodoli yn ein plith. Ofnwn fod diffyg yn hyn yma yn bodoli. Oni fyddai ymddyddanion yr hen bobl dduwiol er's llawer dydd yn fwy crefyddol? Oni sonient yn amlach am Grist a'i groes? Oni chlywid o'u geneuau eiriau grasusol am ddaioni Duw iddynt?—nid yn y moddion yn unig, ond mewn ymddyddanion cyffredin (os *cyffredin* hefyd). Ac yn benaf oll, deallid yn hawdd oddiwrthynt pan yn cyfarch eu gilydd, fod lles yr achos yn agos iawn at eu calon. Y mae eisiau peth fel hyn yn ein plith ninau. Mae eisiau cynllunio a helpu yr achos yn ei flaen. Ymdrechwn ein hunain fod o *ddefnydd* ymarferol gyda'r achos; na fyddwn byw ar fod yn aelod, a hyny yn unig. Dangoswn ein bod wedi ein galw i weithio.

Bendith fyddo ar eglwysi y saint—yr amddiffyn dwyfol fyddo yn amlwg. Llosged gwres crefyddol yn danbaid yn mhlith ein haelodau. Byddwn yn "sicr a diymod a helaethion yn ngwaith yr Arglwydd yn wastadol, a ni yn gwybod nad yw ein llafur yn ofer yn yr Arglwydd."

## ABWYD I BOB OEDRAN.

Mr. Ramsey, meddyg duwiol, a lefarai am ei ffaeleddau pechadurus, gan ddywedyd, "Y mae genyf achos i alaru mor dueddol yw fy nhymer i ffromi yn fy hen ddyddiau." Yr oedd yn hoff ganddo goffhau yr ymddyddan a fu rhyngddo a chyfaill duwiol mewn adeg foreuol o'i oes. Dywedai wrth hwnw ei fod yn meddwl y byddai yn agored i lai o demtasiynau os caffai fyned yn hen, nag ydoedd y pryd hwnw. Dywedai ei gyfaill ei fod yn camgymeryd yn fawr, gan ychwanegu "Y mae gan y diafol abwyd at bob oedran." Cafodd Mr. Ramsey, ar ol cyrhaedd oedran, ei lwyr argyhoeddi o wirionedd y sylw hwn. Y fath fendith i ni a fyddai bod yn fwy cyfarwydd â dichellion a hudoliaethau y diafol, fel y byddwn yn gwylio yn barhaus yn erbyn ei gynllwynion ef.

## YR YSTAFELL WELY.

Tybier fod rhyw ddau berson yn byw mewn ystafell dros nos. Pe pwysent eu hunain wrth droi i orphwys, a thrachefn yn y boreu, caent weled eu bod o leiaf un wns ar bymtheg yr un yn ysgafnach yn y boreu. Yn gyffredin bydd y gwahaniaeth yn gymaint arall a hyny, neu ychwaneg, ond hyd yn nod ar gyfartaledd, a thrwy y flwyddyn, bydd o leiaf bwys o fater yn cael ei golli bob nos gan bob un, yr hwn fydd yn dianc o'r corph, yn rhanol drwy yr ysgyfaint, a thrwy y chwys-dyllau. *Carbonic acid* y gelwir yr hyn fydd yn dianc, neu sylwedd anifeilaidd llygredig-decaol, neu ynte fygdarth gwenwynig. Bydd rhan o hwnw yn ymgymysgu â'r awyr, a rhyw gymaint yn aros yn nillad y gwely. Pe y llosgid onid un wns o gotwm mewn ystafell, llenwid yr awyr gymaint gan y mwg fel y byddai yn anhawdd anadlu ynddi, er nad allai fod ynddi ond prin wns o fater neu sylwedd tramor. Pe y

Digitized by Google

llosgid wns o gotwm bob haner awr drwy y nos, cedwid yr awyr o hyd yn llawn nwy, oni fyddai yno ffenestr neu ddrws agored iddo ddianc ymaith. Yn awr byddai un wns ar bymtheg o fwg a ffurfid fel hyn yn llawer llai gwenwynig a pheryglus na'r un ar bymtheg o anwedd neu fygdarth o ysgyfaint a chyrph dau o ddynion a fyddant wedi colli cymaint a hyny o honynt eu hunain yn ystod wyth awr cwsg, oblegid tra na fyddai y mwg sych yn cael ei gymeryd ond i'r ysgyfaint yn unig, byddai y lleithder oddiwrth y cyrph yn ymsuddo hefyd trwy y chwys-dyllau. Dengys hyn y pwys o fod gwely-ystafelloedd yn cael eu hawyru yn dda, a bod dillad y gwelyau yn cael eu troi yn ol, a'u hawyru yn ddyladwy yn y boreu, cyn eu gwneuthur i fyny drachefn ar ffurf gryno gwely.—*Science of Health.*

## DESGRIFIAD O IESU GRIST.

Y canlynol sydd lythyr a anfonwyd gan Publius Lentulus i'r Senedd Rufeinig:

"Ymddangosodd yn y dyddiau hyny ddyn ag oedd yn hynod am ei rinwedd, o'r enw Iesu Grist, yr hwn sydd eto yn ein plith. Derbynir ef gan y Cenedloedd fel prophwyd; ond geilw ei ddysgyblion ef yn Fab Duw. Y mae yn adgyfodi y meirw, ac yn iachau pob math o glefydau. Y mae i raddau yn dal, yn hardd, ac yn meddu ar wynebpryd sydd yn gyfryw, fel y mae yn rhaid i'r edrychydd ei garu a'i ofni. Ei wallt sydd o liw casten (*chestnut*) pan yn addfed, yn llyfn hyd at y clustiau, yna yn fodrwyog ac yn donog o amgylch ei ysgwyddau. Y mae rhaniad ei wallt yn y canol, yn ol arfer y Nazareaid. Ei dalcen sydd lyfn, ei wyneb heb na brycheuyn na chrychni, ac yn neillduol o hardd. Ei drwyn a'i enau yn gyfryw nas gellir eu darlunio. Ei farf sydd dew, o'r un lliw a'i wallt, heb fod yn hir iawn. Ei lygaid sydd lwyd, bywiog, a threiddgar. Wrth geryddu, y mae yn ofnadwy, ac wrth gynghori y mae yn addfwyn. Y mae cyfeillachu ag ef yn hyfryd; eto nodweddir ef gan ddifrifoldeb. Nis gellir cofio i neb ei weled yn chwerthin, ond gwelodd llawer ef yn wylo. O ran cyfartaledd ei gorph mae yn rhagorol; ei ddwylaw a'i freichiau ydynt ddymunol i edrych arnynt. Wrth siarad, mae yn gymedrol, boneddigaidd, a doeth; yn ddyn o harddwch neillduol, yn tra rhagori ar feibion dynion."—*Cyf. John Mills, Abernant.*

## AMGYLCHIAD HYNOD.

Yn amser llygredig ac erledigaethus Charles II., yr oedd yn byw yr enwog Vavassor Powell, un o'r pregethwyr ffyddlonaf a feddai y Dywysogaeth. Teithiodd lawer yn y Deheu a'r Gogledd, a dyoddefodd lawer iawn o erledigaethau. Pan oedd unwaith ar ei daith yn Sir Fflint, wrth ymofyn am dy cyfaill i letya, gyda bwriad i bregethu dranoeth ar ryw fynydd cydrhwng Caergwrle a'r Wyddgrug, aeth yn nos arno, a chollodd y ffordd, fel nad allai mewn un wedd gael y ty, er ei fod yn bur gyfarwydd a'r lle. Wrth fyned yn mlaen, nas gwyddai i ba le, gwelai oleuni yn rhyw le o bell, a chyfeiriodd tuag ato. Erbyn myned yno, yr oedd yn ymyl palas mawr a elwir Plas-teg. Wedi curo wrth un o'r drysau, yr oedd y forwyn a ddaeth i agor y drws yn ei adnabod, am ei bod yn un o'r un gymydogaeth ag ef o'r Deheubarth. Dywedodd ei fod wedi colli y ffordd, a dymunodd yn ostyngedig am gael llety yno dros y nos. Dywedodd y ferch fod ei meistr yn greulawn yn erbyn pregethwyr, ond fod ei meistres ychydig yn dynerach. Aeth at ei meistres yn ddystaw i ddweyd am dano; darfu hono ei lochesu mewn rhyw ystafell i aros i'r boneddwr fyned i'w wely. Cafodd Powell gyfle i ymddyddan cryn lawer a'r foneddiges am bethau crefydd, a gwnaeth adduned i ddyfod dranoeth i'w wrando yn pregethu. Aeth Mr. Powell ymaith yn bur foreu dranoeth i dy y cyfaill lle yr amcanodd fyned. Yn y boreu, gofynodd y foneddiges i'w phriod a gawsai hi a'i mab geffyl bob un i fyned i daith fach

Digitized by Google

y boreu hwnw, yr hyn a ganiatawyd. Wedi cael y ceffylau yn barod, pan oeddynt yn min cychwyn, daeth rhyw wraig annuwiol adnabyddus iddynt i'r ty; wedi cyfarch y foneddiges, hi a ddywedodd, "Gwyliwch, meistres, fyned at y cythreuliaid sydd yn y mynydd yn pregethu." "Yr wyf fi (medd y foneddiges) yn bwriadu myned." Gyda bod y foneddiges a'i mab wedi myned o'r golwg, ni orphwysodd yr hen wraig hono nes dweyd wrth y gwr boneddig i ba le yr oeddynt yn myned. Yr oedd hwnw erbyn hyny wedi cyffroi i'r fath raddau, fel na wyddai pa beth i'w wneyd. Yn ei wylltineb, fe gymerodd geffyl iddo ei hun a'r mab arall (canys dau oeddynt), a chyfeiriodd tua'r mynydd, gyda'r bwriad o ladd y pregethwr. Fel yr oedd yn myned, pwy a ddaeth i'w gyfarfod ar y ffordd o dy ei gyfaill ond Mr. Powell ei hun. Gan ei fod mewn dillad trefnus, ni feddyliodd y boneddwr mai y pregethwr ydoedd. Wedi cyfarch eu gilydd, dywedodd y gwr boneddig ei fod ef yn myned i'r mynydd i saethu y pregethwr. Dywedodd Mr. Powell yn wylaidd, ei fod yntau yn bwriadu myned yno. Ar y ffordd, dywedodd Mr. Powell wrth ei gydymaith, "Fe allai y byddai yn well i ni wrando ychydig ar y pregethwr yn gyntaf; ond odid na ddywed efe gyfeiliornadau amlwg, ac yna fe fydd genym ninau reswm i'w roddi paham y lladdasom ef." Gwelodd yntau ar unwaith fod hyny yn rhesymol, a than ymddyddan a'u gilydd daethant hyd y lle yr oedd y cyfarfod; a phwy a aeth i bregethu ond y cydymaith hwnw oedd yn cyd deithio a gwr y Plas-teg! Cafodd y gwr boneddig erlidgar hwn a'i wraig eu gwir ddychwelyd at yr Arglwydd dan y bregeth hono; bu eu bywyd dilynol yn addurn i grefydd, a bu y Plas-teg yn llety caredig i bregethwyr gorthrymedig tra y bu y teulu hwnw byw. Yr oedd Mr. Powell wedi breuddwydio ychynig nosweithiau cyn hyny ei fod wedi cael nyth aderyn, a'i fod wedi dal y ddau hen aderyn, ond fod y cywion wedi dianc. Felly y dygwyddodd y tro hwn, daliwyd y tad a'r fam, ond diangodd y ddau fab yn ddigrefydd. Mor hynod ac anchwiliadwy yw ffyrdd Duw! Mor hynod y mae penarglwyddiaeth ddwyfol, a rhagluniaeth ddwyfol, yn ymddysgleirio yn yr amgylchiad hynod hwn! Y fath amrywiol amgylchiadau, a'r rhai hyny yn cydgyfarfod a'u gilydd, oeddynt yn angenrheidiol i gael gafael yn y ddau bentewyn hyn! Yr oedd eisiau i Mr. Powell golli y ffordd y noswaith hono; yr oedd eisiau y forwyn, eisiau hynawsedd y feistres, eisiau y wraig annuwiol hono, eisiau y cydgyfarfyddiad ar y ffordd, ac eisiau dylanwadau Ysbryd Duw! Yr oedd dyfodiad Mr. Powell i'r Plas-teg y noswaith hono fel dyfodiad Mab Duw i dy Zaccheus. Mae pob dyn yn sicr o weled Duw mewn amgylchiad fel hwn, oddigerth fod rhywbeth fel dallineb barnol wedi dallu ei lygaid.

## IEUENCTYD.

Ieuenctyd ydyw y tymor i ffurfio arferion crefyddol, ac i fagu a meithrin argyhoeddion crefyddol. Yr egwyddorion boreuaf, yn gyffredin, yw y rhai mwyaf parhaol, ac anfynych y collir yn hollol y rhai a fyddant o natur dda a chrefyddol. Er y gall temtasiynau y byd yn awr a phryd arall dynu ar gyfeiliorn yr ieuanc da ei egwyddor, eto gan y bydd ei egwyddorion mewn rhyfel parhaus a'i ymarferiad, y mae gobaith y bydd i'r rhan oreu o'r diwedd orchfygu y waethaf, a pheri diwygiad; pan na fydd gan yr hwn a oddefodd i ddrygioni feddianu ei ieuenctyd ond gobaith gwan y dygir ef i naws teimlad crefyddol. Rhaid i ryw dymestl—rhyw adfyd ei gyffroi a'i ddeffroi, neu efe a gysga byth.

Pa faint gwell, gan hyny, yw gwneuthur yn hyfrydwch i ni yr hyn a wyddom sydd oreu! Pa faint gwell ydyw ffurfio yn awr yr arferion hyny y dymunem ar ol hyn ein bod wedi eu ffurfio. Y mae ieuenctyd yn adeg o ymbarotoad tuag at fod yn ddyn. Yn ystod y tymor hwn, gan hyny dylem ymbarotoi a chyfaddasu ein hunain tu-

Digitized by Google

ag at yr hyn y bwriedir fod, ac y bwriedir ei wneuthur yn ol llaw.

Wedi cyrhaedd addfedrwydd dynion byddir yn derbyn ffrwyth yr hyn a hauwyd ac a blanwyd mewn ieuenctyd. Os segura a wnaed yn nhymor hau, nis gellir dysgwyl yn amgen na bod yn ddynion anwybodus. Os ymroddwyd i ddiogi ac anystyriaeth foreu yr oes, y tebycaf ydyw y bydd i'r arferion drwy hyny gynyddu a dwyshau ynom fel y byddwn yn heneiddio, ac y gwnant ni yn faich i ni ein hunain, ac yn ddifudd i gymdeithas weddill ein hoes. Os eto y goddefwn i ni ein hunain gael ein cam-arwain gan dueddiadau drygionus, enillant arnom y naill ddydd ar ol y llall, a'r diwedd o hyny fydd bywyd ofer a thruenus. Ond os bydd i ni brynu adeg ieuenctyd i ddiwyllio ein meddyliau, ac i ffurfio arferion o ystyriaeth a diwydrwydd, rhinwedd a sobrwydd, ni a gawn ein hunain wedi ein parotoi yn dda ar gyfer dyfodol ein bywyd. Hyn, goruwch pobpeth arall, a ddylai fod ein gofal penaf—enill awdurdod gyflawn a theg arnom ein hunain, fel y byddom abl, wrth fyned o honom yn mlaen mewn bywyd, i wrthwynebu pob temtasiwn a gwrthwynebiad mor fuan ag yr ymddangosant.

---

## UN ERGYD ETO.

Os ydyw bedydd plant yn un o ordinhadau Crist yn ei eglwys, y mae yn rhaid fod bedydd plant yn adenedigaeth, oblegid fe ddywedir yn Galatiaid 3:27, "Cynifer o honoch ag a fedyddiwyd yn Nghrist, a wisgasoch Grist," a phwy bynag sydd wedi gwisgo Crist yn ddiragrith ac yn ddidwyll, y mae yn wir ddysgybl i Grist, ac o angenrhaid yn blentyn i Dduw ac yn etifedd teyrnas nefoedd; ac ni all plentyn bach ddim twyllo a rhagrithio. Am hyny y mae efe, drwy rinwedd y seremoni a gyflawnir arno gan y gweinyddwr, wedi ei roddi yn Nghrist, a'i wneyd yn greadur newydd. Ac nid oes yn y Testament Newydd un frawddeg a ellir ei chymwyso i amddiffyn bedydd plant, na byddo y frawddeg hono, yn y cymhwysiad hwnw o honi, yn dal allan ei fod yn adenedigaeth. Ac i brofi y gosodiad yna, myfi a adroddaf i chwi fy mod i, ar ddau o wahanol droion, wedi bod yn gwrando ar ddau o weinidogion, a D. D. ar ol enw pob un o honynt, pan oeddynt yn bedyddio plant. Y gweinidog cyntaf a sylfaenodd ei araeth dros fedydd plant ar y geiriau sydd yn Ioan 10:10, "Myfi a ddaethym fel y caent fywyd, ac y caent ef yn helaethach," ac efe a ddywedodd fod bedydd wedi dyfod yn lle yr enwaediad, a'i fod yn helaethach, o herwydd fod y meibion a'r merched yn cael eu bedyddio o dan yr efengyl; ond o dan yr hen oruchwyliaeth nis gellid enwaedu ond y meibion yn unig. Ac nid oedd y ddefod yn rhoddi bywyd naturiol yn y plentyn, o herwydd yr ydoedd yn gwingo pan yr oedd yn cael ei roddi yn mreichiau y gweinidog; a'r casgliad anocheladwy ydyw, fod y ddefod a weinyddwyd arno yn newid ei gyflwr, fel y dywed Catechism Eglwys Loegr. Ac yr oeddem ni wrth naturiaeth yn blant digofaint, megys eraill, ond trwy fedydd gwneir ni yn blant gras. A'r gweinidog arall, wedi traethu llawer am Abraham a chyfamod yr enwaediad, a feddyliodd fod yn rhaid iddo gyfeirio at ryw ymadrodd yn y Testament Newydd, a dywedodd, gan gyfeirio at Galatiaid 3:27, "Cynifer o honoch ag a fedyddiwyd yn Nghrist, yna hâd Abraham ydych, ac etifeddion yn ol yr addewid," gan gymeryd y rhan flaenaf o'r 27 adnod, a gadael allan y rhan ddiweddaf, a'r 28 yn gwbl, yn nghyda'r rhan gyntaf o'r 29, a chymeryd y rhan ddiweddaf o'r 29 a'i chysyllu â'r rhan gyntaf o'r 27 adnod, er mwyn llunio ysgrythyr at ei bwrpas dros fedydd babanod; ond yr oedd wedi anghofio fod y seithfed adnod o'r un benod yn dyweyd, "Gwybyddwch felly mai y rhai sydd o ffydd, y rhai hyny yw plant Abraham." Ond os ydyw babanod, o herwydd eu bod wedi eu bedyddio, wedi eu gwneyd yn hâd Abraham, ac etifeddion yn ol yr addewid, rhaid fod eu bedydd yn adenedigaeth iddynt, ac yn eu gwneyd, fel y mae Catechism Eglwys Loegr yn

Digitized by Google

dyweyd, fod plentyn, wrth ei fedyddio, yn cael ei wneyd yn aelod o Grist, yn blentyn i Dduw, ac yn etifedd teyrnas nefoedd.

Os ydyw bedydd babanod yn ordinhad mor rinweddol, daionus a gogoneddus a hynyna, O, y fath wall a fu nas gallodd yr ymchwiliad mwyaf manwl, gan y sylwedyddion mwyaf craffus, gael un crybwylliad am dano, nac engraifft o hono, nac un gorchymyn na rheol yn ei gylch yn y Testament Newydd! Rhaid, gan hyny, i bob ymofynydd teg ac anmhleidiol ddyfod i'r penderfyniad nad ydyw yn un o ordinhadau Crist yn ei eglwys, neu fod Dwyfol ysbrydoliaeth wedi bod yn hollol wallus yn yn ei gylch, o herwydd na chynhyrfodd feddwl rhywun o ysgrifenwyr y Testament Newydd i ddweyd rhywbeth am dano, neu wneyd rhyw grybwylliad yn ei gylch, dan ryw amgylchiad beth bynag. Ac nid ydyw olrhain ei hanes yn ol i oesoedd cyntaf Cristionogaeth yn profi dim, os na ellir ei gael yn y Testament Newydd, ond mai traddodiad ydyw, a bod yr eglwysi Cristionogol wedi dechreu cael eu llygru yn fuan iawn wedi yr oes apostolaidd â thraddodiadau.

Ar y gred fod bedydd babanod wedi dyfod yn lle yr enwaediad y ffurfiodd y Puritaniaid eu cyfundraeth o lywodraeth yn Massachusets. Yr oeddent wedi dyfod drosodd i gael mwynhau rhyddid cydwybod, ond hwy a'u gwaharddasant oddiwrth bawb eraill, o herwydd fod deddf yr enwaediad yn gorchymyn fod y dienwaededig i gael ei dori ymaith o fysg ei bobl. Gen. 17: 14. A rhaid i bawb sydd yn credu hyny, os byddant yn gyson a'u credo, fod yn wrthwynebol i ryddid crefyddol, fel y mae hanesyddiaeth yn profi fod pob enwad o fedyddwyr babanod wedi bod yn erlidwyr yn y wlad hon, a gwledydd eraill, pa bryd bynag y byddai y gallu yn eu dwylaw. Ac y maent yn iawn, os ydyw bedydd babanod wedi dyfod yn lle yr enwaediad, oblegid fod y cleddyf tu cefn i ddeddf yr enwaediad, ac felly tu cefn i fedydd babanod, yr hwn ydyw yr enwaediad Cristionogol, yn gorfodi ufudd dod, neu yn tori ymaith yr anufudd o fysg ei bobl, am ei fod wedi tori cyfamod ei Dduw. Y mae yn amlwg mai o'r dychymygiad fod bedydd babanod wedi dyfod yn lle yr enwaediad, y daeth gorfodaeth grefyddol gyntaf i'r byd Cristionogol, ac arswydus, echrydus, ac ofnadwy fu y canlyniad.—*Lewis Llanbadarn.*

---

## BETH SYDD BRYDFERTH?

Beth sy'n brydferth? Blodau tyner,
 Gwyl yn yfed gwlith y nen;
Adar hoew, siriol, seinber,
 Yn ymbyncio uwch ein pen;
Hyn sydd brydferth, ond prydferthach
 Fil y baban tlws dinam,
Fyddo'n gwenu drwy ei ddagrau
 Dan haulwenau gwyneb mam.

Beth sy'n brydferth? Addurniadau,
 Gorchest celfyddydau cain;
Camrig gwyn, a gwych sidanau,
 Porphor ddefnydd, lliain main;
Hyn sydd brydferth, ond prydferthach
 Dyn o ddenol, dduwiol ddawn,
Yn cyhoeddi enw Iesu—
 Hyn yn wir sydd brydferth iawn.

Beth sydd brydferth? Gwraig rinweddol,
 Yn dyrchafu gwylaidd lef,
Am faddeuant, am drugaredd,
 I fyny tua phorth y nef;
Ar ei gliniau'n ostyngedig
 Erfyn gwyneb Iesu mawr;
Dagrau gloewon megys perlau
 Dros ei gruddiau'n treiglo'i lawr.

Engyl gwynion pan ei gwelant,
 Drwy yr awyr deneu las,
Yn y nef a gydglodforant,
 Megys gyda newydd flas;
Braidd na flysiant ymgnawdoli
 I gorphorol, ddynol lun,
Er mwyn gallu hefyd wylo,
 A gweddio megys dyn.

O uchelder nef y nefoedd,
 Ar gyflymaf, hoewaf hynt,
Mil cyflymach na thro'r bydoedd,
 'Hedant drwy y pedwar gwynt;
Eu sancteiddlan esgyll suant
 Eilgan bêr i lif y wawr;
Craff y tremiant, a sisialant,
 Dyma'n wir brydferthwch mawr.

Digitized by Google

# Pethau yn yr Eglwysi.

## LLYTHYR GOLLYNGDOD A PHURDEB.

Mae eisiau purdeb yn yr eglwys, purdeb dwyfol yn ei chredo, ac yn ei bywyd. Nid digon cael credo bendigedig; peth o'r golwg yw hwnw; rhaid hefyd cael gwisg hardd, ymddangosiad prydferth ac ysgogiad bywiog a gweddaidd, i'r dyben i enill edmygwyr i briodasferch yr Oen—Seion. Os yw yr eglwys am gael safle bwysig a dylanwadol yn y gymydogaeth, rhaid iddi ymddangos yn ngwisgoedd ei gogoniant ger bron y byd. Dichon fod yr eglwys yn fwy esgeulus *o'i gair* na dim arall. Mae dyn pwysig yn ystyriol iawn o gymeriad yr hwn a gymeradwyir; nid yw yn rhoi ei air dros neb yn fyrbwyll, er mwyn cael gwared arno—mae yn meddwl mwy o'i air na hyny.

Sylwasom fod eglwysi yn rhy barod i roi eu gair dros bersonau, ac wrth hyny yn twyllo eraill ac yn gwarthruddo eu hunain, heb wneyd gwir les i neb. Pwnc pwysig i eglwysi ydyw llythyrau gollyngdod aelodau. Mynych y mae cyfeillgarwch at bersonau yn gorchfygu crefyddolder yr eglwys, er mwyn peidio digio rhyw bersonau. "Gadewch iddo gael llythyr, mae yn myned ymaith, ni wna ein blino mwy." Dyna iaith llawer o aelodau eglwysi; ac ar gefn hyn ysgrifena swyddogion yr eglwys lythyr yn enw yr eglwys i gymeradwyo person yn aelod rheolaidd i eglwys arall, pan yr oedd yn rhy ddrwg i fod felly yn eu plith hwy. Frodyr, ni ddylai pethau fel hyn gael eu harferyd. Gwyddom am berson, a hwnw wedi bod yn weinidog yn yr Hen Wlad, yn dod i'r wlad hon, yn achosi cynhwrf a gofid mawr mewn eglwys yma, gan wthio ei hun i'r pwlpud, ond wedi gorfod ffoi yn fuan o herwydd ymddygiadau annuwiol i gymydogaeth arall; yno yn cymeryd arno fod yn aelod ac yn bregethwr, a'r gweinidog yn ei gydnabod fel y cyfryw. Wedi cael dechreu y cwrdd o flaen y gweinidog yn y lle newydd, anfonodd lythyr maith at swyddogion yr eglwys yn y lle cyntaf; dadleuai am gael llythyr, ei fod wedi cael ei dderbyn yn barchus, a'i fod wedi dechreu y cwrdd o flaen y gweinidog, ac y byddai yn ofnadwy iddo fethu profi drwy lythyr ei fod yn rheolaidd. O ganlyniad dymunai arnynt fel *cyfeillion* i anfon llythyr iddo. Yn awr beth oedd dyledswydd y brodyr hyn? Diameu fod digon o bersonau mewn eglwysi a ddadleuant dros ganiatau llythyr iddo—beth fyddent gwaeth? Ond am y brodyr dan sylw, yr oedd eu parch i ddysgyblaeth ac anrhydedd eu gair fel eglwys yn rhy gysegredig ganddynt i wneyd eu hunain yn gyfryngau i dwyllo eglwys arall; a gwrthodwyd y cais, er clod i'w crefydd, ac felly arbedwyd trafferth lawer i eglwysi eraill.

Gwyddom am eglwys wedi caniatau llythyr gollyngdod i aelod, yn cael allan ei fod wedi myned ymaith o'r lle yn llechwraidd ac anonest, gan adael y mashachwyr yn tyngu a rhegu, a chablu crefyddwyr a phobl y capeli. Beth oedd dyledswydd yr eglwys yn ngwyneb y datguddiedigaethau hyn? "O, y mae wedi myn'd yn awr; gadewch iddo." Nage, gyfeillion, buasai hyn ddim amgen na chwrdd â lleidr a chytuno ag ef. Wrth adael y dyn yna yn llonydd i gyflwyno ei hun yn aelod rheolaidd drwy dyst-lythyr eglwys barchus, buasid yn rhoi mantais iddo dwyllo masnachwyr yn y lle newydd drachefn. Galwyd y llythyr yn ol. Dyna *onestrwydd a gwroldeb crefyddol.*

Mae hyn yn ein tywys i ymholi pa bethau ydynt ddigonol i gyfreithloni yr eglwys i beidio rhoi llythyr gollyngdod i aelod. Os gellir profi fod y person wedi meddwi, bydd pawb yn barod i'w dori allan, a gwrthod llythyr iddo; ond os bydd y dyn yn byw yn dda a moethus, a gwisgo yn gostfawr, a hyny ar eiddo pobl eraill, heb wneyd un ymdrech i dalu ei ffordd, ca lonydd, a cha lythyr hefyd. Ond y gwir yw, y mae anonestrwydd lawer gwaeth na meddwdod; mae yn arddangosiad o egwyddor ac amcan drwg. Gall medd-

Digitized by Google

wdod fod yn ffrwyth blys a phrofedigaeth anfwriadol. Credwn na ddylai yr eglwys roi llythyr cymeradwyol i neb a fyddo yn anffyddlon i'w gyfamod eglwysig, yn esgeulus o'i ddyledswyddau gyda'r cyfarfodydd, y cymundeb, a'i gyfraniadau at gynal yr achos. I ba beth y dywedir fod person yn aelod *rheolaidd*, ac yntau yn esgeuluso yn barhaus *reolau* yr eglwys a *dyledswyddau* yr aelodau? Credwn hefyd na ddylid rhoi llythyr gollyngdod i neb os na fydd yn byw yn foesol, yn sobr, yn weddus, a gonest. Ond at y peth olaf yr ydym am arwain eich sylw mawr.

Pwy sydd yn anonest? Nid pob un ag nad yw yn talu ei ffordd, yn talu ei ddyledion. Mae llawer dyn gonest mewn dyled am ei fod yn methu yn deg a thalu ei ddyled. Mae yn gwneyd ei oreu i weithio yn galed a chyson, hyd y mae amgylchiadau yn caniatau, ac y mae yn ofalus i wneyd y goreu o'i enill, byw yn gynil, ar ymborth cyffredin, mewn ty cyffredin, ac yn gwisgo dillad cyffredin. Mae yn hawdd gwybod ei fod yn ymdrechu talu ei ffordd. Ond mae yn anlwcus yn ei waith, neu yn ei deulu—afiechyd, angeu, &c., yn ei siomi. Ond gwna ei oreu. Felly y mae yn onest. Ni ddylid atal llythyr i berson fel yna. Yn awr edrychwch ar ddyn arall. Dywedwch ei fod yn weinidog. Y mae yn derbyn galwad oddiwrth eglwys; mae yn cytuno ar gyflog penodol; mae yn hysbys hollol beth yw ei enill; mae yn cael ei gyflog bob mis, neu bob tri mis, neu yn llawn ar ben y flwyddyn. Yn awr dyledswydd y dyn yna ydyw trefnu ei dy, ac iddo ef a'i deulu fyw yn ol y cyflog yna. Os nad yw y cyflog yn ddigon i fyw bywyd uchel, dylid byw bywyd is. Os na all dalu ei ffordd yn y lle, dylai rybuddio yr eglwys o'r peth, ac os na wna yr eglwys ei gynorthwyo, dylai ymadael ar unwaith, yn hytrach na myned i ddyled, a rhoi lle i'r gelyn gablu. Mae yn warth i glywed hanes rhai personau crefyddol, ie, i glywed yr hyn a ddywedir am ambell i weinidog mewn ardaloedd lle y bu yn gweinidogaethu. Tra yno mewn bri pregethwrol, yn byw *high life* tymorol, tynu o'r ystôr hon a thynu o'r ystôr arall, benthyca arian oddiwrth hwn, ac arian oddiwrth un arall, nes y mae yn llawn dyled yn mhob man—eto yn cael llythyr gollyngdod fel Cristion gwir, a gweinidog da i Iesu Grist, a'r eglwys yn llawnodi y llythyr! Trwy hyn y mae yn cael derbyniad i faes newydd, ac yno yn myned drwy yr un llwybrau, yn cyflawni yr un ystranciau, a'r masnachwyr yn gruddfan dan faich eu colled. Ond er hyn mae yr eglwys hon eto yn rhoi llythyr gollyngdod i'w gymeradwyo i faes arall. Mae pethau wedi cau arno, y bobl wedi dod i'w adnabod, a rhaid iddo fyned ymaith. Ond ca fantais i ddechreu fel dyn da, gonest, a gweinidog teilwng, mewn rhyw fan arall! Nid dychymyg yw y darlun hwn, ond crynhoad o ffeithiau, yn mhresenoldeb y rhai y teimlwn i wrido. Y pwnc yw, a ydyw yr eglwysi sydd yn goddef cymeriadau fel hyn, ac yn rhoi llythyrau gollyngdod i bersonau fel hyn, yn deilwng o aelodaeth Gymanfaol—yn deilwng o gael eu galw yn eglwysi Cristionogol? Nac ydynt; maent yn llochesu drygioni, yn achlysur i beri i eglwysi eraill gael eu twyllo, eu cythryblu, a'u gwarthruddo, ac i ddynion diniwed a masnachwyr caredig gael eu colledu yn fawr. Yn sicr, os gellir profi, ac y mae ffeithiau yn ddigon o dystion, fod person, bydded aelod cyffredin, diacon, neu weinidog, yn *anonest*, ni ddylid caniatau llythyr iddo. Nid oes eisiau ei brofi yn euog o ddim arall; mae *anonestrwydd* yn ddigon o achos ynddo ei hun. Eglwysi anwyl, peidiwch cymeradwyo neb i eglwysi eraill er mwyn cael gwared o hono yn unig, neu er mwyn cael pen ar eich gofid. Byddwch wrol i wneyd eich dyledswydd; byddwch ffyddlon i'r Meistr; byddwch wasanaethgar i'r gwirionedd a phurdeb; na foed i chwi fod yn euog o ddarnguddio y gwirionedd, ac wrth hyny adael eglwysi eraill fyned i ofid, pan y gellwch chwi eu gwaredu.

Peth arall, ni ddylid caniatau llythyr gollyngdod i neb y gwyddis ei fod yn dweyd celwyddau, yn taenu anwireddau yn wirfoddol o unrhyw fath. Os

Digitized by Google

nad yw dyn yn *eirwir*, ni haedda lythyr gollyngdod. Pe bae person yn bob peth da ond yn dweyd celwyddau yn wirfoddol, dylid atal llythyr oddiwrtho. Mae eisiau i'r eglwysi gynorthwyo eu gilydd. "Dygwch feichiau eich gilydd." Dylai swyddogion yr eglwys wybod beth yw gwir safle a chymeriad dyn cyn llawnodi llythyr iddo. Nid ceisio peidio dod i wybod pethau er mwyn cael gwneyd yn eu hanwybodaeth, ond dylid ceisio cael gwybod y gwir yn brydlon. Felly hefyd dylai swyddogion cymanfaoedd fod yn wyliadwrus i gael allan wir safle, a'r gwirionedd parth moesoldeb, gonestrwydd, geirwiredd, a Christionogrwydd person y rhoddir llythyr cymeradwyol iddo.—*Didymus*.

---

# Ardrem Americanaidd.

GAN GWYLIEDYDD.

## Y BEDYDDWYR.

Crybwyllwyd mewn rhifyn blaenorol am y cyfarfod mawr Hydrefol oedd i gael ei gynal yn Boston, Mass. Y mae wedi cael ei gynal, a gellir dweyd am dano ei fod yn gwrdd mawr yn ngwir ystyr y gair, ïe, pob ystyr o hono. Cynaliwyd ef o brydnawn dydd Mawrth, Tachwedd 13eg, hyd nos Iau. Y Llywydd oedd y Parch. Alvah Hovey. Yr oedd lluoedd o flaenoriaid yr enwad wedi dod yn nghyd o bell ac agos, a siaradwyd yn rymus ar y pynciau dyddorol a roddwyd allan yn flaenorol. Gwelid yno lawer hefyd o ddynion mwyaf blaenllaw yr enwadau eraill yn troi i fewn er gweled a chlywed, a mawr ydyw y canmol sydd ar y cyfarfod yn eu papyrau enwadol byth oddiar hyny. Nid gwiw i mi ddechreu rhoddi un math o fraslun o'r wledd feddyliol a gafwyd yno, am fod gofod y golygydd yn rhy brin. Ond mae yr holl weithrediadau i gael eu cyhoeddi yn gyflawn mewn un pamphletyn cryno, a byddai yn dda i bawb sydd yn medru darllen Saesoneg ei bwrcasu.

Yr ydwyf wedi gwneuthur rhai crybwyllion o fis i fis yn y WAWR am gartref i hen weinidogion methedig, sydd wedi ei gychwyn y llynedd yn ninas New York. Yn awr, mae y ty wedi ei agor ar y 23ain o Tachwedd, pryd yr oedd torf o gyfeillion y symudiad daionus wedi dyfod yn nghyd, ac y caed areithiau pwrpasol gan y Doctoriaid Eddy, Wayland, Everts, a'r Parchedigion Sarles, Farnham, Nicholson, ac eraill. Fod yr angen mwyaf er's blynyddau am le o'r fath sydd yn ddigon hysbys i bawb, ac mae hir esgeulusdod o hen weinidogion *tlodion* Crist yn adlewyrchu yn anffafriol ar eglwysi ein henwad. Yr wyf yn adnabyddus ag un, yr hwn oedd bum' mlynedd ar hugain yn ol yn sefyll yn y rhes flaenaf o weinidogion dinas New York, ond sydd erbyn heddyw wedi myned mor isel gan henaint a thlodi, fel nad oedd dim o'i flaen ond ty y tlodion. Ond cyn y bu raid iddo fyned yno, dyma gartref cysurus yr hen weinidogion yn barod i'w roesawu i fewn; ac yno, trwy drugaredd, ac nid mewn cardodty, y ca dreulio gweddill fer ei oes, yn mhlith ei frodyr. Y mae y rhagolygon mwyaf addawol o flaen y cartref hwn, ac mae yr ymddiriedolwyr yn teimlo yn dra chalonog. Duw a'u llwyddo i wneyd dyddiau olaf hen weinidogion Iesu yn fwy cysurus.

Galwyd yn ddiweddar Gyngor o holl eglwysi Bedyddiedig Brooklyn, N. Y., er cydnabod corph o ddynion a alwent eu hunain yn "South Baptist Church," yn y ddinas hon. Cyfarfu y Cyngor, ond gwrthododd gydnabod y gynulleidfa yn eglwys *Fedyddiedig*. Rheswm, gormod o ogwyddiad ynddi at ryddgymundeb. Da iawn. Nis gellir bod yn rhy ofalus y dyddiau hyn i gadw y barau i fyny. Y mae ein llwyddiant, ein hiachusrwydd a'n nerth ysbrydol yn ymddibynu llawer ar hyn, ac am i ni gadw gafael ddiymollwng yn yr hen *moorings* Beiblaidd — dim cymundeb heb fedydd, a dim yn fedydd ond trochiad y crediniol.

Mae adfywiad grymus yn cael ei deimlo mewn llawer o'r Talaethau, ac ychwanegiadau lluosog yn cael eu

Digitized by Google

gwneyd at yr eglwysi. Gwelaf fod eglwysi Carolina Ogleddol wedi cael ychwanegiad o tua deng mil o eneidiau atynt. Y mae llwyddiant anghydmarol egwyddorion y Bedyddwyr trwy y byd, a dirywiad taenelliad babanod yn mhlith

ENWADAU ERAILL,

yn destynau teilwng o sylw, ac ymchwiliad i'r achosion sydd wrth wraidd hyn. Yn adroddiad blynyddol diweddaf yr eglwys Bresbyteraidd, trwy ei *General Assembly*, ceir papyr swyddogol dan y penawd, "*A narrative of the state of religion*," yn yr hwn mae y brawddegau *startling* canlynol: "A very curious state of affairs is seen in the reports concerning the interests of the juvenile portion of the church. It is the rule of Presbyterianism that all infants born of Presbyterian parents shall be baptized. The rule has fallen into disuse . . . the average for each church is about three infants dedicated to the Lord in baptism. This seems a small business, and one which may well awaken inquiry as to whether or not *infant baptism should be abolished*."

Gwarchod pawb! a ydyw y Presbyteriaid yn myned i ddiddymu bedydd babanod? Y mae yn hysbys fod y Cynulleidfaolion yn lled gyffredin wedi mabwysiadu math o gysegriad yn lle bedydd; a gwyddis hefyd fod rhai eglwysi perthynol i'r enwad parchus hwnw yn cefnogi yn gystal ag yn arfer trochiad y crediniol. A chredwyf nad yw y dydd yn mhell pan y daw yn hollol i lwyfan y Bedyddwyr. Ond mae meddwl fod bedydd babanod wedi myned mor ddiarferiad yn yr eglwysi Presbyteraidd nes "deffroi ymofyniad pa un a ddiddymir ef ai peidio," yn sicr yn cyffroi ymofyniad ynom ninau i ofyn, a ydyw y corph lluosog, cyfoethog, dysgedig a cheidwadol hwn, yn graddol ymryddhau oddiwrth gamsyniadau Calvin, ac yn dyfod i ddeall nad yw y Testament Newydd yn gofyn i rieni daenellu eu babanod.

Mae Martin Luther wedi ei eni bedwar cant o flynyddau yn ol, ond mae ei enw yn awr yn barchus yn eglwysi Protestanaidd y byd, ac fe barha felly tra fyddo cof am y Diwygiad Mawr. Yr oedd y diwygiad hwnw o Dduw, a chodwyd Luther fel offeryn cymwys i roddi iddo gychwyniad. Er fod yn rhaid cydnabod iddo fethu deall rhai o wirioneddau pwysicaf y Testament Newydd, eto ni wnaeth neb fwy o les i ddynoliaeth nag ef er dyddiau yr apostolion. A phan ystyriom y gwaith mawr a gyflawnodd, nid rhyfedd fod Protestaniaid y byd wedi dathlu mor unol y 400 mlynedd ddydd ei enedigaeth, yr hwn a ddisgynodd ar y 10fed o Tachwedd diweddaf.

Ond er cymaint wnaeth Luther a'r Diwygiad Mawr, methasant a rhoddi ergyd marwol i Babyddiaeth. Y mae hi yn fyw o hyd, ac un o'i phrif ymdrechion yn y wlad hon yn awr ydyw cael y bobl dduon i'w chorlan, ac i raddau y mae yn llwyddianus. Y mae eglwys o Negroaid Pabyddol wedi ei hagor yn ninas New York yn ddiweddar gyda llawer iawn o *bomp* Pabyddol, ac mae hwnw yn gydnaws a chwaeth y Negro.

---

# Arf-dy y Cristion.

### BALCHDER.

Y mae cyffelybrwydd yn gyffredin yn cenedlu cariad, ond y mae balchder yn gyfryw egwyddor wael fel y mae beilchion yn gyffredin yn casâu eu gilydd. Y mae hen Buritan yn sylwi, "Fel nad yw y dyn balch yn caru neb ond ei hunan, felly, yn y cyffredin, nid yw yn cael ei garu gan neb ond ei hun."

### CARIAD DUW.

Y mae cariad Duw mor *fawr*, nes y mae fel mantell am anfeidroldeb ei hun; mor *uchel*, nes y mae yn dô ar ffurfafen paradwys fry; mor *isel*, nes y treiddia o dan wraidd llygredd y pechadur mwyaf dirywiedig o'r hil ddynol; mor *faith*, nes cyrhaedd o dragywyddol fwriad anfoniad Mab Duw, hyd eithaf tragywyddoldeb o wynfydedigrwydd

Digitized by Google

a fwynheir yn y nef; ac mor *effeithiol*, nes y try efe y galon galetaf, dduaf, ac aflanaf ar y ddaear, yn dyner, gwyn, a glân, fel na allai y craffaf o'r angelion byth ddeall eu bod yn aflan, oni b'ai fod lleferydd y saint yn y nef yn eu cyhuddo trwy ddiolch i'r hwn a'u *carodd* ac a'u *golchodd*.

---

#### RHAGRITH.

Y mae rhagrith nid yn unig yn bechod, ond yn un o'r pechodau mwyaf *anesgusodol*. Os yw crefydd yn ddrwg, i ba beth y mae y rhagrithiwr yn ei *harddel?* Os yw yn dda, paham na byddai ei galon yn ei *charu?* Os ydynt yn cymeryd yr enw o weision Duw, paham na wnaent waith Duw? Os na fynant fod yn weision iddo, paham y mynant ymgyfenwi yn weision? Os mynant gael eu galw yn weision Duw, paham na byddant felly yn wirioneddol?

---

#### ESIAMPL CRIST.

Iesu Grist yw yr unig ddysgawdwr a gynygiodd debygolrwydd iddo ei hun yn brawf ac arwydd o fod yn ddysgybl iddo. Y mae ef nid yn unig yn ddysgawdwr, ond hefyd yn *gynllun* o'i grefydd ei hun. Y mae ei esiampl yn rhan hanfodol o'i gyfundraeth. Gallai dyn fod yn athronydd o unrhyw ysgol, os derbyniai egwyddorion ei athraw, pe byddai ei *ysbryd* mor wahanol i'w arweinydd ag ydyw y dwyrain oddiwrth y gorllewin; ond nid yw hyn yn ddigon i wneuthur dyn yn Gristion, canys y mae yn rhaid iddo nid yn unig dderbyn *athrawiaeth* Crist, ond hefyd *ysbryd* Crist.—*J. A. James*.

---

#### BODDLONRWYDD.

Y mae boddlonrwydd yn blanhigyn na thyfodd, ac na thyf, yn ngardd natur. Planhigyn nefol a goruwch naturiol ydyw. Yr Ysbryd Glan, trwy yr efengyl, sydd yn ei gynyrchu. Yn nghalon y Cristion y mae yn cael ei blanu, ac yn ngardd yr Arglwydd y mae yn tyfu ac yn blodeuo. Rhaid i oleuni dwyfol dywynu i'r enaid, a gras neillduol oddiwrth Grist gael ei gyfranu, a gweithrediadau goruwch-naturiol yr Ysbryd Glan weithredu yn y galon, cyn y byddo profiad o wir foddlonrwydd yn un man.

---

#### YR ADGYFODIAD.

Boreu teg a fydd dydd cyfodi o'r bedd i'r Cristion. Dyosgasant eu harfogaeth, a chadwant eu tarianau, eu hesgidiau, a'u cleddyf. Pan gyfodant yn y boreu, nid esgidiau rhyfel, ond esgidiau gogoniant a wisgant. Nid cleddyf, ond palmwydd. Nid gweddio a gwylio, ond gwaeddi iachawdwriaeth i'n Duw ni, a chanu y gân newydd.—*Christmas Evans*.

---

—Pa le bynag y ceir Paul i bregethu, ceir yno Dertulian i bigo beiau.

—Ni ofynir i ni yn y farn pa beth a *ddarllenasom*, ond pa beth a *wnaethom*; nid pa un a ddarfu i ni *siarad* yn dda, ond pa un a ddarfu i ni *fyw* yn dda.—*Thomas a Kempis*.

—Ffydd yn yr enaid yw bywyd ac enaid gweddi. Gall ffydd weddio heb eiriau, ond nid yw y geiriau ardderchocaf yn deilwng o'u galw yn weddi lle na byddo ffydd.

—Cofiwch, pa sail bynag sydd genych i weddio, y mae genych yr un sail yr *atebir* eich gweddiau.

—Bydded i ni wybod am y cariad hwnw, yr hwn a gymer ffaeleddau brawd at orsedd gras, tra ar yr un pryd yn taflu mantell cariad drostynt.

—Gobaith yw y gras hwnw trwy yr hwn y mae yr enaid sydd yn *credu* yr efengyl mewn modd dyddanus, yn dysgwyl y bendithion addawedig yn feddiant iddo ei hun.

—Pan y byddom yn gweddio yn feunyddiol ac yn ddifrifol, yr ydym yn gogoneddu Duw, oblegid yr ydym yn cydnabod trwy hyny fod ein dedwyddwch yn ymddibynu ar Dduw yn unig.

Digitized by Google

# Bwrdd y Golygydd.

## Y GWYLIAU.

Y mae gwyliau'r Nadolig yn mhlith y pethau hyny a lithrasant i lawr o'r hen oesau, sydd yn ddiniwed, a dyweyd y lleiaf, yn eu ffurf bresenol, pan yn cael eu rheoleiddio gan ysbryd yr efengyl. Dywedwn eto, pan yn cael eu rheoleiddio gan *ysbryd yr efengyl.* Yn wir, mae dydd Nadolig yn meddu swynion arbenig i'r meddwl pur Cristionogol. Bydd dydd Nadolig wedi pasio cyn yr ymddengys y llinellau hyn mewn print; ond er hyny dymunwn i'n cyfeillion oll wyliau difyrus. Mae y Cymreigyddion yn Utica yn dysgwyl amser da ddydd Calan. Y mae y rhagolygon yn well nag arferol am Eisteddfod ragorol. Dysgwyliwn fod yn bresenol, canys y mae yr wyl flynyddol hon gan Gymry Utica a'r amgylchoedd yn meddu swyn neillduol i ni. Credwn nad oes well Eisteddfod yn y wlad nag a geir yn gyffredin ddydd Calan, dan nawdd Cymreigyddion Utica. Deallwn fod ein cyfeillion yn Freedom, Cattaraugus Co., N. Y., yn myned yfory i gael eu *Christmas tree* am y tro cyntaf erioed, a dysgwylir pethau mawrion, rhoddion a theganau lawer ar y goeden.

## CYFLEUSTRA I WNEYD CYMWYNAS.

Yn canlyn ceir llythyr oddiwrth frawd teilwng o gael gwrandawiad. Ni chredwn y gall yr un Bedyddiwr ddarllen ei gynwysiad heb deimlo yn ddwys. Os dygwydd i ryw un feddu mantais i wneuthur caredigrwydd i'r brawd, yn ol fel yr awgryma, bydd trwy hyny yn ddiamheu yn gwneyd gweithred Gristionogol. Y mae cymwynas i frodyr lleiaf Iesu Grist yr un peth a'i wneyd yn bersonol iddo ef ei hun. Ac os na ellir gwneyd fel yr awgryma, ai tybed nad oes rhywun yn mhlith y darllenwyr na theimlant anton eu hatling i'r brawd Thomas. Gwelir ei *address* yn niwedd ei lythyr. Yr ydym yn sicr fod awdwr y llythyr yn frawd rhagorol. Bu yn gohebu â ni droion yn ystod y blynyddau diweddaf, a phob amser yn peri i ni feddwl am dano yn ffafriol iawn fel Bedyddiwr a Christion. Darllener ei lythyr yn ystyriol; a chyn troi y cais heibio, meddylier beth all y darllenydd wneyd mewn ffordd o help i'r brawd :

DELTA, Tach. 24, 1883.

*At y Parch. Owen Griffith :*

ANWYL FRAWD—Fe allai eich bod yn cofio i mi er's dwy flynedd yn ol ymholi am ryw waith ysgafn, ond ni wnaeth yr un Bedyddiwr yr un sylw o'm cais. Ond yn awr, anwyl frawd,

> "Trwy ganiatâd Iachawdwr byd
> Daeth gwaew cryd cymalau,"

fel ag yr wyf wedi bod am flwyddyn a haner heb weithio; ac yn awr, mae y doctoriaid wedi dyfod i'r penderfyniad i dori fy nghoes, ac y maent yn dyfod yma ddydd Llun i wneyd, ac yr wyf yn meddwl am gael coes gorcyn. Y pwnc yn awr yw, ei bod yn anhawdd cael un gwaith yn y chwarelau, os na bydd dyn yn alluog i bob gwaith; a chan mai yn yr ardal hon yr wyf wedi bod er pan yn y wlad hon, felly yr wyf yn anadnabyddus a phawb ond trwy ddarllen y *Drych* a'r WAWR; ac yn wir i chwi, y mae arnaf awydd angerddol am fod yn mhlith y Bedyddwyr, er nad wyf yn proffesu crefydd, am nad oes yma eglwys o'r un egwyddorion a mi. Ai tybed nad oes yr un Bedyddiwr yn y wlad hon yn meddu digon o ddylanwad a thrugaredd yn ei fynwes, lle mae eglwys gan y Bedyddwyr, a all gael rhyw fath o waith i'm bath i? Nis gwaeth genyf pa waith, os gallaf enill fy nhamaid. Gwelais Annibynwr wedi tori ei goes yma flynyddau yn ol, a chafodd ef fyned i ardaloedd y glo; ond trochi i mi. Yr wyf yn deall y byddwch chwi yn myned ar daith trwy ranau o'r wlad, a wnewch fod mor garedig ag ymholi droswyf am rywbeth a

all dyn yn yr un cyflwr a mi wneyd? Deallwyf fod ambell i walch yn myned trwy y wlad i dwyllo; gwelaf hanes am un gan Ap P. A. Mon yn y *Drych* diweddaf. Mae y fath yn gwneyd mawr ddrwg i'm bath i sydd yn onest ac egwyddorol. Gwelwch ysgrif fechan genyf yn *Drych* diweddaf; ac os bydd eisiau fy nghymeriad, gallaf gael gan bawb yn yr ardal ei roddi i mi. Ni byddaf yn alluog i un math o waith tu yma i'r *spring*. Nis gallaf ddweyd pa mor ddiolchgar a fyddaf os gellwch fy rhoddi ar y ffordd i ddod o hyd i ryw Samaritan trugarog. Mae yn sicr genyf fod gan Ragluniaeth waith ar fy nghyfer; ond pa fodd y mae i mi ddyfod o hyd iddo yw y pwnc. Mae arnaf braidd ofn mai yn y *poor-house* y byddaf. Onid oes Bedyddwyr yn oruchwylwyr mewn gweithfeydd glo a haiarn? Neu onid oes rhyw fanteision yn mhlith y ffermwyr i wr a gwraig ac un eneth? dim gwahaniaeth genyf pa beth, na pha le.

Anwyl Syr, cofiwch am danaf. Yr eiddoch yn gywir, WM. J. THOMAS,
Delta, York Co., Pa.

O. Y.—Gallwn gadw *boarders* i'm helpu, gan nas gallaf wneyd ond gwaith heb eisiau cerdded llawer. A oes Bedyddiwr a wnaiff garu ei gyd-Fedyddiwr fel ef ei hun? Carwn gael gair oddiwrtho.

---

## YR "ORIEL."

Credwyf fod anturiaeth cyhoeddwr parchus y WAWR yn dyfod allan â'r Oriel, yn deilwng o gefnogaeth galonog a chyffredinol, nid yn unig o herwydd fod y mudiad yn adlewyrchu yn dda arnom fel cyfenwad, ac yn beth newydd yn y wlad fawr a newydd hon, ond hefyd am fod y peth yn werthfawr ynddo ei hun fel gwaith celfyddydol. Dichon nad yw pawb sydd a'u lluniau ynddo yn credu fod yr *artist* mor gyfoethog o allu ag yw, gan fod tuedd gref ynom oll i gredu ein bod yn llawer harddach mewn corph, ac yn alluocach mewn meddwl nag ydym. Eto, rhaid addef fod y gwaith yn ei gyfanrwydd wedi ei gyflawni yn dda iawn. Y mae amryw orielau cyffelyb iddo wedi ymddangos yn "Hen Wlad ein Tadau," o'r gweinidogion Bedyddiedig Cymreig, a thystia amryw frodyr da yno, y rhai sydd wedi derbyn copi o hono, ei fod yn rhagori arnynt oll. Fel hyn y dywed Proffeswr Edwards, Llywydd parchus Coleg Pontypool, un o ddynion goreu Cymru: "*I consider it a very good one, better than those brought out in Wales.*" Gallwn ddyfynu o lythyrau brodyr da eraill ataf o Gymru mewn perthynas iddo, ond y mae yr uchod yn ddigon. Profa hyn fod y brawd Griffiths yn cynyg i gyhoedd Bedyddiedig Cymreig America wrthddrych a ystyrir gan feirniaid cymwys yn gyfartal, a dweyd y lleiaf, i ddim cyffelyb a werthwyd erioed yn yr Hen Wlad. Mwy na hyn, y mae ei bris yn is na'r hyn y gwerthwyd pob un o'r tri a gyhoeddwyd yn Nghymru am dano.

Deallwyf fod amryw ganoedd o gopïau o hono wedi eu gwerthu yn barod, ac y mae lluosawgrwydd Bedyddwyr Cymreig America yn sicrhau y gwerthir o honó o dair i bedair mil. Dylai fod yn weledig wedi ei fframio yn hardd yn nhy pob Bedyddiwr Cymreig trwy y wlad.

J. W. WILLIAMS.
*Hyde Park, Tach.* 26, 1883.

---

## IOLO MON ETO.

Darllenais yn y WAWR gyda syndod galarus am farwolaeth Iolo Mon. Nid oedd unrhyw adnabyddiaeth neillduol rhyngom a'n gilydd. Cyfarfyddais ef yn 1866 yn swyddfa y *Faner*, yn Dinbych. Nid oedd dim yn ei berson, na'i arddull allanol, a fuasai yn denu dyn dyeithr ato; ond argraffodd ei hun ar fy meddwl a'm cof fel un o'r personau mwyaf dyddorol i fod yn ei gwmni a gyfarfyddais yn yr Hen Wlad. Yr oedd genyf esgus go dda i guro arno, fel hyn: Yr oedd yn John Bull trwyadl. Nid oedd dim Americanaidd yn uchel yn ei olwg. Macaulay perffaith oedd yn hyn, o leiaf, fel y siaradai â mi. Pwnc un ymgom rhyngom oedd y wasg Gymreig yn Nghymru ac

Digitized by Google

yn America. Fy marn i ydoedd—ac ni chefais eto achos i'w chyfnewid—fod cyhoeddiadau wythnosol Cymreig America yn llawn cystal ag eiddo yr Hen Wlad. Y *Drych* yn unig a gyhoeddid y pryd hwnw, ac yn fy marn i, yr oedd y *Drych* yn annhraethol tu hwnt i holl bapyrau Cymru, gyda'r eithriad o'r *Faner*.

Siaradai Iolo yn gryf a doniol dros ei ochr, ac o'r diwedd dechreuodd wawdio y *Drych* yn ei hwyl wladgarol. Yr oedd hyn yn ddigon i'm cynhyrfu. Yr oeddwn wedi bod yn ddarllenydd o'r *Drych* er pan yn blentyn, ac yn ohebydd sefydlog iddo er's rhai blynyddau y pryd hwnw. Dywedais wrth Iolo nad oedd genyf amheuaeth nad oedd colofnau y *Faner* (yr oedd ef yn gwneyd gwaith golygyddol yn y swyddfa y pryd hwnw) yn cael eu cyfoethogi â darnau o'r *Drych*, ac fe allai, meddwn, heb y gydnabyddiaeth leiaf am danynt. Gwadodd hyny yn bendant, a rhoddodd o'm blaen *file* o'r *Faner*, a her i mi i bigo un darn a ymddangosodd erioed yn y *Drych* yn wreiddiol, er, ebe fe, fod y *Drych* yn copio yn aml o'r *Faner*. Edrychais ar un o rifynau diweddar y *Faner*, ac yn sicr ddigon, gwelwn ynddi *report* oeddwn wedi ei wneyd fy hunan o brawf dau lofrudd nodedig yn Brooklyn, ac wedi ei anfon i'r *Drych*. Yr oedd y *report* wedi ei ysgrifenu yn y *Court*, fel yr oedd y prawf yn myned yn mlaen, ac yr oedd yn fywiog ac yn fanwl, ac fel pethau felly, yn ddyddorol i ddosbarth o ddarllenwyr. Nid oedd y *credit* lleiaf wedi ei roddi i'r *Drych* na minau am yr erthygl. Gyda diniweidrwydd ffuantus, gofynais i Iolo lle y cafodd yr erthygl hono. Caethiwyd ei barabl ar unwaith, ond awgrymai mai ei chyfieithu a wnaed o un o bapyrau Llundain. Deliais ef yn y fan, a chawsom chwerthin iachus dros yr amgylchiad. Yr oedd yn ddoniol, difyrus, a dyddorol neillduol yn ei ymadrodd a'i gwmni, a gwnaeth yr oll a allai i'm croesawu yr ychydig amser y bum gydag ef. Cofiaf am dano yn gynes. Cyn ymadael a'n gilydd, ysgrifenodd y llinellau hyn yn fy *album:*

DYMUNIAD.

Dros donau erch y Werydd
  Boed iti fordaith lon,
Nes cyrhaedd bwthyn dedwydd
  Dy fam tu draw i'r don;
Dan nodded Hollalluog,
  A'i wenau ef o hyd,
Dy yrfa fo lwyddianus,
  Bendithfawr yn y byd.

I fyny fryn enwogrwydd
  Esgyna yn ddibaid,
A gâd i'r rhai dienaid
  Gartrefu yn y llaid;
Mae dyn yn enedigol
  I urddas uwch ei nôd,
Os myn gall wneyd gwrhydri
  Deilynga fythol glod.

*Medi* 17, 1866. IOLO MON.

Ar y tudalen cyferbyniol i'r uchod yn fy *album* mae y geiriau hyn, a ysgrifenwyd yn yr un lle a'r un amser âg eiddo Iolo:

"Gwnaed Cadair Eisteddfodol Caer o dderw a gyfansoddai ran o'r ty anedd lle y ganwyd ac y magwyd Thomas Edwards, o'r Nant, oddiwrth yr hwn le y cafodd ei alw yn Dwm o'r Nant.

Ar gadeiriad y bardd buddugol (Clwydfardd?) yn y gadair, adroddais yr englyn canlynol:

Hwn heddyw, 'nol ei haeddiant—i'r gadair
  Godwyd mewn urdduniant;
A hwn gawn mewn gogoniant
  Yn ben yn nerwen y Nant.

*Dinbych, Medi* 17, 1866. CLWYDFARDD."

*Elgin, Ill.* H. O. ROWLANDS.

---

## MAN-LEWYRCHIADAU.

—Yn Nodion Sir Oneida, yn y *Drych* am Rhag. 20, fel rhan o hanes llwyddiant yr eglwys Annibynol yn Utica, gwelwn a ganlyn: "Y mae arwyddion o bresenoldeb yr Arglwydd yn amlwg yn yr eglwys hon er pan mae y Parch. Dr. Gwesyn Jones yn ei bugeilio. Ychwanegwyd 14 at yr eglwys y mis diweddaf; un chwaer oedd wedi ei dwyn i fyny gyda y Bedyddwyr, yn cael y fraint o ufuddhau i orchymyn Pen yr eglwys, trwy gael ei thaenellu

Digitized by Google

gan y gweinidog yn ngwydd torf fawr o edrychwyr."

Beth, ai cellwair a gwatwar y Bedyddwyr mae y gohebydd wrth ysgrifenu yr uchod? Ebe efe, "Un chwaer wedi ei dwyn i fyny gyda y Bedyddwyr yn cael y fraint o ufuddhau i orchymyn Pen mawr yr eglwys trwy gael ei thaenellu!" Pe buasai y chwaer grybwylledig wedi ei dwyn i fyny gyda'r Annibynwyr, ni fuasai yn cael y "*fraint o ufuddhau*" felly, canys buasent hwy wedi ei difreinio o'r *fraint* hono, trwy ei thaenellu pan yn faban. "Yn ol gorchymyn Pen yr eglwys!" Yn mha le mae y gorchymyn hwnw i daenellu? Y fath ddigywilydd-dra, yn dweyd celwydd fel hyn ar g'oedd y byd! a'r fath ryfyg i dadogi gorchymyn i Iesu Grist na soniodd air am dano erioed. Beth nesaf, tybed?

—Mae y Parch. H. O. Rowlands wedi ymadael o Eglwys Gyntaf y Bedyddwyr, yn Oshkosh, Wis., ac wedi ymsefydlu yn Elgin, Ill. Mae yr eglwys hon yn un o eglwysi mwyaf pwysig yr enwad yn y Dalaeth; mae ganddi rhwng pedwar a phum' cant o aelodau. Cafodd Mr. Rowlands dderbyniad brwdfrydig a chyhoeddus, ac arwydda pethau yn addawol dros ben yn y sefydliad newydd.

—Mae y Parch. Robert Jones, Llanllyfni, wedi cyhoeddi cyfrol werthfawr o bregethau yn ddiweddar. Gwnawn adolygiad ar y gwaith y tro nesaf.

—Mae yr eglwys fechan, ffyddlon, yn Arnot, Pa., yn gwanhau trwy fod amryw yn symud i leoedd eraill. Aeth y brodyr da, Philip Williams a Watkin Watkins ymaith yn ddiweddar i ryw le heb fod yn mhell iawn o Houtzdale.

—Deil yr eglwys yn Morris Run, Pa., ei thir yn rhyfedd. Y mae yr hen golofnau yn parhau a'u hysgwyddau yn dyn o dan yr arch.

—Dywedir fod y Ffrancod wedi tân-belenu Mahambo, yn nwyreinbarth Madagascar, pryd y gwnaed dinystr mawr. Dywed hanesion diweddarach eu bod yn parotoi i dânbelenu Fort Dauphin a lleoedd eraill, ar yr ochr ddeheuol.

# Barddoniaeth.

## HIRAETHOG WEDI MYN'D.

HIRAETHOG enwog a hunodd—Ow! do,
  Ei daith a orphenodd;
 Un mawr oedd ef yn mhob modd,
 Ei genedl i fri gwnodd.

Daeth yn fardd o deithi nef wen- ei ddawn
  Urddunodd yr awen;
A gwisgai hi â gwisg wen—yn gyhoedd,
Un cywir ydoedd i'w fam Ceridwen.

Yn nifyr waith y nefoedd—hyf frodor,
  Hyfrydai yn gyhoedd;
Pregethwr, areithiwr oedd—o ddawn ffraeth,
A'i rym ehelaeth goruwchlaw'r miloedd.

Wyf fi 'nawr yn cofio'n wych—ei alw
  Yn William Rees, Dinbych;
 Oedd wron od o ddewrwych,
 A chalon hael uwchlaw nych.

Ei olwg hyf mal gwawl goeth—drywanai
  Drwy enaid yr annoeth;
 E wnai y dwl yn ddyn doeth,
 Yn gyfor o wir gyfoeth.

Ei gofadail a gyfododd—ei hun,
  Yn hardd fe'i goreurodd;
Duw o'i rad hefyd a rodd—i'w gloywi,
Ei enw arni—ac Ef a'i harddunodd.

Diwagedd fu'i weinidogaeth—felus,
  I filoedd bu'n wirfaeth;
I'w Hen Walia yn helaeth—llafuriodd,
A'i Iesu wenodd ar ei wasanaeth.

Enaid ei wlad a'i genedl oedd—neu seraph
  I'n cysuro ydoedd;
 A'i ddi-floesg nefolaidd floedd,
 Wnai'n dirwyn o'r dyfnderoedd.

*Johnstown, Pa.* CADWGAN FARDD.

## "AC NI BYDD NOS YNO."

O! wlad ddymunol, lawn o hedd,
  Sydd fry uwchlaw'r wybrenau,
Lle mae yr euraidd orsedd fawr,
  Eisteddfa Duw y duwiau;
Lle mae angylion rif y sêr
  Yn chwareu aur delynau;
Lle ni bydd nos â'i haden ddu
  Yn cuddio bythwyrdd fryniau.

Mae anian dlos a'i bron yn brudd
  Pan fyddo nos yn nesu,
A'r claf sydd yn hiraethu am
  Y dirion wawr i dori;
Ah! bruddaidd nos, wyt ddarlun o'r
  Tywyllwch sy'n teyrnasu
Yn uffern, annymunol fan,
  Lle nad oes haul yn gwenu.

Digitized by Google

Mae'n felus meddwl am y nef,
Preswylfa lân yr Iesu,
Lle mae trag'wyddol ddydd heb nos,
A hyfryd haf heb oerni:
Gogoniant gwyneb sanctaidd Duw
Yw dysglaer haul y nefoedd,
Ac erys uwch y ddedwydd fro,
Heb fachlud yn oes oesoedd.

Bererin llesg, os wyt yn awr
Mewn anial wlad yn teithio,
Lle mae yr oerllyd nos yn d'od,
A'i lleni du i'th rwystro,
Ti fyddi 'n iach ger gorsedd Duw,
A thelyn yn dy freichiau,
Lle ni bydd nos yn beiddio rhoi
Ei mantell dros y tannau.

—*O'r Athraw.*

### YMSON ADGOF.

Mewn byd
Sydd drafferth flin yn mron i gyd,
A garw hagr iawn ei bryd,
Melus yw cofio lawer awr
Am gyfnod teg plentynrwydd cu,
Ei swynion lu, ei decaf wawr.

Diloes
Oedd dyddiau hyfryd boreu oes,
Cyn teimlo blinder unrhyw groes;
Eistedd i lawr yn dawel wnawn
Dan gysgod dail yr ywen werdd,
I wrando cerdd yr hwyrol nawn.

Mor llon
Y chwareu ysgafn ar y fron
Gylchynir gan y nwyfus don!
Y fronfraith lawen fai gerllaw,
Cydblethai ei hacenion mwyn,
A thrydar cwyn y don ddidaw.

Mae gwedd
Y fangre hoff yn llawn o hedd,
Ynddi y trigaf hyd fy medd!
Tawelaf fan o'r ddaear yw,
I'm henaid gaffael ar y llawr
Ddedwyddaf awr o gwmni 'm Duw.

—*O'r Frythones.*

# Y Maes Cenadol.

GAN Y PARCH. W. F. DAVIES, NANTICOKE, PA.

### *Pa fodd y mae cynyddu ein Casgliadau at y Genadaeth?*

Mae yr uchod yn ofyniad sydd fwy nag unwaith wedi ei ofyn i ni gan frodyr da yn y gwahanol eglwysi. Gwir nad oes braidd un o'n heglwysi, drwy wybod i ni, nad yw yn casglu rhyw gymaint yn flynyddol at ledaenu gwybodaeth a goleuni yr efengyl yn nhywyll leoedd y ddaear. Eto, credwn ein bod hyd yma, a hyny yn ddieithriad, yn ol o gyfranu at y gwaith teilwng yr hyn a ddylem. Ofnwyf nas gellir dyweyd am yr un o'n heglwysi, yn y cysylltiad hwn, yr hyn a ddywedodd Iesu am y wraig hono, "Yr hyn a allodd hon hi a'i gwnaeth."

Credwn ei fod yn anhebgorol angenrheidiol, er llwyddo i ychwanegu ein casgliadau blynyddol, i gael yr eglwysi i deimlo mwy o ddyddordeb yn y symudiadau cenadol. Ni cheir arian gan neb at un mudiad os na fydd yn teimlo dyddordeb yn y mudiad hwnw. Mae creu y dyddordeb angenrheidiol yn ymddibynu yn hollol ar flaenoriaid ein heglwysi, sef y gweinidogion a'r diaconiaid. Os na fydd gwres cenadol yn nghalonau y blaenoriaid, ofer dysgwyl am dano yn yr eglwys. Arweinyddion dewr a wna filwyr dewr. Llanwer blaenoriaid ein heglwysi a chariad at, a sel a brwdfrydedd dros y gwaith o efengyleiddio y pagan, a buan y teimlir yr un peth trwy gorph yr eglwys. Fel rheol, yr holl sylw a ga y genadaeth yw yn y cwrdd gweddi y nos Lun cyntaf yn y mis, a'r holl arian a roddir ati yw yr ychydig geiniogau a gesglir ar ddiwedd y cwrdd hwnw. Mae casglu yn y cwrdd gweddi y nos Lun cyntaf yn y mis yn dda, ond dylai pob eglwys wneyd rhagor na hyn. Nifer fach o aelodau yr eglwys, fel rheol, sydd yn dod i'r cwrdd cenadol; felly, 'does dim ond y rhan fach hono yn cyfranu. Dylai fod gan bob eglwys, gan hyny, gyfarfod cenadol mwy cyhoeddus a chyffredinol, yn yr hwn y gellir dysgwyl i'r rhan fwyaf o'r aelodau fod yn bresenol, ac yn yr hwn y gellir dwyn yr achos ger eu bron yn ei wahanol agweddion, a chael yr holl aelodau i daflu eu hatling i'r drysorfa er ei gario yn mlaen.

Credwyf hefyd y byddai yn effeithiol i chwanegu y casgliadau, ac i feithrin dyddordeb, i gael y mater i sylw yn ein Cyfarfodydd Chwarterol, ac yn neillduol yn ein Cymanfaoedd. Yn ein Cymanfaoedd rhoddir cymelliad i'r eglwysi i gasglu, a dim rhagor. Nid

Digitized by Google

oes gair byth yn cael ei ddyweyd er dwyn y gwahanol ranau o'r maes, ei angen, &c., i sylw ein haelodau. Byddai cael awr neu ddwy yn ystod cyfarfodydd y Gymanfa i wahanol frodyr draddodi anerchiadau ar y genadaeth, yn sicr, dan fendith Duw, o greu sel genadol mewn llawer calon nad yw byth yn meddwl am y gwaith. Gwnelai ni oll yn fwy cenadol ein hysbrydoedd, ac felly yn debycach i Fab Duw a'i apostolion. Byddai fod ein Cymanfa yn sylwi arno yn llawer mwy effeithiol er enill sylw yr eglwysi na dim a ellir ei osod yn y WAWR. Mae yn mhlith ein haelodau ugeiniau lawer nad ydynt yn derbyn y WAWR, yr hyn sydd yn gywilydd i lawer o honynt, a dyweyd y lleiaf. Gan nad ydynt yn derbyn y WAWR, nid yw yn debyg fod cyhoeddiad cenadol yn dyfod i'w dwylaw; o ganlyniad, y mae y dosbarth hwn yn ymddibynu am wybodaeth ar yr hyn a glywant, ac os na chlywant gan rywun, nid ydynt yn gwybod dim am dano, nac yn teimlo un dyddordeb ynddo. Mae modd cyrhaedd y dosbarth hwn yn ein cyfarfodydd cyhoeddus, ac ar ddyddiau ein gwyliau. Myner cwrdd cenadol yn ystod y Gymanfa. Cyfraner yn hwnw gymaint ag a ellir o wybodaeth am y gwaith, a meithriner ynddo sel ac ysbryd cenadol; carier hyny gartref gan y cenadon, gwasgarer y tân gartref trwy gynal cyfarfodydd neillduol gan bob eglwys, unwaith neu ddwy y flwyddyn o leiaf, a buan y bydd y casgliadau wedi ychwanegu llawer iawn.

---

## Gwladyddiaeth y Mis.

GAN Y PARCH. J. EDRED JONES.

Y mae y Gydgyngorfa newydd (y 48ain), wedi cyfarfod yn Washington ddechreu y mis diweddaf. Bu ymdrech galed, am fisoedd cyn hyny, am gadair Llefarydd Ty y Cynrychiolwyr. Yr ymgeiswyr oeddynt John G. Carlisle, o Kentucky; S. Randall, o Pennsylvania, a S. S. Cox, o New York—y tri, wrth gwrs, yn Ddemocratiaid. Gan fod Carlisle yn cynrychioli plaid y fasnach rydd, Randall yn cynrychioli plaid y *tariff*, a Cox yn ceisio llywio ei gwch rhwng y ddau, yr oedd dyddordeb mawr yn cael ei deimlo trwy y wlad yn yr ymrysonfa hon. Yr oedd hyn, hefyd, yn eithaf naturiol, am fod swydd a dylanwad y Llefarydd mor bwysig, a chymaint o lwydd neu aflwydd i fasnach y wlad yn crogi i raddau helaeth ar y dewisiad. Y farn gyffredin oedd mai Randall fuasai yn enill; ond yn y *caucus* Democrataidd a gynaliwyd o flaen dydd yr agoriad, gwelwyd fod y mwyafrif mawr o blaid Carlisle a masnach rydd. Taflwyd y Talaethau Gogleddol i syndod.

Daeth dydd agoriad y Gydgyngorfa, a'r neuadd fawr yn llawn. Am 12 o'r gloch galwodd y Clerk, McPherson, enwau y cynrychiolwyr, a chawd allan fod 316 o'r aelodau yn bresenol. Y gwaith cyntaf oedd ethol Llefarydd. Cynygiwyd enw Carlisle gan Mr. Geddes, Ohio. Cynygiodd Mr. Cannon, Ill., enw y Cyn-Lefarydd, J. W. Keifer, Ohio, a chynygiodd Mr. Lyman, Mass., enw Mr. Robinson, o'r un Dalaeth, ar ran y Gwerinwyr. Cafodd Carlisle 191, Keifer 112, a Robinson 2 o bleidleisiau, ac yr oedd ychydig yn wasgarédig. Felly etholwyd Carlisle yn Llefarydd Ty y Cynrychiolwyr yn y Gydgyngorfa hon, er llawenydd i'r Gwerinwyr, a phetrusdod nid bychan i'r Democratiaid Gogleddol. Dyma y llinell yn awr wedi ei thynu, unwaith eto, rhwng y De a'r Gogledd, a'r De yn dychwelyd i awdurdod gwladwriaethol; a dylid cofio fod y Carlisle hwn yn *Secessionist* penboeth, oblegid profodd hyny mewn araeth gyhoeddus a draddododd yn Cynthiana, Ky., ychydig flynyddau yn ol, darnau o'r hon sydd yn awr o'm blaen. Diau mai yr *un* yw ef yn awr o ran ei syniadau gwladyddol ag ydoedd yn amser y gwrthryfel. Eto i gyd, y mae hwn wedi ei dderchafu i'r swydd bwysicaf yn y wlad, oddigerth yr Arlywyddiaeth!

Gan fod gan y Democratiaid fwyafrif mawr yn Nhy y Cynrychiolwyr, y maent yn profi eisoes mor lleied o barch sydd ganddynt i ddeddf diwyg-

Digitized by Google

iad y gwasanaeth gwladol, trwy daflu allan o swydd bob Gwerinwr, lle bynag y mae ganddynt awdurdod, a llenwi eu lleoedd â Democratiaid pur. Ond gwyddom oll, na chaiff na deddf na iawnderau, na llesiant gwladwriaethol, sefyll rhwng y blaid newynog hon a'r torthau a'r pysgod; ac os deuant i awdurdod ar ol yr etholiad cyffredinol nesaf, mae yn sicr na welir un Gwerinwr yn dal unrhyw swydd o dan *Uncle Sam*, o Maine i California—deddf neu beidio.

Wedi i'r ddau dy ymgorphori, danfonodd yr Arlywydd Arthur ei Genadwri arferol i mewn. Mae hon yn blaen, i'r pwynt, yn *straight-forward and business-like*, ac, ar y cyfan, yn ddarllenadwy a dyddorol. Dywed fod y wlad hon mewn heddwch â holl wledydd y byd, a phob arwyddion yn awr y bydd iddi barhau felly am lawer o amser i ddyfod. Geilw sylw at bwysigrwydd y pysgod-leoedd a gwaith y pysgotwyr, ar lenydd gogleddol y Werydd a'r Tawelfor. Traetha ar y *surplus revenue* a lleihad y ddyled wladol. Nid yw yn cyngori defnyddiad mesurau i leihau y cyllid yn bresenol, ond anoga i'r gweddill gael ei ddefnyddio er gwneuthur y llynges yn fwy effeithiol, a chadarnhau ein hamddiffynfeydd ar y gororau, ac er gwell diogelwch i'n porthladdoedd. Cyngora i alw y *trade dollars* i mewn, a'u toddi yn y *mint*. Nid ydyw yr Indiaid yn cael ond ychydig frawddegau, am y rheswm da, mae yn debyg, eu bod wedi ymddwyn fel boneddigion yn ddiweddar. Ond nid felly am y Mormoniaid. Yn ei Genadwri flaenorol, yr oedd yr Arlywydd yn datgan ei obaith y buasai pwnc yr amlwreiciaeth yn cael ei benderfynu heb ddefnyddio moddion eithafol; ond nid yw yn siarad mor obeithiol eleni. Yn awr mae yn anog diddymiad y gyfraith ar yr hon mae llywodraeth bresenol Utah yn ymddibynu, ac i'r Llywodraeth Gyffredinol gymeryd at holl reolaeth gwladol y Diriogaeth. Dyma gam pwysig, ac yn yr iawn gyfeiriad; a chan fod yr Arlywydd yn *earnest*, dylai y Gydgyngorfa ddeffroi, ac ymaflyd yn y gwaith yn ddioed, er cael terfyn ar y pwnc Mormonaidd. Mae yn hen bryd.

Gelwir sylw at faterion pwysig eraill yn y Genadwri, megys arolygiaeth cwmniau pellebrol, llythyr-gludiaeth, amaethyddiaeth, dyfodol Alaska, &c., &c., ond ni chaniateir lle i sylwi arnynt yn y rhifyn hwn. O hyn allan bydd yn ddyddorol i wylio symudiadau y Gydgyngorfa Ddemocrataidd hon, am y bydd ei gweithrediadau yn sicr o ddylanwadu yn fawr ar fasnach y wlad. Y mae nifer y biliau a ddygwyd i fewn yn barod yn taflu i'r cysgodion ddim a wnaed yn flaenorol yn hanes y wlad. Cynygiwyd 1,836 o fesurau mewn dau ddiwrnod yn y Ty!

Y mae crochan yr etholiad Arlywyddol nesaf yn dechreu gwresogi yn o lew yn barod. Y mae personau o Indiana, Pennsylvania, Ohio, a N. York, yn Washington yn barod, er ceisio perswadio y pwyllgor Gwerinol Cenedlaethol i alw y Gynadledd Werinol nesaf yn un o'u dinasoedd hwy. Mae gan yr holl leoedd a gynygir fwyell i'w hogi. Ond penderfynwyd ei chynal yn Chicago, Mehefin 3.

---

## HANESION CARTREFOL.

### Cyfarfod Chwarterol,

*Perthynol i Gymanfa Fedyddiedig Dwyreinbarth Pennsylvania, a gynaliwyd gyda'r eglwys yn Olyphant, Sir Lackawanna, ar yr 20fed a'r 21ain o Tachwedd, 1883.*

Agorwyd y gynadledd drwy weddi gan y brawd J. Edred Jones, Pittston. Y brawd W. D. Thomas, Is-Gymedrolwr y Gymanfa, yn y gadair.

Penderfynwyd, 1. Ein bod yn derbyn y brawd J. Edred Jones i'n plith gyda chalon ddiolchgar a breichiau agored, ar sail ei lythyr cymeradwyol o Gymanfa Stonington, Conn.

2. Ein bod yn cefnogi y cynllun a fabwysiadwyd gan Fwrdd Addysg Bedyddwyr Pennsylvania a swyddogion Coleg Lewisburgh, yn eu gwaith yn penodi dau o'r myfyrwyr, sef y brodyr Henry J. Roberts a Daniel M. Jones, i

Digitized by Google

ymweled â'r eglwysi, er sicrhau mwy o gydymdeimlad a chydweithrediad drwy gylch y Gymanfa, a sicrhau casgliadau helaethach a mwy rheolaidd tuag at addysg athrofaol i'n brodyr ieuainc, er eu cymwyso i waith pwysig y weinidogaeth, gan hyderu y bydd yr eglwysi wedi ymbarotoi erbyn ymweliad y myfyrwyr â hwynt, ac y cânt dderbyniad caredig er mwyn Crist Iesu.

3. Fod y Parch. J. Edred Jones i bregethu ar bwnc yn y Cyfarfod Chwarterol nesaf, sef "Cyfrifoldeb personol yr aelodau yn eu cysylltiad eglwysig."

4 Fod y Cyfarfod Chwarterol nesaf i'w gynal yn Hyde Park; yr amser i'w hysbysu eto.

Hefyd, bu dan ystyriaeth y gynadledd, yr angenrheidrwydd i'r eglwysi wneyd eu casgliadau tuag at y Gymdeithas Artrefol Gymreig mor fuan ag y byddo modd, a'u dwyn i'r Trysorydd, y brawd B. Hughes, Hyde Park, cyn, neu ar ddyddiau y Cwrdd Chwarter. Y mae mwy o angenrheidrwydd cydweithrediad eleni nag a fu erioed o'r blaen, am fod cyfrifoldeb y Gymdeithas yn fwy, yn gymaint a bod ymdrech mwy yn cael ei wneyd i ledaenu egwyddorion teyrnas nefoedd yn mhlith ein cenedl. Gollyngwyd drwy weddi gan y brawd Williams, Hyde Park.

*Y Moddion Cyhoeddus.*

Nos Fawrth, yn addoldy y Bedyddwyr, darllenodd a gweddiodd y brawd W. D. Thomas, Parsons, a phregethodd y brawd J. W. Williams, Hyde Park, oddiwrth Job 3 : 23.

Yr un amser, yn addoldy y M. C., pregethodd y brawd H. G. James, Mahanoy City; ac yn addoldy yr Annibynwyr, pregethodd y brawd D. W. Jones.

Dydd Mercher, am 2:30, dechreuwyd y cyfarfod drwy ddarllen a gweddïo gan y brawd W. F. Davies, Nanticoke, a phregethodd y brodyr, J. Edred Jones (Seisonig), oddiar Luc 18: 22, a W. D. Thomas, Parsons, oddiar Luc 7 : 48.

Am 6: 30, darllenodd a gweddiodd y brawd H. G. James, a phregethodd y brodyr, J. W. Evans, Phillipsburgh (Seisonig), oddiar 2 Cor. 3 : 18, a H. Thomas, Lansford, oddiar Mat. 16: 24. 25.

Cyn ymadael, siaradodd y brodyr Theophilus Jones a'r Ysgrifenydd.

Mae agwedd lewyrchus ar achos y Cyfryngwr yn Olyphant; gweinidogaeth y brawd anwyl D. Ivor Evans yn dderbyniol ac yn llwyddianus. Mae yr eglwys yn myned ar ei chynydd mewn gweithgarwch ac yn rhif ei haelodau. Ty llawn sydd yma yn awr, ac arwyddion amlwg o bresenoldeb yr Arglwydd gyda ei bobl—y canu yn fywiog, teimladau yr eglwys yn wresog, digon o le a chroesaw i'r dyeithriaid ymweliadol, ac yr oedd cyfraniadau y gynulleidfa tuag at ddwyn traul y cyfarfod yn dweyd yn uchel "fod gan y bobl galon i weithio." Bendith y Goruchaf fyddo arnynt hyd byth, anorphen. Amen.

J. P. Harris, *Ysg.*

---

Coleg Granville, O.

*Cymanfa B. Ohio a Gorllewinbarth Pa.*

Anwyl Frodyr: Gwyddoch i'r Coleg uchod gael sylw ffafriol yn ein Cymanfa ddiweddaf. Mae ein heglwysi yn ddigon cryfion i gyfranu at yr achos teilwng hwn. Cefais y llythyr canlynol oddiwrth y gwr parchedig sydd a'i enw wrtho, gyda dymuniad am ei gyfieithu a'i ddanfon i'r Wawr; ond rhag ofn pechu fel cyfieithydd, dyma fo fel ag y mae. Gobeithio y gwna yr eglwysi sylw o hono, ac y danfonant ychydig o arian mor fuan ag y byddo modd.—*Charles Jones, Straitsville, O.*

*To the Welsh Churches of the Ohio and Western Pennsylvania Association:*

Dear Brethren—At your last annual session at Straitsville, O., Pres. A. Owen, D. D., of Denison University, Granville, O., and Rev. T. J. Sheppard, Sec. of the Ohio Baptist Education Society, were present.

They were not only invited to speak, *but very great interest was shown in their work.* A resolution was passed pointing the young men from the

Welsh churches to Granville for a higher Christian education. Also, it was resolved that the churches of the Association contribute to aid the Ohio Baptist Education Society, in helping young men who are studying for the ministry at Denison University.

Now, brethren, the Lord has sent us thirty two promising, self denying young men, and we are expecting more; but, so far, not one church of this Association has sent any offering to Bro. Sheppard to help them. Will you not, therefore, *set about this at once?* Your help is greatly needed. Will not pastors, and others in sympathy with the necessary and noble work, rouse up the churches, gather what the brethren can give, and send soon as possible to T. J. Sheppard, Financial Secretary O. B. Education Society, Granville, Ohio?

Have you not also promising young men and young women for our schools at Granville? Yours in the Lord's work—*T. J. Sheppard.*

---

EGLWYS NANTICOKE, PA.—BRASLUN O'I HANES.

Cychwynwyd yr eglwys Gymreig a Seisnig yn 1870, a buont yn ymgynull yn nhy Mr. G. T. Morgan hyd agoriad y capel cyntaf, yn Medi, 1871, pan y daeth y Parch. David Evans, gynt o Canton, Caerdydd, a chyn hyny o Hirwaen, D. C., a bu ef yma yn gweinidogaethu i'r Saeson a'r Cymry yn yr un capel am flwyddyn a haner. Wedi hyny daeth yr hybarch J. P. Harris (Ieuan Ddu) yma, a bu efe yn gofalu am y ddwy eglwys yn yr un capel am dair blynedd a haner; yna rhanwyd, ac aeth y Cymry i'r *Hall* i addoli am yn agos i ddwy flynedd; ac yn haf 1878, daeth y Parch. William Frost Davies allan o Goleg Lewisburg yma, ac aeth y ddwy eglwys yn ol at eu gilydd i'r hen gapel, a buont yno dan weinidogaeth y Parch. Mr. Davies hyd Ebrill, 1881, pryd yr agorwyd capel newydd i'r eglwys Seisnig, a bu ef am ychydig amser yn mhellach yn gofalu am y ddwy, fel o'r blaen. Wedi hyny daeth y Parch. J. P. Harris uchod yn ol yma i gymeryd gofal o'r eglwys Seisnig, a bu yr eglwys Gymreig yn yr hen gapel hyd Tachwedd, 1882, pan yr agorwyd y capel newydd ac eang presenol, yr hwn yw y mwyaf yn y lle gyda'r tri enwad Cymreig. Yna gwerthwyd yr hen gapel i'r Methodistiaid Calfinaidd. Costiodd y capel presenol $4,200, ac nid oes yn aros arno yn bresenol ond $1,500 o ddyled. Felly fe welir nad yw yr eglwys na'i gweinidog yn y lle hwn wedi bod yn cysgu, ond eu bod wedi gweithio o ddifrif er mwyn cael ty'i achos Mab Duw bron yn ddiddyled; a digon tebyg nad yw yr amser ddim yn mhell pan fydd y $1,500 sydd yn aros wedi cael eu cyfrif yn mhlith y pethau a fu.

Dylaswn ddweyd mai 74 oedd rhif yr eglwys pan ddaeth y Parch. W. F. Davies yma; ond erbyn hyn y mae yn rhifo 180, heblaw y gangen sydd newydd ei chychwyn yn Warrior Run a Sugar Notch. Mae yn dda genym allu dweyd, mai yma y pregethodd y Parch. W. F. Davies ei bregeth gyntaf, cyn iddo fyned i'r athrofa yn Lewisburg, er mai o Hyde Park yr aeth i'r Athrofa; a phan y daeth allan, daeth i gymeryd gofal o'r eglwys hon, fel y nodwyd eisoes; ac nis gallwn ymatal heb ddweyd ei fod yn barchus iawn yn mynwes yr eglwys, a'r trigolion yn gyffredinol; ac y mae efe yn weithgar iawn gyda phob rhan o'r gwaith. Yn wir, y mae efe yn teilyngu gair o gymeradwyaeth fel hyn, yn ogystal a'r eglwys a'i swyddogion, hefyd yr ysgol Sul a'i swyddogion. Yn ddiweddar ymgymerodd y dosbarth o bymtheg o ferched ieuainc sydd dan ofal y Parch. Mr. Davies a chasglu tuag at gael Beibl newydd i'r eglwys; ac y mae'r Beibl wedi dod oddiar ddiwedd Tachwedd, ac y mae ganddynt arian dros ben. Credwn eu bod yn meddwl anrhegu yr eglwys â rhywbeth arall â'r hyn sydd yn weddill.

Y mae ysgol Sul lewyrchus yma, yn rhifo o 180 i 200, ac y mae trefn ac ymdrech a chydweithrediad yn ffynu yma. Mae yr ysgol yn ddiweddar wedi prynu tri o fapiau mawrion, sef dau fap

Digitized by Google

o wlad Canaan, ac un o deithiau yr apostol Paul, a rhoddir gwersi, a holir yr ysgolheigion arnynt ar ddiwedd yr ysgol, gan ein parchus weinidog. Y mae hefyd ddau *black-board* newydd wedi eu prynu, a llythyrenau symudol i'w gosod ar un o honynt i addysgu y plant yn y *vestry*.

Mae yr eglwys hon wedi cychwyn cangen yn ddiweddar yn Warrior Run er mwyn pobl y lle hwnw a Sugar Notch. Ni wybyddid ond am ddeg o bersonau oeddynt yn aelodau yn y lleoedd hyn cyn cychwyn achos i Fab Duw yn y lle, ond yn mhen pymthegnos wedi cychwyn, yr oeddynt wedi cynyddu i saith ar hugain. Dengys hyn fod amgylchiadau yn symud llawer o bobl grefyddol i lawer man, i blith cenedloedd dyeithr, a chan na fydd yno achos wedi ei godi, dyna hwynt yn gorfod bod heb fwynhau breintiau crefyddol. Ein cyngor a'n dymuniad ar bob Cristion yn ngwyneb amgylchiadau o'r fath, yw hyn: Os bydd hyd yn nod tri neu bedwar o grefyddwyr mewn lle a fydd yn cynwys unrhyw nifer neillduol o Gymry a Saeson, bydded iddynt deimlo ychydig o ysbryd cenadol, a gwneyd eu goreu i grynhoi cynulleidfa fechan, a chynal cyfarfodydd, a gwahodd rhai o weision Duw i ddod a phregethu y gair iddynt, yna byddant yn sicr o lwyddo i enill rhagor atynt; a chyda dyfal-barhad a chymorth Duw aiff y fechan yn fil, a'r wael yn genedl gref maes o law. Yn wir, mae yr eglwys hon a'i gweinidog yn gweithio yn egniol o blaid y plentyn yn Warrior Run a Sugar Notch, ac wedi ymrwymo i wneyd eu goreu hyd Ebrill, 1844, pryd y gobeithir y bydd y ferch yn ddigon cryf i gerdded, a gofalu am dani ei hunan o hyny allan.

Efallai na ddylaswn derfynu fy ysgrif heb grybwyll fod un brawd ieuanc o'r eglwys hon yn yr athrofa yn bresenol yn parotoi i waith y weinidogaeth, o'r enw J. W. Griffiths, aelod gynt o'r Tabernacl, Merthyr, D. C.

Na feddylied neb mai rhyw hen aelod o'r eglwys yn Nanticoke sydd yn awyddus i ddangos fel hyn i'r cyhoedd beth y maent yn ei wneyd, ac wedi ei wneyd, &c., ond un sydd wedi dyfod yma yn ddiweddar o'r Hen Wlad, ac yn teimlo dyddordeb yn hanes gweithrediadau teulu Seion yn America, gan ddechreu yn Nanticoke; gan ystyried ar yr un pryd y dylai pob eglwys roddi hanes ei gweithrediadau cyffredinol yn awr ac yn y man, fel os bydd rhyw eglwys yn gwneyd rhywbeth neillduol, y gall eglwysi eraill gymeryd yr awgrym, a gwneyd yr un peth. Fel hyny byddai i'r efengyl fyned yn mlaen yn fwy hwylus, a lledu ei hadenydd i bob cwr o'r wlad, a thros y byd yn gyffredinol. Hyd ryw dro eto, yr eiddoch yn serchog—*W. R. Morgan, Blaenycwm, gynt.*

---

JUSTUS, OHIO.

Saif y lle uchod tuag wyth milldir i'r deau o dref Massillon, yn Swydd Stark. Lle newydd i'r Cymry ydyw, oblegid tua blwyddyn a haner neu ddwy flynedd yn ol y dechreuodd y Cymry ymsefydlu yno, pan y dechreuodd yr Howell Coal Co. agor gweithiau glo yno, ac erbyn hyn y mae amryw ganoedd o'n cydgenedl anwyl wedi ymsefydlu yno, ac amryw o honynt wedi adeiladu tai da, ac wedi gwneyd cartrefi cysurus iddynt eu hunain. Saif y pentref ar lanerch prydferth ac iachus, a dwy reilffordd yn rhedeg drwyddo; y mae ynddo hefyd ddwy faelfa, un o'r rhai a gedwir gan feibion yr ysgrifenydd; a chapel hardd yn eiddo i'r United Brethren; ac ysgoldy, lle y mae y Cymry yn addoli—yr holl enwadau gyda'u gilydd. Mae yn debyg y bydd eglwys o Fedyddwyr yn cael ei sefydlu yno yn fuan, oblegid y mae amryw o Fedyddwyr yno, gan fod y rhan fwyaf o'r brodyr oedd yn Pigeon Run wedi symud yno, gan fod y gweithiau yn Pigeon Run wedi darfod, ac felly nid oes yno un eglwys mwyach. Gobeithio y bydd y brodyr anwyl yn selog a gweithgar, fel y byddo iddynt gael achos crefyddol llewyrchus yn eu plith, y byddo i Dduw gael ei ogoneddu, yr Iesu yn cael ei ddyrchafu, a llawer o'n cydgenedl anwyl yn cael eu gwaredu.

Cafodd yr ysgrifenydd y fraint o

Digitized by Google

dreulio dau Sabboth gyda hwynt yn ddiweddar, a da oedd genyf eu gweled a mwynhau eu cymdeithas, a chael yr anrhydedd o osod y cwlwm priodasol oddi amgylch i ddau ieuanc ac anwyl o honynt. Mae yn debyg mai y brawd Jenkins, o Palmyra, a gafodd yr anrhydedd o bregethu y bregeth Gymraeg gyntaf yno, a'r llwch gwael hwn a gafodd y fraint o weinyddu yn y briodas Gymreig gyntaf, a hyderaf y bydd yn flaenffrwyth o gynhauaf mawr, a gwn y bydd yr holl frodyr yn barod i uno gyda mi i ddywedyd Amen. Mae y rhagolygon yn dra gobeithiol i'r lle. Mae yno faes eang o lo wedi ei ddarganfod a'i brofi, o ansawdd rhagorol. Mae yno ddau fanc ar waith yn bresenol, ac y mae y cwmni yn bwriadu agor un arall tua'r haf nesaf.

Y cwmpeini ydynt yr Anrh. A. Howells, cyn-Drysorydd ein Talaeth, a'i feibion-yn-nghyfraith, sef Mr. Evan J. Evans, gynt o Youngstown, a Mr. John Albreit a Mr. Whiffen yn rhanog yn un o'r banciau, sef banc Rose Hill, yn Navarre, lle tua dwy filldir o Justus. Maent oll yn ddynion rhagorol, yn deall eu busnes, yn llywodraethu ac edrych ar ol y gweithiau eu hunain. Mr. Evans yw y prif oruchwyliwr, ac y mae ganddo ddau Gymro ffyddlon yn oruchwylwyr dano, sef Mr. Matthew English a Mr. John Morgan. Maent yn caru ein cenedl, ac yn caru gwneyd daioni iddynt, ac yn caru eu gweled yn gysurus eu hamgylchiadau. Gobeithio y bydd iddynt lwyddo yn eu holl anturiaethau.

Mae Mr. Evans yn byw mewn mangre serchus ac iachus, a phreswylfa hardd ganddynt, a da oedd genyf eu gweled oll fel teulu yn iach a chysurus, a chael mwynhau eu cymdeithas a'u lletygarwch. Bu Mrs. Evans mor garedig a myned a mi i fyny i Massillon yn y cerbyd, i ymweled a'i rhieni, a da oedd genyf weled Mr. a Mrs. Howells yn iach a chysurus, ac yn edrych cystal, a mwynhau eu cymdeithas a'u lletygarwch. Mae ganddynt dy rhagorol, mewn man iachus a dymunol, yn y pen uchaf i Main Street. Mae Mrs. Howells yn nodedig am ei charedigrwydd a'i chymwynasgarwch i achos yr Arglwydd, a chenadon Crist. Y tro diweddaf y bum o dan ei chronglwyd, a mwynhau ei charedigrwydd, oedd yn Youngstown, Ohio, ar adeg ymweliad Dr. Price, Aberdar, ar amser y Cwrdd Chwarter, a'r croesawiad a roddwyd iddo, pan yr agorodd Mrs. Howells ei chalon a'i thy i roesawu yr holl weinidogion at ei bwrdd, yr hwn oedd wedi ei lanw â chyflawnder o'r danteithion goreu. Cefais ymgom difyr gyda Mr. Howells am yr hen amseroedd pan y preswyliai yn Youngstown, tua deng mlynedd ar hugain yn ol, ac am yr hen gyfeillion Cymreig a breswylient yno y pryd hwnw, ychydig o'r rhai sydd yn aros yn bresenol, sef yr hen frodyr Jenkin Jenkins a Rees Herbert, Joshua Davies a Thos. Davies, a'r hen frawd anwyl, y Parch. David Probert. Yr Arglwydd fyddo gyda'r teulu anwyl hwn, yw dymuniad eu cyfaill diffuant, A. S. PHILLIPS.

---

KINGSTON, PA.

*Mr. Gol.:* Gan fod tudalenau llachar y WAWR yn agored, a chroesaw i ni fel enwad o Fedyddwyr i ysgrifenu iddi, meddyliais nad annerbyniol fyddai anfon ysgrif fechan i'w cholofnau, er hysbysu y cyhoedd o'n sefyllfa a'n symudiadau ni fel eglwys o Fedyddwyr yn Kingston. Fel y mae yn hysbys i'ch lluosog ddarllenwyr, y mae ein cyn-weinidog, y brawd hynaws a pharchus D. Rhoslyn Davies, wedi rhoi gofal yr eglwys hon i fyny oddiar fis Mai, blwyddyn i'r diweddaf, er cymeryd gofal yr eglwys yn Pittsburgh, ac o hyny hyd fis Awst diweddaf buom heb yr un gweinidog sefydlog.

Yn ystod yr amser hwn bu gwahanol weinidogion parchus yr enwad yn tori i ni o fara y bywyd, a chydrhyngddynt hwy a ffyddlondeb a chydweithrediad unol y frawdoliaeth, cawsom lawer iawn o wenau ein Duw yn ein cynulliadau, fel yr oedd cariad a brawdgarwch i'w ganfod ac i'w deimlo yn symudiadau y brodyr a'r chwiorydd. Yn mis Gorphenaf diweddaf, daeth yr eglwys i'r penderfyniad unfrydol o roddi galwad

Digitized by Google

i'r Parch. B. W. Thomas, Jackson street, Hyde Park, i'n bugeilio. Wedi iddo ef am beth amser ystyried yn bwyllog y naill beth a'r llall, hysbysodd ni ei fod yn cydsynio â'n cais, ac fel y cyfryw yn rhoi ei hun o blaid achos y Gwaredwr gyda ni yn Kingston. Mae y blynyddau y bu Mr. Thomas yn llafurio yn Hyde Park wedi bod yn dra llwyddianus, ac er ei fod wedi bod cyhyd o amser yn mhlith y Saeson, y mae yr hen deimlad cynes Cymreig mor fyw ynddo ag erioed. Er nad oes ond ychydig fisoedd oddiar y mae yn ein plith, y mae eisoes wedi enill iddo ei hun barch ac edmygedd y gymydogaeth yn gyffredinol.

Y mae yn hyfryd genym allu hysbysu fod ein hanwyl frawd wedi dechreu ar ei weinidogaeth dan amgylchiadau tra gobeithiol, ac wedi cael arwyddion helaeth eisoes fod ei weinidogaeth o les i'r eglwys a'r ardal.

Sabboth, Tachwedd y 18fed, cafodd y pleser o fedyddio chwech ar broffes o'u ffydd yn Mab Duw. Ar lan y dwfr cawsom anerchiad nerthol a chryno gan yr hybarch Theophilus Jones, Wilkes-barre, ar ddull a deiliaid bedydd y Testament Newydd; yna gweinyddodd y brawd Thomas yr ordinhad yn drefnus a gwir anrhydeddus.

Er fod yr hin yn oer, a'r iâ mor drwchus, fel y bu gorfod arnom ei dori er cael lle cyfleus i weinyddu, yr oedd y brawd yn ymfwynhau yn y weithred ogoneddus. Yr oedd yr edrychwyr yn dra lluosog, y rhai oeddynt yn dawel a boneddigaidd. Hefyd, y mae llawer o afradloniaid yn dychwelyd yn ol i dy eu Tad, rhai o honynt wedi bod ar y tir pell am flynyddau, fel yr ydym yn ystod y ddau fis diweddaf wed cynyddu chwech ar hugain mewn rhif. Felly y mae sefydliad y brawd Thomas yn ein plith wedi bod yn foddion, gyda bendith Duw, i ddwyn deiliaid Satan oddiarno, ac i gadarnhau ffydd plant Mab Duw yn yr athrawiaeth a blanwyd gan ei Fab yn nghalonau ei ganlynwyr, pan yn rhoddi sylfaen y grefydd Gristionogol i lawr. A dymuniad ein calon yw ar ei ran, i'w ddyddiau fod yn aml, cylch ei ddefnyddioldeb yn eang, a'r gair o'i enau fyddo eto, dan fendith Duw, er dychwelyd pechaduriaid o'r tywyllwch i'r goleuni, ac i fwynhau addewidion Duw trwy yr efengyl.

Er ymlawenhau wrth weled yr achos yn gwisgo gwedd mor lewyrchus yn ein plith, pan y mae cariad a heddwch wedi, ac yn llywodraethu yn yr eglwys —y Beibl yn rheol a Christ yn ben— pan yn troi ein gwynebau yn ol ychydig i'r gorphenol, yr ydym yn teimlo, ac yn ymofidio yn ddwys, wrth feddwl am y rhwygiadau y mae angau wedi ei wneyd yn ein rhengau; yr ydym wedi colli brodyr a chwiorydd da a duwiol, y rhai y mae genym obaith eu bod mewn gwell lle na bod gyda ni; eto ni allwn lai na galaru wrth gofio am eu duwioldeb, a'u ffyddlondeb gydag achos y Gwaredwr. Buont yn ddiwyd yma gyda ni yn cario yr achos yn mlaen, ond aethant oddiwrth eu gwaith at eu gwobr. Nid ydynt hwy ond wedi blaenu, awn ninau ar eu hol yn fuan; a'n gweddi yw, am gymorth i fod yn barod i wynebu yr amgylchiad.

Llwyddiant i'r WAWR a'i pharchus olygydd.

*Kingston, Pa.* J. A. DAVIES.

---

PITTSTON, PA.

*Mr. Gol.:* Credwyf eich bod yn ymhyfrydu mewn trosglwyddo newyddion da drwy gyfrwng eich cyhoeddiad, ac yn wir yr ydym ninau yn llawenhau ar ei ymddangosiad, yn enwedig pan fyddo son am lwyddiant teyrnas yr Emmanuel, ac y mae genym ninau achos i lawenhau y dyddiau hyn trwy fod achos y Gwaredwr yma yn gwisgo agwedd ddymunol iawn, dan weinidogaeth ein parchus a'n llafurus weinidog, John Edred Jones. Cawsom y fraint o'i weled yn bedyddio un chwaer ar broffes o'i ffydd yn Mab Duw boreu Sabboth, Hydref 21, 1883. Ar ol pregeth wir nerthol ac addysgiadol, aethpwyd o'r capel at y fedyddfa sydd tu cefn i'r capel, lle y gwelwyd hi yn dilyn ôl traed y Gwaredwr i'r dyfrllyd fedd yn ngwydd tyrfa luosog o edrychwyr parchus. Yr oedd y gweinyddiad a'r ufudd dod yn ogoneddus, a'r cor

Digitized by Google

yn canu tra yr oedd ein gweinidog yn gweinyddu.

Sabboth, Tachwedd 25, 1883, ar ol pregeth wir addysgiadol ar fedydd Cristionogol, cawsom y fraint o weled brawd a chwaer arall yn cael eu claddu yn y bedydd, ar eu proffes o ffydd yn Mab Duw, yn ngwydd tyrfa luosog o edrychwyr parchus, gan ein gweinidog, yn y fedyddfa. Y Sabboth canlynol, derbyniwyd y bedyddiedigion i gymundeb yr eglwys mewn symledd a llawenydd calon, a'n gweddi yw ar i'r Arglwydd barhau i fendithio llafur ein hanwyl frawd. Yn y gyfeillach, cawsom y fraint o weled un arall yn rhoddi ei hun i'r Arglwydd ac i fynwes y frawdoliaeth.

Chwanegwyd i gymundeb yr eglwys yn ystod y ddau fis diweddaf trwy adferyd a llythyrau, wyth, yr hyn sydd yn galondid mawr i ni. Mae y brawd Jones a'r eglwys yn eu llawn weithgarwch, a heddwch a chariad yn teyrnasu yn ein plith. Yr eiddoch—*Jacob W. Evans.*

---

TAITH I CHICAGO, ILL., AC YN OL.

*Sherman, O.*, Rhag. 8, 1883.—MR. GOL.—Yr oeddwn wedi meddwl lawer gwaith am gymeryd taith i Chicago yn ystod y blynyddau diweddaf, i weled ein perthynasau, y rhai sydd yn byw yn 3251 a 3248 Jones Street, sef J. X. Jones (*Gwibedyn Gwent*) a'i briod, sef ewythr a modryb i'r ysgrifenydd; ac hefyd Hannah Newell, sef chwaer i'r ysgrifenydd.

Cychwynasom, sef y wraig a finau, a'r ieuengaf o'r plant, nos Wener, Tach. 24, gyda'r N. Y., L. E. & W. R. R. Yn herwydd fod tywyllwch y nos wedi taenu ei aden dros geulan goleuni dydd, fel nad oedd dim i'w weled tuallan i'r ffenestr, nid oes genym gyfrif o'r pontydd oedd drosom, nac ychwaith y rhai odditanom. Nid oedd ychwaith olwg i'w gael ar y bryniau a'r meusydd. Ond wedi myned heibio Marion, O., ychydig, daeth y newydd fod un dyn wedi colli $16. Gwnaed ymchwiliad am y lleidr, ond yn ofer—yr oedd wedi diengyd. Cyrhaeddasom ddinas Chicago erbyn 9 o'r gloch boreu Sadwrn, a chartref ein perthynasau erbyn 10 o'r gloch, a'u cael oll yn iach, ac yn edrych yn dda iawn. Nid oeddwn wedi eu gweled o'r blaen er y flwyddyn 1869, a thrwy hyny yr oedd bysedd amser wedi gwneyd argraff cyfnewidiad arnynt ag oedd i mi yn ganfyddadwy ar y bardd a'r llenor melus, Gwibedyn Gwent. Mae siarad am lenyddiaeth yn felus iawn iddo ef.

Da genym fod yr achos da yn flodeuog yn eu plith, o dan weinidogaeth y Parch. Mr. Swift, sef eglwys y Bedyddwyr Seisonig. Mae hefyd eglwys undebol Gymreig yn y lle, lle y cynelir ysgol am ddau, a chyfarfod yn yr hwyr, bob Sabboth. Mae y Seisonig yn uwch mewn bri na'r hen Gymraeg o lawer gyda hwy; ond yr hen Gymraeg i mi. Gwelais lawer iawn o fy hen gyfoedion, ac yn eu plith John, Edward, William, a Thomas Davies, brodorion o Aberdar, D. C., y rhai sydd mewn iechyd da iawn, ond nid mor gysurus, am fod y felin haiarn sydd yn y lle heb weithio dim er's deg mis, ac nid oes eto arwyddron am gychwyniad buan; ond gobeithio, er mwyn y rhai sydd yn byw yno, mai buan y bydd yn cychwyn.

Bum can belled a Cummings, lle tua 15 milldir o'r ddinas. Yno mae y byd-enwog Barch. Samuel Job, yn *head manager* ar y gwaith haiarn sydd yno. Mae gair da i Mr. Job gan ei weithwyr oll. Mae Mr. Job yn pregethu i'r Cymry bob nos Sabboth, a hyny yn rhad ac am ddim, cofiwch. Bendith Duw a'i dilyno, a phob haelionus ddyn, bydded pwy bynag a fyddo. Tra yn y lle, daethum o hyd i ddau hen gyfaill hoff, sef Thomas Rees a David Price, ac yr oedd yn dda iawn genyf eu gweled yn edrych mor dda.

Y lle nesaf yr ymwelais ag ef oedd y *stock yard*, lle y mae moch, eidionau, a defaid, yn cael eu lladd wrth y miloedd, yr hyn sydd yn syndod i'r cyfryw na welodd y fath beth o'r blaen.

Bum hefyd yn rhai o eglwysi y ddinas, sef y First Baptist church, a'r Emanuel Baptist church. Cawsom

Digitized by Google

gyfarfodydd rhagorol, a'r canu yn fendigedig.

Cyrhaeddasom gartref ganol dydd Mercher, Rhag. 5ed, yn iach a chysurus.—*Gwilym Eilianydd.*

---

WARRIOR RUN, PA.

Da genym allu hysbysu fod yr achos a gychwynwyd yn y lle hwn yn ddiweddar yn hynod o lewyrchus a gobeithiol. Yr ydym yn awr wedi gwneyd cytundeb am yr *hall* sydd yma, am chwe' mis. Mae yn lle cysurus, ac yr ydym yn cael cyfarfodydd bendithlawn ac adeiladol. Bu y brodyr Jones, o Wilkesbarre; Thomas, Parsons; Roberts, Lewisburg, a'n gweinidog, Mr. Davies, yn eu gwasanaethu y mis diweddaf; a than ddylanwad y weinidogaeth torodd amryw allan i ofyn "beth i wneyd er bod yn gadwedig." Sul, yr 16eg, yr oedd ein hoffus weinidog yma trwy y dydd, pan y cawsom gymundeb, ac yr adferwyd pedwar o dir afradlonedd. Mae eraill eto yn aros o flaen yr eglwys, a dau yn aros am fedydd. Os yr Arglwydd a'i myn, y mis nesaf dysgwyliwn weled bedydd am y tro cyntaf yn Warrior Run.—Llawer fyddo yn canlyn.—*Brawd.*

---

## *BEDYDDIWYD—*

Ar yr 11eg o Tachwedd, 1883, yn Parsons, Pa., bedyddiwyd dwy chwaer ar broffes o'u ffydd yn Iesu Grist. Cafwyd amser neillduol o dda. Chwanegwyd at yr eglwys y dydd hwnw bedwar o bersonau.

---

## *GANWYD—*

Hydref 5, 1883, yn Morris Run, Pa., mab i Eleazer Higgon a'i briod. Gelwir ei enw ef David John.

David John hefo ffon y ffydd—a gerddo
Gydag urddas crefydd:
Pur iawn f'o—pwy wyr na fydd,
Yn wir loew Arlywydd?

I'w dad a'i fam, dywedaf hyn—bydded
Yn boddio fel plentyn;
A'i rinau bob yn ronyn,
Nes maes law pan ddaw yn ddyn.

Yn dda gwyr y ffordd (y gwr ffel)—i gael
Ei goledd yn uchel.
A rhagor fyth, gwyr y fel
I yngan ail i angel. CYFAILL.

Tachwedd 2, 1883, yn Freedom, Cattaraugus Co., N. Y., mab i Mr. David J. Williams a'i briod. Enwir ef William Henry.

Yn tyfu byddo'n fachgen heinif,
A digoll yn fawr ei gyfrif;
Fel mae'n awr i'w hoffus riaint,
I eraill eto boed ei foliant.
CYFAILL.

---

## *PRIODWYD—*

Tachwedd 5 1883, yn Sioux Rapids, Iowa, yn nhy brawd-yn-nghyfraith y briodasferch, sef Mr. Richard Thomas, gan y Parch. J. W. Jones, y Parch. D. E. Bowen, o Berlin, Wis., a Miss Lizzie N. Ellis, o Sioux Rapids.

Tachwedd 17, 1883, yn Parsons, Pa., gan y Parch. W. D. Thomas, Mr. Jacob Harding, o Mill Creek, a Miss Mary Anne Niles, o Pittston, Pa.

Tachwedd 11, 1883, yn Freedom, Cattaraugus Co., N. Y., gan y Parch W. M. Evans, yn ei dy ei hun, Mr. Melvin E. Leonard a Miss Mattie E. Peet, y ddau o Freedom, N. Y.

Tach. 20, 1883, gan y Parch. W. F. Davies, Nanticoke, Pa., Mr. Henry Wight a Miss Mary E. Humphreys, yr oll o Nanticoke, Pa.

Tach. 22, 1883, gan y Parch. W. F. Davies, Mr. Augustus Williams a Miss Elizabeth A. Evans, y ddau o Nanticoke, Pa.

Tach. 23, 1883, yn ei dy ei hun, gan y Parch. W. F. Davies, Mr. David T. Davies a Miss Annie Thomas, yr oll o Nanticoke, Pa.

Tach. 24, 1883, yn Justus, Ohio, yn nhy tad y briodasferch, Mr. Thomas Price, gan y Parch. A. S. Phillips, Mr. William L. Evans a Miss Catherine Price, y ddau o Justus. Hir oes a dedwyddwch iddynt.

Tach. 24 1883, yn Pittston, Pa., yn nhy mam y priodfab, Mrs. Rachel Jones, yn ngwydd torf o wahoddedigion, gan y Parch. J. Edred Jones, Mr. Daniel M. Jones a Miss Maggie E. Davies, y ddau o'r lle uchod.

Tach. 28, 1883, yn ei dy ei hun, gan y Parch. D. S. Thomas, Shenandoah, Pa., Mr. Gwilym W. Jones a Miss Gwen Evans, merch Mr. a Mrs. W. D. Evans, oll o Shenandoah, Pa.

Rhagfyr 15, 1883, yn nhy chwaer i'r briodasferch, gan y Parch. D. S. Thomas, Shenandoah, Pa., Mr. George Henry Cox a Miss Mary Butts, oll o Shenandoah, Pa.

Digitized by Google

## *BU FARW—*

---

MAY HOPKINS.

Rhagfyr 13, 1883, May, merch fechan dlos i Mr. a Mrs. Thomas Hopkins, yn agos i bum' mlwydd oed. Dolur gwddf oedd achlysur ei marwolaeth. Claddwyd hi dydd Sabboth, Rhagfyr 16, yn nghladdfa yr Odyddion yn Shenandoah, y Parch. D. S. Thomas yn gweinyddu, a'r brawd J. M. Lloyd yn ei gynorthwyo.

ISAAC H. THOMAS.

Rhagfyr 13, 1883, yn Pittston, Pa., Isaac H. Thomas, yn 45 mlwydd oed. Yr oedd y brawd anwyl hwn yn aelod gweithgar, ac yn ddiacon ffyddlon yn eglwys y Bedyddwyr yn y lle. Aeth i'r gwaith y boreu uchod yn ei iechyd arferol, ond taniodd y nwy, a derbyniodd yntau niweidiau oddiwrth y rhai y bu farw y noswaith hono. Gan ei fod yn ddyn mor hynaws, tawel, a charedig, ac yn Gristion o gymeriad mor ddilychwin, yr oedd iddo barch mawr trwy y dref yn gyffredin, ac y mae ei farwolaeth annysgwyliadwy wedi llanw y lle â prudd-der. Cafodd yr eglwys golled fawr, ond y mae colled ei deulu lluosog yn fwy. Bydded Duw yn nodded iddynt.

Claddwyd ei weddillion marwol y dydd Sadwrn canlynol, yn ngwydd torf fawr o'i ffrindiau a'i gydnabod, pryd y gweinyddwyd gan ei weinidog, y Parch. J. Edred Jones, yn cael ei gynorthwyo gan Mr. H. Evans (A.), a'r Parch. Mr. Furman, gweinidog y Bedyddwyr Seisnig yn y dref. Y mae yn anhawdd iawn cymodi a'r ffaith fod yr anwyl Isaac Thomas heddyw yn ei fedd! Gellir dysgwyl cofiant teilwng o hono i ymddangos yn y WAWR yn fuan. E.

MRS. CATHERINE JONES.

Tachwedd 4, 1883, yn Mineral Ridge, O., yn 75 mlwydd oed, bu farw Mrs. Catherine Jones, anwyl briod Mr. David Jones. Dyoddefodd gryn gystudd o bryd i bryd, a hyny heb rwgnach. Yr oedd wedi ei hanalluogi i raddau pell gan y parlys, ac o'r diwedd rhoddodd derfyn ar ei gyrfa ddaearol, ar ol cyrhaedd o honi driugain a phymtheg o flwyddi. Tarawyd hi gan y clefyd uchod i'r fath raddau nes ei hanalluogi i gymdeithasu â neb, pwy bynag, o du y ddaear, a bu felly am amryw ddyddiau. Er medrusrwydd meddygol, ffyddlondeb chwiorydd a pherthynasau cynes-galon, methodd pawb a phob peth a ddefnyddiwyd a'i symud o'r sefyllfa gysglyd hono; a thra ynddi, cafodd y gofal a'r tynerwch mwyaf gan briod, a chan ei anwyl ferch a'i gwr, yn nghyd a chymydogion lawer.

Bu Mrs. Jones a'i hanwyl briod yn byw am nifer o flynyddoedd yn Dowlais, D. C. Oddiyno symudasant i'r wlad hon, a sefydlasant, fel y tybia yr ysgrifenydd, yn Niles, O.; ac yn ddiweddar symudasant oddiyno i'r Ridge, lle y gorphenodd hi ei thaith ddaearol.

Dechreuodd ein hanwyl chwaer ei thaith grefyddol yn dra boreu. Bedyddiwyd hi gan y diweddar Barch. Thomas Jones, yn Rhydwilym, Sir Gaerfyrddin, D. C., pan yn bymtheg oed, a bu ar yr yrfa grefyddol am driugain o flynyddoedd, heb wyro ar dde nac ar aswy yn hyd y tymor hirfaith. Rhedodd yr yrfa hir, "gan edrych ar Iesu, Pen-tywysog a pherffeithydd ein ffydd." Y geiriau oeddynt fwyaf ar ei meddwl er's blynyddau ydoedd y rhai hyny o eiddo Paul, "Y mae arnaf chwant i'm datod, a bod gyda Christ, canys llawer iawn gwell ydyw." Mynych iawn y coffâi y geiriau yna; ac erbyn heddyw y mae hi gyda yr Iesu.

Ei nodweddion mwyaf neillduol oeddynt pwyll, arafwch, sefydlogrwydd, a thynerwch, ac yn un hynod o ddystaw. Nid oedd a fynai â'r twrw a'r gwylltio: nid ychydig o beth fuasai yn ei chynhyrfu. Un a symudai yn hynod gyson ydoedd. Yr oedd bob amser, ac yn mhob lle, yn ymarweddu yn deilwng o'r broffes a wnaeth flynyddau maith yn ol.

Bu yn fam i bedwar o blant, tri o'r rhai a'i blaenodd, fel nad oes ond un ar ol yn myd y galarnadau i gyd-hiraethu a'i oedranus dad ar ol mam dyner a phriod ofalus. Yr Arglwydd fyddo yn noddwr ac yn gymorth iddynt i ymgynal yn ngwyneb yr amgylchiad.

Dydd ei chladdedigaeth, daeth lluaws yn nghyd i hebrwng yr hyn oedd farwol o honi i'r bedd. Cyn cychwyn o'r ty, darllenodd a gweddiodd y brawd Richards o Girard; yna aed a'r corph i'r addoldy yn Niles, lle y bu ein chwaer yn aelod parchus am amryw flynyddau. Yno, darllenodd a gweddiodd y brawd Jenkins, gweinidog yr eglwys, a phregethodd yr ysgrifenydd. Yna aeth y dorf barchus tua'r gladdfa berthynol i'r dref, a rhoddwyd yr hyn oedd farwol yn y bedd tywyll, mewn gwir ddiogel obaith am adgyfodiad i fuchedd well. Nos Sul canlynol i'w chladdedigaeth, traddododd yr ysgrifenydd bregeth angladdol iddi i glyw cynulleidfa luosog a pharchus yn nghapel y Ridge, lle yr oedd ein chwaer yn aelod pan y bu farw, oddiwrth y geiriau hyny, fel y nodwyd, "Y mae arnaf chwant i'm datod, a bod gyda Christ," &c. Heddwch i'w llwch, medd J. W. JAMES.

***Bydded i gyhoeddiadau yr Hen Wlad fod mor garedig a chodi yr uchod, er mwyn y perthynasau lluosog sydd yno.—J. W. J.

MRS. MARGARET JONES.

Rhagfyr 3, 1883, yn Danville, Pa., bu farw yr hen chwaer dduwiol Margaret Jones, yn 77 mlwydd, 9 mis a 17 o ddyddiau o oedran. Claddwyd hi ddydd Iau canlynol, yn mynwent yr Odyddion. Gweinyddwyd yn y ty ac ar lan y bedd gan y Parchn. J. Green Myles, Danville, Pa., a W. F. Davies, Nanticoke, Pa.

Digitized by Google

Yr oedd y chwaer anwyl Mrs. Jones yn un o ffyddloniaid Seion ac o ragorolion y ddaear hon. Genedigol ydoedd o Lanelli, Sir Frycheiniog, D. C. Yno y treuliodd foreu ei hoes, ac y daeth yn wraig i James Jones, yr hwn a gladdwyd yn Danville, 27 mlynedd yn ol. Bu ei phriod a hithau yn byw am rai blynyddau yn Sidney, Lloegr. Pan yn Sidney y bedyddiwyd hi a'i gwr yr un prydnawn Sul, gan un Mr. Elliott, gweinidog yr eglwys Fedyddiedig yn y lle. Yr oedd hyny 53 mlynedd yn ol.

Tua deng mlynedd ar hugain yn ol, symudodd y teulu i'r wlad hon, ac ymefydlasant yn Danville. Tair blynedd y buont yma cyn i angau ddod i'r teulu, a thori y tad i'r bedd, gan adael ein hanwyl chwaer yn weddw, yn nghyd a llu o blant amddifaid i ofalu am danynt. Ond clywais hi yn dweyd fwy nag unwaith fod ei holl ymddiried yn Nuw, ac iddi ei gael trwy yr holl amser yn llon'd ei addewid. Gwn y tystia llawer i wirionedd y dywediad, fod Mrs. Jones yn un o'r cymeriadau mwyaf didwyll a chrefyddol a fu yn perthyn erioed i eglwys Danville. Nid proffes wag oedd ei chrefydd hi, ond bywyd a gwirionedd. Yr oedd ei hiaith, ei gweithredoedd, ei phob peth, yn dystiolaeth fyw ei bod wedi bod gyda'r Iesu yn dysgu gydag ef. Bu farw yn hollol fel y bu fyw, a phwys ei henaid pur ar y Ceidwad mawr. Teimlai ddyddiau cyn marw fel mewn brys am fyned at Iesu i fyw. Synai lawer boreu na fuasai wedi ei chymeryd yn ystod y nos; a phan ddelai y nos drachefn, yr oedd yn synu fod yr Iesu mwyn yn oedi dyfod, fel hyny o ddydd i ddydd. Ond daeth o'r diwedd, ac mae bellach yn sant pur yn ymyl ei orsedd fawr. Pan ofynwyd iddi gan y Parch. Mr. Myles, os oedd yn ei meddwl ryw bryder am y cyfnewidiad buan oedd yn ei haros? "Na," meddai yn ddigon ffyddiog,

"Pan marw myfi, at Iesu rhof gri,
Am iddo fy ngharu am beth nas gwn i;
Ond hyn mi a wn, fod rhyngom beth clwm,
Ni thrig ef mewn llawnder, a'm gadael i'n llwm."

Treuliodd yr ysgrifenydd lawer awr ddedwydd yn ei chyfeillach yn ystod blynyddoedd olaf ei hoes. Yr oedd yn hynod gyfarwydd yn ei Beibl; darllenai lawer arno, a chofiai yr hyn oedd yn ddarllen. Yr oedd yn ffynonell cysur parhaus i'w meddwl. Efe a'r Wawr bron yn unig a ddarllenai yn ei dyddiau olaf.. Mawr y dyddordeb a deimlai bob amser yn y Wawr. Darllenai bob rhifyn ddwy waith a thair gwaith drosodd. Da gan ei henaid oedd clywed son fod yr Iesu a'i wirionedd yn llwyddo. Coded yr Arglwydd ragor o rai tebyg iddi. Bu ei bywyd crefyddol yn ddifwlch am 53 o flynyddoedd. Bellach mae yn derbyn ei gwobr. Mae amryw o blant ac wyrion ar ei hol—un ferch yn weddw. Y Duw ddaliodd y fam dyner ofalo am, ac a fyddo yn Dduw iddynt hwythau oll. W. F. Davies.

## NODION CYFFREDINOL.

—Cynwysai papyrau dyddiol y wlad hon, foreu dydd Llun, yr 17eg o'r mis diweddaf, hanes dienyddiad Patrick O'Donnell, llofruddiwr yr hysbysydd Gwyddelig James Carey, o fewn muriau carchar Newgate, yn Llundain, am 8 o'r gloch y boreu hwnw. Felly yr oedd llaweroedd o bobl yn y wlad hon, rhwng 6 a 7 o'r gloch, yn darllen hanes yr hyn a gymerodd le yn Lloegr am wyth o'r gloch yr un boreu. Gwnaed ymdrech i gael oediad o gyflawniad y ddedfryd, ond yn ofer. Mae cosbedigaeth drwg-weithredwyr yn gyflym ac yn sicr yn Lloegr.

—Mae y cenadon Mormonaidd yn anarferol o fywiog, ac yn gwneyd llawer o broselytiaid yn Lloegr a Chymru. Y mae cyngrair gwrth-Formonaidd wedi ei ffurfio yn Llundain, ac apeliwyd at Gladstone i orchymyn erlyn y cenadon, er eu lluddias i hudo personau ieuainc i Ddinas y Llyn Halen; ond gwrthoda Gladstone ymyraeth, gan gymeryd yn ganiataol eu bod yn myned yn wirfoddol.

—Mae Cadair y Llefarydd yn Nhy y Cynrychiolwyr yn Washington, wedi'r cwbl, wedi cael ei meddianu yn hynod gyfartal gan y De a'r Gogledd. Y mae 52 o etholiadau wedi cymeryd lle i lenwi y gadair, ac y mae wedi syrthio 26 o weithiau i feddiant y Gogledd, tra y mae etholiad Mr. Carlisle yn gwneyd y 26ain tro i'r De gael meddiant o honi.

—Saif ein Gweinidog yn Lloegr, James Russell Lowell, yn uchel iawn yn ngolwg y Saeson. Anrhydeddwyd ef yn ddiweddar drwy i Brifysgol St. Andrew ei ethol yn *rector*, trwy fwyafrif mawr. Hwn ydyw y tro cyntaf i dramorwr gael ei ethol i'r swydd, a theyrnged arbenig ydoedd hyn i ysgolheigdod Mr. Lowell.

—Dywedir nad oes deddf yn South Carolina yn caniatau ysgariaeth rhwng gwr a gwraig am unrhyw drosedd. Rai blynyddau yn ol, pan syrthiodd y Ddeddfwrfa i ddwylaw y Gwerinwyr, pasiwyd deddf yn caniatau ysgariaeth am odineb; ond pan ddaeth y Democratiaid i awdurdod drachefn, diddymwyd hono.

— Derbyniodd Sergeant Mason bardwn oddiwrth yr Arlywydd yn ddiweddar. Bu yn mhenydfa Albany am tua dwy flynedd, am wneyd cynyg ar fywyd Guiteau yn Washington. Wyth mlynedd oedd y ddedfryd, ond cytuna pawb ei fod wedi cael cosb ddigonol am ei fyrbwylldra.

—Dywedir fod P. T. Barnum, yr arddangaswr byd-enwog, wedi sicrhau elephant gwyn o'r India Ddwyreiniol, am yr hwn y bydd raid iddo dalu $200,000.

—Dywed hysbysiad o Buenos Ayres, dyddiedig Rhagfyr 18, fod pump o gomedau yn weledig yno y pryd hwnw.

Digitized by Google

# Y WAWR.

CYF. VIII.] CHWEFROR, 1884. [RHIF. 11.

# Erthyglau Arweiniol.

COFIANT Y DIWEDDAR

## BARCH. JAMES R. PRICE,

KINGSTON, PA.

GAN Y PARCH. J. P. HARRIS (IEUAN DDU).

"Wedi marw yn llefaru eto."—HEB. 11 : 4.

Y mae yn wirionedd pwysig fod cymeriad y duwiol yn effeithio yn ddaionus ar y byd, nid yn unig yn ystod ei fywyd, ond ei fod, "wedi *marw* yn llefaru eto." Mae ei goffadwriaeth yn fendigedig, ac erys yn berarogl yn y gymydogaeth am amser maith. Cofir ei gyngorion dwys, ei weddiau taerion, ei bregethau synwyrbwyll, a'i fywyd pur, er daioni ac adeiladaeth, pan mae efe yn huno yn mreichiau marwolaeth. Mae colli dyn da, er yn elw iddo ef, yn golled i'r byd.

Gwastadrwydd oedd un o nodweddion ei fywyd; ei dymher, ei lais a'i ysbryd, yn wastad; ei gyngorion, ei weddiau, a'i bregethau, yn wastad. Yr oedd ei holl ymwneyd â'r byd ac â'r eglwys, fel gwastadedd maith, heb bantau, na bryniau, na chreigiau ysgythrog i'w gweled yn ei symudiadau rheolaidd; eto yr oedd y golygfeydd yn amrywio—gwastadedd yn llawn meillion, ac yn cael ei fritho gan flodau amryliw, oedd ei fuchedd ef—ei anadliadau yn nefol, ei eiriau yn onest, a'i ddagrau yn bur, ac felly ei gyfeillach yn adloniadol ac adeiladol.

Yr oedd y dwfr bywiol a gariai efe i'w gynyg i'r sychedig, ac i ddisychedu'r plant, mewn llestr glân, fel nas gallasai neb ei wrthod o herwydd aflerwch y llestr.

Ganwyd gwrthddrych ein coffa mewn ffermdy yn Sir Frycheiniog, yn y fl. 1833 Tra yn faban symudodd ei rieni i Merthyr Tydfil, Morganwg, ac yno y treuliodd efe y rhan fwyaf o'i oes. Gwelodd Merthyr ef yn ei fabandod, ac yn ei ieuenctyd, ac yn ei gyflawn oed. Yma y gwynebodd ar y gwaith tan-ddaearol, pan rhwng saith ac wyth mlwydd oed (yn ol arferiad y dosbarth gweithiol y pryd hwnw), a mawr fel y teimlodd ei golled drwy ei oes, nad oedd wedi derbyn addysg yr ysgolion yn moreu ei ddyddiau; eto ni ddigalonodd, ond llwyr-ymroddodd i geisio gwybodaeth — llafuriodd yn ddiwyd i gasglu gwybodaeth lenyddol; dringai o ris i ris, yn fawr ei awydd i esgyn yn uwch, uwch, gan osod nôd o'i flaen, ac ymorchestai i'w gyrhaedd.

Digitized by Google

Ond er fod drws yr ysgol ddyddiol yn gauedig, eto yr oedd drws athrofa y dyn tlawd—yr ysgol Sul—yn agored o'i flaen, ac yntau yn un o ffyddloniaid ei ddosbarth, a daeth yn ddarllenwr rhagorol yn y ddwy iaith, tra eto yn fachgenyn, ac fel Timotheus ieuanc, yn hyfedr yn yr Ysgrythyr Lân.

Ymwelodd yr Arglwydd yn ei ras â'i gyflwr yn moreu ei oes, ac ymgysegrodd flaenffrwyth ei ddyddiau i wasanaeth yr Arglwydd. Pedair-ar-ddeg oedd ei oedran yn ymuno â'r frawdoliaeth yn y Capel Isaf, yn Merthyr. Ar broffes o'i ffydd yn Mab Duw bedyddiwyd ef gan yr hybarch John Lloyd, yr hwn am lawer o flynyddau fu yn bugeilio defaid y gorlan hono. Maent heddyw ill dau wedi myned oddiwrth eu gwaith i fwynhau y wobr, ac wedi cydgyfarfod mewn purach eglwys na'r un filwriaethus — cynulleidfa y rhai cyntaf-anedig yn y nef. Pa un a ydynt wedi cael hamdden yn nghanol myrdd rhyfeddodau'r Wynfa fry i gyfarch eu gilydd; os ydynt, maent wedi adrodd helynt taith yr anial—wedi siarad am gyfarfodydd gweddi Merthyr, y cyfeillachau adeiladol, yn y rhai yr oedd Iesu yn agos iawn atynt, a'i gariad yn llosgi yn eu calonau.—Mor felus y cyfarfyddiad, heb ymwahanu mwy! Bydd gan gyfeillion y Gwaredwr lawer hanesyn dyddorol i'w adrodd am eu gwaredigaethau—a'r diolchiadau yn chwyddo i'r hwn aeth o'r groes i'r orsedd. Dywedai Price, Mae ffordd o America i'r nefoedd drwy yr un gwirionedd, ac y mae yr un gwaed yn ei rinwedd yn glanhau oddiwrth bechod. Iddo ef y byddo y gogoniant.

Yr oedd llawer o debygolrwydd rhwng yr athraw a'r dysgybl yn uniondeb eu hamcanion, yn mhurdeb eu buchedd, a nefolrwydd eu serchiadau. Un o ragorolion Cymru oedd John Lloyd,* ac un o ragorolion Cristionogol America oedd James Price. Maent heddyw yn rhagorach ac yn burach, ger gorsedd y Cyfryngwr, ar lan y môr gwydr, a thelynau Duw yn eu dwylaw.

Ond i ddychwelyd o faes y gwobrwyo i faes y llafurio. Iawn yw coffa am y brawd Price, mai fel yr oedd yn addfedu mewn oedran, cynyddai ei chwaeth at lenyddiaeth hefyd. Dichon fod hyn i'w briodoli i raddau i ddylanwad ei dad arno, y diweddar John Price (Ioan Prys), dyn a gydnabyddid o alluoedd gwir fawr fel bardd a llenor. Ychydig amser cyn ei farwolaeth cyhoeddodd gasgliad o'i weithiau barddonol, dan yr enw "Briwsion Awen."

Yr oedd ein brawd ymadawedig hefyd wedi cyfranogi yn ehelaeth o ysbryd yr awen, a threulient amser difyr yn nghymdeithas eu gilydd. Yr oedd yn hoff iawn o'r cynghaneddion, ac yn medru eu gwau yn fedrus. Fel bardd, yr oedd llawer o dlysni yn ei gyfansoddiadau; ac ymddangosai cynyrchion ei awen yn aml yn nghylchgronau Cymru dan yr enw "Iago ab Ioan." Ymddangosodd hefyd o bryd i bryd yn y wlad hon ffrwythau melusion ei lafur ar y maes barddonol, dan ei enw priodol gan amlaf; ac ar faes cystadleuaeth Eisteddfodol nid oedd efe i'w ddiystyru; aml waith y cipiodd y wobr o fin y rhai a ystyrient eu hunain yn alluocach nag ef. Dywedwn eto fod Mr. Price yn hunan-addysgol

* Mae diffyg yn hanes bywyd y diweddar John Lloyd, a gyhoeddwyd yn mhapyrau Cymru. Dywedir mai yn Llangloffan y bedyddiwyd ef. Nid felly; canys yr oeddwn i yn un o'r tystion lawer a'i gwelodd ef yn ufuddhau. Yn Tabor, Dyfed, y bedyddiwyd ef, gan y diweddar Barch. James Harris. Wedi iddo symud i Langloffan y dechreuodd bregethu. J. P. HARRIS.

Digitized by Google

yn ngwir ystyr y gair. Amcanodd unwaith i gael rhyw dri mis o addysg yn un o ysgolion Merthyr, a gedwid gan y Parch. John Williams, Bethel; ond peidiodd yr arian cyn treulio y tymor byr hwnw yn yr ysgol; a chan fod ei rieni yn dlawd eu hamgylchiadau, gorfu iddo ddychwelyd at ei waith, a gwneyd y goreu o'r ychydig gafodd; a gwnaeth yn dra rhagorol, drwy ddyfalbarhad, ymdrech, a diwydrwydd.

Yn mis Awst, 1857, ymunodd mewn priodas â Jane Lewis, yr hon fu iddo yn ymgeledd gymwys, ac sydd heddyw yn fyw, ac mewn galar yn hiraethu ar ol priod ei mynwes.

Daeth trosodd i America yn 1862, gan fwriadu i'r teulu ganlyn, ond gan fod y wlad mewn gwrthryfel y pryd hwnw, dychwelodd yntau at ei deulu yr un flwyddyn. Ond yn y flwyddyn 1869, daeth drosodd drachefn, ac ymsefydlodd yn Cleveland, Ohio. Arferodd ei ddawn fel pregethwr yn y ddinas hono, a chasglodd y Cymry ag oedd yn y lle at eu gilydd, gan gynal moddion crefyddol yn nghapel Bethel, yr hyn oedd yn gaffaeliad mawr y pryd hwnw idd ein cenedl ar wasgar.

Yr oedd Mr. Price wedi dechreu pregethu er yn ieuanc; yr oedd yr eglwys yn Merthyr a'i pharchus weinidog a'u llygaid arno fel un yn meddu ar lawer o gymwysder i'r weinidogaeth efengylaidd. Yr oedd yntau yn teimlo cymellion i ymgymeryd â'r gwaith, heb feddwl, tra yn dechreu cyhoeddi Iesu Grist yn Waredwr i bechadur, mai Kingston, America, oedd i fod yn brif faes ei lafur. Daeth efe a'i deulu o Ohio i Pennsylvania, ac yn Kingston y gwnaethant eu harosfa. Bu y brawd yn ddefnyddiol iawn yma tra yr oedd yr achos yn ei wendid yn dechreu cychwyn. Cofir yn hir am gyfarfodydd yr ysgoldy. Yma yr urddwyd ef i gyflawn waith y weinidogaeth, yn mis Awst, 1876. Dygwyd y moddion yn mlaen dan arweiniad y brawd J. P. Harris, yr hwn hefyd oedd llywydd y Cyngor, drwy ddarllen a gweddio gan y brawd Isaac E. Davies, Pittston; offrymwyd yr urdd-weddi, gydag arddodiad dwylaw, gan y brawd Edward Jenkins, Plymouth; deheulaw cymdeithas gan y brawd D. Rhoslyn Davies, Taylorville. Traddodwyd siars i'r gweinidog gan Theophilus Jones, Wilkesbarre; ac i'r eglwys gan y brawd H. C. Parry, Pittston.

Bu yn ffyddlon hyd angeu ar furiau Seion, ac yn weithgar iawn yn ngwinllan y Meistr. Yr oedd hynawsedd yn llon'd ei ysbryd, gostyngeiddrwydd yn addurn ei grefydd, a ffrwythau yr Ysbryd Glan yn aeron melynfawr yn addfedu arno. Ond daeth anhwyldeb corphorol; do, dyoddefodd ef hir gystudd yn amyneddgar, gan ymddiried yn ei Geidwad. Yn Awst, 1881, blinid ef gan *chronic dyspepsia*, ond ymdrechai ddilyn ei orchwyl. Yn mhen blwyddyn yn ddiweddarach ymgasglodd cronfa (*abscess*) dan ei forddwyd, a hyn achosodd ei farwolaeth; er pob dyfais a medrusrwydd meddygol, a phob ymgeledd a allasai llaw cariad estyn, nid oedd modd arbed ei fywyd.

Ebrill 27, wedi dihoeni a gwanychu aeth i'w wely, ac ni chyfododd o hono nes i angeu dynu'r babell briddlyd i lawr—y daearol dy. Bu farw yn llawn o ffydd, ac ymorphwysiad ei enaid ar y Cyfryngwr. Dywedai ei anwyl fab wrthyf, "Nos Sul, Mehefin 10, clywais ganu soniarus yn y ty, a chefais mai fy nhad oedd yn canu y dôn 'Llydaw,' ar y geiriau, 'Am graig i adeiladu,' &c. Tuag un o'r gloch y boreu hwnw ehedodd ei ysbryd at Dduw, yr hwn

Digitized by Google

a'i rhoes ef." Y mae heddyw yn canu yn well—gwell tôn na "Llydaw," er mor rhagorol yw; yn gryfach, ac yn fwy soniarus, yn y cor nefol, yn nghanol gogoniant.

Ymgasglodd tyrfa luosog yn nghyd y dydd y claddwyd ei weddillion marwol—amlygiad o edmygedd cymeriad dyn Duw, yr hwn wedi gwasanaethu ei genedlaeth, a hunodd yn yr Iesu. Yn yr addoldy traddodwyd y bregeth angladdol gan y brawd D. R. Jones, Plymouth, a'r brawd J. P. Harris, Nanticoke, yn Saesneg. Ar lan y bedd siaradwyd gan y brawd Theophilus Jones, Wilkesbarre. Yr oedd y brodyr canlynol yn wyddfodol, ac yn cymeryd rhan yn y gwasanaeth: D. S. Thomas, Shenandoah; W. F. Davies, Nanticoke; a W. D. Thomas, Parsons.

Hebryngwyd y corph i dy ei hir gartref, gan dywallt aml i ddeigryn mewn coffadwriaeth barchus, am ddyn rhinweddol, tad tyner, priod hawddgar, cymydog caredig, pregethwr coeth, ac am Gristion gloew. Gadawodd ar ei ol weddw alarus, a chwech o blant cwynfanus, heb dad daearol i'w cyngori a'u hyfforddi yn y pethau a berthyn i'w heddwch. Bydded i'r Tad Nefol daenu ei aden drostynt, a bod iddynt yn nawdd ac amddiffyn yn mhob cyfyngder hyd byth. Amen.

---

## DYDDIAU BOREUOL MATHETES.

GAN MR. HENRY S. JONES, ARNOT, PA.

*Mr. Gol.*—Gan nad wyf yn gweled neb yn dyfod allan a hanes maboed y gwron uchod fel y dylent, gofynaf ofod bach o'r WAWR i'r llinellau canlynol, gan obeithio y byddant yn gynorthwy i'r rhai fyddont yn gwneuthur cofiant iddo.

Mab ydoedd Mathetes i Roger a Mary Jones. Ganwyd ef tua'r flwyddyn 1815, mewn pentref bychan a elwir Felindref, plwyf Llangeler, tua thair milldir o Gastell Newydd Emlyn. Gerllaw y pentref uchod yr oedd eglwys gan y Bedyddwyr, ar yr hon yr oedd y patriarch duwiol hwnw, y Parch. Richard Owens, yn weinidog. Bu yn dda genyf ei glywed ganoedd o weithiau, a chefais wleddoedd i'm henaid o dan ei weinidogaeth. Yn yr eglwys uchod, sef Tref-fach, yr oedd rhiaint gwrthddrych ein nodiadau yn aelodau. Yr oedd ei dad yn gweithio ar blanhigfa (*nursery*) gwr boneddig yn y gymydogaeth.

Tua'r flwyddyn 1823, fel ag yr oedd teulu Roger a Mary yn cynyddu, (yr oedd ganddynt y pryd hwn dri o blant, sef dau fab a merch, sef John Bach, fel ei gelwid, a Dafydd a Mary), penderfynodd ei dad i gael ychydig o dir ei hun i'r dyben o godi *nursery* iddo ei hun, a'r fan a neillduodd at hyny oedd Tan-yr-helyg, wrth odreu mynydd Moelfre. Yn fuan yr oedd ganddo blanhigfa hardd o goed ffrwythau ac eraill, o wahanol rywiau. Y pryd hwn cododd ei riaint eu llythyrau gollyngdod o eglwys Tre-fach, gan ymsefydlu yn eglwys Fedyddiedig y Graig, Castell Newydd Emlyn. Bu hyn yn fendith fawr i mi, trwy ei gael yn athraw i'm dysgu yn ngair Duw, a'm cyfarwyddo yn nhrefn yr iachawdwriaeth trwy angeu'r groes. Yr oedd tua milldir o ffordd o Tan-yr-helyg i eglwys y Graig. Ar ol i'r plant ddyfod yn alluog i ofalu am danynt eu hunain, yr oedd ei rieni yn gadael y plant gartref o dan ofal John Bach. Ar ol i'w rieni gychwyn tua'r cyfarfod i'r Graig, dechreuai John osod pethau mewn trefn, er cael cwrdd gartref; gosodai ei ystôl fach ei hun yn ymyl y wal, yna gosodai stolion ei frawd a'i chwaer o'i flaen ar y llawr. Ar ol gosod pob peth mewn trefn, dechreuai John, neu Mathetes, y cyfarfod trwy roddi emyn allan i ganu, yna darllenai benod, a gweddiai; yna rhoddai emyn allan drachefn, John yn blaenori y canu, a'i frawd a'i chwaer yn ei ganlyn; yna dechreuai John bregethu. Un tro par-

Digitized by Google

haodd cwrdd John fwy na chwrdd y Graig, fel y darfu i'w rieni gael ychydig o oleuni ar yr hyn oedd yn myned yn mlaen gartref gyda y plant. Un tro ar ol hyn, darfu iddynt gymeryd arnynt eu bod yn myned i'r cwrdd, gan roddi gofal y plant i John, fel arfer. Gosododd John bethau mewn trefn er dechreu eu cwrdd hwythau gartref, fel arfer. Y pryd hwn dychwelasant yn ol, a gwrandawsant wrth y drws, ac yr oedd pob peth yn myned yn mlaen mor rheolaidd a phe buasai wedi bod wrth y gwaith er's deng mlynedd, yn canu, gweddio, darllen, a phregethu; a'r plant yn yr hwyliau mwyaf, yn dywedyd "Amen, Diolch byth, a Bendigedig fyddo enw yr Iesu." Methodd y fam a dal, a dywedodd, "O Roger anwyl, beth fydd y bachgen hwn?" Wedi i'r cyfarfod derfynu gan y plant, aeth y rhieni i'r ty, a'u llygaid yn llifo gan ddagrau, a rhoddasant gyngorion dwys a gwerthfawr i John Bach.

Yn y flwyddyn 1827 rhoddodd ei hun fel pechadur i ofal eglwys Iesu Grist yn y Graig; ac yn y flwyddyn hono, yn mis Gorphenaf, cafodd ef a thri eraill eu cyd-gladdu gyda Christ yn y bedydd gan y Parch. Timothy Thomas, gweinidog yr eglwys, a bu ei rodiad yn addas i'w broffes.

Cafodd Mathetes ychydig o ysgol tua'r tymor hwn, trwy fod ysgol rad wedi dyfod i'r dref, trwy haelioni Lady Huntingdon, yr hon ydoedd wedi gwystlo ei hystâd er rhoddi addysg i blant tlodion. Yr oedd yn cael ei chadw yn rhai o'r tai tu allan i Gastell Emlyn. Parhaodd yr ysgol hon am dair blynedd. Gan nad oedd amgylchiadau ei rieni y fath ag y gallent roddi rhagor o ysgol iddo, yn y flwyddyn 1832 penderfynodd fyned i Ferthyr er enill ychydig o arian, er cael rhagor o ysgol. Daeth i Dowlais, ataf fi, ac O, mor llawen oedd genym gael gafael yn ein gilydd. Wedi iddo gael lluniaeth, a dwfr i olchi ei draed, cawsom ychydig o ymgom â'n gilydd. Tranoeth aethom o amgylch y lle er dangos rhyfeddodau lawer iddo ef. Yn mhlith manau eraill aethom i dy ein parchus weinidog, W. R. Davies; yno cawsom ymddyddan cysurlawn a'n gilydd. Ar ol cael gwaith, dechreuodd weithio gyda Dafydd Bradley, fy hen feistr, yn y gwaith glo. Yn fuan ar ol hyn dywedais wrth Mr. Davies am iddo chwilio i'r brawd ieuanc, fy mod yn credu fod ynddo ddefnyddiau cymwys i'r areithfa. Dywedodd wrihyf, "Taw, fachgen; ai tybed ei fod felly?" "Ydyw, frawd, y mae y peth yn wirionedd." Gafaelodd Mr. Davies yn y pwnc o ddifrif, ac yn mhen tair wythnos cawsom bregeth gan Mathetes mewn cyfeillach, yn mhresenoldeb yr holl eglwys, a chafodd pawb eu boddloni tu hwnt i'w dysgwyliad. Cafodd y brawd ieuanc anogaethau i barhau yn y gwaith, gan yr holl flaenoriaid, yn nghyda chyngorion, ac yn ddiweddaf gan ein parchus weinidog. Ac ni fu yr eglwys yn foddlon ar ei chyngorion yn unig, ond dododd ei llaw yn ei thrysorfa, gan dynu ei haur allan; a gwnaeth hefyd gasgliad cyffredinol er danfon Mathetes i'r ysgol i dref Aberteifi. Hefyd rhoddodd y Parch. W. R. Davies, ein gweinidog, bob cyfarwyddiadau a chymeradwyaeth iddo. Gwelwn na fu arosiad Mathetes yn y gweithfeydd yn Merthyr a Dowlais a'r pwll glo ond byr, gan fod ganddo Feistr uwch i'w wasanaethu, i'r hwn y bu yn ffyddlon hyd angeu. Terfynaf yn awr, gan ddymuno heddwch i'w lwch.

H. S. Jones,
*Genedigol o'r lle.*

---

## YR ATHRAWIAETH O GYFIAWNHAD.

GAN Y PARCH. LLEWELYN REES, JOHNSTOWN, PA.

*Rhif V.*

Er mwyn iawn ddeall cysondeb ymadrodd y ddau apostol enwog, trown ein sylldrych at ffydd, fel y cydnabyddir hi o dri chyfeiriad:

1. *Y byd yn gyffredinol.*—Pan broffesa un fod a ffydd mewn arall, dysgwylia yr arall hwnw ymddygiad cydweddol â'r broffes. Nid oes neb, o'r brenin i'r cardotyn, a ddiolcha am

Digitized by Google

ffydd, mwy na chariad, a ddechreua ac a ddiwedda yn y pen neu y galon. Cydnabyddir bodolaeth ffydd, fel cariad, pan welir y traed a'r dwylaw yn ymsymud dan ei ddylanwad. "Pa fudd yw, fy mrodyr, o dywed neb fod ganddo ffydd, ac heb fod ganddo weithredoedd?—a ddichon ffydd ei gadw ef?"—neu, yn gyfystyr mewn pwysigrwydd—ei gyfiawnhau ef? Felly ffydd hefyd, oni bydd ganddi weithredoedd, marw ydyw, a hi yn unig. Pan symuda gwas a morwyn oddiwrth feistr a meistres at rai eraill, dysgwylir tystiolaeth oddiwrth y rhai cyntaf, yn dangos eu cymeriad. Nid praffder yr asgwrn na nerth y gewynau ynddynt eu hunain, a wiredda gymeradwyaeth y gorchwylydd, ond dadblygiad y cyfryw mewn gwaith. Nid oes yr un masnachydd a brisia ei gyfrifydd (*clerk*), gan nad faint o wybodaeth rifyddol broffesa fod ganddo, os na all weithio *sums*, a hyny yn gywir. Pa les i'r meistr, na'r dyn ei hun, fod clamp o ddyn, a'i esgyrn a'i gyhyrau fel eiddo anifail mewn praffder a nerth, yn myned i lofa, os na rydd waith i'r pwyswr bwyso ei lo? Fel hyn y mae gyda phob peth. Gan nad i ba berthynas, mewn ystyr, yr â dyn iddo, dysgwylir gweithredoedd cyfaddas i'r berthynas oddiwrtho cyn y rhoddir iddo gymeradwyaeth.

2. *Yr eglwys.*—Dadleuir llawer yn nghylch yr athrawiaeth o "ffydd yn unig," fel moddion i gyrhaedd cyfiawnhad; ond pan ferwir y cwbl i lawr i sylwedd bywyd, ceir geiriau Iago yn wir. Ni cha neb aelodaeth gyda y Bedyddwyr ar broffes o ffydd, os na cha y weithred o fedyddio ganlyn. Yr hen arfer, er cof genyf fi, oedd, pan arosai un yn ol yn y gyfeillach, cyn y bedyddid ef, yr oedd yn rhaid i'w fywyd, am wythnosau, os nad misoedd, fyned ar brawf. Pan roddir galwad i weinidog gan eglwys, galwad i weithio yw. Cyn y ca yr alwad, y rheol yw, iddo fod ar brawf, fel y caffo yr eglwys foddlonrwydd am ei allu a'i dalent, a'r medr sydd ganddo i gymwyso y cyfryw mewn gwaith at lwyddiant y gwirionedd, a lles a chynydd y frawdoliaeth. Mae yn anhawdd adnabod yr eglwys, beth yw, na lle mae, ond yn ngoleuni rhyw waith. Pan greda ac yr edifarha dyn, dyna yr enaid, drwy waith, yn dechreu ymaddasu, dan fendith yr Arglwydd, at waith y bedydd; ac y mae gwaith y bedydd, dan arweiniad yr Ysbryd, yn cymwyso dyn at waith y teulu—gweddio, cofio am y farwolaeth iawnol yn y swper sanctaidd, cyfranu at yr achos, bod yn dda i'r tlawd a'r angenus, "ymweled â'r gwragedd gweddwon yn eu hadfyd;" mewn gair, "at gadw pob peth ar a orchymynais i chwi." Pan anogir dyn gan y Beibl i gredu, ac i feddu ffydd, gwneir hyny er mwyn y gwaith yr arweinia hyny y dyn iddo. A'r un modd y mae gyda chariad, gweddio, a phob gras gweithiol arall; ni wnai Duw, Crist, na'r Ysbryd sylw o honynt ond o herwydd eu gwaith. Yr un yw tynged pob peth yn yr efengyl, ac yn yr eglwys—"gwnewch gyfrif o honynt er mwyn eu gwaith."

3. *Gan Dduw.* — Sut yr edrycha Duw ar ffydd?—ai fel rhywbeth yn y dansawdd (*abstract*), yn dechreu ac yn diweddu ynddo ei hun, ynte fel hedyn yn dechreu ynddo ei hun, ac yn ymddadblygu mewn cnwd? neu, mewn gair arall, cyfystyr a'r diweddaf, fel meddylrith gwaith? Sut bynag yr edrycha Duw arni, mae am i ni edrych arni felly. Gofyna Duw i gylch moesol ac ysbrydol ein bywyd ni i fod yn hyn neu y llall, am y rheswwm, "canys felly ydwyf fi." Er mwyn cael ein mater i gylch mwy eang, heb wyro dim oddiwrth linell ein hymresymiad, ni a alwn y ffydd y sonia Paul am dani yn egwyddor, a'r gweithredoedd y sonia Iago am danynt yn ddadblygiad o egwyddor. Beth bynag a welir, os nad yw yn feddylrith gwaith, peth marw, diwerth yw, yn ol Iago. I'r Hwn a fedr weled meddylrith gwaith cyn yr ymddadblygo mewn sylwedd i'r llygad cyffredin, mae yr un peth ag edrych ar y gwaith yn sylweddol; yr unig wahaniaeth yw pwynt o amser. Os cywir ein syniadaeth am y mater dan sylw, ac os cywir eiddo Iago, mai yn ei pherthynas â'i dadblygiad sylweddol,

Digitized by Google

ei gwaith neu ei chynyrch, y teilynga ffydd neu egwyddor yr urddas a ddyry Paul iddi drwy ei gosod yn gyfrwng i gyrhaedd cyfiawnhad, y cwestiwn mwyaf pwysig yw, sut yr edrycha Duw arni? Pa un ai fel rhywbeth yn y dansawdd, yn gorwedd ynddi ei hun, yr edrychai Duw ar ffydd i'w hurddasoli, ynte a edrychai arni yn ei chyfaddasrwydd i gynyrchu gwaith, ac felly yn deilwng o le yn mhlith grasusau eraill? Os y gyntaf sydd gywir, mae braidd yr holl Feibl yn anghywir. Os yr olaf sydd gywir, mae y modd i gyrhaedd cyfiawnhad ger bron Duw, yn ol Paul a Iago, mewn goleuni perffaith glir. Fel y dywedais uchod, dylem ni edrych ar ffydd fel yr edrycha Duw arni. Nid yw pob peth da sydd i fod mewn dyn, o ran barn a buchedd, ond adlewyrchiad o ryw elfen yn muchedd Duw, ond ar raddfa anfeidrol lai nag y mae ynddo ef, ond yn meddu yr un cyfartaledd i safle feidrol dyn, ag y mae eiddo Duw i'w safle anfeidrol ef. Gellir dyweyd am Dduw fel y dywedais uchod am yr eglwys, nad oes bosibl i ddeall, nac yn wir ddarganfod dim sydd yn perthyn iddo yn ngoleuni *theory;* nid oes dim yn y Beibl wedi ei roddi i fod yn gymorth i ddeall pethau Duw ond eu gwaith. "Felly y carodd Duw y byd." Pa esboniad Beiblaidd a roddir er cynorthwyo dynion i ddeall y cariad yna? "Fel y rhoddodd ei unig-anedig Fab." Dyna yr esboniad—gwaith ei gariad. Ymddengys na welodd Duw ynddo ei hunan mawr ddim yn werth i'w ganmol ond yn ngoleuni ei waith; a sicr genym, felly, na wel ddim mewn arall i'w urddasoli ond o herwydd yr hyn a wna. "A Duw a ddywedodd, Bydded goleuni, a goleuni a fu. A Duw a welodd y goleuni mai da oedd," &c. Gwelir yn yr adnod hon, na chanmolodd Duw ddim hyd nes oedd gweithred wedi cymeryd lle. Canmolodd yr Arglwydd Noah fel gwr cyfiawn, ar gyfrif, yn ddiau, ei fuchedd ddihalog yn ei oes. A oes rhywbeth yn rhyfedd yn y ffaith na ddywedir dim yn Genesis am ffydd Noah, ond ei waith; tra yn y Testament Newydd, rhoddir y ddau? Mae yn rhaid fod Ysbryd yr Arglwydd yn gwneyd cyfiawnder â chyflwr Noah, drwy Moses y croniclwr, er na ddywedir dim am ei ffydd. Dengys hyn fod Duw yn edrych ar ddysgeidiaeth Paul a Iago yr un; neu fod canmol ffydd neu ei gwaith yn ymgodi i'r un peth. "Credodd Abraham i Dduw, a chyfrifwyd iddo yn gyfiawnder." Mae y credu sydd yma yn cymeryd ystyr y ffydd sydd yn y Testament Newydd; ac, fel y nodasom o'r blaen, golyga ffydd ymddiriedaeth. Darllenwn yr adnod felly: "Ymddiriedodd Abraham yn Nuw, a chyfrifwyd iddo yn gyfiawnder." Wel, a oes gweithred neu ufudd-dod rywle yn agos lle mae achos wrth yr ymddiriedaeth? Mae rhyw dystiolaeth neu addewid bwysig yn cael ei derbyn pan fyddo ymddiriedaeth fawr. A oedd ffydd neu ymddiriedaeth Abraham yn Nuw yn gychwyniad gwaith? Oedd, yn ddiamheu. Pan roddwyd yr addewid am Isaac y dywedwyd yr adnod uchod, a chredwyf pe bae gofod i ymhelaethu, y gellid nodi y gwaith. Gweithred Abraham roddodd werth ar ei ffydd. I Dduw fel Duw, dalier sylw, nid oedd rheidrwydd iddo aros i feddylrith (*ideal*) gweithred i fyned yn sylweddoliad, cyn cyfiawnhau; ond dylid cofio, mai nid er ei fwyn ei hun y cynyrcha Duw ffydd a gweithredoedd, ond er mwyn y personau a'u meddant, ac er mwyn eraill; o ganlyniad, ni a gawn Dduw, er tynu allan ffydd Abraham i gyflawn ddadblygiad, yn gosod ei hun ar safle bod terfynol ei wybodaeth. Nid yw hyn yn beth rhyfedd yn hanes Duw. Fe wyddai Duw, fel Duw, pan yn gorchymyn i Abraham aberthu ei fab, y gwnai ufuddhau; ond er mwyn i'w ffydd ymddangos yn fyw i ol-oesolion, fel yr ymddangosai iddo ef; ac er mwyn cael eraill i gydfarnu â Duw am werth ffydd, mae Duw yn llefaru fel pe na wyddai am ffydd Abraham cyn gweled yr ufudd-dod mewn sylweddoliad: "Ac efe a ddywedodd, Na ddod dy law ar y llanc, ac na wna ddim niwed iddo, o herwydd gwn *weithian* i ti ofni Duw, gan nad ateliaist dy fab, dy unig fab, oddiwrthyf fi."

Mae pob hanesiaeth cysegredig ac

Digitized by Google

anghysegredig yn dangos na fyddai gwerth ar ffydd, nac un egwyddor arall, ond o herwydd ei bod yn ddadblygadwy mewn gweithred. Ni fuasai gan yr athronydd mwyaf cyrhaeddbell ei feddwl un dirnadaeth am egwyddor, da na drwg, yn y byd, cyn gweled y dadblygiad o honi mewn gweithred gydrywiol. Casgliadau rheswm oddiwrth ddadblygiadau gweithredol yw holl lyfrau athronyddol y byd. Pwy feddyliasai am dân, cyn gweled llosgi? Ni chanfydda y fferyllydd, pan yn gwneyd ymbrawf ar elfenau ac ansoddau y pethau hyny cyn gweled eu heffaith. Wrth rywbeth yn ei waith y gwnawd pob darganfyddiad yn y nefoedd serenog ac awyrawl, yn gystal ag ar y ddaear. Ar yr un egwyddor y darganfyddir pob peth hysbys am Dduw, am ddyn, am ddiafol, yn gystal ag am bob peth arall. Nid yw Duw, yn Dad, Mab, ac Ysbryd, yn cyflwyno i ddynion un ddamcaniaeth am dano ei hun ar wahan i ryw waith. Pe gofynai rhyw athronydd i Dduw, Pa beth yw Duw? tebyg iawn, os cai ateb o gwbl, mai yr ateb fyddai yn debyg i'r eiddo Crist, pan ofynwyd iddo dros Ioan, ai efe oedd yr un oedd ar ddyfod? Dywedodd wrthynt am fynegu i Ioan y gweithredoedd a welent. Y cwbl sydd genym yn y Beibl am gariad Duw ac eiddo y saint, yw dangos yr hyn a wna. a'r hyn na wna. "Felly y carodd Duw y byd fel y rhoddodd," &c. "Mae Duw yn canmol ei gariad tuag atom," nid o herwydd un ddamcaniaeth athronyddol am natur cariad, ond "oblegid a ni eto yn bechaduriaid, i Grist *farw*," (dyna y gwaith), "trosom ni." "Yn hyn yr adnabuom gariad" (nid trwy *theory* ddamcaniaethol, ond) "oblegid *dodi*" (dyna weithred) o hono ef ei einioes trosom ni." Credwn y golygai Iesu, pan yn rhoddi ffydd i'r byd, ei fod yn rhoddi gwaith i'r byd. Gelli di, ddarllenydd, a finau, benderfynu, beth bynag a ordeinia Iesu, ei fod yn sicr o ofalu am ogoniant ei ras didrai.

Wrth derfynu, dywedaf, fod pob peth yn dangos i ni yr ystyriai Duw, felly ei Fab holl-ddoeth, ffydd a gweithredoedd, neu weithredoedd ffydd a chariad yr un peth. Pan welodd Barnabas gyflwr iachus a gweithgar eglwys Antiochia, gweled "gras Duw" a wnaeth. Ffydd y wraig yn myned a'i dwylaw i dynu yn ymyl gwisg yr Iesu, ddaeth a'r iachad i'w merch. Ffydd y wraig o Ganaan yn peidio ildio gweddïo, ddaeth a'r fendith iddi.

OL-YSGRIF.

Pe buasai amser yn caniatau, sylwaswn yn fwy manwl ar rai pwyntiau yn yr ysgrif uchod — hyfrydwch fuasai genyf wneyd hyn. Os gwel fy Nuw yn dda, yr hwn a biau fy synwyr a'm teimlad, roddi i mi fywyd ac iechyd, ymdrechaf yn fuan roddi cyfleusdra i ddarllenwyr meddylgar ein misolyn clodfawr, y Wawr, i wybod fy meddwl ar y pwyntiau canlynol: A yw lles penaf marwolaeth boenus ond bendigedig y groes i ddyn mewn cyfansoddi haeddiant ger bron Duw, ynte a fwriadwyd hi i fod yn sylfaen trefn gras ar ryw ystyriaeth arall? Cysylltiad cyfiawnhad a sancteiddhad, gwasanaeth cynyrchiol a chynaliol un i'r llall. Gwersi ymarferol oddiwith yr athrawiaeth o gyfiawnhad. LL. R.

## DETHOLION.

—Cyflawnwch yn ddiofn yr hyn a wyddoch sydd dda.

—Fe fydd Crist yn nydd y farn yn cyhoeddi dedfryd ar bob dedfryd a gyhoeddwyd erioed.

—Na fydded a wnelych â dyn pan yn nwydwyllt; nid yw dyn fel haiarn, i weithio arno pan yn *boeth*.

—Y mae yn hyfryd i farw a'n pen ar fynwes Crist, a bod yr enaid yn cael ei gusanu ymaith o'r corph gan wefusau cariad dwyfol.

—Os na fydd genym archwaeth at weddio, dylem weddio am archwaeth; oblegid nid yw esgeuluso dyledswydd un amser yn ein cymwyso, ond yn wastad yn ein hanghymwyso i gyflawni dyledswydd.

Digitized by Google

# Amrywiaethol.

## DYSGU EIN POBL IEUAINC.

Wrth ddarllen y WAWR am Ragfyr, gwelais ddyfyniad rhagorol o waith rhyw ohebydd yn *Seren Cymru*, sef ar y daioni o roddi gwaith i'r bobl ieuainc. Dywedaf finau, Rho'wn waith efrydu iddynt; ni fydd y meddwl ieuanc yn segur—os na chaiff dda i'w wneyd, fe fyn ddrwg. Y mae hyny yn naturiol iddo bob amser. Yn awr pa fodd y mae ein gweinidogion presenol wedi gweithio eu ffordd i fyny i'r areithfa? Trwy fod yn segur? O, nage; ond trwy fod yn llafurus ddydd a nos, yn myfyrio llyfrau da, yn ymgyngori â dynion o feddyliau addfed yn y gwirionedd, ac wrth ymgyngori a dynion da Duw y mae dyfod i wybodaeth o Dduw. Felly pe byddai pob eglwys yn argymell ei dynion ieuainc i ddyweyd ychydig mewn cyfeillach, er mwyn cychwyn, byddai yn hwylusdod mawr iddynt. Cof genyf i'r Parch. Jeremiah Griffiths, gynt o Rhondda, gerllaw Pontypridd, ond yn awr yn Ashland, Pa., ddysgu ei fab John, yr hwn sydd yn awr yn gweinidogaethu yn dderbyniol yn Bryn Hyfryd, D. C, a William Harris, fu yn gweinidogaethu yn y Peel am beth amser. Yn awr, pe byddai ein gweinidogion yn dysgu dau bob un yn ein heglwysi, byddai yn llawer iawn o help; byddai genym well eglwysi, a mwy o lewyrch arnynt. Gobeithio y diwygia ein heglwysi yn y rhan hon o'r gwaith, ac y cawn ddyfodol gwych.

Mae gan ein hanwyl frawd, y Parch. Charles Jones, M. A., ddull da iawn yma: y mae yn galw ar y plant i gyd, yn fechgyn ac yn enethod, bob nos Sabboth i adrodd adnodau, rhai yn Gymraeg ac eraill yn Saesneg. Trwy hyn hyfforddir hwynt yn mhethau da Duw, gan eu cymell i fyned yn eu blaen gyda'r gwaith da o ddysgu gair Duw ar eu cof, a'i wneuthur.

*New Straitsville, O.* D. E. JONES.

## BEIAU.

Y mae yr hwn a ymffrostio mewn perffeithrwydd, yn berffaith mewn ffolineb. Yr wyf wedi bod i fyny ac i lawr gryn dipyn yn y byd, ac ni welais i erioed na cheffyl perffaith na dyn perffaith, ac ni chaf byth hyd nes y daw dau Sabboth gyda'u gilydd. Nis gellwch gael fflwr gwyn allan o sach lo, na pherffeithrwydd allan o'r natur ddynol. Gwell i'r hwn sydd yn edrych am dano fyn'd i'r môr i edrych am siwgr. Yr hen ddywediad yw, "Heb ei fai, heb ei eni:" Ni ddylem ddweyd dim am y marw ond yr hyn sydd dda; ond o barthed y byw, y maent i gyd, fwy neu lai, wedi eu pygu â'r wrychell ddu, a gall haner llygad weled hyny. Y mae gan bob pen ei fan meddal, a phob calon ei dyferyn du, pob rhosyn ei ddraen, a phob dydd ei nos. Y mae hyd yn nod yr haul yn dangos brychau, a'r ffurfafen yn cael ei duo gan gymylau. Nid oes neb mor ddoeth nad oes ganddo ddigon o ffolineb i lanw ystal (*stall*) yn Ffair Gwagedd. Lle nas gallwn weled cap y ffwl, yr wyf, er hyny, wedi clywed y clychau yn tincio. Megys nad oes un heulwen heb rai cysgodion, felly y mae pob daioni dynol wedi ei gymysgu a rhyw gymaint o ddrygioni. Y mae gan warcheidwaid cyfraith y tlodion eu ffaeleddau bychain, ac nid yw is swyddogion y plwyf yn hollol gyflawn o'r natur nefol. Y mae gan y gwin goreu ei waddod. Nid yw beiau dynion i gyd yn ysgrifenedig ar eu talcenau, ac y mae'n llawn cystal nad ydynt, neu byddai'n rhaid i hetiau gael ymylon llydain iawn: er hyny, can wired a bod wyau yn wyau, y mae beiau o ryw fath yn nythu yn mhob mynwes. Nid oes modd dweyd pa bryd y dengys pechodau dyn eu hunain, oblegid rheda *ysgyfarnogod* allan o'r clawdd yn union ar yr amser pan na fyddwch chwi yn chwilio am danynt. Gall ceffyl gwan ei goesau beidio llithro am fill-

dir neu ddwy, ond y mae'r gwendid ynddo er hyny, a gwell i'r marchogwr ofalu ei gadw i fyny yn dda. Nid yw y gath frithlwyd yn yfed llaeth yn awr, ond gadewch ddrws y llaethdy yn agored, a ni a gawn weled os nad yw hi gymaint o ladrones a'r gath fach. Y mae tân yn y gallestr, er oered yr ymddengys: aroswch nes ca'r dur ergyd ati, a chwi a gewch weled. Gall pob un ddarllen y wers hon, ond nid pob un sydd yn cofio cadw ei bowdr o ffordd y ganwyll.

Pe cofiem bob amser ein bod yn byw yn mhlith dynion anmherffaith, ni fuasem yn y fath dwymyn pan yn cael allan ffaeleddau ein cyfeillion: dryllio wna pethau pwdr, a cholli dwfr wna llestri holltedig. Gwyn ei fyd yr hwn nad yw'n dysgwyl dim oddiwrth gig a gwaed, oblegid ni siomir ef byth. Nid yw'r goreu o ddynion ond dynion ar y goreu, ac fe dodda'r cwyr goreu.

Ceffyl rhagorol yw'r hwn nid yw'n tripio,
A gwraig ganmoladwy yw'r hon na achwyno.

Ond yn sicr i chwi, ni cheir y fath geffylau a gwragedd yn unman ond yn mharadwys y ffwl, lle mae *dumplings* yn tyfu ar goed. Yn y byd drwg hwn y mae gan y pren cymwysaf ei golfenau, a'r cae glanaf o wenith ei ran o chwyn ynddo. Dymchwela y gyrwr mwyaf gofalus ei gert weithiau, cyll y gogyddes fwyaf medrus ychydig gawl, ac er fy ngofid gwn am aradwr da iawn sydd yn tori yr aradr yn awr ac yn y man, ac yn gwneyd rhych gam yn fynych. Ffolineb yw troi cyfaill profedig ymaith o herwydd rhyw ffaeledd neu ddau, oblegid y mae yn bosibl i chwi gael gwared o ferlyn un-llygeidiog, a phrynu un dall yn ei le. Gan fod pawb o honom yn llawn beiau, dylem ddysgu dwyn a chyd-ddwyn â'n gilydd—yn gymaint a'n bod yn byw mewn tai gwydr, ni ddylai neb o honom daflu ceryg. Chwerthina pawb pan y mae'r *saucepan* yn dweyd wrth y *kettle*, "Mor ddu wyt ti!" Y mae anmherffeithderau dynion eraill yn dangos i ni ein hanmherffeithderau ein hunain, oblegid y mae un ddafad yn debyg iawn i'r llall; ac os oes canwyll llygad gan fy nghymydog, diamheu fod un genyf finau. Dylem gymeryd ein cymydogion fel drychau (*looking-glasses*) i weled beiau ein hunain ynddynt, a diwygio ynom ein hunain yr hyn a welwn ynddynt hwy.

Nis gallaf oddef y rhai hyny sydd yn gwthio eu trwynau i dy pob un i wyntio allan ei ffaeleddau, ac yn dodi mwyadur ar eu llygaid i ganfod coll-iadau eu cymydogion. Gwell fyddai i'r cyfryw edrych gartref—gallent weled y diafol mewn lleoedd annysgwyliadwy. Cawn wel'd, neu feddwl ein bod yn gwel'd, yr hyn ydym yn ddymuno wel'd. Lle y mae prinder cariad y mae cyflawnder o ffaeleddau. Y mae buwch wen yn ddu i gyd os myn eich llygaid iddi fod felly. Os gwnawn ni ffroeni yn ddigon hir wrth ros-ddwfr cawn allan fod ganddo arogl ffiaidd. Byddai yn beth llawer mwy dymunol, o'r hyn lleiaf i bobl eraill, pe troai helwyr beiau eu cwn i hela allan rinweddau mewn pobl eraill; talai'r helwriaeth yn well, ac ni safai neb a'i bigfforch i gadw'r helwyr oddiar ei fferm. O barthed ein beiau ein hunain, byddai yn ofynol cael ysgrif-lech fawr i ddal eu cyfrif; ond, diolch i Dduw, gwyddom pa le i'w cymeryd, a pha fodd y mae cael y goreu arnynt. Gyda ein holl feiau, y mae Duw yn ein caru o hyd, os ydym yn ymddiried yn ei Fab am hyny; peidiwn digaloni, ond gobeithiwn fyw a dysgu, a gwneyd rhyw wasanaeth da cyn ein marw. Er fod y gert yn crecian, cyrhaedda adref a'i llwyth, ac fe wna'r hen geffyl, yn glindoredig fel y mae, gryn lawer o waith eto. Nid gwiw gorwedd i lawr a gwneyd dim, o herwydd nas gallwn wneyd pobpeth fel y dymunem. Beiau neu ddim beiau, rhaid aredig, a rhaid i ddynion anmherffaith ei wneyd hefyd, neu fydd dim cynauaf y flwyddyn nesaf. Boed John can waeled aradwr ag y bo, ni wna'r angelion ei waith yn ei le, ac felly, y mae yn myned i'w wneyd ef ei hunan.—*John Ploughman's Talk, gan Mr. Spurgeon.*

---

Cedwch lygad gwyliadwrus arnoch eich hunain, rhag i chwi ysbeilio Duw o'i ogoniant.

Digitized by Google

# Ein Pigion Misol.

[*O Bapyrau y Bedyddwyr Americanaidd.*]

—Y mae chwaer o'r enw Mrs. Dolly Barden wedi bod yn aelod o'r eglwys Fedyddiedig yn Benton Centre, N. Y., am *bedwar ugain a thair* o flynyddau dilynol, ac y mae ei dyddordeb yn mhob peth o natur grefyddol yn parhau heb leihau. Cafwyd y ffeithiau dyddorol hyn oddiwrth y Parch. A. Martin, gweinidog yr eglwys. A oes rhyw un yn gwybod am un engraifft arall gyffelyb, o fod yn aelod parhaol o'r un eglwys am gymaint o amser?

—Er llawenydd mawr mae y swm angenrheidiol mewn llaw er gwneyd i fyny waddoliaeth (*endowment*) o ddau can' mil o ddoleri i'r "Chicago Theological Baptist Seminary." Ychwanegodd boneddwr bum' mil o ddoleri at ei rodd flaenorol, yn gwneyd ei rodd i gyd yn fwy na phymtheg mil o ddoleri.

—Meddwn ryw gymaint o wybodaeth bersonol am drybini rhai eglwysi weithiau wrth wneyd i fyny a thalu y symiau addawedig i'w gweinidogion yn flynyddol. Ai ni wna y brodyr gofio fod yr Arglwydd yn caru rhoddwr llawen, ac nid rhoddwr a dala yr hyn a eilw yn "dreth y gweinidog?" yn debyg iawn fel pe bae yn cael tynu daint, neu yn cael tori ymaith ei goes. Mae y fath beth yn paraleisio nerth a gobaith gweinidog neu eglwys. Cymera ymaith o weinidog bron yr oll o'i hunan-barch, a thyna ef i lawr i faintioli haner dyn. Taler i'r gweinidog yn llawn a phrydlon; yna parcha ei hunan yn fwy, gwna well gwaith dros yr eglwys, cara y plant ef oblegid ei wyneb siriol. ac y mae yn fwy gobeithiol a dedwydd yn mhob man.. Os oes unrhyw eglwys a amheua hyn, rhodder prawf ar y cynllun am y flwyddyn hon o oed ein Harglwydd, 1884.

—Y mae yn beth mawr bod yn alluog i ddweyd fod yr Enwad Bedyddiedig yn cychwyn y flwyddyn 1884 yn mhob ystyr yn gryfach nag ydoedd ar ddechreuad 1883. Mae ein heglwysi a'n haelodau yn fwy lluosog, ein sefydliadau dysg wedi eu gwaddoli yn well, ein hadnoddau yn fwy, a'n gallu i wneyd daioni yn fwy nag erioed o'r blaen. Hynodwyd y flwyddyn 1883 gan ei diwygiadau, ac mewn adeiladu a gwellhau capeli. Nid ydym eto yn berffaith mewn unrhyw beth, ond mae y flwyddyn a basiodd wedi bod yn flwyddyn o gynydd bron yn mhob cyfeiriad. Beth fydd hanes y flwyddyn newydd yr ydym wedi ei dechreu? Ei hangen mawr penodol ydyw bod o un ysbryd o blaid y gwirionedd, a chael dylanwad dwyfol ag a rydd fywyd a gallu newydd i bob eglwys. Credwn mai hyn ddylai fod dymuniad calon ac ysbryd pob gweinidog; a phan y cymero yr elfenau hyn lwyr feddiant o bob eglwys, bydd y ffrwyth a'r cynauaf yn ogoneddus.

—Dywed y Saeson am yr Americaniaid, nad ydynt yn bobl ddifrifol. Y maent yn beirniadu ein ffyrdd ysgafn a rhydd, ac yn barnu oddiwrth y rhai hyn ein bod yn ddiffygiol mewn argyhoeddiadau dwfn a difrifoldeb moesol. Honwn fod ein cefnderwyr yn ein cam-farnu, ac mai yr elfen ddifrifol ynom ydyw yr un gryfaf a'r ledneisiaf. Dechreuodd ein bywyd cenedlaethol mewn difrifoldeb ag oedd yn sobr-braidd yn bruddglwyfus; ac nid ydym eto wedi colli yr elfen hon o feddwl a theimlad. Eto nid ydym yn synu fod ein perthynasau y Saeson yn edrych arnom fel pobl ysgafn, gellweirus. Yr ydym yn rhoddi gormod o le iddynt i dybied felly am danom. Edrycher ar ein llenyddiaeth arebawl neu ddigrifol, yn aruthrol mewn maint, yn wastraffaidd lydan a digrif mewn natur, ac yn tueddu yn mhell i drin pethau cysegredig mewn arddull fras, arw, a dibarch. Mae llawer o'n hawdwyr arebawl nad oes fymryn o arabedd yn perthyn iddynt. Nodweddir hwy yn unig gan groendewder moesol a digywilydd dra, a ganiata iddynt unrhyw beth a ddewisant, ac i dywallt gwatwaredd annghoeth ar unrhyw beth a ystyrir yn burdeb a lles cymdeithasol.

Digitized by Google

Edrycher ar ein papyrau newyddion pentrefol, dinasol, a phrif-ddinasol. Nid ydym yn cyfeirio at y rhai a ystyrir yn ddigrifol (*comic*). Nid ydym yn cyfeirio at y ffaith fod gan lawer o'n papyrau eu "dyn *funny*," gwaith isel yr hwn ydyw casglu chwedlau dyddiol neu wythnosol, yn llawn o ffwlbri. Nid yw hyn oll yn tybio ond ychydig. Y mae genym o flaen ein meddwl yn hytrach, dôn ddibwys, wagsaw a gwatwarus, yn mha un y mae llawer o olygwyr yn trin pynciau cymdeithasol neu wladyddol. Traethir ar y rhai hyn yn fynych mewn arddull wawdlyd a fradycha ddiffyg difrifoldeb a theimlad moesol pur. Mae y wasg Americanaidd yn amcanu uwchlaw pob peth i fod yn ddysglaer, yn ysgafn, ac yn ddifyr ; ac felly yn rhy aml yn myned yn ddisylwedd a nwyd-gynhyrfiol, ac yn llygredig ddigrifol. Edrycher ar ein hareithiau cyhoeddus. Y mynyd y coda siaradwr Americanaidd ar ei draed i anerch cynulleidfa, ei syniad cyntaf ymddengys fod ydyw dyweyd rhywbeth fyddo yn neillduol *smart*, i godi chwerthiniad, ac i "ddod a'r ty i lawr." Ei amcan ydyw nid mewn modd yn y byd i siarad yn mlaen am yr hyn a wyr, mewn ffordd blaen, onest a dynol. Ei awyddfryd yn hytrach ydyw gwneyd i'r bwrdd neu yr ystafell adseinio gan dwrw. Nid oes fawr o gyfrif yn cael ei wneyd o lefarwr na fedr gynyrchu chwerthin, pa mor synwyrol bynag y byddo yn siarad. Edrycher eto, yn waeth fyth y mae ein cynulliadau crefyddol a'n cynadleddau. Yma y mae yr alwad genedlaethol am "*fun*" i'w weled. Mae areithiau annheilwng o "Joe Miller" i'w clywed yn fynych o eneuau gweinidogion, mewn lleoedd cysegredig. Ac yn y pwlpud mae y chwaeth isel hon yn fynych iawn yn warthus dros ben, ac yn lladd dylanwad y llefarwr. Cofier, nid ydym ni yn erlyn arabedd yn gymedrol, yn ei le a'i adeg. Y mae y ddawn hon yn blanedig yn ein natur, a thueddа i flasu mwynianau cymdeithasol bywyd. Nid ydym yn amheu nad oes amser i chwerthin. Nid oedd y Puritaniaid yn orddifrifol, ond nid ar *fun* yr oeddynt yn byw. A dyna'r peth yr ydym yn dadleu drosto, fod y duedd i wneyd *fun* a chael digrifwch yn cael ei iawn reoleiddio, a'i gadw at amseroedd a lleoedd a phethau y byddo yn gweddu iddynt. Y gofid gyda ni yw, fod digrifwch wedi dod yn ymborth dyddiol, a'n bod yn gwrthod bod yn ddifrifol.

—Nid yw derbyniadau y *Missionary Union*, can belled a hyn yn y flwyddyn gyllidol, ond $541.91 yn fwy nag eiddo y flwyddyn ddiweddaf, tra y mae y cymun-roddion yn $13,717.50 yn llai. Dylai yr adroddiad hwn fod yn ddigon i gyffroi cyfeillion y cenadaethau i ymdrechiadau adnewyddol, nid yn unig i wneyd y diffyg i fyny, ond i gyflenwi yr ugain y cant o gynydd y penderfynwyd arno yn y cwrdd blynyddol diweddaf.

—Argraffa y *Missionary Magazine* am Ionawr restr lawn o'r cenadon yn ngwasanaeth y *Missionary Union*, gyda eu cyfeiriadau. Yr holl rif yw 218, o ba rai y mae 29 yn awr yn y wlad hon.

—Mae y newyddion yn galonogol anghyffredin oddiwrth yr eglwysi Bedyddiedig yn Boston y dyddiau hyn. Ni fu amser yn hanes y ddinas pryd y bu y Bedyddwyr yn gwneyd gwaith pwysicach nag y maent yn ei wneyd yn awr. Y maent wedi dod yn brif amddiffynwyr y ffydd Buritanaidd, yr hon y mae hiliogaeth John Cotton a Cotton Mather yn ymadaw oddiwrthi, gan fabwysiadu rhyddfrydiaeth gwagsaw y "Dduwinyddiaeth Newydd." Pa ragoriaeth bynag a berthyn i'r dduwinyddiaeth hono, eglur yw nad yw yn meddu gallu i gyffroi cydwybodau, nac effeithio ar galonau y bobl. Myn y lluaws fyned i'r manau lle mae maddeuant yn cael ei bregethu trwy Iawn y Gwaredwr, a'r lle gall y gydwybod euog gael heddwch yn ngwaith prynedigol Iesu. Mae yn amlwg fod gogwyddiad y bobl at yr hen wirioneddau, ac nid at yr athrawiaethau newydd. Mae ein capeli lluosog yn y ddinas bron yn ddieithriad yn llawn o wrandawyr ar y Sabbothau, a'r cyfarfodydd wrthnosol yn gyfartal boblogaidd. Mae un eg-

Digitized by Google

lwys pum' mlwydd oed yn rhifo pedwar cant o aelodau; un arall o'r un oed sydd wedi cynyddu o fod yn ddeg ar hugain i ddau gant a haner. Rhan arall o'r llwyddiant a welir yn y capelydd newyddion sydd newydd gael eu hagor. Gyda y fath arwyddion cysurus o lwyddiant yn mhob cyfeiriad, nid oes eisiau chwilio am lwybrau newyddion na chredoau newyddion. Mae hen wirioneddau yr efengyl, a gerid ac a bregethid gan ein tadau, yn allu Duw er iachawdwriaeth o hyd.

# Pethau yn yr Eglwysi.

## GWEINIDOGION CYMWYS.

Mae yn yr eglwysi weinidogion. Hwy ydynt y personau amlycaf yn yr eglwysi. Y mae y gymydogaeth yn gweled y gweinidog yn ddyn dyeithr. Holir pwy ydyw; ac wedi cael gwybod, edrychir arno fel prif ddyn yr eglwys y perthyna iddi. Bernir yr eglwys gan y cyhoedd cyffredin wrth yr hyn a welant yn y gweinidog. Mae hyn yn bwysig i eglwysi i'w gadw mewn cof wrth roddi galwad, ac wrth gadw person yn weinidog. Dylid ystyried a ydyw y dyn, yn ei ffordd, yn ei drefniadau, a'i weithredoedd *bydol*, yn ogystal ag *eglwysig*, y cyfryw ag sydd yn ddarlun teg a chywir o'r eglwys, ac yn adlewyrchu anrhydedd arni. Os nad yw, ni ddylai gael bod yn weinidog iddi fynyd awr. Dylai eglwysi fod yn ofalus i bwy y rhoddant eu pwlpudau yn achlysurol—Sabboth o *supply*. Mae bod yn esgeulus yn hyn wedi peri gofidiau lawer i eglwysi cyn yma. Mynych y caniateir Sabboth i bregethwr er mwyn boddloni rhyw gyfaill iddo, a chadw heddwch. Mynych hefyd y derbynir person i bregethu *am dro mewn chance*, ar gyfrif rhyw gysylltiadau bydol, er yr ystyrid ef yn hollol annheilwng o efengyl bur Iesu Grist.

Fel rheol, y dynion sydd byth a hefyd yn gofyn am gael pregethu, ac am gael Sabboth i wasanaethu yr eglwys, ydyw y rhai y mae achos crefydd wedi cael dyoddef fwyaf o'u herwydd. Mae pob *dyn* egwyddorol onest a chrefyddol o'r iawn ryw, yn ol y Testament Newydd, yn gofalu am ymddwyn yn foneddigaidd a doeth. Os nad yw yn ddigon derbyniol fel pregethwr i gael ei wahodd i bregethu i eglwysi adnabyddus o hono, ag ydynt yn weigion, ni wna wthio ei hun arnynt. Ni fyn roddi ei hun yn agored i gael ei wawdio fel *Jack*, &c. Ymgymera a rhyw alwedigaeth barchus wrth ddilyn yr hon y gall enill ei fywoliaeth yn anrhydeddus. Ac os yw dyn yn meddu ar gymeriad teilwng o'r efengyl, dyn yn byw yn grefyddol, yn ol barn y cyhoedd, ac eto yn methu cael gwahoddiadau i bregethu, yn methu llwyddo i gael eglwys, er fod amrai yn weigion, ac yn chwilio am fugeiliaid, ac yn hollol hysbys o'i ddoniau a'i gymeriad ef, gall benderfynu eu bod yn ei ystyried ef yn amddifad o alluoedd pregethwrol a chymwysderau gweinidogaethol llwyddianus; a'r peth goreu iddo ydyw troi at ryw alwedigaeth arall i enill ei fywoliaeth. Eglwysi sydd i farnu cymwysder dynion i'r weinidogaeth; hwy sydd yn eu talu, ac ni fynant ond y rhai a farnont yn gyfaddas i'r gwaith. Felly ar ol i'r eglwysi roi eu barn yn eglur, gwell i bersonau ymostwng i'w dyfarniad, ar ol prawf teg. Mae gormod o ddynion ar enw pregethwyr, heb fod yn bregethwyr yn weithredol. Byddai yn well i'r cyfryw ymdrechu gwasanaethu y Meistr mawr mewn rhyw ffordd arall yn nghylch yr eglwys, a gwneyd eu goreu i gynorthwyo y rhai a fernir gan yr eglwysi sydd wedi eu galw i'r weinidogaeth.

### PREGETHWYR GALLUOG HEB EGLWYSI.

Gwlad ryfedd yw America. Meddylir yn Nghymru nad oes yma bregethwyr; nas gellir codi pregethwyr yma; a bod y bobl ar farw am gael doniau yr Hen Wlad. Hefyd ymresyma rhai yn yr Hen Wlad fel hyn: "Wel, mae y Parch. —— wedi syrthio eto; mae wedi ——; beth ddaw o hono ac o'i deulu, nis gwn yn y byd. Fy nghyngor i yw iddo fyned i America. Mae eisiau pregethwyr galluog

Digitized by Google

yno; mae yno lawer o eglwysi gweigion, ac y mae yno lawer o *gyfeillion* a fyddant yn sicr o weithio drosto; bydd yn *all right* ond iddo fyned dros y dw'r." Dywedir fod America yn nyth pob aderyn aflan. Pan y mae dynion galluog yn dod drosodd i'r wlad hon, o wlad yr *eglwysi mawrion*, gwlad y cynulleidfaoedd a rifant gynifer o filoedd ag a rifa cynulleidfaoedd y wlad hon o ganoedd, gwlad hefyd lle y mae llawer iawn, iawn, yn y De ac yn y Gogledd, o eglwysi cryfion iawn, yn rhifo eu canoedd o aelodau yr un, yn weigion, heb weinidogion—(mae mwy o eglwysi gweigion yn Nghymru nag sydd yn America; beth yw y rheswm?) —mae yn rhaid fod rhywbeth o le. Gwyddom am rai wedi ymfudo yma am fod y meddygon yn eu hanog er mwyn iechyd; ac eraill yn dyfod am eu bod yn *werinwyr egwyddorol.* Ond daw eraill am eu bod wedi colli eu safle parchus yn Nghymru. Mae digon o allu, ond rhy fach o dduwioldeb ynddynt. Dylai yr eglwysi fod yn ofalus wrth ddyfod i gysylltiad a'r rhai hyn. Ni ddylai yr un *aelod* eglwysig weithio dros hyd yn nod ei gyfaill anwylaf i'w gael yn weinidog i eglwys, ac yntau yn byw yn hollol annheilwng o'r swydd gysegredig. Dyma un o brif beryglon eglwysi Cymreig America—cyfeillion yn gweithio dros hen gyfeillion—pob un am gael ei ffrynd, ac yn gwybod fod y ffrynd hwnw yn *elyn i groes Crist*, yn ol tystiolaeth yr apostol Paul. Mae mwy o rwygiadau wedi cael eu gwneyd mewn eglwysi o achos hyn na dim arall yn America—pleidio y *dyn* yn hytrach na'r *Cristion*.

Mae hefyd fwy o niwed wedi cael ei wneyd i achos crefydd gan bregethwyr galluog, ond annuwiol, na chan bregethwyr bychain, ond o ymarweddiadau Cristionogol. Ceir dynion yn yr eglwysi mor ynfyd a phleidio dyn ar gyfrif ei dalent, er yn gwybod fod ei fuchedd yn ffiaidd gan y Nefoedd. Diwygier, a diwygier yn fuan. Llawer a ddywedant, "Dyna ddyn galluog; dyna ddyn mawr; dyna i chwi bregethwr; ond cael hwna, bydd y capel yn rhy fychan yn fuan." Beth gwell yw cael dyn i lanw y capel am ychydig amser â'i ddoniau siaradol, ac wedi hyny yn ei waghau â'i fywyd aflan? Y mae llawer yn ymffrostio eu bod wedi bedyddio hyn a hyn; ond pa le y mae y bedyddiedigion? Pwy yw y gwrthgilwyr? Dynion a gafwyd i fewn gan ddoniau hyawdl, ond drewedig eu moesau, yw llawer o honynt. Dylai llwyddiant pob gweinidog gael ei fesur nid wrth nifer y derbyniedigion, ond wrth nifer *y ffyddloniaid crefyddol* a ddygwyd i'r eglwys dan ei weinidogaeth. Ynfydrwydd yw honi llwyddiant am fod cant wedi cael eu derbyn, tra na fu deg o honynt yn ffyddlon a gweithgar hyn angau. Da cael doniau dysglaer a galluog yn yr areithfa, ond ni lwydda yr eglwys heb fod yr egwyddorion yn cael eu byw yn mywyd yr aelodau, ac yn benaf yn mywyd y gweinidog. Eglwysi, a oes rhai o honoch yn amheu hyn? A ydych yn meddwl fod y sylwadau hyn yn ddialw am danynt? Edrychwch o'ch hamgylch; myfyriwch hanes yr eglwysi, a chewch fod amrai o'n heglwysi wedi mynu doniau mawrion, er yn hysbys o'r si fod rhywbeth o le. "Mae yn bregethwr mawr," meddant; "efe yw y dyn i'r eglwys hon." Cawn ei fod yn *tynu* am dipyn; ond byr fu ei arosiad, ac yr oedd yr eglwys ar ddiwedd ei weinidogaeth mewn gwaeth cyflwr nag ar ei dechreu. Ceir hanes llawer eglwys i ategu y gosodiadau hyn. Gwyddom am eglwysi wedi cael eu nychu a'u handwyo am flynyddau gan benau mawrion, goleu, ond buchedd aflan.

Gall eglwys benderfynu, os bydd dyn yn bregethwr gwir alluog, a byth a hefyd yn chwilio am le, fod rhywbeth yn *wrong* mewn cysylltiad ef; ac felly dylid bod yn ofalus rhag cael siomedigaeth. Mae eglwysi yn ddigon call, ac yn ddigon hunanol i sicrhau gwasanaeth pregethwyr mawr, galluog, a dylanwadol, os byddant yn byw yn iawn. Mae eglwysi yn naturiol yn gwneyd eu goreu i sicrhau y gweinidogion goreu a galluocaf yn fugeiliaid iddynt. Nis gall cenfigen, malais, na digofaint holl bregethwyr y byd atal

Digitized by Google

eglwysi yn hir i weled a gwerthfawrogi talent a rhinwedd yn nghyd. Y fath ffolineb yw yr ensyniad a roddir allan gan gyfeillion y personau hyny ydynt yn aflan eu buchedd. "Mae y pregethwyr i gyd yn ei erbyn, am ei fod yn gallu pregethu yn well na hwynt." Wrth reswm, efe ei hun ydyw tad y syniad yna; ac y mae ei gyfeillion yn gwneyd defnydd o hono fel rheswm am nad yw mewn eglwys yn weinidog. Mae ynfydrwydd yr haeriad yna yn amlwg ar ei wyneb. Mae y personau hyn wedi cael eglwysi, ac wedi cael mantais i ddefnyddio eu doniau mawr, ond er hyny yn colli yr eglwysi yn fuan. Ac yn wir, pa le y mae eu gorfawredd? Maent yn pregethu yn dda; ac y mae ganddynt ambell bregeth ardderchog; ond nid felly bob pregeth o'r eiddynt. Y gwir yw, ychydig o bregethau a bregethant, fel ffrwyth byrder eu harosiad yn yr un lle. Felly gallant gasglu eu holl nerth a'u holl flodau i'r pregethau hyny. Ond am eraill, maent yn aros dwy, tair, pedair, a chwech, a deng mlynedd yn yr un eglwys, ac yn pregethu yn yr un Gymanfa flwyddyn ar ol blwyddyn; o ganlyniad nis gellir dysgwyl i'w holl bregethau fod yn llawn blodau, ac yn arddangosiad o allu anghyffredin. Er hyn mae ganddynt bregethau, a phregethant yn achlysurol gystal a neb pwy bynag o'r rhai a honant fod y pregethwyr yn *jealous* o honynt. Na, na, nid oes achos i bregethwyr sydd yn byw yn fucheddol, ac yn arosol yn y weinidogaeth, fod yn erbyn neb. Beth yw y prawf eu bod yn alluocach? Pa beth maent wedi wneyd i brofi eu bod yn fwy galluog na'r rhai sydd yn barchus yn yr eglwysi? Beth yw y prawf eu bod yn well pregethwyr? A beth yw y prawf fod pregethwyr yn eu herlyn o herwydd eu bod yn well na hwy?

Eglwysi anwyl, na thwyller chwi. Mynwch wybod eich bod yn cael cymeriad da, yn ogystal a phregethwr galluog, cyn agor eich pwlpud i neb; a chyn rhoi eich gofal i ddyn, mynwch wybod a yw yn gallu gofalu am dano ei hun yn gyntaf. Mae mwy o eisiau gras achubol na gallu ermygol—dyn *duwiol* na dyn *doniol*.

DIDYMUS.

---

# Adran yr Adroddwr.

## YR YMHOLIAD.

Ti Ddyfnder nerthol sydd
A'th donau'n chwareu'n llu,
A wyddost ti am fan
Yn mhell mewn ynys gu,
Lle gall blinderog ddyn
Orphwyso mewn rhyw nyth
Nad all un gofid fyw,
Na chariad farw byth? [lun,
Ymdreiglai'r tonau mewn chwyddedig
Och'neidient oll *na wyddent hwy am un.*

Tydi seirianaf Loer,
A'th wedd nefolaidd dlos,
Wrth dremio ar y byd
O fynwes ddu y nos,
A welaist di drwy'th gylch,
Hoff lanerch gallai un,
Dan faich gorthrymder, gael
Dedwyddwch iddo'i hun?
Dan fantell cwmwl yr ymguddiai'n wan,
A meinlais trist atebai *nad oedd man.*

Fy enaid, gobaith, ffydd,
A wyddoch chwi ddim oll,
Am un ymguddfa sydd
I ddyn rhag myn'd ar goll?
Lle gall marwolion gael
Bendithion mewn rhyw le,
A balm i'w clwyfau'n hael,
Gorphwysfa dawel gre'?
Ffydd, gobaith, cariad, â phereiddiaf lef
Gan hwylio'u hedyn, d'wedent, *Yn y nef*

—*Cyf. I. G. Aled.*

---

## ADDA FEDDW.

Tranoeth yr oedd Adda Jones yn myned i ffair Abergwaun i werthu mochyn. Yr oedd Adda yn myned i'r ffair fel dyn yn y boreu; a'r mochyn yn myned fel mochyn, yn ddigon ystyfnig. Ond wedi myned i'r dref, aeth

Digitized by Google

Adda i gael peint i wella ei glefyd, oblegid yr oedd yn teimlo dolur tost yn ei ben er y dydd o'r blaen; a dywedai Adda yn aml nad oedd un peth yn well at y clwy' na blew y ci oedd wedi ei glwyfo. Dibrisiodd Adda y mochyn, a glynodd wrth beint ar ol peint, nes oedd y ffair a phob peth yn cael eu hanghofio. Aeth y mochyn adref. Ac i roddi pen ar hyn, rhaid adrodd i'r mochyn fyned adref fel gwr boneddig, ac i Adda fyned adref fel mochyn. Yr oedd y mochyn wrth y ty cyn gostwng haul nos Sadwrn; ac Adda yno wedi i'r haul godi bore Sabboth. Dygwyddodd tro hynod i Adda y nos Sadwrn hyny. Cychwynodd tuag adref ryw dro yn y nos, ond gorweddodd yn y ffos yn ymyl y ffordd, ac yr oedd y llaid yn wely lled esmwyth iddo. Tynodd ei ddillad, a gosododd hwy ar y berth, a chrogodd ei oriawr wrth frigyn bach, a chysgodd fel y cysga meddwyn, yn ddigon trafferthus. Breuddwydiai am Gweno, ac am y mochyn; dychymygai ei fod yn gweled yr ysbryd drwg, a chredai fod hwnw wedi ei gipio i fyny mor uchel a'r ser sefydlog, ac oddiyno yn ei ollwng ef i lawr nes oedd ei holl esgyrn yn cael eu malu! Yna gwelai y lle yn dân a mwg oddiamgylch iddo, a miloedd o gythreuliaid yn gweu yn y mwg, a phob un am osod ei ewinedd ynddo. Ychydig oedd Adda yn ei feddwl mai yn ei ymenydd ef yr oedd y tân wedi ei enyn, a'r damniaid wedi eu magu, ac mai gwreichion o dân y gwirod poethion oedd y ser a welodd yn entrych y nen. Ni feddyliodd ei galon mai yn ei wely bwdeilid yr oedd yn rhoddi tro anesmwyth, pan ddychymygai ei fod yn cael hergwd gan y cythraul o blith y ser sefydlog i lawr i drigfanau dynion; ond er y cwbl, cysgu yr oedd Adda. Boreu y Sabboth, anfonodd Gwenllian bobl i edrych am Adda; a chafwyd ef yn y gwter, yn llaid drosto o'i ben i'w draed! Ei ddillad oeddynt ar y gwrych, a'i oriawr ar frigyn. Pan oedd y cymydogion yn codi Adda o'r llaid, grwgnachodd y meddwyn yn arw iawn, gan ofyn, "Paham na chaiff dyn lonydd yn ei wely ei hun?"

# Arf-dy y Cristion.

Daioni Duw.—Y mae daioni yn briodoledd hanfodol a thragywyddol yn Nuw. Y mae mor annechreuol, mor anghyfnewidiol, ac mor anfarwol a Duw ei hun. Mewn ystyr gyffredinol, gellir dywedyd mai daioni yw pob peth a berthyna iddo. *Llygad* daioni yw ei ddoethineb, *llaw* daioni yw ei allu, *noddwr* daioni yw ei gyfiawnder, ac *addurn* daioni yw ei sancteiddrwydd.

Dyben Gwyrthiau.—Dyben gwyrthiau yn gyffredin yw profi anfoniad dwyfol rhyw genadwr neu genadwri. Yr oedd gwaith Duw yn llefaru wrth bersonau neillduol bob amser yn rhoi argraff ddigonol ar feddwl y cyfryw mai Duw oedd yn llefaru wrthynt, fel nad oedd raid cael un wyrth i'w hargyhoeddi; ond pan anfonai Duw genad drosto i lefaru wrth eraill, yr oedd yn rhaid cael arwydd digonol mai cenad Duw a fyddai. Oblegid hyn nid ydym yn darllen am wyrthiau hyd amser Moses.

Yr Efengyl.—Credu yn Mab Duw ydyw y peth cyntaf, a'r peth penaf, y mae Duw yn ei efengyl yn ofyn gan bechadur. Gofyn hyn, a derbyn hyn gan droseddwr, sydd yn gwahaniaethu yr efengyl oddiwrth bob cyfraith a rheol sydd mewn bod. Y mae llais yr efengyl yn beth ar ei ben ei hun; y mae nid yn unig yn wahanol i leferydd y gyfraith ddwyfol, ond y mae hefyd yn groes i'r holl egwyddorion crefyddol a'r holl ddyfeisiau a luniwyd erioed gan ddychymyg dyn. Y mae yn gymaint uwchlaw dyn ag yw y nefoedd uwchlaw y ddaear.

Gweithredoedd Da.—Mae gweithredoedd da mor ddiwerth fel na achubir neb trwyddynt, ac eto y maent mor rhagorol fel na achubir neb hebddynt.

—Un tymor ar y ddaear sydd i bawb; gallasai dyn fod yn fwy diofal pe cawsai ail fywyd i ddiwygio gwallau y bywyd cyntaf.

Un o deithi meddwl mawr yw gwylder.

Digitized by Google

# Bwrdd y Golygydd.

## DIWEDD BLWYDDYN 'Y WAWR.'

Bydd y rhifyn nesaf yn terfynu yr wythfed flwyddyn o oes y WAWR. Os caniata Rhagluniaeth bwriadwn bara yn mlaen i'w ddwyn allan. Defnyddiwn y cyfle hwn i wneyd apeliad taer at ein gweinidogion i ddwyn y WAWR i sylw yr eglwysi, gan gymell ffyddlondeb o'i phlaid yn y flwyddyn ddyfodol. Gwyddom nad oes angen cymell ar nifer luosog, canys maent wedi parhau yn selog dros y cyhoeddiad o'r dechreu, o honynt eu hunain, llawer o ba rai ydynt wedi rhoddi tystiolaethau diamwys o'u gwerthfawrogiad o'n llafur. Y mae sefyllfa y gweithfaoedd, yn enwedig yn Ohio, yn galw fod ymdrech neillduol yn cael ei arfer, hyd yn nod i gadw y rhif blaenorol heb leihau. Erfyniwn yn daer ar y rhai sydd a'u hysgwyddau o dan yr arch yn barod i wneyd eu goreu i gael eraill i wneyd yr un peth. Yr ydym yn addaw gwneyd a allwn er gwneyd y cyhoeddiad yn deilwng o gefnogaeth yr Enwad y meddwn y fraint a'r pleser o'i wasanaethu. Y mae genym i ddiolch i bawb a'n cefnogodd ac a'n helpodd yn y blynyddoedd a basiodd, a thaer erfyniwn am barhad o'u ffyddlondeb.

## GOHEBIAETH O GYMRU.

Maddeuer i mi am gyhoeddi yma ran o lythyr fy mrawd Evan ataf, dyddiedig Rhag. 11, 1883, o hen ardal anwyl fy ngenedigaeth. Crybwylla am bethau o ddyddordeb neillduol i mi, ac efallai i ryw raddau i eraill. Goddefer i mi grybwyll hefyd fod fy mrawd Evan yn deall y cynganeddion Cymreig yn dda, yn fardd ac yn llenor go wych. Mae ei syniadau yn fynych yn wreiddiol, a'i ddywediadau yn ffraeth. Darllenodd lawer o farddoniaeth yr anfarwol Dewi Wyn, ac eiddo eraill, i fy hoffus dad, pan yr oedd blynyddau yn amlhau arno. Gyda llaw, onid oes rhywbeth yn ddylanwadol, cysurlawn, a boddhaus anghyffredin mewn gwir farddoniaeth, ar bynciau diniwed, moesol, a chrefyddol, i'r meddwl a'r galon, pan y byddo blynyddau yn ymgripian dros ddyn, ac effeithiau henaint yn cael eu teimlo. Fel y canlyn yr ysgrifena:

"Nid wyf fi yn llenydda dim yn awr, ond yr wyf yn gadael hyny i Giraldus a'r rheiny. Y cwbl ydwyf fi yn ei wneyd yn awr ydyw darllen tipyn ar y Beibl, a meddwl am beth i'w ddweyd yn y seiat a'r cyfarfodydd gweddi, a a llafurio tipyn gogyfer a'r ysgol Sul. Na, wir, byddaf yn darllen cryn gwrs ar y newyddiaduron, a thipyn ar ambell bapyr newydd Saesneg weithiau, a fyddaf yn ei gael yn fenthyg gan gymydog. Ond byddaf yn meddwl dy fod di filldiroedd o fy mlaen gyda'r iaith hono; ond 'does mo'r help.

Dyma englyn o waith Ioan Madog, a adroddodd fy mrawd William wrthyf, yr hwn a wnaeth y bardd i'w fachgen bach ef, enw yr hwn oedd Owen, yr hwn a gladdwyd yn ei fabandod. Fel y canlyn y mae yr englyn:

**"Hir einioes a bywyd cryno—i'r hoffus**
**Owen Gruffydd fyddo;**
**Athraw o fawl fel ei ewythr fo—caed i'w ran**
**Lân fywyd dyddan, a'i lawn fedyddio."**

Eto dyma ddwy linell o'i waith i ast o'r enw *Fan*—o adroddiad William eto:

**"Hoff iawn o'i bol yw 'Fan' bach,**
**Ac felly am gyfeillach."**

Wel, collwyd cewri o Gymru, y flwyddyn hon—y Doctor, yr *anwyl* Ddoctor Jones, Llangollen, yn nghanol ei ddefnyddioldeb. Nis gwn a glywais neb erioed cystal genyf fi ag ef. Yr oedd mor glir ei lais, ac mor dda ei iaith, ac mor efengylaidd yn ei bregethau; ie, mor ddiymhongar ei ddull, fel yr edmygwn ef yn fawr; a phob tro y byddai yma son am gyfarfod blynyddol, byddai arnaf fi eisiau ei gael yma; ond nid ydyw i'w gael mwy! Heddwch i'w lwch. Hefyd yr hen dad Hiraethog a aeth i lawr.

Digitized by Google

Efe oedd haul y byd llenyddol Cymreig, mae'n debyg. Bydd ei waith yn siarad yn hir ar ei ol. Y mae rhai o hen frodorion y Garn hefyd wedi cwympo. Un o honynt ydoedd Robert Parry, Lôn Lâs, yr hen saer maen penigamp. Ei ddydd yntau a ddaeth i ben. Yr hen William Hughes, Derwin Bach, hefyd, a hunodd mewn tangnefedd. Mae David Jones, *auctioneer*, Tremadog, hefyd wedi marw. "Y bedd ydyw diwedd dyn," mewn ystyr ddaearol, onide?

Byw heb weinidog yr ydym ni, yn y capel yma, o hyd; ond y mae rhyw sibrwd bach yn dechreu am un yn awr.

Bu fy mrawd William yn wael iawn yr haf diweddaf, ond y mae yn weddol yn awr, tybiwyf. Bu yma gyda ni am dipyn tua'r cynhauaf yd, a chawsom ymgom go ddifyr gydag ef lawer pryd, yn son am hen amser gynt, &c.

Rhaid i mi roi pen arni, bellach. Nid ysgrifenais gymaint a hyn "er's llawer dydd"—chwedl pobl y South.

Dy frawd anfedrus,

EVAN GRIFFITH."

---

## Y DIWEDDAR BARCH. HENRY EDWARDS, PITTSBURGH, PA.

Bu yr hybarch Henry Edwards farw nos Sabboth, Rhagfyr 16eg, 1883, a chladdwyd ef yn barchus iawn y dydd Mawrth canlynol yn Brady's Bend, hen faes ei weinidogaeth. Yr oedd efe yn meddu gair da gan bawb, a chan y gwirionedd ei hun. Yr oedd yn ddiau o'r stamp grefyddol oreu. Ei enw sydd bereraroglus, a'i goffadwriaeth yn fendigedig. Anfonwyd i ni gofiant iddo, gan Mr. Miles S. Humphreys, ond yr ydym yn gohirio eu gyhoeddi hyd rifyn Mawrth, fel y gallom ei roi yn ysgrif arweiniol yn y rhifyn hwnw.

---

## MARWOLAETH Y PARCH. J. JARMAN, DERI, D. C.

Gyda gofid dwys yr ydym yn cofnodi marwolaeth y brawd da, hoff, a chywir hwn. Bu farw yn dra disyfyd nos Fawrth, Rhag. 5, ychydig wedi 9 o'r gloch. Bu yn y capel y noswaith uchod mewn cwrdd gweddi a chwrdd parotoad. Yn y cwrdd parotoad, dywedir ei fod wedi siarad yn hynod o dda a theimladwy, yn fwy felly nag arfer. Yn mhlith pethau eraill, dywedodd, "y carai efe weled adfywiad ar grefydd unwaith eto cyn marw; ond y buasai yn rhaid i hyny fod yn fuan, neu ei fod yn ofni na chawsai ei weled." Er fod ei iechyd yn eiddil a gwanaidd er's blynyddau, yr oedd yn para i bregethu bob Sul. Wrth fyned gartref o'r capel, dywedodd wrth ei hen gyfaill ffyddlawn, Mr. Edmund Lewis, Ysgwyddgwyn, ei fod yn teimlo yn well y noswaith hono nag yr ydoedd wedi teimlo er's blynyddau. Wedi myned i'r ty, cyn cael amser i osod ei ffon o'r neilldu, cafodd ei daro a chlefyd y galon, a bu farw cyn pen chwarter awr. Yr oedd yn 70 mlwydd oed. Dydd Llun, Rhag. 10, claddwyd yr hyn oedd farwol o hono yn mynwent capel y Bedyddwyr, Bargoed. pryd y daeth tyrfa fawr i dalu y gymwynas olaf iddo. Yr oedd yn un o'r angladdau mwyaf a welwyd yn yr ardal.

Fel pregethwr yr oedd yn syml ac efengylaidd; fel Cristion, yn gywir a didwyll; fel cymydog, yn garedig, ac yn barod beunydd i wneyd cymwynas.

---

## O FLORIDA—BLWYDDYN NEWYDD DDA.

Rhyfedd yw treigl dyn. Ychydig a feddyliais flwyddyn i heddyw y buaswn yma yn awr. Nesaf at y rhyfeddod fy mod yn De Land ddydd Calan, 1884, yw y tywydd rhyfedd sydd yma. Neithiwr a heno cyrhaeddai yr hin-fesurydd dros 70, ac ar haner dydd yr oedd yn 83 o raddau yn y cysgod o dan y pillborth (*verandah*) ar ochr ogleddol fy nhy. O'r braidd nad yw yn anghyssurus o dwym, ac anhawdd yw dychymygu mai canol gauaf yw. Y mae y wlad hon yn gwisgo gogoniant hafaidd heddyw, oddigerth fod ychydig o ôl gogleddwynt a ddaeth heibio oddeutu

Digitized by Google

pythefnos yn ol, i'w ganfod ar y *bananas*, a rhai o'r ffrwyth-goed tyneraf. O ran yr *oranges* a'r *lemons*, y mae y coed yn wyrddlas a phrydferth, fel o'r blaen, hyd yn nod y dail newydd sydd ar y brigau tyner a dyfant yn gyflym o ddydd i ddydd, heb newid eu lliw mewn canlyniad i'r *cold snap*. Y mae y *tomatoes* yn eu blodau, a'r tatws yn wyrdd a phrifianus. Yn sicr man hynod yw gwlad yr aurafalu. Dydd Cal an! Meddyliais heddyw am lawer man y caraswn fod ynddo, a llawer wyneb y byddai yn dda genyf syllu arno. Gwir fod yma lawn cymaint ag a allaswn ddysgwyl o gyfeillion, a mwy nag a ddysgwyliais o ddyddordeb anianyddol; ond rywfodd teimlais radd o brudd der a phoen, *heddyw*, fy mod mor bell oddiwrth hen gyfeillion. I fwrw ymaith y profiad anhyfryd, aethum i'r berllan i weithio ychydig, er mai dydd Calan ydoedd. Yr wyf yn ddedwyddach erbyn hyn. Diolch i Awdwr pob dawn a da, y mae genyf siawns ardderchog i ymgadw rhag y *blues;* gofal nifer o ieir, gofal gardd, a gofal tua phedwar cant o goed ffrwythau—dyna ddigon.

Anfonais i'r *Wasg* ysgrif ar "Nadol ig yn De Land;" dichon y bydd yn dda gan ddarllenwyr y WAWR weled hono. Nid ymhelaethaf y tro hwn. Cododd arnaf awydd anfon llinell neu ddwy i'r WAWR, a thrwyddi hi gyflwyno i'm cyfeillion yn mhob man lle y tywyna ei goleuni, y cyfarchiad cynwysfawr, "*Blwyddyn newydd dda!*—Bydd rhifyn Chwefror yn llaw y darllenydd pan welo y llinellau hyn, eithr nid rhy ddiweddar fydd dymuno ar i 1884 fod yn "flwyddyn gymeradwy yr Arglwydd" iddo, ac yn "flwyddyn deheulaw yr Arglwydd" *trwyddo*. Pwy wyr na ddichon hon fod i'r naill neu'r llall o honom yn derfyn blynyddoedd, ac yn ddechreuad tragywyddoldeb. Wel, "Byw i mi yw Crist, a marw sydd elw." Mwy yr "elw" cael "marw yn yr Arglwydd" na chael byw, hyd yn nod yn ngwlad yr aurafal.

E. EDWARDS.

*De Land, Calan,* 1884.

O. Y.—Y mae fy mhriod yn ymlawenhau yn llwyddiant y rhyfel fu rhyngddi a'r mân rufeill (*roaches*) y soniasom am danynt mewn ysgrif flaenorol. Y maent agos oll wedi myn'd neu wedi meirw, a gwared da ar ei hol. Fel Cæsar, y mae Mrs. E. yn gallu dweyd, "*Veni, vidi, vici!*" (Daethum, gwelais, gorchfygais.) E. E.

---

## ADOLYGIAD Y WASG.

PREGETHAU, ar Bynciau Athrawiaethol ac Ymarferol, gan R. JONES, Llanllyfni. Wrexham, argraffwyd gan Hughes & Son.

Cynwysa y gyfrol hon haner cant o bregethau, ar destynau yn cymeryd i fewn brif bynciau yr efengyl, yn athrawiaethol ac ymarferol. Y maent oll yn rhagorol, ac yn llawn o efengyl. Y mae rhywbeth yn Buritanaidd yn y pregethau hyn, ag sydd yn rhoddi gwerth neillduol arnynt. Y mae yr awdwr yn feddyliwr cryf, yn meddu chwaeth bur. Fel, yn gymdeithasol, na cheir ef byth yn ymollwng i ysgafnder penchwiban a dichwaeth, yn ol arfer rhai, felly yma, nid yw byth yn ymostwng at bethau isel ac estronol i anianawd trefn fawr cadw dyn. Dyma "athrawiaeth iachus" mewn gwirionedd. Gan i ni yn bersonol fod o dan ei weinidogaeth amryw flynyddau yn Garn Dolbenmaen, pan oedd efe yn ei ddyddiau goreu. Clywsom amryw o'r pregethau hyn yn cael eu traddodi ganddo, ac ni a gofiwn yr argraff dda a gawsant arnom, ac ar eraill yn gyffredinol. Ystyriwn fod yr awdwr parchus, wrth gyhoeddi y gyfrol hon, wedi gwneyd gwasanaeth pwysig i achos yr efengyl, pan y mae cymaint o bethau gwrth-efengylaidd ar led yn mhlith y werin. Pris y gyfrol yw $1.50, yn rhad trwy y *post*. Anfoner archebion atom i Utica.

---

ADRODDIAD O GYFARFODYDD UNDEB BEDYDDWYR CYMRU, a gynaliwyd yn Brynhyfryd, Ebbw Vale, Awst 13—16, 1883.

Mae y pwyllgor eleni, fel yn y pum' mlynedd diweddaf, wedi ymgymeryd â

chyhoeddi adroddiad o weithrediadau y cyfarfod blynyddol yn llyfryn, o'r un blyg a *Seren Gomer*, ac o'r un maintioli, ffurf, a phris ag arferol. Syniad hapus oedd casgliad yn nghyd y papyrau, yr anerchiadau a'r areithiau; oblegid, fel y gallesid dysgwyl, ar ol ymgynghoriad pwyllog y pwyllgor, pa destynau fyddai fwyaf llesol, dyddorol, ac amserol, a dewisiad y brodyr mwyaf cymwys i ymdrin a hwy, yn nghyda rhoddi amser digonol i ymbarotoi, y maent yn bob peth a allesid ddymuno, ac o ganlyniad yn deilwng, ar bob cyfrif, o gael eu gosod mewn ffurf barhaus. Gresyn na buasai y syniad wedi ei fabwysiadu yn gynt, fel y gallesid sicrhau dylanwad parhaol y cyfarfodydd o'r dechreu. Ceir yn yr adroddiad sydd ger ein bron, heblaw mynegiad cynwysfawr yr ysgrifenydd gweithgar a llygadgraff, anerchiad y cadeirydd, a'r oll o'r papyrau a ddarllenwyd, a'r areithiau a draddodwyd. Amrywiant mewn materion, maint, a theilyngdod. Maent oll yn dda, a rhai yn rhyfeddol o dda.—*Seren Cymru.*

## MAN-LEWYRCHIADAU.

—Mae y Parch. W. R. Jones, Massillon, yn oruchwyliwr awdurdodedig i werthu llyfr y Parch. D. S. Thomas yn Ohio; y Parch. Joseph Jones, Dodgeville, yn Wisconsin; a'r Parch. D. E. Bowen (Delta) yn Minnesota.

—Gwelwn fod y Parch Benjamin James yn bwriadu dod a chyfrol o bregethau y Parch. John Roberts (Tredegar gynt) allan trwy y wasg, yn cynwys pregethau mwyaf ysblenydd y gwr parchedig hwnw pan ydoedd yn anterth ei nerth.

—Teimla Dr. Spratt yn ddiolchgar i'r eglwysi a'r gweinidogion am eu casgliadau a'u caredigrwydd i'r myfyrwyr, Jones a Roberts, yn ystod y *vacation.* Dywed y bydd i'r eglwysi Cymreig ymddangos mewn gwell goleu yn Adroddiad Blynyddol y Bwrdd. Mae y casgliadau y flwyddyn hon wedi treblu ar y flwyddyn ddiweddaf.

—Meddianwyd ni gan drallod nid bychan pan glywsom ddarfod i'r brawd anwyl Isaac H. Thomas, aelod ffyddlon o'r eglwys Fedyddiedig yn Pittston, gyfarfod a damwain angeuol trwy i'r nwy danio yn ddisymwth arno yn y gwaith. Hawdd y gallwn gydymdeimlo a'i weinidog, pan mewn llythyr y dywedai wrthym fod ganddo y gorchwyl caled, y Sabboth canlynol, o draddodi ei bregeth angladdol. Gwelir cofiant byr iddo, nes y ceir un mwy, yn y Wawr am Ionawr.

—Hefyd, y chwaer dduwiol Margaret Jones, Danville, yn ei bedd! "Yr hyn a allodd hon hi a'i gwnaeth." Hiraetha llawer, fel ninau, ar ol y chwaer ragorol hon. Dyoddefodd gystudd blin, ond y cwbl fel Cristion.

—Drwg genym glywed fod yr hen frawd hoff, a'r cyfaill cywir, "Llywarch," Dell Roy, O., yn dost. Y mae yn cwyno tipyn yn ei epistol atom; ond y mae efe yn iach yn y ffydd, fel arfer.

I Llywarch boed Duw y llnoedd—yn borth,
Dan y baich a'r ingoedd;
Annifyr fyddai'r nefoedd
Heb bair gwae wibia ar g'oedd.

—Galwn sylw at y cofiant rhagorol i'r Parch. James R. Price, Kingston, gan y Parch. John P. Harris (Ieuan Ddu), Nanticoke, a welir yn y rhifyn hwn. Yr ydym yn rhoddi y lle blaenaf i'r cofiant am fod y gwrthddrych mor deilwng.

—Hysbysir ni nad yw yr hinsawdd Orllewinol yn dygymod ag iechyd Dr. Cefni Parry cystal a'r hinsawdd Ddwyreiniol, a bod tywydd poeth Missouri yn effeithio yn waeth arno na'r tywydd oer.

—Diolchwn i'r brawd Thos. Evans, Clay Co, Iowa, am ei lythyr caredig. Methu a wnaethom ddod at ein cyhoeddiad i'r parthau yna yr haf diweddaf. Dysgwyliwn amgylchiadau mwy ffafriol yr haf nesaf.

—Fel y gwelir mewn man arall o'r rhifyn hwn, mae capel y Bedyddwyr Cymreig wedi ei ail agor, a'r gwelliantau a wnaed arno yn rhoddi boddlonrwydd mawr. Bydd y capel hwn

Digitized by Google

yn awr yn rhoddi bri ychwanegol ar Gymry Hyde Park, a phan y daw enwogion o Gymru heibio bydd y capel hwn yn tynu sylw neillduol, ac fe ddylai wneyd, canys hwn ydyw cartref yr eglwys Gymreig luosocaf ar Gyfandir America. Mae y gweinidog, yr eglwys, a'r gynulleidfa, wedi gweithio yn rhagorol.

—Bydd tymor ymrwymiadol y Parch. W. Morlais Evans âg eglwys Utica yn terfynu tua diwedd Chwefror. Mae Mr. Evans yn bregethwr melus. Diau y bydd yn dda gan ryw eglwys sicrhau ei wasanaeth.

—Pan yn ddiweddar yn Morris Run, Pa., cawsom fenthyg Cofiant yr hybarch Thomas Rees Davies (y cap du) gan y brawd caredig Titus Lloyd, ac yr ydym wedi ei ddarllen gyda blas. Mae y cofiant wedi ei ysgrifenu a'i gyhoeddi flynyddau yn ol, gan y medrus y Parch. H. W. Hughes (Arwystl). Dinas, Morganwg. Yn y rhifyn nesaf gwnawn rai dyfyniadau o hono. Mae y rhagdraith yn nechreu y cofiant yn rhoi braslun o hanes y Bedyddwyr o 1860 hyd 1880 yn ardderchog. Ddarllenydd, os nad yw y Cofiant genyt, myn ei gael, os yn bosibl.

—Gwel ein darllenwyr ein bod wedi newid, yn y rhifyn hwn, "*Yr Ardrem Americanaidd*," am "*Ein Pigion Misol.*"

—Bwriadwn o hyn allan, ar ddymuniad amryw o'n dynion chwaethus, gyhoeddi "*Adran yr Aaroddwr*," gan ddysgwyl y bydd yn dra gwasanaethgar gyda'r cyrddau llenyddol a'r ysgol Sabbothol.

—Y mae gan y Bedyddwyr naw o eglwysi yn Toronto. Cyfanfrif yr aelodau yw 1,839, o'r rhai y mae 612 yn aelodau yn Heol Jarvis.

—Mae pethau yn hynod o lewyrchus ar hyn o bryd yn eglwys Fedyddiedig Gymreig Newburgh. O., o dan fugeiliaeth y Parch. F. R. Argust. Cymerodd efe ofal yr eglwys hon amryw fisoedd yn ol, ac o hyny hyd yn awr y mae yr eglwys yn myned ar ei chynydd. Mae amryw wedi eu dychwelyd, ac eraill yn aros eto am gael eu bedyddio. Cadwyd cyrddau diwygiadol y mis diweddaf gyda chanlyniadau dymunol.

—Un o'r colegau duwinyddol goreu yn Toronto yw eiddo y Bedyddwyr. Gelwir yr adeilad yn McMaster Hall. Costiodd dros gan' mil o ddoleri. Talwyd yr holl gostau gan Wm. McMaster.

—Mae y Parch. Wm. Hughes, Glan-y-mor, Llanelli, D. C., ar ben ei ddeugeinfed flwyddyn o'i weinidogaeth yn Bethel. Bwriedir cynal cyfarfod neillduol gan weinidogion y cylch, i'w longyfarch ar yr adeg, ac hefyd i gyflwyno iddo *address* hardd, a chael pwrs go lawn o arian i'w gyflwyno iddo ar yr adeg neillduol. Bydd Mr. Cadwgan Jones a'i briod, Pittsburgh, Pa., yn teimlo dyddordeb yn yr adeg hon yn mywyd eu hen weinidog ffyddlon.

—Dywedir fod ychwanegiadau at yr eglwysi Bedyddiedig yn Sweden yn bresenol yn cymeryd lle wrth y canoedd a'r miloedd, ac mae y Parch. T. Truve wedi bod yn y wlad hon er's tri mis yn casglu at gael capel newydd digon helaeth yn Gothenburgh. Yn ol pob tebygolrwydd, "nid yw eto ond dechreu gwawrio, cwyd yr haul yn uwch i'r lan."

—Er mor ragorol oedd cyfieithiaid Luther o'r Beibl i'r iaith Ellmynaidd, y mae cyfieithiadau newyddion wedi eu gwneyd o'r ddau Destament i'r iaith Ellmynaidd, yn debyg ar yr un egwyddor a'r un Seisnig o'r Testament Newydd. Yn y flwyddyn 1870, cyhoeddwyd y cyfieithiad o'r Testament Newydd i'r Ellmynaeg, ac y mae wedi myned trwy driugain argraffiad; ac y mae y cyfieithiad o'r Hen Destament wedi ei gyhoeddi yn ddiweddar.

—Gwelwn ei bod wedi myned yn arferiad gyffredin gan frodyr o Gymru, ar ol bod am dro yn America, i ddarlithio ar y rhyfeddodau a welsant yma. Arferir gwneyd *flourish* anghyffredin gan rai. Gwelwn oddiwrth y papyrau fod y Parch. Benjamin Thomas (Myfyr Emlyn) wrthi hi ei oreu, ac ni w'rantwn fod ganddo ef rywbeth gwerth eu gwrando; ond nid pawb a groesant y

Digitized by Google

môr, ac a arosant yma am ychydig wythnosau, a wêl gymaint o bethau, ac a'u deongl hwynt fel efe.

—Y mis diweddaf, bu Matthew Ar nold, un o brif feddylwyr yr oes (mae yn debyg), ac un o athrawon Prif Athrofa Rhydychain, yn traddodi darlith yn Utica ar Emerson. Siaradwr tawel ydyw, ond un ag ystyr i bob gair a ddywed. Ffordd gymhariaethol oedd ganddo i brofi teilyngdod ei wrthddrych. Rhyw weddol yr oedd yr Uticiaid yn ei hoffi. Rhy brin oedd Emerson yn ei glorian i fod yn perthyn i'r dosbarth blaenaf o lenorion a beirdd. Ebe efe, nid oes *evolution* yn ei weithiau—dim myned trwy bethau at eu hanfodion; yn hytrach, rhyw arsylliadau digysylltiad ydynt ei gynyrchion. Yn wir, yr oeddwn yn ofni bob mynyd i'r Americaniaid yma golli eu tymer yn hollol; ond, chwareu teg iddynt, daliasant yn go dda. Ond pa Sais arall a feiddiasai ddiddymu cymaint ar Americanwr mor adnabyddus a chlodfawr? Wrth ystyried pwys ei feirniadaeth lem, dylid cofio fod dynion fel Matthew Arnold yn dueddol i fod yn eithafol ac unochrog. *Essayist, critic, and poet,* meddir, ydyw, a phan yr â dros y terfyn, yna nid oes fawr o goel arno. Ychydig o ddynion a geir yn *round.* Nid ydym yn foddlawn, rywsut, i gydnabod y darlithydd hwn yn un o brif ddynion Lloegr. Gwell genym ni ddynion fel Gladstone, Duke of Argyle, a Mr. Spurgeon, ag ydynt yn llai hunanol, ac yn meddwl mwy o'r hen Feibl.

---

# BARDDONIAETH.

## CWYN YR ENWAD BEDYDDIEDIG

### AR OL Y DIWEDDAR DR. HUGH JONES, LLANGOLLEN.

O, fy mab arab eirian—a wywodd
Yn ieuanc mewn oedran;
O'i ol ryw reddfol ruddfan
Yr wyf, fel Job, yn mhob man.

Ar hyd ei fywyd i'w fedd,
E' rodiai er fy anrhydedd.
O, beth a wnaf! byth, yn wir—y cofiaf
Y cyfaill tra chywir;
O, daro tost—drwy y tir
Ar ei ol llawer wylir.

Ei Enwad, yn anad neb—a hoffai
Dan effaith cywirdeb:
Ac o'i fyn'd, y Cyfundeb
Arwydda loes a grudd wleb.

A gwron hawdd ei garu—ydoedd
Nodedig am helpu
Y gwan, arno yn gwenu
Y ceid ef, cadwai o'i du.

Gwr anwyl bleidiai'r gwirionedd—ffyddiog
Ffieiddiai ofergoeledd:
Ys amlwg yr oedd symledd
Yn gwneyd hwn yn genad hedd.

Haul ydoedd - fy naliadau—wnai'n glir
Ac yn glaerwych olau;
Wed'yn yr ordinhadau
Yn glir oll wnai eglurhau.

Ai tebyg y daw un tebyg—iddo,
Amryddawn i'w gynyg?
Mewn rhai dynion mawrion myg,
Hyll ormod ambell ermyg.

Ond hyn o fai ni chredwn fod—ynddo ef
O ddyfal fyfyrdod;
Un ermyg nid oedd ormod,
I gloffi 'i wir, a'i glir glod.

A moesau yn gymhesur—ef fyddai
Ufyddawl ei natur;
Ei grefydd beunydd yn bur,
A'i dalent heb un dolur.

Ac athraw hylaw hwylus—a pur goeth
Fel pregethwr medrus;
Gwir wenith, heb rith o'r us,
Ynganai i'r angenus. G.

---

## ENGLYNION PRIODASOL

### MR. IVOR JONES A SARAH A. JONES, NEW CAMBRIA.

Dau enaid gaed i'w huno—heddyw'n un,
I ddwyn oes ddiflino;
Sarah Ann fwynlan ferch f'o,
Wych i Ivor ei chofio.

Y fodrwy gron hon o hyd,—aur eirioes,
Fo'n arwydd dros fywyd
I'w byw anian bob enyd,
O barch ar lwybrau y byd.

I Sarah einioes eirian,—ac Ivor
Boed cyfoeth byd dyddan;
A chrefydd fel gloewddydd glan,
Rhagorach na chrug arian.

Da y b'ont hwy hyd y bedd,—a dedwydd
Ar dud pob digonedd;
Ac i'r ddau cywir ddiwedd;
Modrwy well yn myd yr hedd.

*Rhagfyr* 19, 1883. CEFNI.

Digitized by Google

# Y Maes Cenadol.

GAN Y PARCH. W. F. DAVIES, NANTICOKE, PA.

## *Pa fodd y mae cynyddu ein Casgliadau at y Genadaeth?*

Y mis diweddaf darfu i ni nodi un neu ddau o bethau a dybiem ni fyddai yn effeithiol i ddwyn allan haelionusrwydd ein haelodau at y gwaith da sydd yn cael sylw genym fel hyn o fis i fis. Ni ddylai hyn gael ei adael i'r cwrdd gweddi nos Lun cyntaf o'r mis, nac ychwaith i'r eglwys fel eglwys. Y mae dosbarth yn perthyn i bob eglwys a allant wneyd llawer iawn er chwyddo trysorfa genadol yr eglwys, ond eu gosod ar waith, sef plant ein hysgolion Sul. Mae lle i ofni mai ychydig o wybodaeth genadol a gyfrenir gan y rhan fwyaf o'n heglwysi i'r plant, a byth braidd y gofynir gan y plant i wneyd dim dros ddwyn gair Duw i'r plant paganaidd. Mae arian mawr yn ofynol bob blwyddyn i ddwyn Beiblau a Thestamentau, ac i gadw athrawon i ddysgu plant paganiaid. A phaham na ddygem yr eiddom ni i gyflawni yr hyn a allant dros y trueiniaid bychain hyny, nis gwyddom ni. Sicr yw, mae gan blant ein hysgolion allu, a gallu mawr hefyd, ond ei ddwyn i'r maes. Gwyddom am ambell ysgol Sul sydd yn gwneyd trwy y plant yn ardderchog. Gwyddom am rai ysgolion Sul yn casglu mwy bob blwyddyn nag y mae yr eglwys yn gasglu. Dylai yr eglwys hono gywilyddio am hyn. Yr ydym yn gwybod am eglwysi sydd yn ymddibynu bron yn hollol ar y plant i gasglu. Nid wyf am i'r plant fod heb gymeryd rhan yn hyn, nac am i'r oll gael ei adael iddynt hwy ychwaith. Mae lle i'r ddau weithio, ac angen am hyny hefyd. Gan mai anfynych y gwelir y plant yn cymeryd rhan yn hyn o orchwyl, carwn ddweyd gair er enill sylw atynt.

Un o'r pethau pwysicaf er cael ein hysgolion Sul i weithio yn llwyddianus yn y cyfeiriad hwn, yw cael cynllun effeithiol. Yr ydym wedi gweled amryw gynlluniau yn gweithio yn llwyddianus iawn. Eto barnwn mai newid cynlluniau gyda phlant yw y goreu. Mae plentyn am newydd-deb; blina gyda yr un cynllun. Creda llawer fod y plentyn neu yr ysgol wedi colli dyddordeb yn y gwaith, gan nad yw yn gwneyd cystal ag oedd yn arfer. Nid felly y mae; wedi blino ar y cynllun y mae; newidier y cynllun, a gweithia gystal ag erioed. Dylai pob ysgol gael cwrdd cenadol o leiaf unwaith bob tri mis. Gwn am rai ysgolion ag y mae hyn yn rheol ynddynt. Treulir y cwrdd i areithio, canu, ac adrodd pethau cysylltiedig a'r genadaeth, ac ar y diwedd dyga y plant eu hoffrwm, sef yr hyn fyddont wedi gasglu trwy yr wythnos neu y chwarter blaenorol. I chwyddo y casgliad, gwelais lwyddiant anarferol wrth osod y bechgyn a'r merched i gasglu am y mwyaf. Hefyd gosod y naill ddosbarth yn erbyn y llall. Bryd arall cael cystadleuaeth rhwng yr holl ysgolheigion am ryw lyfr o nodwedd genadol. Gwn am gynllun fel hyn yn gweithio yn dda odiaeth—neillduo ychydig fynydau ar ddiwedd yr ysgol, a phob plentyn a dyn wedi cael pen ei flwydd yr wythnos flaenorol i ddod yn mlaen, ac yn ngwydd yr holl ysgol, i osod *cent* mewn blwch pwrpasol at hyny am bob blwyddyn o'i oedran Os mai deg oed fuasai y plentyn, gollyngai ddeg cent i'r blwch, y naill ar ol y llall, yr hyn a ystyriai yn offrwm cenadol am y flwyddyn hono. Mae llawer cynllun arall yn llawn mor effeithiol.

Ysgrifenais ar y pwnc o ychwanegu ein casgliadau at y genadaeth y mis hwn a'r diweddaf, a nodais yr uchod er mwyn dangos pa mor hawdd y gellir gwneyd hyny, ond cael pob eglwys ac ysgol Sul i gymeryd ato. Gwneler prawf ar rai o'r cynlluniau uchod, a chredwn y bydd effeithiau daionus yn canlyn.

---

Y mae profiad yn ysgolfeistr campus, ond gofyna gyflog mawr iawn.

Calondid Arglwydd y bywyd oedd, "Yr hyn oll y mae y Tad yn ei roddi i mi a ddaw ataf fi;" ond calondid y pechadur yw, "Yr hwn a ddel atat fi, nis bwriaf ef allan ddim."

Digitized by Google

# HANESION CARTREFOL.

AIL-AGORIAD ADDOLDY EGLWYS HYDE PARK, PA.

Y mae yn wybodus i lawer o ddarllenwyr y WAWR, fod addoldy yr eglwys uchod wedi myned yn rhy fychan i gynwys y dyrfa a ymgynullai bob Sabboth i fwynhau gweinidogaeth felus a dylanwadol y Parch. J. W. Williams, D. D. Cyn iddo fod yno lawn deunaw mis, gwelwyd fod yn rhaid helaethu y ty, neu i ganoedd a ddeuent yno gael eu hamddifadu o le i fyned i mewn dros y trothwy. Felly, wedi hir gynllunio, awd at y gwaith o helaethu ddechreu yr haf diweddaf; ac erbyn diwedd y flwyddyn, yr oedd y gwaith wedi ei orphen. Yn awr, y mae gan eglwys Hyde Park un o'r capelydd harddaf, mwyaf cyfleus, a helaethaf, a ellir weled yn y rhan hon o'r wlad, eto ddim yn rhy fawr i gynwys y gynulleidfa sydd yno bob Sabboth.

Mae yr ychwanegiad newydd at yr hen gapel yn ddeg troedfedd ar hugain wrth bedair ar ddeg a deugain, ac mae yr addoldy yn awr ar lun T, a'i hyd yn 94 troedfedd wrth 54 o led, ac yn cynwys eisteddleoedd i 800 o bersonau, tra nad oedd yn yr hen dy ond lle i 482. Goleuir y brif ystafell gan ddau *chandelier* ardderchog, o ddyfeisiad newydd. Mae y muriau wedi eu soddbaentio (*frescoed*) gan gelfyddydwr enwog o Philadelphia, ac mae y nenfwd wedi ei baentio mewn gwahanol liwiau. Ar y llawr mae 556 o gadeiriau *opera*, plygiadwy, a lle i het o dan bob un o honynt. Mae y cadeiriau hyn yn edrych yn hardd, er fe allai ychydig yn hynod mewn addoldy, yn neillduol un Cymreig. Mae y pwlpud a dodrefn yr esgynlawr wedi eu gwneyd o *walnut* du a lledr, a'r oll yn edrych yn hynod ddestlus, heb fod yn rhy *showy*. Mae y fedyddfa tu ol i'r esgynlawr, ar ffurf haner-gylchol, a'r ymylon wedi eu haddurno â mynor caboledig. Tu cefn i'r fedyddfa, ac yn ngolwg y gynulleidfa ar y llawr, mae *tablet* o fynor, ac yn gerfiedig arno amryw o adnodau ar fedydd. Ar y llawr o flaen y pwlpud, y mae bwrdd cymundeb newydd a gwerthfawr, a'r geiriau canlynol wedi eu cerfio ar y mynor sydd yn cyfansoddi ei wyneb:

"*Presented to the*
FIRST WELSH BAPTIST CHURCH, SCRANTON PA.,
Jan. 5th, 1884, in memory of the late
DAVID S. ROBERTS,
Deacon of the church,
*Born August 5th*, 1808: *died Sept. 9th*, 1880.
*By his Nephew and Niece, Evan and Lizzie J. Davies.*"

Clywais amryw yn dweyd wrth edrych ar y rhodd werthfawr ac amserol hon, ei bod yn anrhydedd i ben a chalon y brawd Davies a'i briod hawddgar a chrefyddol. Taled yr Arglwydd iddynt.

Mae *gallery* y cantorion yn yr aden newydd, tu ol i'r esgynlawr, ac yn codi yn rhesau, fel y gall pawb oddi yno weled y llawr, a phawb sydd ar y llawr eu gweled hwythau. Y mae yma eto 196 o'r un fath gadeiriau ag sydd ar lawr y capel, a goleuir y *gallery* gan amryw o *brackets* destlus; ac odditani mae pump o ystafelloedd cyfleus—un yn fyfyrgell i'r gweinidog, ac eraill at wasanaeth y bedyddiedigion, &c. Ni chaniata gofod i ni fanylu ar yr holl welliantau, ond gwel y darllenydd eu bod yn llawer ac yn fawrion, pan y dealla fod yr holl dreulion dros ddeuddeg mil o ddoleri.

Cymerodd yr ail-agoriad le y Sul a'r Llun cyntaf o'r flwyddyn hon, pryd yr oedd torf anferth wedi dod yn nghyd. Boreu Sabboth, am 10, traddododd y Parch. Fred. Evans, D. D., Franklin, Pa., bregeth rymus ac effeithiol ar Gynydd eglwys Crist at berffeithrwydd. Ar ei diwedd cafwyd casgliad o $2,100 mewn arian ac addewidion.

Yn y prydnawn, cafwyd pregeth arall gan Dr. Evans, yn Saesoneg. Ar ddiwedd hon, ymaflodd Dr. Spencer, o Eglwys y Penn Avenue, Scranton, yn y gwaith o ail odro, a bu yn llwyddianus i gael $1,200

Yn yr hwyr, pregethodd Dr. Evans drachefn, a J. Edred Jones, Pittston. Ar ddiwedd y cyfarfod hwn, awd at y trydydd godro, pryd, er ein mawr syndod, y cafwyd $1,500 yn ychwanegol, yr hyn oedd yn gwneyd i fyny gyfan-

Digitized by Google

swm casgliadau y Sul hwnw yn $4,900!

Am 2, dydd Llun, pregethodd yr hybarch D. R. Jones yn hynod effeithiol, a chafwyd casgliad mawr ar y diwedd.

Yn yr hwyr, cafwyd cyfarfod i areithio, a chafwyd anerchiadau byrion gan y brawd Benjamin H ghes, Ysw., un o ddiaconiaid yr eglwys; y Parchn. Davies a Harris, Nanticoke; Jones (Methodist); Evans, Olyphant; Jones, Pittston; Jones, Plymouth; y gweinidog, Dr. Williams, a dichon eraill nad wyf yn cofio am danynt. Ar ddiwedd yr oedfa hon, yr oedd cyfanswm y casgliadau wedi cyrhaedd dros *ddeng mil o ddoleri!!* Ni ddaeth i ran yr ysgrifenydd erioed o'r blaen i weled y fath haelfrydedd a'r fath barodrwydd cyffredinol i gyfranu mor helaeth a'r tro hwn. Yr oedd y gweinidogion presenol a'r aelodau mwyaf blaenllaw wedi synu at barodrwydd ac haelioni y bobl. Y mae yr holl waith o ddechreu yr ymhelaethiad hyd ddiwedd yr ail agoriad yn bluen euraidd yn *nghap* Dr. Williams, y gweinidog, ac yn profi ei fod yr "iawn ddyn yn yr iawn fan." Y mae wedi ysbrydoli y bobl i weithio a chyfranu; ac y mae yn amheus a oes genym weinidog arall yn y wlad a allai wneyd yr hyn a gyflawnodd ef mewn dwy flynedd yn Hyde Park. Y mae dyfodol llewyrchus o flaen yr eglwys hon a'i gweinidog llafurus. Rhodded Duw iddo flynyddau lawer eto o iechyd a nerth i lafurio yn llwyddianus yn y winllan. Dichon mai dyddorol i bawb wybod mai rhif yr aelodau pan gymerodd y Doctor ofal yr eglwys ddwy flynedd yn ol, oedd 350; rhifa yn awr 600 o aelodau, gydag ysgolion Sul yn rhifo 700. *Well done*, ewch rhagoch, frodyr anwyl, nes delo holl Gymry Scranton yn broffeswyr Crist, a phob proffeswr yn Gristion didwyll. Hyn yw dymuniad calon—*Edred.*

---

### Cymanfa Fedyddiedig Dwyreinbarth Pa.

Yn Hyde Park y cynalia y Gymanfa hon ei Chyfarfod Chwarterol nesaf, Mercher a Iau, y 12fed a'r 13eg yn mis Mawrth. Y gynadledd i ddechreu am 2 o'r gloch y dydd cyntaf.

Dymunir ar yr eglwysi i ddanfon eu casgliadau blynyddol tuag at y Gymdeithas Artrefol Gymreig i'r cyfarfod hwn. Bydd yn gyfleus i'r Trysorydd, Mr. B. Hughes, i'w derbyn. Mae gwir angen yn galw yn uchel, ac yn uwch, am gymorth a chydweithrediad yn y cyfeiriad hwn o ddydd i ddydd.—*J. P. Harris, Ysg. y Gymanfa.*

---

### Leadville Shaft. O.

Agorwyd capel newydd y Bedyddwyr yn Leadville Shaft, ger Youngstown, O., Sabboth, Rhagfyr 23, 1883, a gwasanaethwyd gan y Parchn. D. Probert, Youngstown; D. Hopkins, Kyles' Corners, J. James, Mineral Ridge; W. J. Williams, Church Hill, a'r Parch. Mr. Snodgrass, gweinidog y Bedyddwyr Seisnig yn Youngstown, yr hwn a wnaeth ei ran yn gampus i gasglu arian i dalu y ddyled sydd yn ol ar y capel. Rhoddodd Mr. Snodgrass achos yr eglwys hon o flaen ei eglwys ef yn Youngstown, gan eu hysbysu ddyben y cyfarfod. Gwnaethant hwythau eu rhan yn dda trwy gasglu deg dolar, a'u hanfon gydag ef i ni. Rhoddodd yntau bum' dolar ei hun at y capel, a bu yn llwyddianus iawn i gael casgliad da gan y gynulleidfa. Digon yw dweyd nad oes ond ychydig ddyled yn aros ar y capel hwn; ac os gwneir ychydig o ymdrech yma, fe fydd y capel hwn yn rhydd ar fyr amser. Cynaliwyd cyfarfod llenyddol yma ar y nos gyntaf o'r flwyddyn newydd, er adloniant i'r plant.—*J. Harris.*

---

### Clay Co., Iowa.

Talodd y brodyr, y Parchn. James Jeffreys a D E. Bowen (*Delta*), ymweliad â ni yn ddiweddar—y brawd Jeffreys yn yr haf, a Delta yn yr hydref Pregethasant yn rhagorol. Priododd y brawd Bowen â Miss Elizabeth Ellis, o Berlin, Wis., a barnwn ei fod wedi gwneyd tro doeth iawn. Mae yr eglwys yma mewn sefyllfa lewyrchus. Cynhyrfwyd yr ardal hon yn ddiwedd-

Digitized by Google

ar trwy ddarganfyddiad glo yn Peterson. Yn ol pob arwyddion yn awr, bydd gwaith i luoedd o fwnwyr yn y gwanwyn. Cawsom *gropiau* da y flwyddyn ddiweddaf. Mae y tywydd y gauaf hwn hyd yn hyn yn dra dymunol.

Dydd Gwener, Rhagfyr 13, 1883, bu farw fy mam. Claddwyd hi y dydd canlynol, yn mynwent y Bedyddwyr. Gweinyddwyd gan y Parch John W. Jones. Bwriedir anfon cofiant iddi yn fuan i'r WAWR Yr eiddoch—*Thomas Evans.*

---

WARRIOR RUN.

Da genym allu dweyd fod yr achos bychan a gychwynwyd yn y lle uchod yn ddiweddar yn myned rhag ei flaen yn rhagorol. Mae yma amryw wedi dychwelyd o'r "tir pell" i dy eu tad. Hefyd y mae yma dri yn aros am gael eu·claddu gyda Christ yn y bedydd. Bu dau o'r tri yn aelodau gyda'r Annibynwyr. Yr ydym wedi cychwyn ysgol Sul yn ddiweddar mewn ty annedd, yr hon sydd a golwg lewyrchus iawn arni, a'i rhif yn cynyddu bob Sabboth. Cynygiwyd i'r ysgol amryw o dai hyd nes y cawn yr *Hall;* ond y lle y cychwynodd oedd ty y brawd Thomas Smith. Byddwn hefyd yn cynal ysgol gân ar nos Suliau i ymarfer â thonau cynulleidfaol a darnau eraill. Y blaenor yw D. D. Evans, yr hwn sydd yn gwneyd ei oreu gyda'r canu yn y lle. Yn ddiddadl mae pob brawd a phob chwaer yma ar ei eithaf i gadw ei ysgwydd yn dyn o dan yr arch, yr hyn a brofa fod lles a llwyddiant yr achos yn agos at eu calon. Dylaswn ddweyd fod y fam ysgol yn Nanticoke wedi anrhegu y ferch yn Warrior Run â digon o bob math o lyfrau i gychwyn yr ysgol yn anrhydeddus. Am y fath deimlad da mae y ferch yn dra diolchgar. "Frodyr, gweddiwch drosom."—*Brawd.*

---

AWR DDIFYR YN "HEN GAPEL WM. OWEN."

Nos Sadwrn, Ion. 12, 1884, cyfarfyddodd deiliaid yr ysgol Sabbothol ac eraill yn nghapel y Bedyddwyr ar Heol Chatham, Pittsburgh, gyda'r amcan o dreulio awr lawen mewn canu, adrodd, ac areithio, &c. Cawd adroddiadau rhagorol gan Edith Harris; Mary Jane Powell. Maggie Prosser, a Willie James. Areithiwyd yn ddoniol gan Mri. T. Cadwgan Jones a D. Dowlais Jones; a chanodd cor yr ysgol amryw ddarnau yn swynol dan arweiniad y boneddwr olaf a enwyd. Wedi treulio awr ddifyr yn y dull hwn aeth Mr. N. Williams, arolygydd yr ysgol, at brif waith yr hwyr, sef rhanu candi, *oranges.* &c., rhwng y plant, ac yna aeth pawb adref gan ganu, "Melus, moes eto."—*Dysgybl.*

---

BEDD-GOLOFN Y DIWEDDAR BARCH. MOSES WRIGHT.

Trwy garedigrwydd cyfeillion a pharodrwydd eglwys y Bedyddwyr yn Shenandoah, yr ydym yn alluog i hysbysu y cyhoedd ar hyn o bryd, fod cof-golofn yn nodi gorweddle gweddillion marwol ein diweddar frawd Moses Wright. Y cyfraniadau ydynt fel y canlyn :

| | |
|---|---|
| Trwy law y Parch. G. H. Humphrey, New York | $11 00 |
| Eglwys Fedyddiedig Hyde Park | 25 00 |
| " " Shenandoah | 11 45 |
| Gweddw y diweddar Mr. Wright | 20 00 |
| Ednyfed, Franklin | 5 00 |
| Parch. J. W. Williams, D.D., Hyde Park | 5 00 |
| " D. Rhoslyn Davies, Pittsburgh | 5 00 |
| " W. M. Evans, Cattaraugus | 5 00 |
| " J. Evans, M. A., Brooklyn | 5 00 |
| Giraldus | 5 00 |
| Samuel Job, Ysw., South Chicago | 5 00 |
| Parch. E. Edwards, Florida | 3 00 |
| " R. C. Morgan, Connellsville | 5 00 |
| " B. W. Thomas, Kingston | 3 00 |
| " J. T. Griffiths, Scottdale | 2 00 |
| " D. S. Thomas, Shenandoah | 2 00 |
| Thomas D. Harris, Ysw., Pittsburgh | 5 00 |
| D. Lloyd Jones. " " | 5 00 |
| James E. Jones, St. Louis | 5 00 |
| R. T. Daniels, Ysw., Pittsburgh | 2 00 |
| D. Dowlais Jones, Ysw., " | 3 00 |
| Nathaniel Williams, Ysw., Pittsburgh | 1 00 |
| W. Taliesin Jones, Ysw., Pottsville | 2 50 |
| T. D. Griffiths, Ysw., St. Clair | 2 50 |
| John Thomas, Bardwell | 1 00 |
| Cyfanswm y derbyniadau | $144 45 |

Talwyd i R. J. Jones, Ysw,, am y beddfaen, $140.00. Treulion cludo y bedd-faen o Westerly i Shenandoah, $15.70. Wrth hyn, gwelwch fod yn ddyledus i'r Trysorydd

Digitized by Google

$11.25. At yr uchod, y mae y brawd Mr. Wright a'r cyfeillion caredig yn Shenandoah wedi rhoddi ceryg ar ochrau a throed y bedd, a chostiodd hyn iddynt $20.00. O galon yr ydym yn diolch i bawb am eu caredigrwydd.

EDNYFED, *Ysgrifenydd.*
D. LLOYD JONES, *Trys.*

---

EGLWYS MAHANOY CITY, PA.

Yn gymaint a bod ein hanwyl frawd y Parch. H. Gwerfyl James wedi rhoddi i fyny ein gofal ni yma, a hyny yn hollol o'i ddewisiad ef ei hun, er dychwelyd at y Saeson, dymunem hysbysu ein gweinidogion a'n pregethwyr, nad ydym yn dewis derbyn cyhoeddiadau i bregethu yma ar y Sabbothau nac yn yr wythnos, gan fod ein sefyllfa arianol yn isel, o herwydd marweidddra y gweithfeydd, ac ymadawiad cymaint o'n cydgenedl o'r lle.

Pan yn ymofyn gwasanaeth ein brodyr anwyl yn yr efengyl, anfonwn am danynt, gan obeithio y bydd i'r eglwysi fod mor garedig a chaniatau iddynt ddyfod. Ar ran a thros yr eglwys —*John J. McCarthy, Ysg.*

---

SHERMAN, OHIO.

MR. GOL.—Yr ydym ni yn Sherman am wneyd yn hysbys trwy dudalenau y WAWR, ein bod yn gwrthod derbyn cyhoeddiad unrhyw frawd yn y weinidogaeth o hyn allan heb ein bod yn anfon am danynt, o herwydd fod ein trysorfa yn isel, a thrwy hyny nas gallwn gydnabod y brodyr ar eu taith bregethwrol. Dros yr eglwys—*John Armstrong, Ysg.*

---

RIDGEWAY, WIS.

Dymunaf gyflwyno fy niolchgarwch cynes a gostyngedig i'm caredigion yn y lle hwn am y rhodd a dderbyniais ar y dydd cyntaf o Ionawr, 1884, sef y swm o $20. Gwnaed y cyfan heb y cysgod lleiaf o ddysgwyliad genyf am y fath garedigrwydd. Cefais garedigrwydd yn Braidwood a Braceville, Ill., am yr hyn y parhawyf i'w cofio yn gynes. Am yr arwydd hwn o garedigrwydd, dychwelaf fy niolchgarwch gwresocaf i bawb a ddangosasant eu hewyllys da i mi yn yr achos, ac yn neillduol i'r ddwy chwaer rinweddol, Mrs. M. Rees a Miss C Rees, drwy ymdrech y rhai yn benaf y dygwyd y peth oddiamgylch. Taled yr Arglwydd iddynt hwy, a phawb a'u cynorthwyasant yn eu gwaith o haelfrydedd. Mae arwyddion o serchawgrwydd o'r fath yn lloni y meddwl lawer yn fwy na gwerth y rhodd ynddi ei hunan. Fy ngweddi ar Dduw yw, y caf gymorth i fyw a llafurio yn y fath fodd fel na leiheir dim o'ch parch a'ch ymddiried ynwyf fel cenad cyhoeddus yn yr efengyl; ac hefyd y gwel yr Arglwydd yn dda fendithio fy ymdrechion gwan er iachawdwriaeth eich eneidiau. Eich ufudd wasanaethwr—*John Thomas.*

---

GOWEN, PA.

Cynaliwyd cyngerdd yma Ionawr 4ydd, ac fe ellir dywedyd ei fod yn un od o dda, a chymeryd pob peth i ystyriaeth.

Y Sabboth canlynol, cynaliwyd cyfarfod pregethu, pryd yr ydoedd yn bresenol y Parchedigion canlynol—T. Jones, Wilkesbarre; Jones, Drifton; Thomas D. Evans, Audenried. Pregethwyd yn y boreu gan y ddau Jones. Yn y prydnawn, awd at amcan dyfodiad y brodyr i'n mysg, sef sefydlu eglwys, yr hyn a wnaed gan Mr. Jones, Wilkesbarre, gan mai efe oedd anfonedig y Gymanfa. Derbyniwyd i'r eglwys o eglwysi eraill, 28, a phedwar o safle wahanol. Etholwyd y personau canlynol yn swyddogion: Blaenor, Lewis Francis; Ysgrifenydd, Evan R. Jones; Trysorydd, Evan Watkins; Gweinidog, Thomas D. Evans, Audenried. Yn yr hwyr, pregethwyd gan y ddau frawd Jones—yn Gymraeg gan Jones o Drifton, ac yn Saesoneg gan Jones o Wilkesbarre.—*Evan R. Jones. Ysg.*

---

NEW STRAITSVILLE, O.

Bu ein hanwyl weinidog yn sal yn mis Tachwedd; methodd bregethu un Sul, ond y mae yn llawer iawn gwell yn bresenol. Gobeithio fod blynyddau lawer iddo eto, canys y mae yn

Digitized by Google

ddyn defnyddiol neillduol mewn cymdeithas, yn gystal ag yn yr eglwys. Sefyllfa yr eglwys trwy fis Tachwedd sydd wedi bod fel y canlyn: Mae pedwar yn aros am eu bedyddio, ac adferwyd un oddiar dir gwrthgiliad. Fel hyn gwelir ein bod yn cynyddu yn raddol. Y mae y brawd Jones yn llafurio yn galed er llwyddo yr achos yn ein plith. Duw yr heddwch fyddo gydag ef, yw ein dymuniad. Ewch rhagoch, frawd. Y mae ganddo ddosbarth o frodyr a chwiorydd ieuainc yn cyfarfod yn y capel am 9 o'r gloch bob boreu Sabboth, i arfer eu doniau ar weddi, ac y maent yn gwneyd yn dda iawn, ac yn cynyddu. Yr eiddoch—*D. E. Jones.*

---

### Mineral Ridge, Ohio.

Y mae agwedd allanol a mewnol yr eglwys hon ar hyn o bryd yn dra dymunol—heddwch, cariad brawdol, a chydweithrediad, er dwyn yn mlaen yr achos yn ei wahanol ranau; yr ysgol Sabbothol yn llewyrchus, dan arolygiaeth y brawd John Jenkins.

Bu yma yr wythnos o'r blaen *exhibition* ardderchog. i'r plant yn fwyaf neillduol. Canwyd yn dra rhagorol, dan arweiniad Mr. D. Edwards; a llywyddwyd gan y brawd Amos Prosser. Y mae awydd mawr am gwrdd o'r fath eto yn fuan.

Nid oes i ni weinidog ar hyn o bryd, ond cawn weinidogaeth weddol gyson, pregethu da o bryd i bryd—Duw yn gwenu, a ninau yn cael boddhad mawr. —*Lazarus Mathias.*

---

### Da, Was Da a Ffyddlon.

*Mr. Gol.*—Pan yn darllen braslun o hanes eglwys Nanticoke yn y Wawr ddiweddaf, gan eich gohebydd, W. R. Morgans, Blaenycwm, yr oedd un peth neillduol yn tynu ein sylw, sef gweithgarwch y gweinidog. Mae Mr. Davies i'w ganmol yn fawr mewn cysylltiad â chasglu cynulleidfa yn Warrior Run.

Brawd yw o wiw fwriad,
Taenu'i gred ar led y wlad.

Dos yn dy flaen, frawd anwyl; na ddigalona. Os nad wyt yn un o bobl y cyflogau mawrion, mae dy lafur yn profi dy fod yn un o'r bobl fawrion. Diolch fod rhai yn y byd a'u calonau yn y gwaith o borthi praidd Duw, ac adeiladu saint y Goruchaf. Hyn oedd "*the Great Warrior's run*" yn y byd—dysgu y byd i adnabod Duw, ac i ufuddhau iddo.

Dos yn mlaen, fy mrawd, ymnertha
Yn ngrasusau'r nefoedd wen;
Rhodded Duw it' wenau'i Ysbryd,
Ei dyner law fo ar dy ben;
Wedi it gyrhaedd bro goleuni—
Cwblhau *the warrior's run*,
Pobl fawr wna'th anrhydeddu
Gyda'r frawddeg dlos, "*Well done.*"
—*Henry P. Davies, Hyde Park, Pa.*

---

### Cyfarfod Llenyddol, &c.,

*Freedom, Swydd Cattaraugus, N. Y.*

Cafodd Bedyddwyr Cymreig y lle hwn eu Nadolig Llawen. Yr ydym yma er's rhai blynyddau yn arfer cadw cyfarfod llenyddol bob dydd Nadolig; ond y tro hwn, er mwyn newydd deb ac amrywiaeth, penderfynwyd cyplysu Coeden Nadolig wrtho. Fel yr oedd y dydd yn agosau, deallwyd na wnelai un goeden gynal y lluaws rhoddion a fwriedid eu cyfranu; felly, penderfynwyd cael dwy goeden fawr. Bu y boneddigesau wrthi a'u holl egni yn addurno ac yn trefnu yr anrhegion gwerthfawr ar y ddau bren, ac wedi cael y cwbl yn barod, ymddangosent yn ysblenydd! Ni welwyd dim cyffelyb yn y cylchoedd hyn erioed o'r blaen. Yr oedd yno werth amryw ganoedd o ddoleri. 'Does neb yn debyg i'r hen Gymry pan ânt hwy ati o ddifrif; y maent yn curo yr Americaniaid o ddigon. Erbyn tua chwech o'r gloch yn y prydnawn, yr oedd y capel yn orlawn o bobl, a phob un yn llygaid ac yn glustiau i gyd. Cymerwyd y gadair lywyddol gan y gweinidog, y Parch. W. M. Evans. Sylwodd yn ei anerchiad ei fod wedi gweled llawer math o goedydd yn ei fywyd, gan enwi llawer o honynt; ond mai dyma y pren mwyaf cynyrchiol a

Digitized by Google

ffrwythlawn a welodd erioed, a hyny hefyd yn y gauaf. Cynyrcha hwn, ebe efe, bethau i'r corph a'r meddwl—dillad, oriaduron arian ac aur, cawrfilod a chreaduriaid eraill. pyrsau ac arian ynddynt, Geiriadur Webster, a llyfrau da eraill, &c. Wedi i'r Parch. O. Griffiths (Giraldus) anerch gorsedd gras, gan ddeisyf am fendith Duw ar weithrediadau y cwrdd, dechreuwyd gyda y rhan lenyddol. Canwyd, areithiwyd, ac adroddwyd lluaws o ddarnau chwaethus gan y plant. Canodd y cor, dan arweiniad medrus Mrs. Jennie A. Owens, saith o ddarnau rhagorol yn dra gorchestol. Mae y chwaer ieuanc hon yn haeddu parch dauddyblyg am ei llafur a'i hymdrech gyda'r canu. Yn sicr, ni chyll hi ei gwobr. Canwyd hefyd yn ardderchog gan y cyfaill ieuanc J. R. Williams a'i barti amryw droion. Gwnaethant yn deilwng o Penygroes, Llanllyfni, G. C., o'r hwn le y daethant yn ddiweddar. Gresyn fod iechyd J. R. Williams mor wael; hyderwn y ca adferiad buan. Hefyd, canodd Robert Anwyl a W. R. Williams yn deilwng o honynt eu hunain. Cawsom araith gan Giraldus. Yr oedd y brawd wedi gofalu cael dau Oriel wedi eu fframio yn y modd goreu a harddaf ag oedd yn ddichonadwy, a'u crogi ar y mur y noson hono, er mwyn tynu sylw y gynulleidfa fawr atynt. Dywedai Giraldus yn ei araeth fod yn rhaid i ni fod yn ofalus pa fodd yr ymddygem yn y cwrdd hwnw, gan fod yno amryw o foneddigion parchus a dysgedig yn bresenol, gan gyfeirio â'i law at yr Orielau. Gwerthodd dros haner cant o honynt yma, ac y mae lluaws eto i gael eu gwerthu yn y cylchoedd hyn. Dylai yr Oriel, yn ddiffael, fod yn nhy pob Bedyddiwr Cymreig drwy y Talaethau.

Wedi gorphen y rhan lenyddol o'r cyfarfod, galwyd Mr. W. Charles yn mlaen i gyfranu y rhoddion. Yr oedd ei sylwadau yn ffraeth a tharawiadol. Cymerai y WAWR yn gyfan i enwi y rhoddion a'r derbynwyr; am hyny, gwell ymatal. Cafodd W. Charles Eiriadur annhalfyredig Webster, am ei ymdrech fel arolygydd yr ysgol Sul. Cafodd Mr. Evans, ei briod, a'i blant, amryw roddion gwerthfawr, am yr hyn y mae efe a'r teulu yn teimlo yn wir ddiolchgar. Ymadawodd pawb tua 10 o'r gloch wedi cael eu llwyr foddloni. Mae dydd Nadolig yn awgrymu rhodd benaf Duw i deulu y ddaear, sef ei Fab; ac y mae y gyfundrefn Gristionogol yn dysgu ei deiliaid i fod yn drugarog, caredig, a haelionus tuag at eu gilydd, a phawb o'r hil ddynol. Diolch am grefydd seiliedig ar gariad pur.—*Brawd.*

---

## *BEDYDDIWYD—*

MINERAL RIDGE, OHIO.—Tach. 18, 1883, Bedyddiwyd dau ddyn ieuanc tra gobeithiol gan y Parch. D. C. Thomas (Christopher Bach). Yn nerbyniad y ddau frawd uchod, teimla yr eglwys yn hapus iawn, am eu bod yn ieuainc, ac yn feddianol ar alluoedd rhagorol er bod yn ddefnyddiol gydag achos y Gwaredwr mawr. Y brawd Thomas fu yn offeryn i'w henill at yr achos, ac efe a gafodd y fraint o'u bedyddio. Nawdd y nef a fyddo arnynt, ac ar yr eglwys yn y lle, yw dymuniad yr eiddoch—*Lazarus Mathias.*

---

## *GANWYD—*

Medi 21, 1883, yn South Bend, Minn., mab i Humphrey E. Jones a'i briod, yr hwn a enwir Humphrey Emrys.

---

## *PRIODWYD—*

Awst 15, 1883, yn Ashland, Pa., gan y Parch. Jeremiah Griffiths, Mr. David Davies a Miss Elizabeth Hughes, y ddau o'r lle uchod.

Hydref 26, 1883, yn Honey Brook, Pa., gan y Parch. T. D. Evans, Mr. Elias Morgans, Audenried, Pa., a Miss Catherine Jane Williams, Honey Brook.

Rhagfyr 19, 1883, yn nhy Mr. Benjamin Price, Trehafod, New Cambria, Mo., gan y Parch. H. C. Parry, D. D., Mr. Ifor Jones, Llwynderw, a Miss Sarrh Ann.Jones, Trehafod, y ddau yn nghymydogaeth New Cambria.

Rhagfyr 22, 1883, gan y Parch. D. C. Thomas, yn ei dy ei hun yn Warren, O., Mr. John J. Griffith a Miss Mary J. Payne.

Rhagfyr 25, 1883, yn nhy rhieni y briodferch, gan y Parch. W. R. Jones, Mr. Joseph Snyder a Miss Hattie Clark, merch hynaf Mr. David Clark a'i briod, y ddau o Massillon, Ohio.

Digitized by Google

Rhagfyr 24, 1883, yn Bevier, Mo., yn ei dy ei hun, gan y Parch. Thomas D. Evans, Mr. Samuel Morris, Bevier, a Miss Catherine Harries, merch George Harries, Ysw., Calao, Mo.

Rhagfyr 24, 1883, yn Ashland, Pa., yn nhy Mr. David T. Rees, gan y Parch. Jeremiah Griffiths, Mr. T. E. Davies a Miss Elizabeth Rees, y ddau o'r dref uchod.

Rhagfyr 17, 1883, yn Parsons, Pa., gan y Parch. W. D. Thomas, Mr. Richard Wear a Miss Lizzie Greene, y ddau o'r lle hwn.

Rhagfyr 24, 1883, yn Parsons, Pa., gan y Parch. W. D. Thomas, Mr. David Williams, mab i'r Parch. Mr. Williams, Miners, Pa., a Miss Mary Davies, merch Mr. J. B. Davies, Taylorville.

Rhagfyr 24, 1883, yn ei dy ei hun, gan y Parch. W. F. Davies, Nanticoke, Pa., Mr. Ivor Waters a Miss Catherine Sims, yr oll o Nanticoke.

Ionawr 2, 1884, gan y Parch. W. F. Davies, yn ei dy ei hun, Mr. William Thomas a Miss Hannah Hughes, y ddau o Nanticoke, Pa.

Ionawr 5, 1884, yn ei dy ei hun, gan y Parch. W. F. Davies, Mr. William Phillips a Miss Mary Thomas, oll o Nanticoke, Pennsylvania.

Yn nhy rhieni y briodasferch, Mr. John Phillips a'i briod, gan y Parch. W. F. Davies, Mr. William Lewis, a Miss Jane Elizabeth Morris, yr oll o Nanticoke.

Ionawr 13, 1884, yn Bevier, Mo., gan y Parch. Thomas D. Evans, Mr. Thomas W. Griffiths, Bevier, a Mrs. Mary Jane Andrews, New Cambria, Mo.

Ionawr 3, 1884, yn Pittsburgh, Pa., gan y Parch. D. Rhoslyn Davies, Mr. James Williams a Miss Hannah Jane Hughes, y ddau o'r lle uchod.

Ionawr 17, 1884, yn Pittsburgh, Pa., gan y Parch. D. Rhoslyn Davies, Mr. Edward A. Skelly a Miss Carrie May Snyder, y ddau o'r lle uchod.

Rhagfyr 24, 1883, yn ei dy ei hun, gan y Parch. D. S. Thomas, Mr. Alphus Barr a Miss Mary Ann Phillips, oll o Shenandoah, Pa.

Ionawr 1, 1884, yn ei dy ei hun, gan y Parch. D. S. Thomas, Shenadoah, Pa., Mr. William R. Branch a Miss Mary Ann Hammond, y ddau o Nesquehoning, Pa.

Ionawr 22, 1884, yn ei dy ei hun, gan y Parch. D. S. Thomas, Mr. John Burns a Miss Emma Morgans, oll o Shenandoah, Penna.

## *BU FARW—*

### MR. THOMAS D. HARRIS, WOOD'S RUN, GER PITTSBURGH, PA.

Ganwyd y dyn da, a'r cyfaill cywir, Thos. D. Harris yn Dowlais, D. C., yn y flwyddyn 1813. Enwau ei rieni oeddynt David a Madelina Harris. Yn y flwyddyn 1830 prentisiwyd ef yn saer priddfeini, a dysgodd yr alwedigaeth i berffeithrwydd mawr, ac anhawdd fyddai dyfod o hyd i un mor ddeheuig ag ef. Yn 1834, priododd Miss Evans, chwaer y Parch. David Evans, Felinfoel. Symudasant o Dowlais i'r Varteg, ac yno y bu hi farw ar enedigaeth ei chyntafanedig. Yn y flwyddyn 1841, ymunodd mewn priodas a Miss Sarah Jenkins, merch i deulu crefyddol a chyfrifol yn Blaenafon. Yn yr un flwyddyn ymfudodd ef a'i briod i'r wlad hon, a sefydlasant yn Pittsburgh. Bu iddynt chwech o blant, o'r rhai y mae pedair merch yn fyw—dwy yn briod ac yn byw yn Pittsburgh, a'r ddwy eraill gartref. Pan ddaeth ef a'i briod i Pittsburgh, yr oedd y gweithfeydd yn hynod o araf, fel y bu ef allan o waith am rai misoedd. Wedi methu gweled toriad gwawr, symudasant i Wheeling, Va. Yn mhen rhai blynyddoedd symudodd yn ol drachefn i Pittsburgh. Yma enillodd gymeriad uchel fel saer priddfeini (*bricklayer*). Yr oedd mor rhagorol o fedrus yn yr alwedigaeth hon fel y cafodd chwech o felinau dan ei ofal. Yr oedd galwad mawr ar ddilynwyr y grefft hon i weithio ar y Sabboth, er arbed traul a thrafferth, ac er peidio atal y gwaith arferol ar ddyddiau eraill; ond o dan ei arolygiaeth ef, rhoddwyd heibio yr arferiad o weithio ar y dydd sanctaidd hwn yn mhob un o'r chwe' gwaith. Wedi bod yma am tua phum' mlynedd, bu yn dra symudol, ac yn y flwyddyn 1856 aeth i Portsmouth, Ohio. Darfu iddo ef a dau eraill yn y lle hwn ymffurfio yn gwmni i brynu melin rolio yn London, East Tennessee. Helaethasant y gwaith hwn, gan adeiladu masnach eang ac enillgar. Pan oeddynt yma, yn 1861, wele y gwrthryfel mawr yn tori allan. Mynai y Deheuwyr ganddynt i fod yn awr at eu gwasanaeth hwy; ond er cael cynygion uchel a haelfrydig, gwrthodasant. Gan eu bod mor benderfynol o beidio ymostwng i ofynion y De, wele erledigaeth chwerw yn dyfod arnynt, ac o'r braidd y darfu iddynt allu dianc. Yr oeddynt wedi penderfynu marw yn hytrach na gwerthu eu hegwyddorion. Yr oedd clywed y brawd Harris yn adrodd helynt eu ffoedigaeth o Tennessee yn ddyddorol iawn. Gorfu iddynt adael eu holl eiddo ar ol, a chollasant y cwbl. Dychwelodd y brawd Harris i Pittsburgh yn 1862, i ail ddechreu byw. Yma eto gwenai Rhagluniaeth arno yn mhob peth yr ymaflai ei law ynddo.

Yr oedd yn gymeriad crefyddol selog ar hyd ei oes. Derbyniwyd ef yn aelod yn Horeb, Blaenafon, yn 1840. Bedyddiwyd ef gan y diweddar Barch. John Jones, wedi

Digitized by Google

hyny o gapel Seion, Merthyr Tydfil. Ni chafodd ryw lawer o addysg forenol; er hyny yr oedd wedi cyrhaedd gwybodaeth eang, yn enwedig yn yr Ysgrythyrau. Yr oedd yn ddarllenwr mawr, a medrai wneyd yr hyn a ddarllenai yn feddiant iddo ei hun, ac fel y dywedodd cyfaill iddo ar adeg ei gladdedigaeth:

"Golud gwell, a gwlad y gwawl—gyrhaeddodd.
Gwyr heddyw'r ysbrydawl;
Yn llon nwyf y lle nefawl
Cawn e' mwy yn canu mawl."

Yn ei ymwneyd a dynion, byddai yn hynod o onest a dihoced. Dywedai ei feddwl yn blaen a didderbynwyneb. Nid oedd o herwydd hyn bob amser yn rhy ochelgar i beidio rhoddi tramgwydd. Ceryddai mewn iaith gref, a chynghorai yn hynod gall ac effeithiol. Byddai yn dra phenderfynol gyda yr hyn a gredai oedd yn iawn. Tybiai rhai weithiau ei fod yn rhy sicr yn ei feddwl ei hun. Nid oedd amheuaeth yn meddyliau neb parth ei gydwybodolrwydd a'i ddifrifoldeb. Yr oedd ffyddlondeb yn nodwedd arbenig yn ei gymeriad crefyddol ar hyd ei oes. Arferai flynyddoedd yn ol, pan nad oedd cyfleusderau gwell, gerdded milldiroedd i'r cyrddau. Cyhyd ag y gallodd, mynychodd bob cwrdd a berthynai i'r eglwys. Nid yn hawdd y gallesid dyfod o hyd i un mwy caredig i'r tlawd. Meddai galon fawr, dyner, a haelionus. Hawdd ganddo ef oedd rhoddi ei law yn ei logell, ac yr oedd ei roddion bob amser yn profi mawrfrydigrwydd ei galon. Cynorthwyodd lawer ar yr anghenus, a byddai bob amser yn mlaenllaw gyda phob symudiad daionus a berthynai i'r eglwys. Er iddo gael colledion trymion gyda'i alwedigaeth droion; eto, bu farw gan adael ei deulu mewn amgylchiadau cysurus. Bu yn glaf iawn am tua saith mis, ond dyoddefodd y cwbl fel Cristion, ac ni chafwyd ef yn achwyn unwaith ar chwerwder yr oriau olaf. Teimlai yn berffaith dawel a pharod. Bu farw Hydref 26, 1883. Ddydd ei gladdedigaeth yr oedd yn amlwg ei fod yn sefyll yn uchel yn ngolwg yr ardalyddion. Yr oedd ei angladd y fwyaf a welsom yn y parth hwn o'r wlad. Nos Sabboth, Tachwedd y 25ain, traddododd yr ysgrifenydd ei bregeth angladdol, a'r tro hwn drachefn cafwyd prawf o boblogrwydd y brawd Harris yn y lle, trwy fod mwy na llon'd y capel wedi dyfod yn nghyd. Cafodd yr eglwys a'r gymydogaeth golled fawr yn ei ymadawiad; ond nid oes amheuaeth nad yw ef yn fawr ar ei enill. Ni welsom neb mwy addfedd ei brofiad, a mwy boddlon i ewyllys ei Arglwydd. Heddwch tawel i'w lwch, a'r nefoedd fyddo yn dirion wrth ei weddw a'i blant galarus. D. RHOSLYN DAVIES.

### MARWOLAETHAU CYMRY YN DELL ROY, OHIO.

Ychydig yn llai na thair blynedd yn ol y claddwyd y Cymro cyntaf o Dell Roy, sef George Draper, yn ddyn ychydig dros ganol oed, a chyn pen dwy flynedd ar ei ol y claddwyd ei George bach (yr hwn a anwyd wedi claddu ei dad), yn yr un bedd. Y nesaf ydoedd y mwynaidd John R. Jones; a'r dydd canlynol, o'r un ty, Anne Davies, un o flodau yr oes. Nid hir ar ol hyn y bu William Griffiths—yr hwn oedd gadarn o gorph a bywiog—cyn cael ei gladdu; ac yn mhen pythefnos ar ei ol claddwyd ei fab ieuengaf; ac yn ddiweddar claddwyd y caredig a'r llawen David Griffiths. Torodd angeu i lawr wedi hyny fab bychan i'r John R. Jones uchod, a'i weddw, Mrs. Elizabeth Jones, yr hwn nad ydoedd ond ychydig dros ddwy flwydd oed. Ei anhwylder ydoedd dolur y gwddf. Cymerodd yr angladd le Ionawr 7, 1884, pryd y gweinyddwyd gan y Parch. Mr. Knowles, gweinidog y M. E. Gwelir fod wyth o hil Gomer yn gorwedd yn yr un llanerch, mewn man cysegredig yn mynwent y Big Springs. Heddwch i'w llwch hyd ganiad yr udgorn mawr.

### JOHNNY BACH.

Am Johnny, chwaer anwylaidd,
Na wylwch ar ei ol,
Tywysog nef a daear
A'i cym'rodd ef i'w gol;
Mae heddyw'n gyfaill ffyddlon
I Job ag Abraham,
Yn ddeng mil mwy rhagorol
Na mynwes tad a mam.

Mae'n awr a'i fysedd meinion
Ar danau'r delyn aur,
A'i gân i'w Haleliwia
O fawl i Faban Mair,
A'i 'madrodd yw, dych'mygaf,
O! mae fy enaid i
Yn moli'r gwr fu farw
Ar fynydd Calfari.

Gyda'r Oen, heb boen, y bydd—ei enaid,
Yn wyn ac yn ddedwydd;
Iach iawn yw, a chân newydd
I Iôn Sanct o'i enau sydd.

BRAWD GWAN.

### MRS. MARY JANE BENNETT.

Tachwedd 5, 1883, yn Hyde Park, Pa., bu farw Mrs. Jane Bennett, yn 42 mlwydd oed. Merch ydoedd i Humphrey a Jane Richards. Ganwyd hi yn ninas New York, yn y flwyddyn 1842. Pan ydoedd hi yn 4 mlwydd oed, symudodd ei rhieni i Carbondale, Pa. Mantais fawr i gychwyn gyrfa bywyd yw fod genym rieni crefyddol, awyddfryd y rhai yw gweled eu plant yn tyfu i fyny yn ngwybodaeth ac ofn yr Arglwydd—adnabod yr Hwn yw y bywyd tragywyddol; a'i ofn ef yw dechreuad doethineb, ac yn hyn ni chawsant eu siomi yn mlaenffrwyth bywyd Mary Jane. Cawn hi yn 13eg oed yn codi'r groes ac yn dilyn Iesu. Bedyddiwyd hi ar broffes o'i ffydd yn Mab Duw gan y Parch. William Evans, a derbyniwyd hi yn aelod o'r eglwys Fedyddiedig yn Carbondale, ac arweiniodd fywyd crefyddol yn ddifwlch hyd ddiwedd ei gyrfa. Yn y flwyddyn 1860, ymunodd mewn proidas gyda Mr. John Bennett, tra eto yn Carbondale, o flaen y diw-

Digitized by Google

eddar Barch. Philip L. Davies, M. A. (o goffadwriaeth fendigedg.) Wedi symud i Providence, lle y treuliodd hir flynyddau, ac o herwydd amgylchiadau arbenig y pryd hwnw, ymaelododd gyda'r eglwys Gristionogol, ac yn yr undeb hwnw y parhaodd hyd y bedd. Cafodd gystudd trwm a maith—bu am wyth mis yn dihoeni ac yn gwaethygu. *Paralytic stroke* a gafodd ar y dechreu. Dyoddefodd yn amyneddgar, gan gydnabod llaw yr Arglwydd, ac ymostwng i'w ewyllys ef. Bu farw a'i phwys ar y Gwaredwr, gan adael tystiolaeth dda ar ei hol. Gadawodd briod ei hieuenctyd, dau o blant, a mam wylofus (Mrs. William Phillips), i alaru o herwydd eu mawr golled ar ei hol.

Daearwyd ei gweddillion marwol yn y Forest Hill Cemetery, Scranton, y Parch. Mr. Crane yn gweinyddu. Yr Arglwydd fyddo yn nawdd i'r teulu, ac ymgysured ei mam, gan nad yw boreu yr aduniad yn mhell. "Cyfamod fy hedd ni syfl yn dragywydd," medd yr Arglwydd.

CYFAILL CYWIR.

## GOHEBIAETH O GYMRU.

ANWYL FRAWD—Os na bydd y dymuniad yn rhy ddiweddar yn cyrhaedd tir y Gorllewin, eiddunaf o galon gywir flwyddyn newydd dda i chwi a'ch holl ddarllenwyr. Gorchwyl o gryn bwys a chyfrifoldeb yw arlwyo gwledd feddyliol i wahanol ddosbarthiadau o fis i fis; ond yr ydych chwi yn llwyddo yn rhagorol, a dylai Bedyddwyr Cymreig America feddwl yn fawr o'ch cylchgrawn.

Crybwyllwyd yn y WAWR, rai misoedd yn ol, fod Pwyllgor Athrofa Llangollen wedi agor Trysorfa Goffadwriaethol i Dr. Jones. Gweithiodd y Doctor yn ddiwyd mewn amser ac allan o amser er mwyn ei enwad a'i genedl; curai ei galon mewn cydymdeimlad â'i gyd-genedl yn yr holl fyd; a byddai yn wir dda genyf gael derbyn rhyw gyfran i chwyddo y drysorfa oddiwrth Fedyddwyr Cymreig y Talaethau. Amcenir suddo yr arian yn enw ymddiriedolwyr er budd y weddw a'r tri-phlentyn-ar-ddeg sydd ar ol. Nid ydynt wedi eu gadael heb ddarpariaeth ar eu cyfer, mae yn wir, ond nid yw yn ddigon i wneyd cyfiawnder â'r amgylchiadau, ac nid gormod, yn sicr, i'r enwad wneyd hyn er mwyn enw un a garai mor anwyl, ac un a aberthodd ei fywyd ar allor gwasanaethgarwch. Bydded i'r sawl sydd yn bwriadu cyfrannu wneyd hyny yn fuan iawn, gan y bydd y drysorfa yn cael ei chau cyn hir.

Ymddengys yn dra sicr bellach y bydd tri Choleg Uwchraddol yn Nghymru. Mae Colegau Caerdydd a Bangor yn cael nawdd a rhodd gan y Llywodraeth. Y mae Coleg Aberystwyth yn ceisio hyny: ond os byddant yn aflwyddianus, mae amryw o'r cefnogwyr yn penderfynu cyfrannu yn haelionus at ei gynaliaeth, fel y mae ei barhad hyd yn nod felly yn dra sicr am rai blynyddoedd o leiaf. Mae ein brodyr, y Parchn. J. A. Morris a T. E. Williams wedi gwneyd eu rhan yn dda dros Goleg Aberystwyth, a thrwy eu hymdrechion wedi bod yn ddyrchafiad ac anrhydedd i'r enwad yn y dref a'r cylchoedd. Mae yn fantais i ni fod ein henwad mor flodeuog hefyd yn Nghaerdydd a Bangor. Mae mwy o reswm nag erioed dros i eglwysi ac ysgolion Sabbothol ymegnio gyda'r ieuenctyd, oblegid ceir rhai o ddysgawdwyr y bobl yn y colegau uwchraddol yn peri iddynt gyfeiliorni, ac wedi gwneyd llong-ddrylliad o'r ffydd.

Mae un Bedyddiwr (a bachgen campus ydyw hefyd) wedi ei apwyntio yn un o'r athrawon yn Nghaerdydd, sef Mr. T. F. Roberts, M. A., Aberdyfi. Mae gyrfa Mr. Roberts wedi bod yn neillduol o ddysglaer; ac os deil i rodio yn yr un cyfeiriad, bydd ei enwad, ie, a'i wlad, yn falch o hono.

Ni wyddys eto pa un a gysylltir ein Coleg-au Duwinyddol â'r colegau hyn. Pwnc i gymeryd cryn bwyll gydag ef ydyw. Mae penodiad Mr. Lloyd Tanner, yr hwn sydd yn anffyddiwr proffesedig, i un o'r cadeiriau yn Nghaerdydd, yn sicr wedi gwneyd i rai ymbwyllo cryn dipyn. Ond mae yr un pryd yn dra sicr fod cyfnewidiadau mawrion wrth y drws yn Nghymru, yn gystal a Lloegr.

Da genyf hysbysu fod y Parch. John Williams, Colwyn, yr hwn fu yn ddiweddar yn croesi y ffrwd sydd yn gwahanu ryngom, gryn lawer yn well ei iechyd. Bu yn yfed dwfr yn ffynon Trefriw, a theimlodd gryn adgyfnerthiad. Un o ragorolion y ddaear yw Mr. Williams, a gobeithiwn gael ei wasanaeth am lawer blwyddyn eto.

Yr eiddoch yn serchog,

*Corwen, Ion.* 7. H. CERNYW WILLIAMS.

## NODION O GYMRU.

*Galwadau.*—Y Parch. J. Morgan, Llanwenarth, i Siloam, Machen; Mr. W. Powell, myfyriwr, Pontypwl, i Zion Hill, Bont-newydd; Mr. E. Edmunds, myfyriwr, Pontypwl, a Libanus, Treherbert.

*Bedydd.*—Hydref 11eg, yn afon Ffrwd-wyllt, un, gan weinidog Eglwys Loegr, yn mhlwyf Morgan.

*Merthyr Tydfil.*—Mae yn y lle hwnw wyth o eglwysi Sefydledig, a thriugain o gapelydd Ymneillduol.

*Darlun Dr. Jones, Llangollen.*—Mae y Meistri Griffiths & Sons, Cwmafon, wedi cael caniatad Mrs Jones i ddwyn allan *lithographic portrait* o'r enwog a'r anwyl Ddr. Jones, Llangollen. Ni phetrusir cyhoeddi hwn y darlun goreu allan fel gwaith celfyddyd.

Digitized by Google

# Y WAWR.

CYF. VIII.] MAWRTH, 1884. [RHIF. 12.

# Erthyglau Arweiniol.

Y DIWEDDAR

## BARCH. HENRY EDWARDS,

PITTSBURGH, PA.

Bu yr hybarch Henry Edwards farw nos Sabboth, Rhagfyr 16, 1883, yn ei gartref yn Pittsburgh. Yr oedd yn nychu er ys hir amser. Ganwyd Mr. Edwards yn y Bettws, Sir Forganwg, Rhag. 11, 1806. Cymerwyd ef i Sir Gaerfyrddin pan yn blentyn, a phan yn 14 mlwydd oed bedyddiwyd ef yn Llandybie. Yr oedd efe a'r diweddar Barch. William Owens yr amser hwn yn aelodau o'r un eglwys. Wedi hyny symudodd i Tonyrefail, lle y trigianodd am chwe' mlynedd, ac oddiyno aeth i Maesteg, lle y treuliodd ddeng mlynedd. Hyd yr amser hyn yr oedd yn cartrefu gyda'i fam; yr ydoedd ei frodyr a'i chwiorydd oll yn briod. Pan fu ei fam farw, aeth ef i Merthyr Tydfil, ac ar ol aros yno am chwe' mis, ymfudodd i America, yn y flwyddyn 1841, ac ymsefydlodd yn Pittsburgh.

Dechreuodd bregethu yn Nghymru pan yn 23 oed, ond ni ordeiniwyd ef i gyflawn waith y weinidogaeth hyd y flwyddyn 1842, yn Pittsburgh, a gwasanaethwyd yn nghyfarfodydd ei ordeiniad gan y Parchn. Wm. Owen, Morris James, a Samuel Williams. Cymerodd ofal eglwys gyntaf yn Hazleton, Pennsylvania, ond o herwydd ataliad sydyn y gweithfeydd yno, a gwasgariad y Cymry oddiyno, dychwelodd i Pittsburgh yn mhen chwe' mis. Yn y flwyddyn 1843 ymunodd mewn glan briodas â gweddw y Parch. Jonathan Humphreys; ac yn Hydref, 1845, symudodd i Mount Savage, Md., i gymeryd gofal eglwys Gymreig y Bedyddwyr yno. Llafuriodd yno am bedair blynedd, ac yna aeth i Zanesville, O. Yn 1851, cydsyniodd â galwad o Brady's Bend, Pa., lle yr arosodd hyd tua dwy flynedd yn ol, pryd y dychwelodd i Pittsburgh i ddiweddu ei ddyddiau gyda'i blant, Mr. A. J. Edwards a'r Anrhyd. M. S. Humphreys.

Dwy flynedd ar hugain i'r dydd Nadolig diweddaf, cyfarfyddodd â damwain ddifrifol yn Brady's Bend, tua ar ei ffordd i dalu ymweliad fel gweinidog ag un aelod claf o'i eglwys. Tra yn cerdded tu allan i gledrau y ffordd haiarn a arweiniai heibio i ffwrnes *blast*, yr oedd ganddo i gamu o un ochr i ganol y ffordd; yn anffortunus rhoes ei droed ar ddarn o rew oedd o'r gol-

Digitized by Google

wg dan yr eira, ac fel y gwnai hyn camodd yn y fath fodd fel y bu iddo syrthio, a tharawodd ben ei glun (*hip*) gyda holl bwysau ei gorph ar y *rail*. Yr oedd efe yn awr yn analluog i godi, a phan y canfyddwyd ef cariwyd ef adref, pryd y caed, er nad oedd un asgwrn wedi ei dori, ei fod wedi amharu amryw gyhyrau, a niweidio y *sciatic nerve*. Ni ail-feddianodd byth wasanaeth ei goes, ond o'r amser hwnw hyd ei farwolaeth cerddai gyda chynorthwy bagl a ffon.

Yn ychwanegol at ei gloffni, bu yn dyoddef yn hir oddiwrth *chronic bronchitis* ac anhwylderau eraill; er hyny yr oedd efe bob amser yn siriol, ac yn dal o dan ei boenau gyda'r ymostyngiad tawel a thangnefeddus hwnw ag sydd yn nodweddiadol o'r Cristion didwyll.

Rai blynyddau yn ol, pan oedd y gweithiau haiarn yn y Bend wedi sefyll, a'r rhan fwyaf o aelodau yr eglwys wedi ymadael i leoedd eraill, yr oedd ei ddyledswyddau fel gweinidog wedi lleihau mewn amrywiol ffyrdd. Arosodd, modd bynag, ddigon o nifer i ddal i fyny yr eglwys wrth ei gilydd, i ba rai y pregethai efe yn gyson; a phan yn analluog i weithio ei ffordd i'r ty addoliad, ymgasglai ei braidd bychan o'i amgylch ar ei aelwyd, pryd y pregethai gyda brwdfrydedd mawr, a chyda ffyddlondeb gwirioneddol hynod.

Yr oedd rhodiad ei fywyd yn gywir ac yn onest, ac yr oedd ei amryw elfenau da yn ei wneyd yn anwyl gan bawb a'i hadwaenai, o bob enwad a chyflwr yn ddiwahaniaeth. Wedi ei symudiad i Pittsburgh yr oedd efe yn analluog i fyned i'r capel ond pur anfynych, oblegid ei fawr lesgedd. Pan yn bosibl, modd bynag, yr oedd efe yn sicr o fyned, ac ar ddau neu dri o achlysuron, yn absenoldeb y Parch. Mr. Davies, a bregethodd yn ei le. Y tro diweddaf yr oedd yno, a'r tro diweddaf iddo geisio pregethu, hysbysodd ei wrandawyr, yn ol pob tebygolrwydd, mai hono oedd ei bregeth olaf, ac yn y bregeth olaf ddysgwyliedig hon cymellodd hwynt i rodio yn agosach at y Gwaredwr. Cyflawnwyd ei brophwydoliaeth; hon ydoedd ei bregeth olaf, ei apeliad olaf at ddyn marwol, ei ymddangosiad olaf yn nghapel Heol Chatham. Am fisoedd yn flaenorol i'w farwolaeth, yr oedd efe yn analluog i ddod o'i ystafell, ac am amryw wythnosau yn analluog i gyfodi o'i wely. Yn fynych pan wrtho ei hunan yn ei ystafell, ei lais yn wan a chryglyd, gellid ei glywed yn canu rhyw emyn adnabyddus, yn neillduol yr emyn hwnw sydd yn dechreu, gyda y geiriau,

"P'le, p'le,
Y gwnaf fy noddfa dan y nef,
Ond yn ei glwyfau dyfnion ef?"

Fel hyn, mewn unigedd tawel, cadwai gymdeithas felus a'i wneuthurwr. Wrth ei frodyr a ymwelasant ag ef yn ystod ei ddyddiau diweddaf, dywedodd, "Yr wyf fi yn y glyn; y mae y ty o glai yn prysur ddadfeilio, ond y mae genyf 'dy nid o waith llaw, tragywyddol yn y nefoedd;" a braidd y byddent wedi myned allan, pan yr ymdrechai ganu. Yn fynych, pan yn analluog, gofynai i'w wraig oedranus ddarllen iddo o'r Beibl, a phan y gofynid iddo pa ran yr ewyllysiai iddi ddarllen, atebai, "Unrhyw ran a wna y tro, oblegid y mae yn dda i gyd; ond dewiswn i chwi ddarllen i mi am *Iesu Grist*." Ei eiriau olaf, ychydig fynydau cyn ei farwolaeth, oeddynt, "Y mae yn dda cael Iesu yn afon angeu."

Ystyrid Mr. Edwards yn bregethwr

Digitized by Google

da, yn weinidog ffyddlon a difrifol, ac yn esboniwr eglur a nerthol o wirioneddau yr Ysgrythyrau. Bu farw fel y bu fyw, yn Gristion cywir a diamheuol. Yr oedd un peth hynod yn nodweddu ei gymeriad, sef na fynai hawlio na chydsynio â derbyn cyflog sefydlog oddiwrth unrhyw eglwys; mynai ef adael ei gyflog yn hollol i ewyllys da ei aelodau—iddynt gyfranu yn ol eu dyledswydd a'u hamgylchiadau.

Nos Lun cynaliwyd gwasanaeth crefyddol yn nghartref yr ymadawedig, a gwasanaethwyd gan y Parchn. D. Rhoslyn Davies ac L. C. Barnes, a Mr. D. Lloyd Jones. Yr oedd nifer mawr o gyfeillion Mr. Edwards yno.

Boreu dydd Mawrth hebryngwyd ei weddillion i Brady's Bend i'w claddu. Yn ymyl *depot* y lle diweddaf yr oedd tyrfa luosog o frodyr, chwiorydd, a chyfeillion a chymydogion wedi ymgasglu i dalu y deyrnged ddiweddaf o barch i'w hen gyfaill a gweinidog. Cymerwyd ei gorph i'r eglwys Fedyddiedig yn East Brady, lle y cynaliwyd gwasanaeth crefyddol dylanwadol gan y Parch. S. G. Redding, yn Saesneg, a chan y Parch. Lloyd Williams (A.), yn Gymraeg. Yna cymerwyd ei gorph a rhoed ef i orwedd, yn unol a'i gais, wrth ochr ei fab a'i ferch ymadawedig, mewn mynwent lle y gorwedd llawer iawn o'i hen gymdeithion ag y bu yn gwasanaethu yn eu hangladdau.

Fel hyn yr ymadawodd un o'r ychydig iawn o'r hen dadau Cristionogol sydd yn aros, y rhai oeddynt i'r gorllewin i fynyddoedd yr Alleghanies ddeugain mlynedd yn ol, yn sefyll ar furiau Seion, ac yn pregethu yr efengyl yn yr iaith Gymraeg.

Fod ei fywyd yn bur, ni all neb ei wadu; fod ei wobr yn sicr, ni all neb amheu. Heddwch i lwch yr hen dad anwyl a'r Cristion parchus, medd,

HIRAETHLON.

## BEDYDDIAD MYFYRIWR

### MEWN DUWINYDDIAETH YN EDINBURGH.

Cymerodd y ffaith hon le Hydref 18fed, yn nghapel Dublin-street, gan yr enwog Dr. Landels, yr hwn yw gweinidog yr eglwys. Mae amgylchiad fel hwn yn werth i'w nodi, am ei fod yn dangos nerth a dylanwad y gwirionedd bedyddiadol ar feddwl a chydwybod. Gwirionedd yn gwneyd yr efrydydd hwn yn Fedyddiwr, megys er ei waethaf; a phan y mae y gwirionedd yn troi dyn, mae y cyfnewidiad yn drwyadl. Lle y clywyd erioed am un Bedyddiwr yn troi at enwad arall am ei fod wedi newid ei farn ar y pwnc o fedydd—wedi ei argyhoeddi mai taenellu babanod sydd yn iawn, ac nid bedyddio yr hwn sydd yn credu? Gwyddom am rai wedi gadael cyfundeb y Bedyddwyr at enwadau eraill; ond yn ddieithriad amgylchiadau oedd yn achosi hyny; naill ai methu dal o dan ddysgyblaeth am fuchedd annheilwng, neu wenau y duw mamon yn eu denu, &c. Bradychwyr sydd yma yn gwadu y ffydd, ac yn encilio oddiwrth y gwirionedd. Ond yn yr engraifft a ddygir yn mlaen genym yn yr erthygl hon, canfyddir y gwirionedd, trwy ei ddylanwad ar y meddwl, yn enill dysgybl newydd iddo ei hun—yn gwneyd Bedyddiwr gwirioneddol o daenellwr cyfeiliornus; ac y mae dyfod yn Fedyddiwr i aml un yn costio iddo aberthu llawer; ond y mae pob dysgybl i'r gwirionedd yn gallu fforddio yn llawen i aberthu pob peth er ei fwyn. Dyn sydd yma o dan ddylanwad argyhoeddiad yn mynu ymateb cydwybod dda tuag at Dduw; a mwy o grefyddwyr o'r stamp yma ydyw eisiau mawr yr oes.

Gosodwn yma ran o araeth Mr. R. W. Hay, yr hon a draddododd ar lan y dwfr cyn ei fedyddio. Dichon y bydd yn ddyddorol gan amryw o'r darllenwyr; ac os dygwydd iddi fyned i law rhyw daenellwr, gobeithio y bydd yn fendith iddo. Ar ol ychydig o eiriau rhagarweiniol, dywedai:

"Wedi fy nwyn i fyny gan fam dduwiol mewn eglwys Gynulleidfaol, o'r hon y daethum yn aelod, ac yn ddiweddar-

Digitized by Google

ach yn fyfyriwr yn ei neuadd dduwinyddol, nid oedd genyf un awydd i'w gadael, ond lluaws o anogaethau i aros yn ei chymdeithas. Ac o herwydd hyn, ni phoenais fy hun o barthed bedydd, nes i'r mater fy mhoeni i, a'm blino yn hir ac yn dost. Flynyddau yn ol, cyn i mi ddechreu myfyrio ar gyfer y weinidogaeth, cynygiai y mater o barthed i ddeiliaid a dull bedydd ei hun i fy sylw; ond gosodwn ef o'r neilldu fel peth dibwys. Yr oeddwn yn gochelyd y cwestiwn, yn lle ei ymresymu. Ond nid oedd yn ddichonadwy ei ochelyd; parhai i gynyg ei hun i'm sylw o bryd i bryd, nes ei gwneyd yn fwy anhawdd a phoenus i'w roddi o'r neilldu. Nis gwn i ba raddau y darfu i fy ngwrthodiad cyndyn o ystyried gwirionedd Duw yn ei ordinhad atal fy nghynydd ysbrydol; nis gallaf ddweyd pa ddatguddiedigaethau o ewyllys Duw tuag ataf a gollais wrth gau fy llygaid ar y datguddiad o'i ewyllys yn y mater hwn. Ymwybodolrwydd eglur o'r annghydfod rhwng fy mhrofiad a fy ymgais uchaf, a fy nymuniadau dyfnaf, a'm harweiniodd i ofyn i mi fy hun, Mewn beth yr ydwyf yn fyr o gyflawni yr amodau er derbyn bendith Duw yn ol cyflawnder ei ras yn Iesu? A ydwyf mewn unrhyw beth eto yn wrthryfelwr? A ydwyf yn ol o ufuddhau i'w ddymuniadau eglur ef? Ac yma, megys heb wybod, rhedai fy meddwl at fedydd. Ac yn awr, yr wyf yn ymofyn yn nghylch y mater a fu mor hir yn blino fy meddwl. Un prydnawn, tua diwedd Mehefin, yr wyf yn meddwl, daethum i lawr at Dr. Landels i'w vestri; ond hyd yma gyda syniadau niwliog am fy nyledswydd yn y mater; ac ar ol ei hysbysu pa fodd y blinid fy meddwl, dywedais, 'Yr wyf wedi dyfod i'r penderfyniad nad oes genyf ddim gwrthwynebiad i gael fy meddyddio.' Y gwirionedd yw, yr oedd arnaf eisiau heddwch, a meddyliwn, os gellid, trwy wneyd math o amod â chydwybod, ei thawelu, fod yn werth ei wneyd. Taflodd atebiad y Doctor fi i fesur yn ol. "Does genych ddim gwrthwynebiad?' meddai. 'Wel, buaswn i yn gwrthwynebu yn egniol, nes i mi ei gweled yn bendant yn ddyledswydd arnaf Myfyriwch, beth ddywed y gair. Gweddiwch am oleuni, a rhodiwch yn ol y goleuni a dderbyniwch mewn atebiad. Byddwch ffyddlon i gydwybod, ac i Grist, ac nid oes arnaf ddim ofn gyda golwg ar y penderfyniad y deuwch iddo.' Darfu i'r atebiad a'r cyngor hwn fy ngyru adref at fy Meibl, ac ar fy ngliniau. Ni bum erioed o'r blaen yn chwilio yr Ysgrythyrau yn fwy duwiolfrydig, a chyda mwy o ofal, na bron erioed yn gweddio yn daerach am gyfarwyddyd yr Ysbryd, er yn dymuno o hyd cael fy arwain mewn rhyw ffordd neillduol. I fod yn ddidwyll, nid oeddwn yn ewyllysio dyfod yn Fedyddiwr. Nid oedd genyf ddim i'w enill, ac, fel y meddyliwn, llawer i'w golli wrth newid fy nghysylltiad crefyddol. Eto, yr oedd egwyddor genyf yn fwy anwyl nag unrhyw rifedi o ragfarnau; ac er nad oeddwn yn awyddus i ddyfod yn Fedyddiwr, nid oeddwn yn anfoddlawn i wneyd hyny, gan fod ffyddlondeb i air Duw yn ei hawlio. Wrth ddechreu ystyried y mater yn yr ysbryd hwn, ni raid i mi eich blino trwy geisio darlunio y mynediadau meddyliol trwy y rhai y daethum; ond gallaf grybwyll un peth a roddodd gyfeiriad neillduol i'm hymchwiliad yn y mater. Ar ol gweled Dr. Landels, dygwyddais fod yn addoli ar un prydnawn Sabboth mewn eglwys Henadurol, ac yn ystod y gwasanaeth, cyflawnwyd y seremoni o Gristioneiddio baban. Ac yn ol y ddefod arferol, taenellodd y gweinidog swyddogol y plentyn 'yn enw y Tad, y Mab, a'r Ysbryd Glan.'' Gan fod y pwnc yn barod yn fyw yn fy meddwl, yn y fan dechreuais ymofyn. Gan fod awdurdod y Duwdod yn cael ei hawlio gyda y weithred hon, lle y mae i'w gael? Wrth gychwyn y gofyniad hwn yn fy meddwl, ffrwyth cyntaf fy ymchwiliad Ysgrythyrol i'r mater oedd, y nacaol. Nis gallwn ganfod awdurdod dros daenellu babanod. Mae bedydd fel arwydd o'r hyn sydd yn dilyn ffydd yn nghalon dyn, yn ymddangos o angenrheidrwydd yn rhagdybied ffydd o ochr y deiliaid; ac mor bell ag y

Digitized by Google

gwyddom ni, nid yw babanod yn alluog i arfer y fath ffydd ; ac yn sicr, nis gallant ei phroffesu. Yr oeddwn yn hollol gyfarwydd gyda yr oll a ddygir yn mlaen gan daenellwyr er amddiffyn eu harferiad ; ond pan roddir yr holl resymau o gyfatebiaeth a thebygolrwydd yn y glorian yn erbyn dywediadau eglur yr Ysgrythyr, nid oes ynddynt ddim pwysau. Wrth edrych ar y pedair engraifft o fedydd teuluaidd yn y Testament Newydd, nis gallaf ganfod dim yn dysgu fod un baban yn yr un o honynt, ond llawer yr ochr arall. Os yw taenellwyr yn dadleu fod yn "debygol" fod babanod yn un, neu yr oll o honynt, er hyny, mae yn "ddichonadwy," o'r hyn lleiaf, nad oedd ; ac fel y dywed y doethwr, ni ddylem ddifreinio dystawrwydd yr Ysgrythyr. Ond y mae bedydd nid yn unig yn awdurdodedig, ond wedi ei sefydlu yn bendant gan awdurdod ddwyfol ; ac oddiwrth y safle nacaol a gyrhaeddais, daethum yn fuan o angenrheidrwydd i'r ochr gadarnhaol. Os mai credinwyr yw unig ddeiliaid bedydd, yn sicr, maent yn ddeiliaid iddo, ac y mae yn weddus iddynt ymostwng i'r hyn sydd ordinhad Duw, er eu lles hwy. Ac wrth chwilio yr Ysgrythyrau o barthed i ddeiliaid bedydd, yr oeddwn yn cael fy ngoleuo o hyd o barthed i'r dull, yn gymaint nas gallwn ganfod un engraifft yn y Testament Newydd o fabanod fel deiliaid ; nis gallwn ganfod un engraffft lle yr oedd yn debygol mai taenellu oedd y dull. Ar wahan i brawf uniongyrchol hanesiaeth sydd yn fy nghwrdd mai trochiad oedd yr arferiad yn yr eglwys gyntefig, gyda golwg ar eiriau Paul, 'Claddwyd ni, gan hyny, trwy fedydd,' nis gallaf weled pa fodd y gall taenelliad arwyddo y ffaith ogoneddus, na chrybwyll y ffigyr ysblenydd.

Fel hyn cawn fy hun, yn erbyn fy ewyllys, yn athrawiaethol yn Fedyddiwr ; ond yr oedd y cam ymarferol eto yn aros heb ei gymeryd ; a chyn i mi benderfynu ar hwn, mae yn syndod y fath wrthddadleuon oedd yn ymgynyg i fy meddwl. Ni cheisiaf ddarlunio y rhai hyn. Digon yw dweyd fod yr oll yn cwrdd mewn un wrthddadl, sef, nad yw yr ordinhad o un pwys. Mae yn chwithig adrodd, ar ol yr holl oleuni a dderbyniais ar y mater, cawn fy hun yn hollol yn yr un man ag yr oeddwn ar y cyntaf. Ac yma rhedodd i fy meddwl rywbeth fel hyn : Dibwys ! Mae yn eglur nad yw yr eglwys yn ei ystyried felly, ac ni bu erioed. Mae hyd yn nod y taenellwyr eu hunain yn bytholi yr hyn a ddaliant yn *bona fide* gyflawniad o'r ordinhad, ac a ydynt hwy yn ei ystyried yn ddibwys, pan, yn eu pryder, yn ei hestyn i rai na fwriadwyd mo honi erioed ? Ond dywed rhai mai y dull yn unig a ystyrir yn ddibwys. Ac onid yw y dull yn rhan o'r ordinhad ? Os gwyrwch oddiwrth y dull gwreiddiol, onid ydych yn ystyried eich bod yn gosod drwy hyny rywbeth yn lle y wir ordinhad ? Dibwys ! Pwy ydwyf fi i ddadleu yn gyndyn â'n Harglwydd gyda golwg ar bwysigrwydd ei ordinhad ? Onid yw yn ddigon pwysig trwy rinwedd ei ordeiniad Ef ? Ydyw, rhaid i bob croesddadleu haerllug ddarfod yma. A allaf gysegru fy hun i wasanaeth Crist ? a allaf ddechreu fy nhaith gysegredig, a chamu dros y gorchymyn sydd wedi ei osod ar hiniog y bywyd Cristionogol yn ngeiriau y Gwaredwr, 'Y neb a gredo ac a fedyddier ?' Onid doethineb ydyw ufuddhau i fy Arglwydd heb gwestiyno dim, fel y gallwyf, gyda chydwybod ddirwystr, ofyn am ras i ufuddhau yn mhob peth arall ? Ië, Arglwydd, cyn y caf weled dy wyneb, dysgwylir i mi wneyd llawer o'r hyn wyt wedi ei ddatguddio yn dy ewyllys, er nas gallaswn ei ddeall, ac nad oeddwn o honof fy hun yn ei ddewis ; ac yr wyf yn ufuddhau i ti yn hyn, fel y byddo i ti berffeithio ynof ufudd-dod mewn pethau uwch. Ond dymunwch ofyn, wrth fyned heibio, wrth edrych ar y mater yn hollol o safle ddynol, onid oes amcan pwysig yn ngweinyddiad ysgrythyrol yr ordinhad yn cael ei olygu gàn eglwys Crist yn gyffredinol ? Beth sydd yn fwy pwysig na'r hyn ag sydd yn gwneyd y llinell wahaniaethol rhwng y byd a'r eglwys yn fwy eglur ? Ac yn sicr, ystyrid fod yr ordinhad o

Digitized by Google

fedydd yn gwneyd hyn. Mae yn argymell ffydd bersonol yn Nghrist, ac yn pwysleisio ar natur y cyfnewidiad bywiol sydd yn dilyn ; ac edrych heibio, neu beidio prisio yn briodol y ddau beth hyn, sydd wedi arwain i'r gymysgedd alarus o fyd ac eglwys ag sydd yn bodoli y dyddiau hyn. Nid wyf yn gweled pa fodd y gellir rhyddhau yr eglwys oddiwrth y cysylltiad halogedig, ond trwy droi calonau yn llwyr at ffydd ac arferiad yr eglwys gyntefig ; ac y mae ein hunig obaith o'r fath arferiad yn bodoli yn y ffaith fod mewn un ran o'r eglwys, o'r hyn lleiaf, y parhad heb ei dori erioed. Mae llais yn y dyfroedd hyn i mi heno, ac yr wyf yn gweddio ar Dduw i gael ei glywed trwy fy holl fywyd, pryd bynag y bydd yn fy ngalw i'w wasanaethu; ac yr wyf yn dymuno am i bob Cristion yma ei glywed hefyd. 'Claddwyd ni, gan hyny, trwy fedydd i farwolaeth; fel megys ag y cyfodwyd Crist o feirw trwy ogoniant y Tad, felly y rhodiom ninau hefyd mewn newydd-deb buchedd.' Caniataed Duw iddi fod felly. Amen."

Ac yn y fan, ar ol traddodi yr anerchiad, bedyddiwyd ef gan y Doctor. Yr oedd un arall, o'r enw Mr. Cowe, o'r un athrofa dduwinyddol, i gael ei fedyddio yr un noswaith, ond fod amgylchiadau wedi ei rwystro i fod yn bresenol, ac ymddengys fod y mater yn creu cyffro yn mysg yr holl fyfyrwyr. Mae Mr. Hay yn ddyn ieuanc o alluoedd meddyliol uwchraddol, ac o dduwioldeb diamheuol. Bydded i lawer eraill ddilyn ei esiampl yn hyn o beth.

*Ffestiniog.* E. PARRY.

---

# Amrywiaethol.

## SIAN PETER, ROE WEN.

Nid oedd yn y Roe, y pryd hwnw, ond Sian Peter yn unig; ac un aelod yn ynys Dudno. Yr oedd Sian Peter yn gymeriad nodedig. Yr oedd yn un o gynfrodorion (*aborigines*) y cwmwd ; ac yn ei hagwedd a'i dull o fyw, yn dwyn nodau arbenig. Pwy fu yn foddion o'i throedigaeth hi, na pha bryd ei bedyddiwyd, ni'n hysbysir. Flynyddau cyn dyfodiad T. R. Davies i'r wlad, arferai Sian gyniwair yn agos ac yn mhell, i "fofyn pregethwyr ;" a llwyddai yn y dull hyn i ddal allan oleu gras yn y gymydogaeth. Er fod Sian Peter yn hollol dlawd, lletyai y pregethwyr ei hunan ! Y dull a fabwysiadai hi i wneuthur hyn oedd fel y canlyn : Pan lwyddai i gael cyhoeddiad pregethwr erbyn y Sul, äi allan i gardota ar ei gyfer ! Ni chelai Shan y ffaith, ac ni phetrusai arddel ei hargymeriad. Hysbysai ei chymydogion at ba achos yr oedd yn "dal ei chwd," a rhoddai enw a nodwedd y llefarwr dysgwyledig erbyn y Sabboth, a chymellai y rhoddwyr i ddod i'w wrando ; ac fel hyn yr oedd yn taenu y cyhoeddiad ar led, heblaw cywain at gynaliaeth y pregethwr Pwy a ballai i'r weinidoges dduwiolfrydig yma y bedd-argraff Ysgrythyrol, "Yr hyn a allodd hon, hi a'i gwnaeth ?"

Er fod amgylchiadau allanol yr achos trwy y wlad erbyn hyn wedi newid yn hollol, nid yw eto, ac ni bydd ond odid tra y pery y byd, uwchlaw cyfatal "ffyrlingau y gweddwon ;" o ba herwydd y mae genym achos deublyg i ddiolch i Dduw, fod chwiorydd i Sian Peter yn fyw eto. Gwir nad rhaid iddynt hwy, megys iddi hi, deithio yma a thraw, i "fofyn llefarwyr." na myned i gardota ar eu rhan wedi iddynt gyrhaedd ; eto nid yw chwiorydd yr oes hon heb eu cyfleusderau i wneyd daioni ; a diolch i Dduw, nid ydynt ychwaith heb galonau i ddal arnynt. Diau fod nifer o wragedd diamdlawd yn ardal y Roe, yn y dyddiau hyny, ond Sian Peter a orfyddai gardota eu briwsion hwy i ddiwallu rhaid cenadon Iesu. Ond nid oedd hyn, ac nid

Digitized by Google

yw, mewn un oes o'r byd, yn dianc ei sylw Ef. Gwraig weddw dlawd, mewn dinas baganaidd, yn ngwlad Sidon—nid yn "Israel"—fu yn offeryn i ddinewynu prophwyd Jehofah; ac ni adawodd Iachawdwr y byd y chwareufwrdd heb anfarwoli enw gwiwgof y wraig weddw o Sarepta. Nid yw yn anghof ganddo ychwaith lafurus gariad Sian Peter, Roe Wen, a miloedd o'i diffuant chwiorydd, y rhai o oes i oes a noddasant achos y Gwaredwr; a mawr fydd eu gwobr yn y nefoedd; ie, anfeidrol fawr fydd "gwobr eu gwaith" hwynt oll yn gweini i Grist, yn mhersonau ei "frodyr lleiaf," tra yn mwynhau llawenydd y nef yn ei wydd, ac ar draul ei ddyoddefaint.—*Allan o Gofiant y Parch. Thos. R. Davies, Glanwydden.*

---

## DYNION DAU-WYNEBOG.

Y mae hyd yn nod dynion drwg yn canmol cysondeb. Y mae lladron yn caru dynion gonest, oblegid hwy yw y rhai hawddaf i ladrata oddiarnynt. Y mae sefydlogrwydd yn rhinwedd cymeradwy iawn mewn dyn; ond am yr hwn sydd yn oernadu gyda'r bleiddiaid, ac yn brefu gyda'r defaid, ni cha air da gan neb, os na chaiff ef gan y diafol. Beth bynag, y mae cario dau wyneb dan yr un het yn gyffredin iawn. Y mae llawer yn myn'd i gysgu gyda'r ieir, ac yn cyduno â'r cadnaw. Y mae llawer yn ymddangos fel pe na thoddai ymenyn yn eu genau, ac eto gallant boeri tân, os ateba hyny eu pwrpas hwy. Darllenais hysbysiad y dydd o'r blaen am gotiau gwrthdroadwy; rhaid fod y teiliwr sydd yn eu gwerthu yn gwneyd ei ffortiwn. Y mae dala gyda'r ysgyfarnog a rhedeg gyda'r cwn hela yn y ffasiwn o hyd. Y mae cysondeb bron mor brin yn y byd ag yw mwsg (*musk*) mewn ty cwn.

Gelli goelio rhai dynion mor bell ag y gweli hwynt, ond dim yn mhellach, oblegid y mae cwmpeini newydd yn eu gwneyd hwy yn ddynion newydd. Fel dwfr, berwant neu rhewant yn ol gradd yr hinsawdd. Absenoldeb egwyddorion sydd yn peri i rai wneyd hyn; y maent o ddarbwylliad ceiliog y gwynt, ac yn troi gyda'r gwynt. Byddai cystal i ti fesur y lleuad am bâr o ddillad a gwybod beth ydynt. Credant yr hyn a dâl oreu. Y maent yn rhoi fyny bob amser yn y *Golden Fleece*. Mala eu melin unrhyw yd a ddeua iddi, os yw yr arian parod wrth law, ac ânt gyda phob gwynt—gogledd, de, dwyrain, gorllewin, gogledd-ddwyreiniol, gogledd-orllewinol, de-ddwyreiniol, gogledd-gogledd-ddwyreiniol, de-orllewinol-wrth-dde, neu unrhyw wynt arall yn y byd. Fel ffrogaod, gallant fyw ar dir neu mewn dwfr, ac nid oes gwahaniaeth pa un o'r ddau. Fel cath, disgynant bob amser ar eu traed, ac arosant yn rhywle os gwnei di rwbio ymenyn ar eu bysedd traed. Y maent yn caru eu cyfeillion yn anwyl, ond gorwedda eu cariad yn y cwpbwrdd; ac os bydd hwnw yn wag, rhed eu cariad i ffwrdd, fel llygoden, i ryw gwpbwrdd arall. Dywedant, "Dy adael di, merch anwyl i? byth, tra bydd swllt genyt." Rhyfedd fel y maent yn prysuro ymaith os deui a hwynt at rywbeth gwael a diwerth. Fel llygod, gadawant long soddedig.

> Os cilio wna dy wynfyd,
> Y rhai'n a giliant hefyd.

Y mae eu calon yn dilyn y *pudding*. Tra y berwa y crochan, eisteddant wrth y tân; pan fydd y celwrn blawd yn wag, troant eu gwyneb i gyfeiriad arall. Credant yn y ceffyl enillgar; gwisgant gôt rhywun a ddewisa roi un iddynt; y maent, fel *mackerel*, i'w prynu wrth y dwsin, ond y mae yr hwn a rydd geiniog am danynt yn gwastraffu ei arian. Elw yw eu duw, a pha un bynag ai o honot ti neu dy elyn y gwnant elw, y mae yr arian bron yr un mor felus iddynt hwy. Y mae *heads* neu *tails* yr un fath iddynt hwy cyhyd ag yr enillant. Y mae y ffordd fawr neu ystryd y cefn yr un fath iddynt hwy, os gallant fyn'd adref a'r dorth yn y fasged. Y maent yn gyfeillion i'r wydd, ond bwytant ei *giblets*. Nid oes dim gwahaniaeth fod y dwfr yn lleidiog os bydd yn troi eu holwyn hwy. Llosgent arch eu mam pe buasent yn brin o danwydd, a gwerthent

Digitized by Google

eu tai eu hunain, pe gallent wneyd ceiniog o esgyrn yr hen foneddwr. Nid ydynt byth yn colli cyfle i ofalu am y siawns oreu.

Y mae hoffder angerddol o gymdeithas dda yn gwneyd eraill yn gyfnewidiol. "Henffych well, fachgen, gwych gyfarfod," yw eu llef, bydded ddyeithr neu leidr pen ffordd. Y maent mor llawn o natur dda, fel mae yn rhaid iddynt gyduno a phawb. Cefnderoedd ydynt i Mr. Unrhywbeth. Y mae eu hymenyddiau yn mhenau dynion eraill. Pe buasent yn Rhufain, cusanent droed y Pab; ond pan gar tref, y maent yn crygu eu hunain wrth waeddi, "Dim Pabyddiaeth." Y maent yn edmygu Periglor Bray, egwyddor pa un oedd bod yn Beriglor Bray, pa un bynag ai Protestanaidd neu Babaidd oedd yr eglwys. Gwasanaethwyr amser yn unig ydynt, mewn gobaith y bydd i'r amser eu gwasanaethu hwythau. Y maent yn perthyn i'r dosbarth hwnw sydd yn cadw y melinliw, nid yn nhyllau eu botymau, ond ar gledr eu dwylaw. Rhoddwch ymenyn arnynt, a gellwch eu bwyta fel erfin. Tynwch y rhaff, ac, megys y clychau, canant fel y byddoch chwi yn dewis iddynt; cnull angladd neu gydsain priodas, dewch i'r eglwys neu ewch at y diafol. Nid oes asgwrn cefn ganddynt, gellwch eu plygu fel gwiail helyg yn ol neu yn mlaen, fel y byddoch chwi yn dewis. Fel *oysters*, gall unrhyw un eu pupro sydd yn gallu eu hagor. Melus i chwi a melus i'ch gelyn. Chwythant yn dwymn ac yn oer. Y maent yn treio bod yn Jack o'r ddwy ochr, a haeddant gael eu cicio fel pêl droed gan y ddwy ochr.

Y mae rhai yn rhagrithwyr wrth natur, yn anhyddal fel llyswod, ac yn amryliw fel caseg Yswain Smoothey. Fel dyn meddw, ni allant gerdded yn union pe treient. Y maent, fel masnachwyr yd, yn ddyhirod wrth natur. Y maent yn dirwyn i mewn ac allan, yn ol a blaen, fel un o heolydd culion Llundain. Ganwyd hwynt o rywogaeth St. Judas. Y twyll deublyg yw eu hoff chwareu, a gonestrwydd yw eu casineb mwyaf. Y maent fel mêl ar eu tafod, ond bustl yn eu calonau. Perthynant i'r rhywogaeth gymysgryw, fel ci y *gipsy*. Fel traed cath, ymddangosant fel clustogau esmwyth, ond cariant ewinedd llymion. Os nad yw eu danedd yn bwdr, y mae eu tafod felly, y mae eu calonau megys beddau dynion meirwon. Pe byddai dweyd y gwir a dweyd celwydd yr un mor enillfawr a'r llall, byddent yn naturiol yn dewis dyweyd celwydd, oblegid, fel baw i fochyn, byddai hyny yn gydnaws a'u natur. Y maent yn cynffoni, yn gwenieithio, yn capio, ac yn crafu, oblegid y maent bob amser yn eich casâu yn eu calonau, ac yn gwylio am gyfle i'ch brathu. Gochelwch y rhai hyny sydd yn dyfod o dref Twyll. Y mae Mr. Gwynebu'r dddwy-ffordd, Mr. Tafodteg, Mr. Dau-dafod, yn gymydogion, a goreu po bellaf y cedwir oddiwrthynt. Er eu bod, fel bradwyr, yn edrych un ffordd, y maent yn tynu ffordd arall; y maent mor ffugiol ag addewidion y diafol, ac mor greulon ag angau a'r bedd.—*John Ploughman's Talk.*

---

## GEMAU DWYFYDDOL.

GAN Y PARCH. THOMAS REES DAVIES.

"Ac fel colomenod i'w ffenestri." Ehediad cyflym iawn sydd gan golomen; felly y Cristion yn ei weddi.

Gwell gan y Cristion fil o weithiau ddyoddef dros Grist, nag i Grist ddyoddef drosto ef.

Mae yr efengyl fel Efa (mam pob dyn byw); nid fel y wraig hono yn Aberystwyth, a'i *dwy* fron a'i *thri* phlentyn.

"Yr wyf fi gyda chwi bob amser hyd ddiwedd y byd." Dyma y gwahaniaeth rhwng y ddaear a'r nef; yma y mae Crist yn wastadol gyda ni, yno byddwn ni yn wastadol gydag ef.

"Gwell yw enw da nag enaint gwerthfawr." Peth o'r ddaear yw enaint, ond enw da sydd beth o'r nef.

"Y plant a ddeuant yn lle y tadau." Dywed rhai mai hyn a feddylir wrth yr adgyfodiad. Nid oes diwedd ar ddychymygion dynion.

Digitized by Google

# Y CENADWR EFENGYLAIDD.

[Cystadleuol yn Eisteddfod Ross Street, Pittsburgh, Pa., Nadolig, 1882.]

Anwylaf Genadwr, ei galon i gyd
Ymdodda yn gariad at Brynwr y byd;
Yr Ysbryd trag'wyddol a drig yn ei fron,
A'i serch sy'n cyfodi yn don ar ol ton;
Dros bethau llygredig i garu'r anfarwol,
Yr uchel, y sanctaidd, y pell a'r trag'wyddol;
Mae'n newydd greadur—ei lygad yw ffydd,
A'i glyw sy'n ddwyfolach na thoriad y dydd;
I ddyfnder ei enaid mae'n teimlo ei Dduw
Yn tywallt pur fywyd anfarwol ei ryw;
A chlywa lais dwyfol yn disgyn fel gweddi,
O'r nefoedd i'w gymell i wneuthur daioni.
Edrycha o'i amgylch a chenfydd y pagan
Yn nghanol tywyllwch marwolaeth ei hunan,
Fel dall mewn cyfyngder yn chwilio am fywyd,
Neu rywbeth i lanw angenion ei ysbryd;
Addola yr huan, y lloer neu y sêr,
Yr afon neu'r mynydd—pob peth ond ei Ner;
Mae hwnw'n ymguddio, nid ydyw efe
Yn gwybod am dano. Mae Llywydd y ne',
A Chrewr y bydoedd, a Phrynwr y byd,
Yn bethau dyeithriol i'r pagan i gyd.
Ond er ei waredu, anturia'r Cenadwr
Ei fywyd i'w ddysgu a'i ddwyn yn addolwr
Y Duw anweledig a'r Ceidwad bendigaid,
Fu farw yn aberth er cadw ei enaid.

Fel angel nef yn cychwyn ar neges dros ei Dduw,
Ymfrysio wna'r Cenadwr da o'i wlad i'r anial gwyw;
Marchoga donau'r moroedd yn ei wroldeb derch,
A nerth ei ffydd a'i galon sydd i'w gwaelod oll yn serch—
Yn serch fel serch tragywyddol y Mab pan ddaeth i lawr,
I wisgo cnawd a derbyn gwawd, yn "ngwlad y cystudd mawr."
Dych'mygaf glywed engyl nef o'i gylch yn gwau,
Gan sibrwd serch ei Brynwr llon i'w galon rhag llesgau.
Wrth erglyw twrf y tonau yn cwynfan ar eu hynt,
A'u seiniau prudd y nos a'r dydd yn trengu yn y gwynt,
Meddylia ef am weddi oddiwrth y pagan blin,
Sydd fel y don yn marw bron cyn disgyn dros ei fin;
Yr hyn gynhyrfa'i ysbryd, a'i ffydd i fyn'd yn mlaen;
I ddanos Duw i'r anwar gwyw, yn lle y "pren a'r maen,"
A'i ddysgu i weddio, nes tynu'r nefoedd wen
I wlawio'i blith a'i sanctaidd wlith yn fendith ar ei ben.
Ymwthia megys seraph i gwr y dywell wlad,
Lle mae y bryn yn nghyd a'r glyn yn gruddfan mewn pruddhad,
Am weled dydd datguddiad—dadguddiad meibion Duw,
Yn toi y llawr â'i ddwyfol wawr yn rhyddid nefol gwiw;
Ac yno y dechreua bregethu "Iawn y groes,"
A'r Iesu cun yn Geidwad dyn, trwy rin ei farwol loes.

Digitized by Google

Fel Dagon gynt yn syrthio o flaen yr arch i lawr,
Neu'r nos yn ffoi yn ddiymdroi o flaen y wridog wawr,
Y syrthia'u duwiau 'n ddeilchion o flaen hoff blentyn nef,
A'r gwyll drachefn yn troi ei gefn fel llwfrddyn arno ef.
Adseinio enw Iesu o'i enau wna y bryn,
A thrwy y gwynt ar nefol hynt yr adsain gipia'r glyn;
Y coed a gurant ddwylaw, a'r pagan ger ei fron,
A dry yn sant wrth daro tant y fyw efengyl lon.
Gwareiddiad ddilyna ei gamrau sancteiddiol,
A rhinwedd flodeua o'i gylch yn drag'wyddol;
O'i flaen mae y ddaear yn ddiffaeth anialwch,
Ond llafur y gwron a'i try yn brydferthwch.

Nid yw enw yr awdwr wrth yr ysgrif hon.

## TREMIO HEB DRAMWY.

Mawr yw y crïo a'r crafu geir yn ein byd bach ni am gyfoeth. "Yr hwn a ychwanega olud a ychwanega ofid hefyd." "Rhoddwch eich serch ar y pethau sydd uchod, nid ar y pethau sydd ar y ddaear." Yr hyn a alwai Shakspeare yn *trash*, a gyfrifai Paul yn dom ac yn golled. Ni ddylem roddi ein serch ar gyfoeth y byd hwn, na ddylem, yn wir, frodyr bach. Nid yw cyfoeth yr hyn y mae yn debyg iddo. Nid oes mewn cyfoeth yr hyn yr edrychwn am dano. Nid yw yn sefydlog—symudol yw; gall wneyd iddo ei hun adenydd, ac ehedeg ymaith fel yr eryr tua'r cymylau, neu ryw le arall. Un *crand* i'w ryfeddu ydoedd cicaion Jonah, un noswaith yn ddigon i'w wywo yn hollol. Gwelwch y cwpan hardd yn y fan draw a'r gwin yn llifo dros ei ymylau, y fory bydd yn cael ei lanw â dwfr. Pan y byddo dyn yn nghanol llwyddiant, a haul ei hapusrwydd ar ei uchelfan, ar unwaith daw cwmwl i'w orchuddio, fel na bydd dim ond duwch a gofid yn amgylchynol. Teimla y dyn yn gryf ac yn gadarn—braidd na wna herio pawb a phobpeth o'i gwmpas; ond Och! yn ddystaw bach daw Mr. *Ague* ac a'i sigla ef. Gwelwch ddyn yn cael ei anrhydeddu yn fawr, ar unwaith croga cwmwl du uwch ei ben, a'r dyn, druan, bron o'r golwg. Beth yw anrhydedd y byd hwn? Pwff o wynt, dyna i gyd. Cyfoeth mawr gan y dyn; ysbeiliwr yn ei amddifadu o'r cyfan. Gwelwch ddyn yn nghanol tawelwch a heddwch yn barod i ddweyd, fel Job, "Byddaf farw yn fy nyth," ar unwaith chwedl yn llanw ei nyth â'r drain mwyaf pigog; y dyn yn fyw gan fywyd iach, yn nghanol hyn yn angau.

Bu y dyfrglwyf ar y nefoedd dro yn ol. Beth fu y canlyniad? Boddi y byd. Bydd haint ar y nefoedd yn mhen tipyn. Beth fydd y canlyniad? Y byd yn myn'd ar dân.

"Môn a'i thirionwch
Gan wres fflam yn eirias fflwch;
A'i thorog wythi arian,
A'i phlwm a'i dur yn fflam dan."

Mae y byd yn fawr iawn yn ein gobeithion, ond rhyfedd mor fychan yw yn ein gafaelion. Fel afalau Sodom, yn brydferth iawn i edrych arnynt ond i afaelyd ynddynt, dim ond siom. Yr wyf bron a dyfod i'r farn nad yw yr hen ddaear yma ddim amgen i dwmpath ar yr hwn y bydd cyfoethogion yn canu fel ceiliogod. Na roddwch eich serch ar y pethau sydd isod; rhoddwch eich serch faint a fynoch ar y pethau sydd uchod.

CHRISTOPHER BACH.

## CYFARFOD A'N CYDWLADWYR.

Ymlawenha calon y teithiwr pan ymgyfarfydda a'i gydwladwyr mewn gwlad estronol. Yr ydym yn gwybod hyn trwy brofiad ein hunain. Melus ydyw peroriaeth yr iaith ein magwyd ynddi,

Digitized by Google

pan yn nghanol baldordd ieithoedd eraill. Yr ydym yn teimlo ein calonau yn cynesu pan yn canfod dullwisg y gwir Frython. Yr un modd y mae teimlad y gwir Gristion pan ddygwydd gyfarfod a chredadyn yn Nghrist, ac wrth ei lafur a'i ymarweddiad, y mae yn deall ei fod yn ddinesydd nefol. Y mae yn y man yn ei ddarganfod fel un tebyg iddo ef ei hun—yn ddyeithr yn y tir. Y mae yn ei chwilio allan, ac yn ceisio ei gymdeithas, ac yn y gymdeithas hono y mae yn cael dyddanwch yn ei unigrwydd yn mysg y dyeithriaid o'i amgylch. Ychydig a wyr y rhai hyny sydd yn trigo mewn eglwysi twymgalon, wedi cael eu cylchynu â chymdeithasau Cristionogol, am werth un cyfaill duwiol i'r rhai hyny a drigant yn mysg bydolion I rai felly, y mae dyn Duw yn fwy gwerthfawr nag aur Ophir. Meddyliwn am foment, pe byddem wedi ein collfarnu i drigo mewn ffau llewod, y fath gynorthwy i ni fyddai cael Daniel yno, yn eistedd yn nghanol creaduriaid mor greulon! Yr un dyddanwch y mae un cydymaith duwiol yn abl i'w gynyrchu i enaid unig, sydd wedi ei orfodi i ymdeithio yn mhlith y rhai hyny ni adnabuant Dduw. Arglwydd, gwna fi yn un o'r rhai y mae dy saint yn llawenhau wrth eu cyfarfod ; ac ar y llaw arall, pan yn dihoeni o herwydd fy alltudiaeth o'm cartref nefol, caniata i mi glywed llais un o'm cydwladwyr, fel y caffwyf lawenydd mawr.—*Cyf. o Waith Mr. Spurgeon, gan John L. Jones, Plymouth, Pa.*

## WM. McMASTER, TORONTO, CANADA.

Un o ddiaconiaid eglwys Jarvis Street, Toronto, Canada, yw William McMaster. Y mae yn werth llawer iawn o arian. Cyfranodd ar unwaith haner can' mil o ddoleri tuag at adeiladu capel Jarvis Street. Rhodd ei wraig i'r eglwys yw yr organ, yr hon a gostiodd dair mil ar ddeg o ddoleri. Ganwyd ef yn Tyrone, Iwerddon, yn y flwyddyn 1811. Daeth i Canada yn llanc tlawd pan yn ddwy ar hugain oed. Gwnaeth ei gartref yn Toronto haner can' mlynedd yn ol. Dim ond dau dy priddfeini oedd yn y dref y pryd hwnw, ac nid oedd oedd ei thrigolion yn llawn saith mil. Cyflogwyd McMaster yn glerc mewn sefydliad cyfanwerthol, ac yn araf gweithiodd ei ffordd i'r lan nes dyfod yn bartner yn y sefydliad. Wedi hyny agorodd dy cyfanwerthol ei hun, a bu yn hynod o lwyddianus yn ei anturiaeth. Y mae ei enw heddyw yn air teuluaidd trwy yr holl Drefedigaeth fel masnachwr a bancwr. Y mae wedi bod yn llywydd y Canadian Bank of Commerce er's mwy nag ugain mlynedd, ac y mae llwyddiant rhyfeddol y sefydliad hwn i'w briodoli iddo ef yn benaf. Rhyddfrydwr ydyw mewn gwladyddiaeth. Yn 1862 etholwyd ef yn aelod o Dy Uchaf Deddfwrfa Canada. Pan unwyd holl Drefedigaethau America Brydeinig, yn 1865, dewiswyd William McMaster yn un o Seneddwyr y *Dominion*, ac y mae wedi gwasanaethu yn y swydd hono hyd heddyw.

Cysegrodd ei galon i Iesu Grist pan yn ieuanc, ac ymunodd ag eglwys y Bedyddwyr yn Armagh, yn yr Iwerddon. Y mae yn dwr nerthol i'r Bedyddwyr yn Canada heddyw. Drwy ei gymorth ef y codwyd yr ysgol lenyddol yn Woodstock, ac efe yn benaf fu yn offerynol yn sefydliad Cymdeithas yr Hen Weinidogion yn Canada. Y mae wedi bod yn llywydd y gymdeithas hon o'i chychwyniad. Ond prif waith ei fywyd yw cychwyn a gwaddoli y Coleg Duwinyddol yn Toronto. Costiodd yr adeilad dros gan' mil o ddoleri, a thalodd McMaster am dano bob cent; yna gwaddolodd y sefydliad a chant a haner o filoedd o ddoleri. Heblaw hyn, cyfranodd yn ddiweddar haner can' mil o ddoleri tuag at osod Cymdeithas Gyhoeddiadol y Bedyddwyr yn Canada ar ei thraed.

Y mae ganddo ddau balas yn Toronto: un yn nghanol y ddinas, yn yr hwn y mae yn byw yn y gauaf, ac un allan ychydig yn y wlad, ar fan uchel a phrydferth. Yn y palas hwn y treulia yr haf.

Digitized by Google

## BRASLUN PREGETH.

A ganlyn sydd fraslun pregeth gan y diweddar Mathetes, fel yr ysgrifenasid hi ganddo ar gyfer y pwlpud, cyflwynedig gan y Parch. D. Powell, o Gymru, sef mab i hen ddiacon enwog yn eglwys Sirhowy yn amser Cynddelw, a ffrindiau mawr iddo. Mae yn frawd i Mr. Thomas Powell, *post-office* Coalburgh, O., a'r hwn hefyd a roddodd i ni y braslun. Gyda y pleser mwyaf yr ydym yn cyhoeddi ei nodyn a'r braslun yn y WAWR, gan gredu y byddant yn hynod dderbyniol gan ein darllenwyr:

*Mr. Gol.*—Meddyliais y buasai yn dda genych, a chan ddarllenwyr y WAWR, weled braslinelliad o un o bregethau yr enwog Mathetes yn y diwyg yr arferai ysgrifenu ei fraslinellau. Credwyf yr adgofia y bregeth hon ddull neillduol Mathetes o bregethu a meddwl i bawb a'i clywsant. Clywais y bregeth hon ganddo yn Nghymanfa Cendl, rai blynyddau yn ol, a chofiwyf un apeliad nodweddiadol nad yw yn y *sketch* o fy mlaen, mewn cysylltiad a bod cefn y pechadur at Dduw. "Bechaduriaid," meddai, "nid yw eich gwynebau yn rhy dda i Dduw, chwaithach eich cefnau." Os derbyniol genych, fe allai y cewch ychwaneg o'i fraslinellau eto. Mae digon o honynt i'w cael, a thrueni fyddai gadael iddynt bydru yn llwch angof. Cofion cynesaf, gyda dymuniadau am lwyddiant y WAWR. D. POWELL.

*Painscastle, Sir Faesyfed.*

ESA. 45:21–23 (ond yn benaf yr 22). "Trowch eich wynebau," &c.

Y testyn a'i gysylltiad i'w hegluro—Cyrus a Babilon. *Explain.* Y testyn, &c., yn cyfeirio at amser Crist. Llwyddiant crefydd yn sicr: "Mai i mi y plyga pob glin," &c. *Explain.*

I. *Y testyn yn golygu fod dyn a'i gefn at Dduw.* "Trowch."

1. Hwn yn gyflwr *cyffredinol*—"holl gyrau y ddaear." *Explain.* "Ymgrasoch oll," &c.

2. Gwahanol i'r modd yr oeddynt gynt—yn wreiddiol. Eisiau troi. Dyn a chythraul yw yr unig eithriadau. *Explain.* Gwyneb eraill ar y Goruchaf. *Explain.*

3. Y fath sefyllfa yn *sarhad* ar Dduw. Troi cefn arno. Dyn yn troi ei gefn at arall mewn ymddyddan. Rhai gwrandawr mewn addoldai. *Explain.*

4. Dengys hyn nad yw y fath ddynion yn addas i roi barn ar Dduw a'i waith. Eu cefnau ato; nid eu gwynebau. Nid ydynt yn ei *weled.*

II. *Fod Duw yn anfoddlon i'r fath ymddygiad, ac yn awyddus am newidiad.* "Trowch eich wynebau," &c. Troi cyflawn, ac nid rhanol.

1. Mae hyn yn dangos ei fod yn *sylwi* arnynt. Sylwi ar adar y tô a gwallt ein pen. Barn y Stoiciaid am Dduw a deddfau natur yn anghywir. *Explain.*

2. Y mae yn cyhoeddi *barn* ar y fath ymddygiad. "Trowch." Traethu barn ffafriol ar ei waith ei hun—"da iawn ydoedd." *Explain.* Dafydd wrth ei fodd fel *brenin.* *Explain.*

3. Y mae yn dangos ei fod yn teimlo *dyddordeb* mawr yn eu *hachos.* Swn dyddordeb yn y testyn a'r cysylltiad. *Explain.*

III. *Nad yw dyn heb rywbeth i'w wneyd mewn trefn i roddi iawn gyfeiriad i'w fodolaeth.* "Trowch." *Explain.*

1. Gorchymyn Duw yn rhagdybied gallu. Gwahanol i orchymyn Pharaoh. *Explain.*

2 Y gorchymyn dwyfol mewn cydweddiad a'n *hymwybodolrwydd personol.* Yr ydym yn ymwybodol o fodolaeth gallu. Cydgordiad rhwng dwyfoliaeth ac ymwybyddiaeth. *Explain.*

3. Meddiant o allu yn un o elfenau cyfrifoldeb, ac esgeulusdod o hono yn cyfansoddi euogrwydd, ac yn cyfiawnhau damnedigaeth. *Expatiate.*

IV. *Fod yr amcan mewn golwg gan Dduw wrth orchymyn, a chan ddyn wrth ufuddhau, yn annhraethol bwysig.* "Fel y'ch *achuber.*"

1. *Gwreiddioldeb* yr amcan—achub. Duw yn unig *feddyliodd* am dano. "Felly y carodd Duw y byd," &c.

2. Amcan y mae *eisiau* ei sylweddoli ydyw. *Pawb* mewn angen. *Explain.*

Digitized by Google

3. Sylweddoliad pob amcan arall yn ddiwerth i ddyn (fel creadur anfarwol) hebddo. Cyfoeth, dysgeidiaeth, &c., yn werthfawr; ond byddant yn ddiwerth yn fuan. *Explain.*

4. Awgrymir nad yw yn bosibl ei gyrhaedd *heb dderbyn* yr amod, sef *troi,* "fel y'ch achuber." Dyma *drefn* Duw.

5. Y mae sicrwydd y cyrhaeddir ef trwy droi. Tri pheth yma yn profi hyny: *a. Tystiolaeth* y Goruchaf—"fel y'ch achuber." *b. Cymeriad* Duw—"yn Dduw cyfiawn ac achubydd." *c. Llw* Duw—"i mi fy hun y tyngais." *Explain.* Achub yn *bwysig* iawn—Duw yn *tystiolaethu,* yn *egluro* ei *gymeriad,* ac yn *tyngu,* er mwyn ei gyrhaedd. *Expatiate.*

---

# Pethau yn yr Eglwysi.

---

## EGLWYSI GWEIGION A PHREGETHWYR CYNORTHWYOL.

---

Mae eisiau i'r eglwysi agor eu llygaid i edrych ar bethau fel y maent yn wirioneddol, i'r dyben i wneyd y defnydd goreu o'r cyfryngau a'r cyfleusderau o fewn eu cyrhaedd.

### EGLWYSI GWEIGION.

Mae yr eglwys heb weinidog am fod y gweinidog wedi myned ymaith, a hithau heb gyfarfod a pherson wrth ei bodd ar ei ol i gymeryd ei gofal; neu y mae yn rhy wan i gynal gweinidog; neu y mae ymbleidio yn yr eglwys.

Dyledswydd eglwys ar ol colli ei gweinidog, gan nad beth fu yr achos neu yr amgylchiadau achlysurol o hyn, ydyw ymryddhau o ran teimlad mor fuan ag y byddo yn bosibl oddiwrth y gweinidog ymadawedig. Os oedd un blaid dros y gweinidog, a phlaid arall yn ei erbyn, wedi ei ymadawiad, gwell i'r blaid oedd dros y gweinidog ollwng eu gafael yn hollol o hono, a gwneyd ymdrech, yn nerth gras a gweddi, i annghofio yr holl amgylchiadau. Y dyben mewn golwg yw hyn: Dod a theimlad cariadus a heddychol yn ol i'r eglwys. Ymuno i gario y gwaith yn mlaen yn llwyddianus. Cael yr eglwys i lwyddo, gan nad beth a ddaw o bersonau unigol. Fe ofala Duw am ei weision. Cael undeb a chydweithrediad i gynal pregethiad o'r efengyl fawr yn eu plith yn y dyfodol, fel yn y gorphenol—cael y *genadwri,* er i un *cenad* orfod ymadael. Dylem fod yn ddigon hunanymwadol a gostyngedig i roi i fyny ein *cyfeillion mynwesol* er mwyn heddwch a llwyddiant eglwys Iesu Grist. Ni wna glynu wrth y gweinidog ymadawedig, a gwrthod cydweithio a'r eglwys i gael pregethwr arall, un lles i'r gweinidog ymadawedig ei hunan; ond gwna niwed mawr i'r eglwys. Nid yw *spite* yn beth *Cristionogol.* Nid yw yn efengyl Crist; nid yw yn ffrwyth yr Ysbryd Glan. Ac nid yw gwrthod cydweithio yn yr eglwys, am na chawsom *ein dyn ein hunain,* neu fod ein *dyn ni* wedi gorfod myned ymaith; neu am fod y blaid arall yn cefnogi dyn neillduol, yn ddim amgen na *spite.* Dyledswydd y Cristion bob amser ydyw cyddynu gyda'r eglwys, os bydd yr eglwys yn dewis dyn o gymeriad da, Cristionogol. Nid oes wahaniaeth pa blaid sydd yn ei ddwyn ger bron, os ydyw yn ddyn da, ac yn weinidog teilwng, a'r eglwys am dano, dylai pawb syrthio i fewn â'r dewisiad, er y dichon nad oes teimladau rhy dda rhyngddo ef a'r gweinidog ymadawedig. Mae gormod o gnawdolrwydd yn llywodraethu llawer o aelodau eglwysig yn eu cysylltiad â dewis a chefnogi gweinidogion. A dyma un achos fod cynifer o eglwysi yn aros mor hir cyn cael gweinidog newydd ar ol i'r hen ymadael. Eglwysi anwyl, goddefwch air y cyngor. Pa wahaniaeth pwy yw y dyn, na phwy sydd yn ei godi i sylw, os gwyddoch ei fod yn ddyn da, ac yn meddu cymwysderau gweinidogaethol. Gadewch i bleidyddiaeth gnawdol ddiflanu, a chymerwch afael unfrydol yn y gwr. Dangoswch eich hunain yn Gristionogion. Gwnewch hyn yn *brydlon,* cyn y bydd i'r eglwys wanychu i'r fath raddau fel y bydd yn analluog i gynal gweinidog. Gwnewch eich dyledswydd mor fuan ag y byddo modd. Os telir

Digitized by Google

sylw i hyn, bydd llai o eglwysi heb weinidogion yn ein plith.

PA FODD I GAEL GWEINIDOG.

Yn gyntaf, bydded i bob aelod fwrw golwg dros gylch ei adnabyddiaeth, i gael gweled pwy a pha nifer o weinidogion y mae ef yn sicr yn ei feddwl ei hun sydd yn ateb i'r eglwys hon, o ran cymeriad a gallu. Yn nesaf, ceisied gael allan pwy o'r rhai hyn sydd yn symudol, a phwy o honynt sydd yn debyg o foddloni ar y cyflog a all yr eglwys hon dalu. Wedi gwneyd hyn, hysbyser y ffeithiau i ddiaconiaid yr eglwys, gan alw eu sylw atynt; yna ymgynghored y swyddogion a'u gilydd, ac a'r personau a'u hysbysant o'r ffeithiau hyn; yna bydded i'r eglwys anfon am y personau hyn i ddod i'w gwasanaethu am Sabboth neu ddau, os byddant yn ddyeithriaid, ac ar ol rhoi prawf arnynt oll, cymerer pleidlais gyffredinol arnynt, a'r hwn a gaffo y nifer fwyaf o bleidleisiau, gosoder ef a'r un nesaf ato ef i fyny yr ail waith, a'r hwn a gaiff y nifer luosocaf o bleidleisiau y pryd hwnw, boed i'r eglwys ymuno i roi galwad unfrydol iddo trwy bleidlais. Trwy wneyd fel hyn, sicrheir barn yr eglwys, rhoddir mantais deg i bob un bleidio ei gyfaill, ac atelir y ffolineb o ruthro i roi galwad i berson nad oes gobaith ei gael.

Mae llawer pregethwr yn ceisio tynu cynifer o eglwysi ag y medront i roi galwadau iddynt er mwyn enw mawr, heb erioed feddwl am eu hateb yn gadarnhaol. Yn sicr, nid yw hyn yn Gristionogol. Ni ddylai neb geisio twyllo eglwysi i roi galwad iddo, heb ei fod yn bwriadu, os yn bosibl, derbyn yr alwad ar unwaith. Mae yn gam a'r eglwysi eu siomi fel hyn.

Hefyd, arbedai y cynllun hwn drafferth lawer i'r eglwysi. Byddai eu *supplies* yn ymgeiswyr cyfaddas i fugeiliaeth yr eglwysi, ac yn foddlon ar gyflog yr eglwys, ac yn foddlon i dderbyn galwad oddiwrth yr eglwys, os buasent yn hoffi eu gilydd; a byddai perffaith chwareu teg i'r oll—pob un yn cael mantais i bleidleisio dros ei ddyn ei hun, y mwyafrif yn enill, a'r ymgeisydd llwyddianus yn cael galwad unfrydol. Byddai yn dda i'r eglwysi ymgymeryd a'r gwaith yn union, heb golli dim amser. I ba beth yr arosir fis, dau, a blwyddyn, wedi colli un gweinidog, cyn ceisio un arall? Y cam cyntaf yw y cam goreu. Byddai yn dda fod un yn barod erbyn fod y llall yn ymadael. Os yw gweinidog yn dda, mae yn dda o hyd. Paham yr oedir? Dyma ddirgelwch llwyddiant y M. E. Seisonig yn y wlad hon—maent yn gofalu fod gweinidogaeth a bugeiliaeth gyson gan yr eglwysi. Dylai pob eglwys ymdrechu cael gweinidog mor fuan ag y byddo modd.

PREGETHWYR CYNORTHWYOL.

Mae yn dda fod pregethwyr cynorthwyol, a chan fod yr eglwysi wedi eu codi, ac yn eu cofrestru yn ystadegau y Gymanfa, dylid gwneyd defnydd o honynt, a rhoi gwaith iddynt. Dylai yr eglwysi sydd heb weinidogion alw am wasanaeth y pregethwyr rheolaidd agosaf atynt, hyd nes y delont yn alluog i gael gweinidogaeth sefydlog. Os ydyw y brodyr hyn yn werth eu cofnodi yn bregethwyr, y maent yn werth i bregethu hefyd. Gwir nas gellir dysgwyl iddynt bregethu cystal a'r brodyr nad ydynt yn gwneyd dim arall ond pregethu a gweinidogaethu; ond er hyny, gall llawer o honynt draethu yn dda iawn am Iesu Grist, a dylent gael eu galw i wneyd eu goreu yn yr eglwysi hyny sydd yn amddifad o weinidogaeth gyson. Nid da bod yn rhy hunanol, ac nid buddiol ymddiried gormod ar ddoniau mawr. Cofier am y cyrn hyrddod, y clai a'r poeryn, &c. Nid yw yn Gristionogol mewn dynion "ddiystyru dydd y pethau bychain;" ac yn wir, nid "doeth i iachawdwriaeth" yw i eglwysi ystyried eu bod yn rhy fawr, yn rhy bwysig, ac yn rhy wybodus i wrando ar bregethwr cynorthwyol ambell i Sabboth. A dylai fod cywilydd ar eglwysi gweiniaid gadw cyfarfodydd gweddio bob Sabboth, a'r un personau yn gweddio bob Sabboth, ac weithiau ddwy waith y Sabboth, yn y gwasanaeth cyhoeddus, tra y gallent gael pregethwyr cynorthwyol i bregethu iddynt yn

Digitized by Google

fynych. Eglwysi, edrychwch yn nes adref, a boddlonwch i wneyd defnydd o ddoniau llai, hyd nes y deloch yn alluog i gael doniau mwy.

TALU PREGETHWYR CYNORTHWYOL.

Dylid eu talu fel ag i'w digolledu. Talu eu traul, am golled gwaith, ac ychydig i gael ambell lyfr. Pe yr ymddygid yn ddoeth ac ysgrythyrol, gellid cael pregethu yn lled gyson mewn eglwysi gweiniaid, a gellid sefydlu gweinidogion yn yr eglwysi gyda llawer mwy o foddlonrwydd nag a wneir yn fynych yn awr. Ati hi, frodyr.

DIDYMUS.

---

# Adran yr Adroddwr.

---

## AMSER.

---

Amser a ehed—ehed,
E a ehed yn gynt
Na thon y môr, er cynted rhed
Yn wyllt o flaen y gwynt.

Amser a ehed—ehed
Uwch llong pan ar ei thaith,
Pan yn gyflymaf hi a rêd
Dros donau'r eigion llaith.

Amser a ehed—ehed
Yn gynt na'r eryr cryf,
Pan f'o a'i esgyll braidd ar led,
Yn disgyn ar ei bryf.

Amser a ehed—yn fyr,
Na'r fellten mae yn gynt,
Pan o gymylau'r dwyrain tyr
I'w gorllewinawl hynt.

Cyflymach Amser nas gall iaith
Adrodd gyflymed yw;
Ystyr, gan hyny, ddyn, dy waith,
A'r modd y dylit fyw.

—*Ioan Tegid.*

---

## COLLI AC ENILL MEWN CYSTADLEUAETH.

---

Mae y bachgen yn penderfynu cyfansoddi ar ryw bwnc cystadleuol. Cyll ei gwsg am nosweithiau hirion, a thrwy lafur diflino y mae yn gorphen ei orchestwaith. Y mae yn myned a'r bryddest i dy John Morgan, y crydd, ac yn ei darllen; ac wedi gorphen, gofyna, "Wel, John Morgan, beth ydych chwi yn feddwl o'r bryddest?"

"Campus!" ebe John Morgan, "campus!"

"A ydych chwi yn meddwl yr enillaf y wobr?"

"O, nid oes dim dadl am hyny."

"Ac yr ydych yn meddwl mewn difrif mai myfi a enilla?"

"Nid oes genyf yr un ddadl ar y pwnc, *os cewch gyfiawnder,*" meddai John Morgan.

Mae y bachgen wedi hyny yn myned a'r bryddest i'w nain, a gofyna,

"Fy nain, beth ydych chwi yn ei feddwl o honi?"

"O! campus," meddai hithau, "campus."

"A ydych chwi yn meddwl, fy nain, yr enillaf y wobr?"

"Yn ddiddadl gwnewch," ebe hi.

"Ac yr ydych yn credu, fy nain, mai myfi a enilla?"

"Nid oes dim dadl ar y pwnc," ebe y nain, "*os y cei chwareu teg.*"

Mae y bachgen erbyn hyn yn meddwl yn sicr mai efe a enilla y gamp. Enfyn ei gyfansoddiad i'r gystadleuaeth, ac wedi hir ddyddiau a blin nosweithiau o ddysgwyliad, dacw ddydd yr Eisteddfod wedi dyfod—y beirniad yn darllen y feirniadaeth—y carcharion yn cael eu gollwng yn rhyddion—ac, Och! yr anffawd, mae y bachgen yn colli! Un arall sydd yn cael ei wobrwyo!! Yn awr am frwydr. Mae y bachgen yn tyngu *ei fod wedi cael cam.* "Onid oedd John Morgan, y crydd, a fy nain, yn dweyd y byddwn yn sicr o enill, *os y cawn gyfiawnder?*" Yrwan am ysgrifenu i'r newyddiaduron cenhiog; fe'u rhostiaf fi nhw!" Rhai fel yna yn aml sydd yn gwneyd yr helyntion ar ol yr Eisteddfodau. Ond weithiau, cofier, y mae yn gwneyd mwy o ddrwg na cholli Mae enill haner coron mewn cyfarfod cystadleuol, wedi gwirioni llawer bachgen ieuanc. Mae yn anhawdd siarad ag ef; y mae uwchlaw myned i'r ysgol Sab-

Digitized by Google

bothol; gwell ganddo fyned gyda rhyw-un i weled "gogoniant anian." Y mae yn eistedd dan bregeth fel *Doctor*, ac nid fel *pechadur*, a'r cyfan wedi ei achosi drwy enill haner coron mewn Eisteddfod !

## RHODDI GORMOD AM Y CHWIBAN.

Pan oeddwn yn blentyn oddeutu 7 mlwydd oed, darfu i fy mherthynasau un dydd gwyl lenwi fy llogellau â phrês. Aethym yn uniongyrchol i fasnachdy lle y gwerthid teganau plant, a chan i mi gael fy mawr foddio gan swn chwiban a ddygwyddodd fod yn llaw rhyw fachgen a gyfarfyddais ar y ffordd, cynygiais fy holl brês yn ddibetrus am un gyffelyb ; yna dychwelais adref, ac aethym dros yr holl dy dan chwibanu, yn fawr-foddiedig gyda fy chwiban, ond gan aflonyddu yr holl deulu. Pan ddeallodd fy mrodyr, a'm chwiorydd, a'm ceraint, pa fath fargen a wneuthum, dywedent wrthyf fy mod wedi rhoddi bedair gwaith gymaint am dani ag a dalai. Hyn a barodd i mi feddwl gynifer o bethau da a allaswn brynu gydâ'r gweddill o'r arian, a hwythau a chwerthasant gymaint ar fy mhen am fy ffolineb nes yr wylais gan ofid, a'r myfyrdod a roddodd i mi fwy o boen nag a roddodd y chwiban o bleser. Bu hyn, er hyny, yn fuddiol i mi wedi hyn, o herwydd yr argraff a wnaeth ar fy meddwl, fel, yn aml pan demtid fi i brynu rhywbeth diangenrhaid. y dywedwn wrthyf fy hun, Na rodda ormod am dy chwiban, ac felly arbedwn fy arian.

Fel y tyfais i fyny ac y dechreuais gymysgu gyda'r byd, a sylwi ar weithredoedd dynion, meddyliwn i mi weled llawer, ie, llawer iawn, yn talu yn rhy ddrud am y chwiban.

Pan y gwelwn rywun yn rhy awyddus am ffafr breninol, gan aberthu ei amser, ei dawelwch meddwl, ei ryddid, ei rinwedd, ac fe allai ei gyfeillion, i'w enill, dywedwn wrthyf fy hun, Y mae y dyn hwn yn talu yn rhy ddrud am ei chwiban.

Pan welwn un arall yn llawn poblogrwydd, yn wastad yn ymbrysuro i drin materion gwladwriaethol, gan esgeuluso ei orchwylion ei hun, a thrwy hyny eu handwyo, Yn wir y mae efe yn talu (meddwn i) yn rhy ddrud am ei chwiban.

Pe gwelwn gybydd yn rhoddi i fyny bob math o gysur bywioliaeth, holl hyfrydwch gwneuthur lles i eraill, a holl barch ei gyd-ddinasyddion a mwynderau cyfeillach ddyngarol, er mwyn pentyru cyfoeth. Truan wr (dywedwn), yr wyt yn talu llawer gormod am dy chwiban.

Pan welwn ddyn yn dilyn ei felus-chwant, gan esgeuluso pob cyfle i eangu ei feddwl, neu i ychwanegu ei gynysgaeth, yn unig er mwyn boddio ei deimladau cnawdol, dywedwn, Ddyn cyfeiliornus, yr wyt yn parotoi it' dy hunan boen yn lle pleser ; yr wyt yn rhoddi gormod am dy chwiban.

Pan welwyf ferch ieuanc brydferth, hynaws, a thyner, yn ymbriodi â rhyw anghenfil o wr sarug a drwg-anwydus, Ow ! gresyn (meddwn i) ei bod wedi talu cymaint am ei chwiban.

Mewn gair, tybiwn fod y rhan fwyaf o drueni dynolryw yn cael ei ddwyn arnynt o herwydd y tybiau cyfeiliornus sydd gan ddynion am werth pethau, ac am eu bod yn rhoddi gormod am eu chwibanau.—*Benjamin Franklin.*

## Arf-dy y Cristion.

IAWN CRIST.—Yr hwn a garodd y gynulleidfa yr oedd yn ben iddi, ac a roddes ei hun drosti (Eph. 5 : 25—27). Ni oddef yr Ysgrythyrau i ddatod y cysylltiad sydd rhwng Iawn Crist a'r cariad tragywyddol, yr hwn yw ei ffynonell ; nag âg iachawdwriaeth dragywyddol yr holl gynulleidfa y rhoddes ei hun yn Iawn drosti. Ni chyll yr Iawn ei afael rhinweddol yn y gynulleidfa y rhoddes ei hun drosti, hyd oni wneir hi yn gwbl iach o bob clefyd, ac yn lân oddiwrth bob brycheuyn, na dim o'r cyfryw. Cliria ymaith y brychau ac arwyddion henaint o'i hwyneb, fel

na ellir nid yn unig eu gweled hwy eu hunain, ond dim ôl y lle y buont. Wrth ddal llian y tynwyd brychau o hono o flaen yr haul; gellir canfod lle y buont, ond cliria yr olchfa ddwfr yr holl waelod—o'r edafedd a'r wê i gyd. Ni allant sefyll o flaen yr Iawn a'r Ysbryd Glan, mwy na'r hen wahanglwyf o flaen y gwaed a bys yr archoffeiriad gynt.—*Christmas Evans.*

ETHOLEDIGAETH GRAS.—Yr hwn a gredo yn Nghrist sydd wedi ei ethol. Y rhai a etholwyd sydd wedi eu hethol i sancteiddrwydd a ffydd. *Ffrwyth* ethol edigaeth yw ffydd, ac nid *achos.* Mae yr holl achos yn *Nuw.* Os deui di at Grist yn awr, bydd hyny yn brawf dy fod wedi dy garu er cyn seiliad y byd, a bod Duw wedi dy ethol di.—*C. H. Spurgeon.*

GWEITHREDOEDD DA.—Nis gall neb ond sydd yn *credu* wneyd dim sydd yn wirioneddol dda yn ngolwg Duw. Y mae syniad y cnawd, y meddwl anianol llygredig, yn elyniaeth yn erbyn Duw. Y rhai sydd yn y cnawd, nis *gallant* ryngu bodd Duw. Gwneuthur da yw gwneuthur yr hyn a orchymynodd Iesu, o gariad ac o barch i'w awdurdod.—*Dr. Carson.*

# Bwrdd y Golygydd.

## WYTHFED GYFROL Y WAWR.

Gyda y rhifyn hwn y mae genym y pleser o gyflwyno i'r darllenydd y rhifyn diweddaf a wna i fyny yr wythfed gyfrol o'n cyhoeddiad misol, y WAWR. Wrth adolygu y rhwystrau sydd wedi bod ar ein ffordd, a'r llafur yr ydym wedi myned trwyddo, nis gallwn lai na synu peth i ni lwyddo cystal yn ei ddygiad allan. Efallai mai ychydig sydd yn ystyried yn ddyladwy waith mor fawr ag yw dwyn allan yn rheolaidd gyhoeddiad fel hwn. Yr ydym ni yn dra phrofiadol bellach o'r gwaith hwn yn ei holl gysylltiadau. Da genym ddwyn tystiolaeth unwaith eto fod i ni nifer lluosog o gefnogwyr yn y wlad hon, ac amryw yn Nghymru, ac nid ydym yn gwybod am un dyn byw yn mhlith y Bedyddwyr Cymreig yn America sydd yn ewyllysio yn ddrwg i'r WAWR na'i golygydd. Gyda golwg ar y flwyddyn ddyfodol, nid ydym heb ein hofnau yn ngwyneb amgylchiadau isel masnach lle y triga lluaws o'n derbynwyr. Hyderwn y gwna ein cefnogwyr blaenorol barhau yn ddiflino. Bwriadwn, os caniata rhagluniaeth ddwyfol, i wneyd ein goreu er gwneyd y WAWR am y flwyddyn ddyfodol yn deilwng o dderbyniad. Ein hamcan a'n pleser yw gwasanaethu yr Enwad. Diolchwn i bawb, yn ysgrifenwyr, dosbarthwyr, a derbynwyr, am eu cefnogaeth yn y gorphenol, ac eiddunwn am yr unrhyw yn y dyfodol.

## MARWOLAETH

**MRS. THOMAS, PRIOD Y PARCH. B. D. THOMAS, D. D., TORONTO, CANADA.**

Mae llawer o'n darllenwyr erbyn hyn wedi clywed am farwolaeth y wraig rinweddol uchod, yr hyn a gymerodd le yn niwedd Ionawr diweddaf, wedi deng niwrnod o gystudd. Mae amryw o brif bapyrau y Bedyddwyr Americanaidd ac eraill wedi cyhoeddi amlygiadau o gydymdeimlad dwfn a'r brawd Thomas yn ei drallod mawr. Y Sul canlynol i'w marwolaeth, yr oedd arwyddion galar dwys ar lawer gwedd yn nghynulleidfa y Fifth Baptist Church, Philadelphia, o'r hon eglwys y symudodd Mr. Thomas a'i deulu i Toronto tuag un mis ar bymtheg yn ol. Fel hyn y dywed y *National Baptist* am Chwef. 7fed: "A profound feeling of sympathy for D. B Thomas, D. D., the former pastor, in his great loss, was manifested on Sunday."

Deg diwrnod cyn ei marwolaeth yr

Digitized by Google

oedd yn berffaith iach, ac yn llenwi ei lle yn y teulu a'r eglwys. Dydd Iau, Ion. 30, yr oedd yn cael ei chludo i'r bedd. Er ei bod yn cael eu rhwystro gan ofalon teuluol rhag cymeryd rhan fawr mewn gwaith perthynol i'r eglwys, fel y dymunai ei chalon, yr oedd wedi enill parch a serch pawb trwy ei didwylledd, ei mwyneiddiwch a'i symledd. Er na chafodd fyw ond tymor byr yn Toronto, y mae ei marwolaeth wedi cynyrchu galar mawr tu allan i derfynau cynulleidfa fawr ei gwr.

Ganwyd Mrs. Thomas yn Nghymru yn y flwyddyn 1840. Bedyddiwyd hi yn Llundain gan y Parch. Benjamin Williams. Yr eglwys gyntaf y bu Dr. Thomas yn weinidog iddi oedd yr eglwys Seisnig yn Castellnedd, D. C. Yma y canfyddodd foneddiges o'r fath wyleidd-dra a synwyr cyffredin, fel y llawenychai yr holl eglwys a'r gynulleidfa pan y daeth yn wraig i'w gweinidog. Yn mhob man lle y bu yn aros enillodd galonau i'w charu, heb fod yn ymwybodol o hyny. Yr oedd ei dull syml, didwyll; ei chymeriad cryf, ond mwynaidd; ei theimlad cyson dros les yr achos, mor gryf ag ydoedd o anymyrgar.

Am y tri diwrnod olaf o'i chystudd, gwyddai fod ei hafiechyd yn beryglus, ac am y diwrnod olaf gwyddai y buasai iddo derfynu yn angeuol. Yr oedd mewn perffaith feddiant o'i synwyrau, ac mor dawel a'r haul yn machlud. Ebai hi, "Yn ystod fy mywyd yr wyf wedi bod yn Gristion ofnog, ond yn awr yr ydwyf yn hyderus; yr oedd angeu yn arfer ymddangos i mi yn ddychrynllyd, ond ni welaf ynddo yn awr ddim i'w ofni." Gyda gwen siriol, sicrhaodd ei phlant ei bod yn myned i gartref dysglaer a phrydferth fry, a rhoddodd i bob un o honynt gyngorion addas a phriodol. Anogodd ei gwr i wregysu ei hunan yn wrol i'w waith, gan sicrhau y buasai i Dduw trwy ei ras a'i oruwch-reolaeth beri i'w hymadawiad fod er lles i'w enaid ef, ac i'r eglwys. Yr oedd tyrfa fawr yn yr angladd, a galar dwfn yn cael ei ddangos yn gyffredinol. Mae yr eglwys yn dangos pob amlygiad o gydymdeimlad â Dr. Thomas a'i blant amddifaid, un baban yn chwe' mis oed. Tra y mae rhai o genedloedd eraill yn cydymdeimlo fel hyn a'r brawd Thomas yn ei fawr alar a'i golled, mae llawer o galonau Cymreig yn America a Chymru yn dwfn gydymdeimlo ag ef, yn mhlith y rhai y mae ysgrifenydd y llinellau hyn.

## MAN-LEWYRCHIADAU.

—Yr ydym yn deall fod y Parch. J. T. Griffiths, Scottdale, Pa., wedi derbyn galwad oddiwrth eglwys Saesneg Treorci, Cwm Rhondda, D. C., a'i fod yn bwriadu dechreu ar ei weinidogaeth yno yn Ebrill. Bu y brawd yn ddiwyd iawn trwy y gauaf yn cynal cyfarfodydd diwygiadol mewn gwahanol fanau gyda chryn lwyddiant. Bu yn y wlad hon am 19 mlynedd. Bydd dymuniadau goreu llaweroedd yn myned gydag ef i wlad ei enedigaeth.

—Y mis diweddaf cafodd y Parch. O. F. Parry, Bordwell, *donation* dda, ac ystyried yr hin. Cyhaeddodd y swm i dros $80, a dysgwylir ychwaneg i law. Trodd eiddo y Parch. John S. Jones, Remsen, yn llwyddiant perffaith. Derbyniodd $190. Diau i'r gwlaw atal rhai rhag bod yn bresenol.

—Y mae rhyw sisial dystaw am gael addoldy newydd i'r Bedyddwyr Cymreig yn Pittsburgh, Pa. Y mae "hen gapel William Owen" yn edrych yn dlawd yr olwg arno gan henaint ac argoel dadfeilio. Y mae yn awr yn 45 mlwydd oed, a dylid ei adgyweirio neu ei dynu i lawr. Ewch ati, frodyr, ar unwaith, mynwch gael adeilad teilwng. Deuparth gwaith yw ei ddechreu. Amen.

—Ymadael yn barhaus mae y mwnwyr o Church Hill, O. Yn ddiweddar mae y brodyr da a'r diaconiaid ffyddlon John Wylde, David D. Griffiths, a James Morgan, wedi gorfod ymadael oblegid diffyg gwaith. Y mae hyn yn gwneyd yr eglwys yn y lle yn hynod wan. Da genym ddeall fod y brodyr a enwyd uchod yn peidio codi

Digitized by Google

eu llythyrau o'r hen eglwys, gan y bwriadant gyfranu at gynal y gweinidog yn y lle, nes daw pethau yn fwy goleu. Y mae hyn yn galondid mawr i'r Parch. Wm. J. Williams, y gweinidog, yr hwn sydd yn rhoi haner ei weinidogaeth i'r eglwys yn Girard. Dengys y brodyr a ymadawsant fel hyn barch mawr i'w gweinidog, yn gystal a hoffder at yr hen eglwys y buont yn aelodau o honi amryw flynyddau.

—Gwaith ardderchog a chanmoladwy a wnaeth Daniel L. Jones, Brooklyn, N. Y., wrth godi cofgolofn ddrudfawr i arwr rhyddid crefyddol, sef Roger Williams, yn y gladdfa Gymreig yn Greenwood Cemetery, Brooklyn.

—Cafodd y Parch. Edward Roberts, D. D., Pontypridd, D. C., golled fawr yn ddiweddar trwy farwolaeth ei anwyl briod. Ychydig wythnosau cyn ei marwolaeth cafodd Mrs. Roberts godwm i lawr risiau, a derbyniodd niwed yr hyn a ddygodd enyniad, ac a derfynodd yn angeuol trwy wenwyno ei gwaed. Yr oedd Mrs. Roberts yn enedigol o Ogledd Cymru. Perchid hi yn gyffredinol am ei rhinweddau teuluaidd a'i chymeriad uchel.

—Deallwn fod y Parch. Thomas M. Evans, Sharon, Pa., yn berthynas agos i'r diweddar Barch. John Evans, Abercanaid; ac, erbyn sylwi, mae yn dwyn tebygolrwdd nid bychan iddo. Mae yr eglwys yn Sharon wedi bod yn ffortunus wrth sicrhau ei wasanaeth.

—Bu yr eglwys yn Parisville, O., yn cynal cyrddau diwygiadol am ddwy wythnos, y mis diweddaf. Cynorthwyid y gweinidog gan y Parch. Thos. M. Evans, Sharon, Pa.

—Cwyno mae aelodau yr eglwysi ac eraill yn mhob man bron yn nglofeydd Ohio, y dyddiau hyn, o herwydd cyflwr isel y gweithfeydd. Mae llawer iawn o symud o'r naill fan i'r llall, a'r eglwysi yn dyoddef yn dost.

—Pasiodd y Parch. W. Morlais Evans yn boblogaidd yn mhob man trwy yr eglwysi yn Ohio, ar ei ymweliad diweddar a'r parthau hyny.

—Mae genym i gydnabod yn ddiolchgar ein cyfeillion yn Palmyra, Thomastown, Coalburgh, Church Hill, Sharon, Warren, Mineral Ridge, Weathersfield, Youngstown, Newburgh, a manau eraill, am eu cefnogaeth i ni ar ein hymweliad diweddar â hwynt.

—Mae y brawd anwyl Thomas E. Parry, Hubbard, O., wedi cael ei adael ei hunan yno bron, ond y mae yn gymaint o Fedyddiwr ag erioed. Ychydig heblaw efe sydd yn cynal y moddion.

—Cofied ein dosbarthwyr anfon eu cyfrifon i'r swyddfa yn brydlon ddechreu ein blwyddyn, yn cynwys y cyfnewidiadau yn rhif y derbynwyr, a'r modd y saif cyfrifon pob un, fel y gallom gadw y llyfrau yn gywir.

— Treied pob un o gyfeillion y Wawr i gael derbynwyr newyddion at y flwyddyn sydd ar ddechreu.

—Mae y brawd Lewis W. Morgan, Weathersfield, Ohio, yn Soddy, Tennessee, er's tua blwyddyn bellach, yn edrych ar ol ei fuddion yno. Teimlir ei eisiau yn fawr yn yr eglwys yn Weathersfield, ac y mae llawer pregethwr yn hiraethu am ei weled eto yn Ohio.

—Mae yr ychydig frodyr a chwiorydd oeddynt yn weddill yn eglwys Brookfield, O., wedi gweled yn ddoeth i gau y capel, ac ymuno a'r eglwys yn Coalburgh. Bu y brawd ffyddlon David Jeremiah yn wael ei iechyd yn ddiweddar; hyderwn ei fod wedi gwella erbyn hyn.

—Cydymdeimlwn a'r brawd Enoch Howells, Coalburgh, O., yn ei hiraeth parhaus a'i golled ar ol ei anwyl briod, a hefyd â'r brawd W. Williams. Mae y capel mewn *mourning*.

—Bu Mr. D. Morgan, Hiawatha, Kansas, ar ymweliad a'i frawd a'i deulu yn Mineral Ridge, O., y mis diweddaf. Deallwn iddo wneyd llawer o gyfeillion yn y lle a'r amgylchoedd. Mae yn ddyn ifanc cyfrifol, ac o deulu parchus, y rhai ydynt yn gwneyd yn dda yn sefydliad Cymreig rhagorol Hiawatha, Kansas.

Digitized by Google

—Mae yr eglwys yn Youngstown, O., wedi gorphen yr adgyweiriad ar y capel, ac wedi dechreu addoli ynddo er canol Chwefror. Mae yn llawer mwy cyfleus yn awr, a dylai fod, canys y mae y treulion, meddir, wedi bod yn fawrion.

—Mae y Parch. D. C. Thomas, (Christopher Bach), yn byw yn Warren, O., yn bresenol, ac yn gwneyd ei hun yn ddefnyddiol trwy *supplyo* yr eglwysi amgylchynol ar y Sabbothau.

—Mae'r Parch. E. Morddal Evans yn gwneyd yn dda yn ei fasnach yn Palmyra, O., ac yn gwasanaethu yn fisol fel gweinidog eglwys Weathersfield.

# Barddoniaeth.

## IESU AR GALFARIA, YN Y BEDD, AC AR Y MYNYDD.

Draw mi welaf Awdwr bywyd
Yn hoeliedig ar y groes,
Ef dan bwysau dyrnod Eden,
Ac yn dyoddef angau loes;
Holl waelodion y Gehena
Ddaethant yn ei erbyn ef,
Taro'r Cyfaill, arbed gelyn,
Ydoedd amcan nef y nef.

Ie'n marw rhwng y lladron,
Dacw Iesu 'r Cyfaill ffyddlon;
Yn ei ingoedd mawr a'i lafur
Y mae bywyd i bechadur;
Noddfa glyd sydd yn ei glwyfau
I hen deithwyr blin yn ddiau;
Clyw e'n dweyd y gair Gorphenwyd,
Gwaith y cadw 'n awr ddybenwyd.
Gwaith y chwysu 'n Gethsemane,
Ar fy nhaith wrth fyned adre';
Os yn bosibl, boed i'r cwpan
Hwn fyn'd heibio i fy hunan;
Eto gwneler d'w'llys gyfrwys,
Hono fydd i yn gymwys.
Lawr i'r bedd yr af er codi
Plant y marw oll i fyny;
Gosod goleu yn eu celloedd
Wnaf i deithwyr tua'r nefoedd;
Yn mhen tridiau dof i fyny
O'r gell dywyll at fy nheulu;
Drylliaf farau'r bedd yn hollol,
Angau wnaf yn rhwydd i'r bobol.
Dyma'r tridiau wedi dyfod,
P'le mae Iesu, 'n ol yr amod?
At y bedd yr aeth y gwragedd,
Er cael prawfion o'r gwirionedd;
Ef yn awr nid yw 'n y beddrod,
Daeth i fyny heb un pechod.
O! mor llawen i'r dysgyblion
Gael yn ol eu Cyfaill tirion;
Ewch i'r hollfyd i bregethu
Am y marw 'n adgyfodi.
Aeth i'w canol, gan lefaru,
Mae tangnefedd i'ch, fy nheulu;
'Nawr aroswch heb eich newid,
Nes cyflawni yr addewid
Am dywalltiad mawr o'r Ysbryd,
Er eich nerthu at yr hollfyd.
Awn yn awr i ben y mynydd,
Lle bydd raid im' fynd yn llonydd,
Adre' fry i fynydd Seion,
Tynaf chwithau yno 'n union.

*Shenandoah, Pa.* J. Morfryn Lloyd.

## I'R WAWR.

Mae'r Wawr yn awr yn wyth mlwydd oed.
Mwy hardd a gorwych nag erioed,
Cryfhau mewn nerth y mae o hyd,
Gan wneyd ei hargraff ar y byd;
A dylai fod, heb ddim nacâd,
Yn wir dderbyniol yn ein gwlad,
Gan bob Bedyddiwr cywir, gwiw,
Sydd yn Amerig fawr yn byw.

'Rwyf yn meddwl yn fy nghalon
Am y Wawr yn awr yn gyson,
Ei hamrywion a'i rhagorion,
A'i bod yn ben i'r holl fisolion:
Ynddi ceir athrawiaeth iachus
O air Duw yn wiw a melus;
Boed i'w llewyrch llachar, llesiol,
Fyn'd ar gynydd yn feunyddiol.

Boed i Fedyddwyr tref a gwlad
I dd'od o'i phlaid heb unrhyw frad,
Can's gwyddoch oll heb goll i gyd
Mae 'i hamcan yw gwellâu y byd.
Un hynod yw y Wawr, yn wir,
Am sefyll dros athrawiaeth bur.
Ac ordinhadau teyrnas nef,
Dros hyn y ceir y Wawr yn gref.

Christopher Bach.

## CYFARCHIAD PRIODASOL

I David James Jones a Sarah Ann Davies, Kingston, Pa., y rhai a unwyd mewn glân briodas gan y Parch. B. W. Thomas, Hydref 20, 1883.

Dyma frawd i mi o fron—o'i adfyd,
Yn briodfab hylon;
Gwnest ti, medd y si a'r son,
Ryw undeb hwnt i'r wendon.

Yn Americ cydmares—a gafodd
Fy hen gyfaill cynes;
Er mwyniant, a llwyddiant, a lles,
Mewn newydd wlad mynodd lodes.

Sarah Ann, yn siwr, a aeth—a chalon
Ddifrycheulyd odiaeth

Digitized by Google

Yr enwog ôf, a cheir e'n gaeth
I'w anwylyd hyd farwolaeth.

Oes hir f'o i Sarah fâd,—a Dafydd
Difwlch ei gymeriad;
I chwychwi boed gwychach had
Na lluoedd dan y lleuad.

Cei Sara'n ffynonell cysuron,—hon
Gei i'th weini'n gyson;
Dewi a'i wraig gadwo'r Ion
Heb weled dim helbulon.

D. MASON (*Grugog*).

*Bwlchyddercen, Sir Aberteifi.*

---

# Gwladyddiaeth y Mis.

GAN Y PARCH. J. EDRED JONES.

Pan etholwyd Carlisle, o Kentucky, i gadair Llefarydd Ty y Cynrychiolwyr, yn Rhagfyr diweddaf, yn lle Randall, o Pennsylvania, ofnid yn gyffredin y buasai gweithiau mawrion yn cael ergyd parlysaidd, os nid angeuol, o herwydd fod y blaenaf yn cynrychioli y Fasnach Rydd, ond hyd yma nid yw yr ofnau hyn wedi eu sylweddoli, ac nid ydynt yn debyg o gael hyny yn fuan. Mae'n wir i'r Llefarydd gyfansoddi pwyllgor pwysig y "*Ways and Means*" o ddynion o'r un golygiadau ag ef ei hun ar y pwnc, a gosod Mr. Morrison yn Gadeirydd y pwyllgor, yr hwn sydd yn coleddu golygiadau eithafol ar bwnc y *tariff;* eto nid oes dim wedi ei wneyd rhagor na bod y Cadeirydd wedi cynllunio mesur *novel*, os nid digrif, er gostyngiad y doll ar nwyddau. Mae'n ymddangos fel cynyg i wneyd *rhywbeth* er tawelu am amser y dosbarth sydd' yn bloeddio mor uchel am fasnach rydd, ond nad yw yn golygu iddo basio, a dod yn ddeddf. Gan fod pwnc y *tariff* yn un mor bwysig, mor gydwauedig a llwyddiant masnachol, a bod y Democratiaid mor orwancus am enill yn yr etholiad cyffredinol nesaf, y mae dynion mwyaf llygadgraff y blaid hon yn wyliadwrus rhag gwneyd y camsyniadau arferol, a thrwy hyny golli eu siawns eleni eto. Nid yw yn debyg, felly, y gwna'r Gydgyngorfa hon basio deddfau eithafol i derfysgu a thorfynyglu masnach. Ond os *llwyddant* yn yr etholiad Arlywyddol agoshaol, edrycher allan; maent yn sicr o ddangys eu llaw mor fuan ag y daw awenau y llywodraeth i'w gafael.

Y maent wedi dangos yn barod eu gelyniaeth at y *civil service reform*, trwy wrthod dychwelyd y Seneddwr Pendleton, o Ohio, i'w gadair, am mai efe yw tad y ddeddf hono, ac ethol Mr. Payne yn ei le. Heblaw hyn, y mae mesur wedi ei gynyg yn Nhy y Cynrychiolwyr yn barod i *ddiddymu* y ddeddf ddaionus hono! A chymaint yw llygredigaeth politicaidd y dydd, ag y dywedir fod perygl i'r cynyg mileinig hwn basio, os gwesgir y peth i bleidlais. Ond credwn na fydd hyn yn bosibl, oddieithr fod llawer o'r aelodau Gwerinol yn ddigon diegwyddor a phydredig i bleidleisio gyda'r Democratiaid; ond nid oes genym fawr o ffydd ynddynt, pan fyddo elw personol yn y glorian.

Bu yn ymdrechfa galed a hir yn neddfwrfa Kentucky wrth ethol Seneddwr yr U. D., yn ddiweddar. O'r diwedd cafodd Mr. Blackburn ei ddewis, yr hwn ar y pryd ydoedd un o gynrychiolwyr y Dalaeth yn Washington. Mae y Seneddwr newydd hwn yn Fourbon gwlan-liwiedig, ac yn *rebel* o'r cymeriad mwyaf eithafol. Fel hyn, mae y De yn enill yn raddol, trwy wladyddiaeth, yr hyn a fethodd trwy gleddyf y gwrthryfel mawr.

Pwnc sydd yn tynu cryn sylw yn yn awr yw y mesurau a gynygir gan y Seneddwyr Edmunds, Davis a Hill, i sefydlu *Postal Telegraph* perthynol i'r Llywodraeth, trwy yr holl wlad, yn annibynol ar y cwmniau pellebrol presenol. Mae hyn yn creu gwaew a dychryn mawr yn y *Western Union* yn neillduol, a gwneir ymdrechion Herculeaidd i rwystro dwyn y peth oddiamgylch; ond y mae'n *rhaid* i hyn ddyfod cyn hir, ac mae'r wlad yn addfedu iddo er gwaethaf holl *fonopolists* gormesol y dydd. A chan y bydd rhaid i ni ei gael, byddai cystal i ni ei gael ar unwaith.

Y mae dau fesur pwysig yn cael sylw Deddfwrfa Talaeth Efrog Newydd yn bresenol. Un ydyw cynyg i godi prisoedd *uchel* am drwyddedau i werthu

Digitized by Google

gwirodydd a diod feddwol; a'r llall yn rhoddi holl reolaeth swyddogol dinas New York yn llaw y Maer, a'i ddal ef yn gyfrifol am bob swyddog a appwyntia.

Mae y ddwy blaid wladyddol wrthi yn brysur, er yn ddystaw, yn parotoi gyferbyn a'r etholiad Arlywyddol nesaf. Cynelir cynadledd y Gwerinwyr yn ninas Chicago, Mehefin 3, i benodi ymgeiswyr am yr Arlywyddiaeth, a'r gadair Is-lywyddol. Nis gellir dweyd pan yn ysgrifenu hyn, yn mha le y cynelir y gynadledd Ddemocrataidd, ond y tebygolrwydd presenol yw mai St. Louis fydd y lle; ychydig ddyddiau a brawf. Bydd mwy o oleu ar bwnc yr etholiad, yn fisol, o hyn allan, a chaiff darllenwyr y WAWR gymaint i'w ddarllen arno ag y caniata gofod.

## HANESION CARTREFOL.

CYFARFOD CHWARTEROL HYDE PARK.

Hysbyswyd yn y WAWR yn ddiweddar y bwriadir cynal y cwrdd chwarter nesaf perthynol i Gymanfa Fedyddiedig Gymreig y cylch hwn yn Hyde Park ar ddyddiau Mercher a Iau, Mawrth 12, 13. Gan y bydd amgylchiadau lleol yn ei gwneyd yn anghyfleus i gael y cyfarfod ar y dyddiau hyn, dichon na bydd gwrthwynebiad gan y swyddogion a'r cenhadau i'w ohirio am wythnos, a'i gynal ar y 19eg a'r 20fed o'r un mis. Dysgwyliwn ein brodyr yma y dyddiau hyny, ac nid yn yr wythnos flaenorol. Bydd yn hyfrydwch i'r frawdoliaeth i roesawu i'w cartrefleoedd gynifer o'u brodyr, yn weinidogion a lleygwyr, a all bresenoli eu hunain yn y cyfarfod.

Gair parth y Genadaeth Artrefol Gymreig. Yn unol â phenderfyniad y Gynadledd yn Nghymanfa Nanticoke, yn Awst, 1882, dysgwylir i'r eglwysi gyfranu dim llai na 25c. ar gyfer pob aelod a ddychwelir, yn eu cyfranu i'r Gymanfa.

Dymunir i'r eglwysi gydymffurfio â'r penderfyniad hwn, gwneyd casgliad, a'i anfon i'r Trysorydd, B. Hughes, Ysw., erbyn y cyfarfod dyfodol yn Hyde Park. Gan fod y drysorfa wedi myned mor isel trwy gynorthwyo eglwysi gweinion y cylch; os na wneir ymdrech galonog a chyffredinol yn fuan, ni bydd y gymdeithas hon yn bodoli ond mewn enw yn unig. Frodyr anwyl, gadewch i'r Trysorydd gael clywed oddiwrthych yn ddioed.

J. W. WILLIAMS,
*Chwef. 22.* *Ysg. y Genadaeth.*

PITTSBURGH, PA.

*Mr. Gol.*—Gair bychan, ond nid pwffyddol, am sefyllfa yr achos yn Heol Chatham, fe allai fyddai yn fuddiol i lawer sydd wedi bod yn addoli yn "hen gapel William Owen," ydynt yn bresenol yn wasgaredig ar hyd a lled y Talaethau Unedig, ond er hyny yn teimlo cysegredigrwydd yn yr enw uchod. Wel, llwyddo y mae y gwaith da yma; graddol, ond nerthol y mae yn myned rhag ei flaen. Nid oes yn ein plith ddiwygiad grymus; er hyny y mae Seion yn cael ei hadeiladu, gwrthgilwyr yn dychwelyd, pechaduriaid yn troi o gyfeiliorni eu ffordd, a deiliaid yr ysgol Sul yn ufuddhau i Ben Mawr yr eglwys trwy ganlyn ei ol i'r dyfrllyd fedd. Dydd yr hir gofir am dano, yn ddiau, oedd y Sul diweddaf, pan y rhoddwyd y cyfamod eglwysig a deheulaw cymdeithas i naw o bersonau, mewn modd hynod deimladwy, gan ein gweinidog, y Parch. D. Rhoslyn Davies. Yr oedd pump o honynt wedi eu bedyddio y nos Sul blaenorol, yn ngwydd llon'd capel o edrychwyr. Derbyniwyd dwy chwaer o Turtle Creek hefyd i gyflawn aelodaeth yr un Sabboth. Enill serch y mae y brawd Rhoslyn yn barhaus yn mynwesau y bobl. Nid yn unig y mae yn bregethwr coeth a grymus, ond yn llanw y swydd o fugail, trwy wylio a phorthi praidd Duw. Teimlir gan lawer fod yr adeilad bellach yn annheilwng o'r eglwys barchus a'i gweinidog poblogaidd, ac y dylid ei adgyweirio, neu fynu adeilad newydd. Y mae y gallu a'r ewyllys gan lawer o'r aelodau er cael hyn oddiamgylch. Rhodder hwynt mewn gweithrediad, a dyweded yr holl bobl, Amen.—*D. Lloyd Jones.*

Digitized by Google

## YSTADEGAU CYMANFA BEDYDDWYR CYMREIG OHIO A GORLLEWINBARTH PENNA AM Y FL. 1883.

| Eglwysi. | Gweinidogion. | Ysgrifenyddion. | Bedyddiwyd. | Adferwyd. | Derbyniwyd trwy Lythyr. | Gollyngwyd trwy Lythyr. | Diarddelwyd. | Bu Farw. | Rhif presenol yr Eglwys. | Canolrif yr Ysgol Sul. | At draul y Gymanfa. | At draul yr Ysgrifenydd. | At y Genadaeth Dramor. | At y Genadaeth Gartrefol. |
|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|
| Pittsburgh, Pa. | D. Rhoslyn Davies | D. Lloyd Jones | | 4 | 14 | 4 | 3 | 7 | 170 | 32 | $5 00 | $1 00 | $6 00 | $5 00 |
| Youngstown, O. | D. Probert | David Edwards | 5 | 7 | 7 | 11 | | 3 | 163 | 90 | 5 10 | 1 00 | 8 23 | |
| Parisville, O. | A. J. Morton | Evan P. Davies | | 3 | | 1 | | 1 | 87 | 60 | 3 40 | 1 00 | | |
| Mineral Ridge, O. | David W. Jones | L. Mathias | 2 | 4 | 4 | 1 | | 2 | 70 | 90 | 2 00 | 1 00 | | |
| Coalburgh, O. | | D. J. Edwards | | 1 | 4 | 20 | | | 60 | 65 | 1 60 | 1 00 | | |
| Thomastown, O. | | D. P. Davis | 2 | 1 | 2 | 8 | 1 | 1 | 39 | 23 | 3 90 | 1 00 | | |
| Portland, O. | D. J. Lloyd, T. E. Griffiths | David W. Rees | 1 | 1 | | 3 | | | 23 | 25 | 1 00 | 50 | 10 00 | |
| Niles, O. | Edward Jenkins | John Howell | | 2 | 1 | 3 | 3 | | 43 | 44 | 2 25 | 50 | | |
| Centreville, O. | D. T. Evans | John L. Jones | 6 | 2 | 2 | | | 1 | 38 | 33 | 2 10 | | | |
| Mason City, W. V. | | Richard Collins | | | | | | | 20 | 20 | 2 30 | 50 | 6 25 | |
| Bethlehem, O. | D S. Jones | John M. Morgan | | | | | | | 20 | 25 | 1 50 | | | |
| Ebensburgh, Pa. | J. J. Morris | Thomas Jervis | | | 1 | | 1 | | 16 | | 1 00 | 50 | | |
| Dennison, O. | | John Armstrong | | 2 | | 2 | 12 | | 50 | 40 | 1 50 | 75 | | |
| Church Hill, O. | W. J. Williams | D. D. Griffiths | 1 | 7 | 1 | 11 | 6 | | 76 | 85 | 4 00 | 1 00 | 4 00 | 5 00 |
| New Straitsville. O. | C. Jones, M. A. | William James | 5 | 2 | 5 | 5 | 9 | 1 | 89 | 115 | 30 00 | 1 00 | | |
| Girard, O. | W. J Williams | Edward P. Jones | 2 | 3 | 4 | | | | 29 | 50 | 2 00 | | | |
| Sharon, Pa. | T. M. Evans | John Devereux | | 3 | 8 | | 7 | 2 | 87 | 120 | 4 00 | 1 00 | | |
| Wheatland, Pa. | David Evans | William Jones | | 2 | | 8 | | | 25 | 40 | 2 00 | 50 | 3 57 | |
| Palmyra, O. | Edward Jenkins | James Roach | 1 | 3 | 4 | | | | 41 | 60 | 3 60 | 50 | | |
| Hubbard, O. | | Thomas E. Parry | | | | 4 | 5 | | 23 | 35 | 75 | 32 | | |
| Houtzdale, Pa. | J. R. Jones | John D. Jones | 2 | 5 | 12 | 6 | 3 | | 76 | 80 | 5 15 | | 4 50 | |
| Pomeroy, O. | | John James | | | 2 | 2 | | 1 | 20 | | 2 00 | | | |
| Del Roy, O. | | Isaac J. Jones | | 1 | 1 | 5 | 1 | | 25 | 50 | 1 15 | 50 | | 1 00 |

*At y Bwrdd Addysg*—Thomastown, Ohio, $2.00.

*Gweinidogion heb Ofal Eglwysi.*—Thomas Thomas, Sharon, Pa.; David Nicholas a David Hopkins, Youngstown, O.; Thomas M. Mathews, Hubbard, O.; Wm. R. Jones ac E. Morddal Evans, Palmyra, O.; Thomas T. Williams a William Lawrence, Carr's Run.

*Pregethwyr Cynorthwyol.*—D. Lloyd Jones a J. Asaph Davies, Pittsburgh, Pa.; Samuel Bassett, Youngstown, O, a Thos. Morris, Thomastown, O.

Erfyniaf am faddeuant yr eglwysi am na fuasai yr ystadegau wedi ymddangos yn gynt yn y WAWR. Bu y flwyddyn ddiweddaf yn un hynod o ofidus, a hyny sydd yn cyfrif yn benaf am ohiriad yr ystadegau hyd y mis hwn.

Os wyf wedi gwneyd camsyniad mewn cysylltiad ag unrhyw eglwys, anfoned y cyfryw ataf, a bydd i mi wneyd pob peth yn iawn.

*Sharon, Pa.* THOS. THOMAS.

---

### WARRIOR RUN, PA.

Mae yn hysbys bellach i holl ddarllenwyr y WAWR fod yn y lle uchod gangen wedi ei sefydlu yn ddiweddar gan eglwys Fedyddiedig Nanticoke, er mwyn y Bedyddwyr hyny ydynt ar wasgar yn Warrior Run a Sugar Notch. Mae y ferch yn dra diolchgar i'w mam am ei pharodrwydd yn ei chynorthwyo. Da genym ddwyn tystiolaeth fod y gangen fechan yn myned rhag ei blaen yn rhagorol. Mae ei hagwedd allanol a mewnol yn dra dymunol—heddwch, cariad brawdol, a chydweithrediad yn bodoli, er dwyn yn mlaen yr achos yn ei wahanol ranau. Mae yr achos bychan yn dechreu gwisgo ei dlysni a'i ogoniant, yr egin mân yn ngwinllan ein Harglwydd yn egino ac yn blodeuo fel y rhosyn, mudion crefyddol yn llefaru yn hen ac yn ieuanc. Mae am ryw eisoes wedi dychwelyd i ymofyn lle yn nhy yr Arglwydd, ac enw yn mhlith ei bobl, ac o feddiant Satan at y gwir a'r bywiol Dduw. Gobeithio nad yw hi eto ond "dechreu gwawrio, y cwyd yr haul yn uwch i'r lan." Mae yma weinidogaeth weddol gyson, a phregethu da o bryd i bryd, a Duw yn gwenu, a ninau yn cael boddhad mawr. Sul, Chwefror 3, oedd yn ddiwrnod ag yr oedd llawer yn dysgwyl am dano, gan ei fod yn ddydd i'r ordinhad o fedydd gael ei gweinyddu am y tro cyntaf yn y lle, gan y Parch. W. F. Davies, Nanticoke. Am 2 o'r gloch y prydnawn, awd yn orymdaith o'r *Hall* i'r *middle road*, y lle apwyntiedig i gyflawni y gorchymyn. Erbyn cyrhaedd yno, yr oedd yn ddu o edrychwyr, wedi dod yno o'r holl wlad o amgylch Ar ol anerchiad byr a phwrpasol, yn Saesneg a Chymraeg, arweiniodd i'r dyfrllyd fedd, yn ol y gorchymyn, ein chwaer ieuanc Eliza Edwards, ac ar ei phroffes o ffydd yn Mab Duw, claddwyd hi yn y dwfr; ac yn ei chanlyn, yn yr un modd, y brawd W. F. Williams. Dyma y ddau cyntaf a fedyddiwyd yn y lle, yn ol pob tystiolaeth. Nawdd y nef a fyddo arnynt, a llawer a'u dilyno, yw dymuniad—*Un o'r Eglwys.*

---

### *BU FARW—*

MRS. MARY DAVIES, DODGEVILLE, WIS.

Ion. 17, 1884, bu farw y chwaer anwyl uchod, yn 78 mlwydd a 5 mis oed. Dydd Sadwrn, Ion. 19, ymgasglodd tyrfa luosog yn nghyd i dalu y gymwynas olaf i'w gweddillion marwol. Claddwyd hi yn barchus yn Dodgeville *Cemetery*. Chwech o'i phlant anrhydeddus yn bresenol, tri brawd a thair chwaer. Ond er mor ddymunol a gweddus y gwnawd pob peth, yr oedd yn yr angladd deimlad dwys, a gofid calon wedi y cyfan, o herwydd fod amgylchiadau wedi rhwystro dwy o'r chwiorydd ddod i hebrwng eu hanwyl fam i dy ei hir gartref, sef Mrs. Daniel Davies, Nemaha, Nebraska, a Mrs. Thomas B. Watkins, Blue Mounds, Wis. Bu y flaenaf, sef Mrs. Daniel Davies a'i phriod, yma yn gweled ei mam oddeutu dau fis yn ol; ond fe'i rhwystrwyd i'r claddedigaeth gan ddau beth, sef pellder y ffordd, a diffyg gwybodaeth brydlawn; ac fe ataliwyd yr olaf, sef Mrs. Watkins, gan gystudd trwm. Yr Arglwydd tirion a grasol a'u dyddano ac a'u cysuro, ac a fyddo yn bob help a chymorth iddynt yn eu profedigaeth lem a'u hiraeth mawr. Yn yr angladd, cymerodd y Parchn. canlynol ran yn y gwasanaeth: W. Owens (W.), W. Charles (M. C.), John D. Davies (A.), Sem Phillips (A.), D. M. Powell (B.), John H. Davies (M. C.), a'r ysgrifenydd. Sabboth, Ion. 27, pregethwyd ei phregeth

Digitized by Google

angladdol gan yr ysgrifenydd, i gynulleidfa alarus a lluosog, oddiar Phil. 1: 21.

Ganwyd Mrs. Davies yn Gwargoed, ffermdy gerllaw Pencader, plwyf Llanfihangel-ar-arth, D. C., yn y flwyddyn 1805. Merch ydoedd hi i'r diweddar John a Rachel Evans, dynion o gymeriad da, ac amgylchiadau cysurus yn y byd. Yn yr un lle, yn y flwyddyn 1823, y priodwyd hi a Mr. David Davies, Nant-y-fen, plwyf Cynwil Elfed. Bu iddynt wyth o blant, tri o feibion a phump o ferched, y rhai ydynt oll yn fyw, ac yn trigianu yn Swydd Iowa, Wis., oddigerth un, yr hon sydd yn Nemaha, Nebraska: a diau na fagodd neb erioed well, nac anwylach a charedicach plant, nag a fagodd ein chwaer ymadawedig. Yr oedd y gofal, y teimlad, y tynerwch a'r dagrau a ddangoswyd gan y plant at eu mam yn ei henaint, ei chystudd a'i marw, yn profi hyn. Anwyl a chariadus fu y fam a'r plant yn eu bywyd, ac yn angau ni wahanwyd hwy. O gylch dwy flynedd wedi priodi, rhoddodd ein diweddar chwaer ei hunan i'r Arglwydd, ac i'w bobl yn ol ei ewyllys ef: bedyddiwyd hi a'i phriod, ar broffes o'u ffydd yn Mab Duw, yr un Sabboth, gan y diweddar hybarch James Davies, yn Ffynonhenry, yr hwn oedd yn gyd-weinidog a'r anfarwol Dafydd Evans ar y pryd. Bu ein hanwyl chwaer a'i hysgwydd o dan arch yr Arglwydd yn gyson a difwlch am yr ysbaid hir a maith o bedair ar bymtheg a deugain o flynyddoedd, a gellir dweyd iddi ddyoddef pwys y dydd a'r gwres. Yr oedd ei bywyd dystaw, dichlynaidd, a gwir grefyddol, wedi gadael yr argraff hwnw ar feddwl pawb a'i hadwaenai, ei bod mewn gwirionedd "yn perthyn i'r Iesu," a'i bod hithau, fel y wraig hono gynt, wedi "dewis y rhan dda," yr hon ni ddygir oddiarni." Yr oedd Mrs. Davies yn aelod hardd a ffyddlon o'r eglwys Fedyddiedig yn Dodgeville. Yr oedd yn nodedig am ei charedigrwydd a'i haelionusrwydd, yn neillduol felly i weision y Duw Goruchaf. Gwnai dda i bawb, yn enwedig i deulu y ffydd. Cafodd yr eglwys golled yn ei marwolaeth; ond bu marw yn elw tragywyddol iddi hi.

Bu y teulu yn byw yn Nantyfen am oddeutu wyth mlynedd, o ba le y darfu iddynt symud i fferm o'r enw Nantbendigaid, yn mhlwyf Cynwil Elfed. Wedi bod yn trigianu yn y lle uchod am wyth mlynedd, symudasant drachefn i dref henafol Caerfyrddin; ac yn mhen ysbaid byr o amser wedi ei symud yn agos i'r Hen-dy-Gwyn-ar-Daf, Swydd Hanlle, bu farw Mr. Davies, y penteulu, a'n chwaer a adawyd yn weddw, a'r plant yn amddifaid, i alaru eu colled ar ei ol, a diau fod eu galar a'u colled yn fawr: ac wedi claddu y tad tyner ac anwyl, a'r priod ffyddlon a duwiol, yn ei galar a'i thristwch, penderfynodd Mrs. Davies symud i Pencader, ei hen ardal enedigol, lle bu ei mam a'i brodyr yn gymorth a help mawr iddi i godi a magu ei phlant, y rhai oeddynt yn fân ac yn ieuainc ar y pryd, a'r ieuengaf ddim ond naw mis oed pan fu farw ei thad. Yn y flwyddyn 1856, glaniodd Mrs. Davies a chwech o'r plant yn y wlad fawr hon. Yr oedd un ferch iddi, Mrs. Griffiths, yma bedair blynedd o'u blaen; a merch arall iddi, Mrs. Arundel, yn Bristol, Lloegr, ar y pryd, yr hon hefyd a ddaeth drosodd yn mhen oddeutu dwy flynedd ar ol y teulu. Ac wedi dyfod o honynt i'r Gorllewin pell, gwlad machludiad haul, ymsefydlasant yn Dodgeville, Wis. Mae un chwaer i Mrs. Davies wedi ei goroesi, yn byw yn y lle a enwyd, yn aelod selog a ffyddlon gyda y Cynulleidfaolion, ac yn teimlo yn dra hiraethus ar ol ei chwaer sydd wedi ei blaenu.

Cyn gorphen hyn o fywgraffiad, goddefer i ni ddweyd gair yn mhellach. Gan fod y diweddar David Davies, priod ein hanwyl chwaer ymadawedig, y fath ddyn da, y fath Gristion dysglaer, a'r fath ddiacon parchus, galluog a defnyddiol, yn y Cyfundeb Bedyddiedig, er mwyn ei blant ac eraill sydd ar ol yn yr anial, caniataer i'w fyr gofiant gael ymddangos yn ymyl, neu mewn cysylltiad a chofiant ei briod, yn y Wawr, yr hwn hefyd a ymddangosodd yn un o gyhoeddiadau yr enwad yn Nghymru er's dros ddeugain mlynedd yn ol. Mae yn rhedeg fel y canlyn:

Gyda blinder yr ydym yn cofnodi marwolaeth un o frodyr ffyddlon ac ymdrechol y Bedyddwyr dros achos Mab Duw yn Ffynnonhenry, sef David Davies, yn ddiweddar o Nantbendigaid, plwyf Cynwil, yn y Swydd hon, yr hwn a fu farw o'r dwymyn, Rhagfyr 1, 1842, yn 40 mlwydd oed. Gadawodd weddw ac wyth o blant i alaru ar ei ol. Bu y cyfaill Dafydd yn frawd ffyddlon, ac yn swyddog diwyd a defnyddiol dros amryw flynyddau yn yr eglwys uchod. Gallwn ddweyd iddo gofio ei Greawdwr yn nyddiau ei ieuenctyd. Cafodd y fraint arbenig o fod yn ymdrechol ac yn llafurus yn ngwaith ei Dduw, ac yr oedd gwenau siriol yr Arglwydd i'w canfod yn ei wynebpryd trwy ei holl oes. Er ei fod yn cael ei lethu yn aml, ac yn gorfod byw rhwng tonau geirwon y byd hwn, eto ni ddigalonodd, oblegid yr oedd yn cofio fod ei Dad wrth y llyw yn cyfarwyddo y llong i'r porthladd nefol, ac yntau yn benderfynol morio tua'r wlad yn mha un yr oedd wedi gosod i lawr angor ei enaid er pan yn ddwy ar hugain oed. Ychydig gyda blwyddyn yn ol, symudodd o'i artrefle blaenorol i fywioliaethu yn Nghaerfyrddin; ac oblegid ei fywyd duwiol ac anrhydeddus, yn nghyd a'i gymwysder i lanw gwahanol gylchoedd swyddol, fe'i dewiswyd i fod yn ddiacon yn eglwys Heol Prior, yr hon sydd yn teimlo yn brudd ar ei ol, oblegid enillodd barch a derbyniad gan bawb yn gyffredinol. Symudodd oddiyno i fferm yn agos i Hen-Dy-Gwyn-ar-Daf, yn Swydd Hanlle. Yn fuan cymerwyd ef yn glaf, ac y bu farw. Dydd Llun canlynol i farwolaeth ein cyfaill, ymgasglodd tyrfa fawr yn nghyd i dalu y gymwynas olaf i'w gorph, drwy ei hebrwng i dy ei hir gartref, yn mynwent Ffynnonhenry, i aros hyd y dydd y caiff godi ar ddelw Iesu, a bod yn berffaith debyg iddo. Deffroed Duw ninau i barotoi

Digitized by Google

ein harfau erbyn wynebu y daith ddidroi yn ol, oblegid mae haul ein bywyd yn cyflym dynu at ei fachludiad, a'r nos yn dyfod, yn yr hon na ddichon neb weithio. Buan iawn y rhifir ni yn mhlith y meirw yn y graian oer, yn y wlad ddyeithr lle nad oes na gwaith, na dychymyg, na gwybodaeth; o ganlyniad, cydymgodwn o'r llwch, ac ymaflwn ynddo tra mae ei law yn estynedig ar ein hol, fel y caffom fynediad i mewn i'r wlad uwch y ser, i ganu iddo Ef yr hwn a'n carodd, ac a'n golchodd yn ei waed ei hun. Hyn fyddo ein braint, yw dymuniad fy enaid. Amen.

*Bargod Dyssil.* DAVID DAVIES.

O. Y.—Cofied y darllenydd mai amcan yr ysgrifenydd wrth gyflwyno byr gofiant y brawd da uchod i'r cyhoedd yw, nid argraffu rhyw addurn ychwanegol ar gymeriad yr ymadawedig, ond dangos i'w oroeswyr gymellydd ac esiampl i'w hefelychu a'i dilyn, mor bell ag y dilynodd ef Grist. Y mae llwybr ein tadau, y rhai a deithiasant yr anialwch o'n blaen, a'r tir a gerddasant, yn weledig i ni, ac fe'n hanogir gan ddwyfol ysbrydoliaeth i ddilyn eu hol: "Ffydd y rhai dilynwch, gan ystyried diwedd eu hymarweddiad hwynt." Dychymygwyf weled y rhai blaenaf yn y fintai yn tynu tua glyn terfyniad a rhydiau yr Iorddonen, yn sefyll megys ar geulan y byd, cyn mentro culfor marwolaeth, i gyfarch y tyrfaoedd ydynt yn ol, yn iaith Moses wrth Joshua, "Ymwrolwch, ymgryfhewch, na laesed eich dwylaw, canys yr Arglwydd a fydd gyda chwi;" ni chilia oddiwrthych byth, nes eich dwyn trwy ddyffryn y trallodau i'r aneddau tawel fry, lle goddiweddir llawenydd a hyfrydwch, a thristwch a galar a ffy ymaith.

*Dodgeville, Wis.* JOSEPH T. JONES.

Yr oeddwn yn lled adnabyddus â Mrs. Davies er ys amryw flynyddoedd. Yr oedd genyf barch mawr iddi, fel un oedd, yn ol fy marn, yn wir grefyddol. Yr oedd ynddi lawer o rinweddau teilwng i'w coffau a'u hefelychu. Yr oedd ganddi barch i weinidogion yr efengyl o bob enwad crefyddol. Yr oedd wedi cyrhaedd sicrwydd am ddiogelwch ei chyflwr. Mae wedi gadael dylanwad da ar ei hol, a hyny yn neillduol o fewn cylch ei pherthynasau a'i hadnabyddiaeth. Mae ei choffadwriaeth yn fendigedig. Bu yn fam ofalus am ei phlant, y rhai ydynt wedi ymsefydlu er ys llawer o flynyddau yn y byd, ac mewn amgylchiadau cysurus. "Ei phlant a'i galwant yn ddedwydd." Mae y gofal a'r tynerwch a ddangoswyd gan ei phlant am dani yn ei henaint a'i chystudd yn brawf eglur o'i bod wedi bod yn fam dda iddynt, yn gystal ag yn anrhydedd ac yn glod iddynt hwythau. Gwobrwyed Duw hwynt am y gofal a ddangoswyd ganddynt am eu mam, trwy roddi ei hunan yn rhan ac yn etifeddiaeth iddynt am byth, yw dymuniad. SEM PHILLIPS. *Dodgeville.*

MR. DANIEL JONES.

Ionawr 22, 1884, yn Taylorville, Pa., yn 72 ml. oed, Mr. Daniel Jones. Efe ydoedd un o anedigion y flwyddyn 1812 yn Llanybri, Swydd Gaerfyrddin, Deheubarth Cymru. Ar ol byw yn hir yn Mynwy, daeth i America yn 1851, a chartrefodd gyda gwraig ac wyth o blant yn Minersville, Pennsylvania. Yno y bu farw ei wraig gyntaf, yr ymbriododd â'i weddw bresenol, ac y bedyddiwyd Daniel Jones gan y Parch. Theophilus Jones. Treuliodd y pedair blynedd ar ddeg diweddaf yn Taylorville, a bu efe a Mrs. Jones a'i mab yn lletygar i genadon yr efengyl, teyrngarol i'r gynulleidfa, a hael yn eu cyfraniadau crefyddol. Maith fu cystudd Daniel Jones, a byw ei brofiad ar ei wely angau.

Cafodd angladd mawr ddydd Gwener, Ion. 25ain, pryd y gweinyddwyd gan y Parchn. R. C. Thomas a D. W. Morris. Darllenwyd y ffurf Iforaidd ar geulan y bedd, a chladdwyd y gweddillion yn mynwent Minooka. Triged y weddw dan adenydd cariad, y teulu yn y ddolen gyfamodol, a'r holl berthynasau a gaffont drugaredd a diangfa.

MARATHON.

MR. DAVID D. JONES.

Ionawr 27, 1884, yn Ridgeway, Wis., bu farw Mr. David D. Jones, yn 64 mlwydd oed, yr hwn oedd dad tyner, cymydog caredig, a Christion gloew. Y mae colli y brawd da hwn o fyddin yr Iesu yn ergyd trwm i deimladau y saint a adewir ar ol. Gallwn ddyweyd am dano iddo ymdrechu ymdrech deg, a gorphen ei yrfa yn anrhydeddus. Fe fu farw mewn llawenydd, ac yn gallu dyweyd fod crefydd yn hoff gan ei enaid pan oedd ar roddi yr anadliad olaf yn y byd hwn. Rhyw bum' mis a thair wythnos sydd oddiar pan gladdwyd ei briod hoff. Ychydig oeddwn yn feddwl fod awr ymddatodiad ein brawd mor agos. Claddwyd y brawd da hwn y dydd Mawrth canlynol, sef y 29ain o Ionawr, yn mynwent y Bedyddwyr, pryd y daeth torf fawr i dalu y gymwynas olaf i un a gerid ac a berchid yn fawr gan bawb a'i hadwaenai. Gweinyddwyd yn y ty trwy ddarllen a gweddio gan yr ysgrifenydd, yna awd i'r capel, lle y pregethwyd gan yr ysgrifenydd yn Gymraeg ar destyn rhoddedig gan yr ymadawedig, sef 2 Cor. 5: 1, a phregethwyd yn Saesonaeg gan y Parch. D. E. Phillips (A.). Cymerwyd rhan yn y gwasanaeth hefyd gan y Parchn. D. M. Powell, J. H. Davies, a T. B. Watkins. Heddwch i lwch ein hanwyl frawd, a Duw pob gras a fyddo yn llon'd ei addewid i'w blant, y rhai sydd wedi colli tad tyner a darbodus, yr hwn, trwy esiampl dda, cynghorion dwys, a dylanwad dwyfol yr efengyl, a gafodd weled ei blant oll yn ymuno a chrefydd Iesu Grist.

Ganwyd ein brawd yn Lampeter, Sir Aberteifi, D. C. Arddelodd broffes o Fab Duw yn ieuanc. Bedyddiwyd ef gan y Parch John Williams, Aberduar, D. C. Daeth i'r wlad hon yn y flwyddyn 1849, gan ymsefydlu yn

Digitized by Google

y lle hwn. Rhoddodd ei hun fel aelod o eglwys y Bedyddwyr yn y lle yma, a bu yn cyflawni y swydd ddiaconaidd yn dda am ugain mlynedd. Nid oedd ei ffyddlonach i'w gael. Yr oedd yn rhaid i rywbeth pwysig fod ar ffordd y brawd David D. Jones cyn y buasai ei le ef yn wag yn nhy Dduw. Yr oedd yn hoff o weinidogion yr efengyl, a dangosai hyny mewn gweithred a gwirionedd. Yr oedd hefyd yn frawd haelionus yn y gymydogaeth a'r eglwys, yn barod i gynorthwyo pob achos da. Daeth ein brawd i amgylchiadau cysurus trwy ddiwydrwydd a dyfal-barhad, a Duw yn bendithio ei ymdrechion ef a'i deulu. Felly y mae y plant, er fod eu calon yn drwm ar ol colli eu tad tyner, wedi eu gadael mewn amgylchiadau cysurus iawn gyda golwg ar bethau y bywyd hwn, a choron ar y cwbl yw eu bod oll yn grefyddol. Credwyf ei fod yn Gristion addfed i'r nef. Yr oedd ei obaith yn gryf fod ei nefoedd yn dechreu pan oedd ei fywyd yn darfod ar y ddaear. Boed heddwch i'w lwch hyd nes y cawn gwrdd yn iach tu fewn i'r llen. BRAWD MEWN GALAR.

Dymunnir ar i bapyrau Cymru godi yr uchod.

JOSEPH WATKINS.

Rhagfyr 27, 1883, yn Audenried, Pa., Joseph, anwyl blentyn y brawd a'r chwaer Thomas a Mary Ann Watkins, o'r *scarlet fever*. Yr oedd y bychan yn dair blwydd oed. Claddwyd ef yn Janesville ar y 29ain, pryd y gweinyddwyd gan y Parch. T. D. Evans.

WILLIE ELMER DAVIES.

Rhagfyr 18, 1883, yn Audenried, Pa., Willie Elmer Davies, mab William a Lizzie Davies, o'r frech goch. Yr oedd yn saith mlwydd oed. Claddwyd ef yn Janesville, Pa., ar yr 20fed, pryd y gweinyddwyd gan y Parch. T. D. Evans.

MRS. M. A. PHILLIPS.

Chwef. 27, 1883, yn Glenwood, N. Y., bu farw Mrs. M. A. Phillips, anwyl briod Mr. David Phillips, yn 65 ml. oed. Ganwyd ein chwaer ymadawedig yn Llandudoch, Swydd Benfro, D. C.; Medi 18, 1818. Merch ydoedd i David Owens, masnachwr mewn yd. Ymunodd a chrefydd pan yn ddeunaw mlwydd oed yn eglwys y Bedyddwyr yn Blaenywaun. Bedyddiwyd hi ar broffes o'i ffydd gan y diweddar Barch. William Thomas, gweinidog eglwys Blaenywaun y pryd hwnw. Ymfudodd y teulu i'r wlad hon yn y flwyddyn 1847, a sefydlasant yn Cattaraugus, ac ymunodd ein chwaer a'r eglwys Fedyddiedig, yn Freedom, N. Y., lle y parhaodd yn aelod hyd derfyn ei hoes. Tra yn cartrefu yn yr ardal yma bu yn ffyddlon a diwyd gyda chrefydd; ond o herwydd amgylchiadau, symudodd y teulu i fyw amryw filldiroedd oddiyma. Felly, ni allai fynychu ty yr Arglwydd gyda'i chenedl ei hun ond tra anaml. Er y cwbl glynai yn ei phroffes. Nid oedd pellder y ffordd oddiwrth y capel yn ddigon i ysgaru ei henaid oddiwrth y Ceidwad. Yr oedd yn oleuedig iawn yn yr Ysgrythyrau, a thynodd lawer o gysuron o honynt yn ystod ei bywyd. Bu yn athrawes ffyddlon yn yr ysgol Sul. Ymorphwysai ei henaid yn drwyadl ar iawn y Gwaredwr am gymeradwyaeth ger bron Duw. Y weddi olaf a anadlodd at Dduw yn glywedig i ddynion oedd, "O Arglwydd, yn dy drugaredd, derbyn fi, bechadur."

Llanwodd ei lle fel priod a mam yn deilwng o Gristion. Yr oedd yn fam i naw o blant, sef chwe' mab a thair o ferched, o'r rhai y mae tri yn fyw i alaru eu colled ar ei hol. Hefyd, gadawodd briod mewn gwth o oedran. Bydded i'r amgylchiad hwn gael yr effaith dyladwy ar ei feddwl, i'w ddwyn yn ol i dy ei Dad ar frys. "Am hyny byddwch chwithau barod, canys yn yr awr ni thybioch y daw Mab y dyn," yw yr adsain a glywn o fyd arall oddiwrth yr ymadawedigion. Claddwyd ei gweddillion marwol yn mynwent Ebenezer, capel y Bedyddwyr Cymreig yn Freedom, N. Y. Gweinyddwyd ar yr achlysur gan yr ysgrifenydd. Heddwch i'w llwch.

"Fel y mae hi, wele, mwyach,
Hwnw ei hun a'i dyg yn iach,
A bydd gyffelyb iddaw,
Y dydd ar gwmwl y daw."

W. M. EVANS.

---

## SYMUDIAD PWYSIG.

Cymerodd amgylchiad pwysig le yn ninas New York, ddydd Sadwrn, Rhagfyr 1, 1883, sef hwyliad chwech o genadon o liw i Affrica. Aethant allan o dan nawdd ac awdurdod Cymanfa Genadol Fedyddiedig Talaethau Unedig America, yr hon sydd yn perthyn i Fedyddwyr lliw America. Cynaliodd y Gymanfa hon ei chyfarfod

Digitized by Google

blynyddol yn Manchester, Va., Medi 29ain. Yr oedd cenadon yn bresenol o'r nifer luosocaf o Dalaethau y De, ac o amryw o'r Talaethau Gorllewinol a Gogleddol. Llywydd y Gymanfa yw y Parch. A. Bringa, ieu., o Manchester, Va., a'r Ysgrifenydd yw y Parch. J. E. Jones, Richmond, Va. Y mae gan y Bwrdd gynrychiolwyr a chymdeithasau cynorthwyol yn agos yn yr oll o'r Talaethau Deheuol a Gogleddol. Ffurfiwyd y Gymanfa hon tua phedair blynedd yn ol, yn benaf trwy offerynoliaeth y Parch. W. W. Colley, yr hwn oedd wedi bod yn genadwr yn Affrica o dan nawdd Cymdeithas Genadol Dramor Bedyddwyr y De. Oddiar ei ddychweliad o Affrica y mae wedi llafurio yn galed mewn gwahanol ffyrdd i ddeffroi y bobl i sefydlu cymdeithas genadol yn mhlith y dynion duon i efengyleiddio Affrica. Buont yn gweddio am flynyddau dros eu perthynasau Affricanaidd ar y *Cyfandir Tywyll.*

Yr oeddynt i ryw raddau yn barod i dderbyn yr alwad, ac i ymgymeryd mewn modd ymarferol a'r gwaith o anfon allan o'u plith eu hunain genadon, i gael eu cynal gan eu cyfraniadau hwy eu hunain. Ond pa le y gellid cael allan ddynion cymwys? Gwyddent fod llawer yn ymddibynu ar gymeriad a chymwysderau y cenadon cyntaf. Ni ellid derbyn pawb a fuasai yn apelio. Y chwech a apwyntiwyd oeddynt y Parch. W. W. Colley a'i wraig, y Parch. J. H. Presley a'i wraig, a'r Parchn. J. J. Coles a H. McKinney, yr oll o honynt wedi bod yn fyfyrwyr yn ysgolion Cymdeithas Genadol Artrefol y Bedyddwyr yn y De. Dywedir mai yr ysgolion hyn ydynt sylfaen ein gobaith am efengyleiddiad Affrica. Prawf y symudiad hwn ein gosodiad. Dyma ddechreuad yr hyn sydd yn sicr o fod yn symudiad cenadol pwysig, ac nis gellir cael rheswm cryfach o blaid cynaliad y sefydliadau hyn, nag a geir yn mhwysigrwydd eu perthynas a chenadaeth Affricanaidd, pan y mae Affrica yn cael ei hagor i fasnach y byd. Yn y cyfarfod ymadawol, yr hwn a gynaliwyd yn nghapel y Parch. Mr. Dixon, yn Brooklyn, nos Wener, Tachwedd 30ain, dywedai Dr. Moorhouse, Ysgrifenydd Gohebol Cymdeithas Genadol Artrefol Bedyddwyr America, fod yn llawenydd mawr ganddo weled y cenadon hyn, ac hefyd dywedai fod y symudiad i raddau helaeth yn ffrwyth gwaith y Gymdeithas Genadol Artrefol yn y De; oblegid yn mhob un o'r ysgolion hyn y mae daearlenau mawrion o Affrica, o flaen llygaid y myfyrwyr, a chymdeithasau cenadol yn y rhai yr astudir Affrica ac y gweddiant drostynt. Cafodd y Parch. Mr. Colley a'i wraig, a'r Parch. Mr. Coles, eu haddysgu yn ysgol Richmond, Va. Astudiodd y Parch. Mr. McKinney yn ysgol Natchez, Mississippi. Saith mlynedd yn ol yr oedd y brawd Presley yn tori coed yn Virginia, ac nid oedd yn alluog i ddarllen nac ysgrifenu. Yn fuan wedi ei droedigaeth teimlodd ei fod wedi cael ei alw i bregethu yr efengyl yn Affrica. O dan yr ymwybyddiaeth o'i anwybodaeth, ymgymerodd ar unwaith a'r gwaith o geisio addysg. Yn awr, y mae yn Gristion ffyddlon, yn ysgolaig da, ac yn siaradwr effeithiol. Mae y cenadon hyn o Dalaethau Virginia, North Carolina, a Mississippi.

Fel prawf o'r dyddordeb a deimla y Bedyddwyr duon yn y gwaith, gwelwn fod chwiorydd Cymdeithas Genadol Cosby, Richmond, Va., yn barod wedi codi $250 tuag at adeiladu capel yn Affrica, a digon o addewidion i gynal y genadaeth yn ei sefyllfa bresenol. Diameu y bydd i'r cyfraniadau gynyddu gyda chynydd y genadaeth. Cyhoeddir papyr yn Richmond dan yr enw *African Mission* ar ran y gwaith. Dywedai Mr. Colley mai dyma y cenadon duon cyntaf i gael eu danfon allan gan gymdeithas genadol gyfansoddedig o ddynion duon. Y mae maes eu llafur i fod rhwng llwythau Vey a Mandigo, tua chan' milltir o Monrovia a Liberia, pwynt terfynol eu mordaith. Y mae trigolion gwlad Vey o ddosbarth uwchraddol, yn meddu ar iaith ysgrifenedig, er nad ydynt wedi cael llawer o ddadblygiad. * * * Llwyddiant iddynt. —*Cyf. o'r Baptist Home Mission Monthly, gan J. T. Griffiths, Scottdale, Pa.*

Digitized by Google

